fod y trigolion yn meddwl ei fod yn feddiannol ar ryw gyfrwysdra swynol, trwy ei fod yn dyfod â'r fath luaws annirnadwy o Fiblau allan mewn cyn lleied o amser, a bod cymmaint cyffelybrwydd rhwng y naill a'r llall o honynt nad allai yr ysgrifenyddion mwyaf cywraint ei gyrhaeddyd. A gorfuasai iddo, yn dra buan, oddef yr un gosp â dewiniaid oni buasai iddo ddatguddio cyfrinach y Gelfyddyd er diogelu ei fywyd. A gwnaeth hyn iddo gael ei ryddhau drachefn; ac i'r Gelfyddyd o Argraphu ymdaenu yn gyflym dros holl daleithiau Ewrop.

Ac fel eraill o ddyfeisiadau tramor, ni ohiriodd i dreiglo ei ffordd i'n hynys freiniol ni, a chael ei dwyn i berffeithrwydd eithaf. William Caxton a gefnogwyd gan Bourchier, Archesgob Caergaint, i fyned i'r Cyfandir i'w dysgu; ac mewn byr amser yr oedd Argraphwasg yn Rhydychain yn taenu traethodau argraphedig o amgylch ein gwlad,

Y Gelfyddyd o Argraphu a ddyfeisiwyd, neu o'r hyn lleiaf a gymhwyswyd i ddefnyddioldeb, pan yr oedd amgylchiadau y byd yn ei gwneuthur yn dra angenrheidiol, os nid yr unig ddyfais ag ellid ddychymmygu, i rwystro sefydliad parhaus anwybodaeth a thywyllwch barbaraidd. Ac i ganfod yn well ei defnyddioldeb, a'i heffeithiau ar gyflwr dynolryw, ni a gawn daflu golwg ar sefyllfa Ewrop cyn ei sefydliad cyntaf. Yn yr amser annedwydd hynny yr oedd caddug tew o dywyllwch anwybodaeth wedi ymdaenu dros holl deyrnasoedd cred. Awdurdod eglwysig wedi ymddyrchafu i uchder arswydus; a Christionogrwydd yn gorwedd megis yn gladdedig dan garnedd o ffug-lyfrau Mynachaidd, a choeg-chwedlau Pabaidd, nad oedd braidd obaith y cawsai byth ei hadferyd i'w pherffeithrwydd a'i phurdeb dechreuol. Coel-grefydd, ac ofergoelion, o'r rhyw mwyaf gwarthus, oeddynt yn cael eu derbyn a'u coleddu yn awyddus. Y werinos, yn gyffredin, trwy holl daleithiau Ewrop oeddent gydradd âg Hottentotiaid, neu anwariaid Ynysoedd Môr y De, a'u hoffeiriaid a'u goreuon ond ychydig yn well.

Y cyfryw oedd sefyllfa trigolion Ewrop er cymmaint eu hymffrost am ddysg a gwybodaeth yn bresennol, pan y gwnaeth y Gelfyddyd o Argraphu ei hymddangosiad yn eu plith. Pan yr ymddangosodd ar y cyntaf, o herwydd ei chywreinrwydd fe'i hoffwyd, ac o herwydd ei defnyddioldeb fe'i coleddwyd. Tywysogion a'i cefnogasant, a gwyr o ddysgeidiaeth a gynnyrfwyd â gwresogrwydd awyddfryd i ragori y naill ar y llall, gyda golwg o fod yn fwy gwasanaethgar yn eu hoes eu hunain, ac o ennill anrhydedd diddiflanedig, trwy drosglwyddo gwybodaeth ddefnyddiol i'r cenhedlaethau dyfodol.

Fe'i trefnwyd gan Lywydd doeth pob peth, mewn amser tra gwaeddfawr, i'r diben i ddwyn oddi amgylch welliant yn nghyflwr crefyddol y byd.

Fe addefir yn gyffredin ein bod, trwy ddoeth drefniadau rhagluniaethol y Goruchaf, yn ddyledus, mewn rhan fawr, i'r Argraphwasg am y waredigaeth hynod o dwyll a thywyllwch Pabaidd i fwyniant yr efengyl yn ei phurdeb cyntefig. Canys pe buasai llyfrau Luther, ac ysgrifeniadau y Diwygwyr eraill, yn cael eu hamlhau yn unig trwy araf drosglwyddiad llaw-ysgrifen, nid allant fod ond ychydig mewn nifer, a'r ychydig hynny yn agored i gael eu hattal, os nid yn hollol eu llethu a'u mygu, trwy gydymosodiad cyfoeth a gallu awdurdodol. Ond trwy offerynolrwydd yr Argraphwasg hwy a daenasant dros y gwledydd gyda chyflymdra llifeiriant, yr hwn sydd yn adnewyddu ei rwysg trwy yr ymdrech a wneir i rwystro ei fynediad. Pwy bynnag a gymmerai arno rwystro gwasgariad ac ymdaeniad llyfrau, unwaith wedi dyfod o'r Wasg, a gymmerai arno orchwyl mor anhawdd i'w gyflawni ag un o weithredoedd gorchestol Hercules. Nid oedd gwrthwynebiad o un defnydd. Y Diwygiad crefyddol a ffynnodd: a dylem ninnau, y rhai ydym gyfrannogion o fendithion yr unrhyw ddiwygiad, wrth ganmol zel a llwyddiant y Diwygwyr, gofio na fuasai eu holl ymdrechiadau yn effeithiol heb gyfrwng-ddyfodiad y Gelfyddyd belydrawg hon.

Yn y dyddiau tywyll oedd yn blaenori

y goleuni tanbeidiol (sef y Diwygiad, yr hwn a ymledaenodd i raddau helaeth trwy gyfrwng yr Argraphwasg) nid allai y bobl gyffredin gael adnabyddiaeth o wirionedd datguddiedig y nef, ond yn unig trwy enau yr offeiriaid, y rhai yn fynych a'u harweiniant megis deillion mewn cebystrau, heb wybod y ffordd, nac adnabod y lle yr oeddent yn cyrchu atto. Yr Ysgrythyrau sanctaidd oeddent yn gloedig mewn ieithoedd dieithr; ac o ran hynny, yn gystal ag o ran pris, yr oeddent yn anghyrhaeddadwy i'r cyffredin. Ond wele hwynt heddyw yn nwylaw pawb, ac mewn iaith ddealladwy; fel ag y gall y gwanaf ei gyrhaeddiadau dreiddio iddynt, a "thynu dwfr o ffynnonau yr iechydwriaeth." Ac y mae esponiadau dirifedi arnynt; a thraethodau crefyddol eraill, i gynnal duwioldeb, a choleddu moesoldeb, yn cael eu cyhoeddi, na chawsent, yn ol pob tebygolrwydd, eu cyfansoddi, ac nad allent gael eu cyflwyno i weithrediadau mor helaeth oddieithr trwy gyfrwng y Gelfyddyd hon. Felly y mae y Gelfyddyd o Argraphu gwedi gosod y grefydd Gristionogol, yn enwedig, mewn agweddiad mwy manteisiol i arledu ei phelydrau disglaer dros y byd, trwy anrhegu pob gradd, ïe, trigolion y bythau tlotaf â Gair y bywyd; a thrwy alluogi y duwinydd dysgedig i gyhoeddi i maes y newyddion da o lawenydd mawr, megis â mil o dafodau ar yr un pryd. Yn ganlynol, y mae yn foddion i gynnorthwyo pob gradd i ehangu eu gwybodaeth yn Ngair Duw; a thrwy hynny yn eu galluogi i fabwysiadu syniadau cywir am danynt eu hunain, ac am bethau o ansawdd ysprydol a thragywyddol; a thrwy gynnorthwy Glân Yspryd Duw yn eu dwyn i ymagweddu yn gyfattebol i ddibenion eu creadigaeth.

Ym mhellach, nid llai eglur (ac ail yn unig i'w heffeithiau ar grefydd mewn buddioldeb) yw effeithiau yr Argraphwasg, os ystyriwn ei gweithrediadau yn nghynnydd dysgeidiaeth, ac yn nhaeniad gwybodau yn gyffredinol.

Bu amser pan yr oedd dysgeidiaeth a gwybodaeth yn cael eu cyfyngu yn unig i'r cyfoethogion; a'r rhai hynny, yn gyffredin, megis Alecsander gynt, yn rhy hunanol i ewyllysio i'w cydgreaduriaid, o ïs raddau, gael rhan na chyfran ynddynt. Y cyfryw o'r bobl gyffredin ag oedd yn cael eu cynnysgaeddu â doniau a chynneddfau cryfion a threiddgar, gan Awdwr natur, ac yn awyddus iawn am bob gwybodau, oeddent yn cael eu cludo i ardaloedd tywyll y bedd, heb gael diwallu eu meddyliau o herwydd eu hymddifadrwydd o gyfryngau bendithiawl yr Argraphwasg. Ac felly yr oedd llawer Milton, neu Newton, o ran cynneddfau, yn cael eu cario yn eu taith oesawl trwy y byd, a holl alluoedd eu deall megis yn rhwym yn nghadwynau tywyllwch ac anwybodaeth. Ond trwy gyfrwng yr Argraphwasg y mae traethodau ar bob testynau, a llyfrau yn cynnwys pob gwybodau, ym meddiant, neu o'r hyn lleiaf o ran iaith yn ddealladwy, ac o ran pris yn gyrhaeddadwy i bob gradd. Ac nid ydwyf yn meddwl y buasai yn rhyfyg i haeru fod yr Argraphwasg hefyd yn foddion i ddwyn dynion i fedru eu defnyddio. Cyn gael y Gelfyddyd hon allan, nid oedd braidd un ym mhlith y bobl gyffredin, trwy holl daleithiau Ewrop, yn feddiannol ar gymmaint dysgeidiaeth ag y gallai ddarllen, nac ysgrifennu ei enw, na rhoddi attebiad rhesymmol i'r gofyniadau gwaelaf. Ond tra y mae llyfrau yn cael eu gweinyddu mor rad, ac mor hawdd eu cyrhaeddyd ym mhob sefyllfa, y mae dynion yn cael eu dwyn i hiraethu am ddysgeidiaeth, nes yw y cyfryw yspryd gwedi myned mor gyffredin na oddefa neb i'w blant fyned trwy y byd heb ryw gyfran o honi, mwy nag yn ymddifad o wisgoedd i guddio eu noethni corphorol. Fe fyddai, yn yr oes bresennol, braidd yn wyrth ganfod plentyn pum mlwydd oed heb fedru gwneuthur dim defnydd o lyfr. Ac oni bai ein bod yn medru eu defnyddio, pa leshad i ni fuasai fod enwogion wedi ysgrifennu traethodau rhagorwych ar wahanol byngciau? neu fod ein llyfrgelloedd yn cael eu gorlenwi â'r cyfryw drysorau? Mawr, gan hynny, yw rhagoroldeb y Gelfyddyd o Argraphu. Y mae 'n dosparthu i gyfran byd drysorau pob gwybodau; ac yn cyffroi y meddwl dynol i sychedu am ddysgeidiaeth fel "yr hydd

am yr afonydd dyfroedd," ac i hiraethu am wybodaeth, ac i lefain gyd â'r Prydydd—

" Gwybodaeth byw faeth y byd,
" Geinferch, ti ffynnon gwynfyd;
" Hebot nid oes neb hybarch,
" Tydi sydd yn peri parch."

Nid oes, yn yr oes bresennol, un difyrwch yn hawsach i'w gyrhaedd, nac yn rhoddi mwy o foddlonrwydd yn y mwynhad o hono; nag ymofyniad am wybodaeth. *Hæc studia nobiscum pernoctant, peregrinantur, rusticantur, domi rurisque delectant.* Mae llyfrau yn cael eu taenu mor helaeth nad oes braidd un gwrthddrych a all gyffroi cywreinrwydd dynion, nac un grefft na chelfyddyd, nad oes cyflawn wybodaeth a chyfarwyddyd yn eu cylch i'w cyrhaeddyd trwyddynt. Prydyddiaeth, Hanesyddiaeth, a Philosophyddiaeth, yn eu holl ymraniadau, ydynt yn wastad wrth law, ac yn barod i ddiwallu awydd meddylfryd pob dyn â phob amrywiaeth o ddanteithion meddyliawl. Fe all yr amgyffred, bob amser, ganfod y darluniadau cywiraf o bob gwrthddrych, ym mhob cwrr o'r greadigaeth, heb ymdeithio i wledydd pellenig, ac heb ymroddi i beryglon rhyfeloedd, na môr-deithiau meithion, na chymmeryd rhan mewn dadleuon gwladwriaethol. Gall y darllenydd, yn ei lyfrgell, ganfod ym mron y cyfan a gymmerodd i fynu holl alluoedd dyn ym mhob sefyllfa, ac ym mhob oes o'r byd. Oni fuasai yn rhagorfraint fwyaf ardderchog gael mwynhau cymdeithas un, wedi byw rai miloedd o flynyddoedd, wedi dysgu arferion a defodau pob gwlad, wedi casglu dysgeidiaeth a doethineb pob oes, ac wedi trysori myfyrdodau pob doeth? Y cyfryw ragorfraint y mae yr Argraphwasg yn ei roddi yn ein meddiant. Yr ydym yn feddiannol ar lafur-waith hen Brydyddion a Philosophyddion Groeg a Rhufain, a chyflawn hanesion pob gwlad. Yr ydym yn cael ein dwyn megis i ysgolion yr hen foesolwyr gynt; y rhai, tra y mae eu cyrph yn gorwedd yn dawel yn un â'u llwch dechreuol, ydynt yn parhau i ddosparthu dysgeidiaeth, ac â'u gwybodaeth yn goleuo y byd. Yr ydym heddyw yn cael ein dysgu gyd â'r uu dysgawdwyr a Xenophon ac Alecsander. Yr ydym megis yn cael ein gosod mewn sefyllfa i wrando yr hanesydd Halicarnassus yn adrodd ffrwyth ei fyfyrdod yn nghampau Olympus; neu yn Senedd Rhufain, i glywed Cicero yn cyhuddo teyrnfradwyr; ac â'i areithiau yn ymlid gelynion ei wlad. Yr ydym heddyw yn cael budd yn addysgiadau yr Academia Athenaidd, a'r enwog Lyceum; ac yn cael cyfrannogi o'r gwersi rhagorwych a draddododd mab Sophroniscus dan gysgod ei dewfrig blanwydden, neu ar lannoedd yr afon Ilissus.

Ym mhellach, y mae y Gelfyddyd o Argraphu fel peiriant euraidd yn gweithredu yn effeithiol yn niwygiad moesol y byd. Bu amser pan yr oedd moes addysgiadau yn cael eu cyfyngu yn unig i ryw nifer ddewisedig o gyfoethogion byd, ac yn hollol anghyrhaeddadwy i'r cyffredin. Ond trwy offerynoliaeth y Gelfyddyd hon, nid yn unig moes addysgiadau Cicero, Plato, ac Anaxagoras, eithr hefyd "sicrach air y prophwydi," ac anffaeledig reol yr Ior, ydynt yn treiddio i'r lluaws dynol. Y mae yn foddion i arddangos i'r byd rinwedd ac uniondeb buchedd yn y lliwiau harddaf; ac i amddiffyn gonestrwydd, a chadarnhau ac ymgeleddu cyfiawnder a gwirionedd pa le bynnag y byddont; a thrwy daenu addysgiadau moesol y mae yn tueddu i wareiddio pob gradd o'r rhyw ddynol; y mae yn dwyn tywysogion i lywodraethu mewn mwyneidd-dra a thiriondeb, a'r deiliaid, nid yn unig i ufuddhau i erwin wialen trawsedd, ond trwy ddangos rhagoroldeb rheoleiddrwydd gwladol, a'r manteision sydd yn deilliaw oddiwrth ufudddod i fesurau rhesymmol, y mae yn ei dwyn i ufuddhau yn ewyllysiol i'r cyfreithiau, ac i gynnal a chefnu y llywodraeth. Y mae o ddefnydd cyfartal mewn heddwch a rhyfel. Y mae yn ffurfio cymdeithasau, yn rheoleiddio masnach, ac yn cadarnhau sefydliadau gwladol ac eglwysig, ac yn un o'r cestyll cadarnaf i wrthwynebu ymosodiadau gelynol.

Y mae y Gelfyddyd o Argraphu hefyd yn gweithredu yn helaeth ar fesurau llywodraethol teyrnasoedd. Y mae yn un o'r amddiffynfeydd goreu i ryddid gwladol.

Y mae'n gosod terfyn-furiau rhwng awdurdod llywodraethol ac ufudd-dod y deiliaid. Y mae yn dinoethi mesurau niweidiol, ac yn gweithredu fel attalfa ar ddynion gormesol a diegwyddor. Y mae yn cyffroi ym mynwesau y deiliaid yspryd hunanymddiffyniad; ac felly yn attal trawsder, ac yn fynych yn peri dychryn a braw i orthrymwyr a gormes-deyrniaid. Amryw enghreifftiau o'r cyfryw effeithiau a ganfyddwn os edrychwn i hanesion ein gwlad ein hunain. Pa beth oedd yn cyfrannu mor helaeth tu ag at ddwyn oddi amgylch y chwyldroad gogoneddus yn y flwyddyn 1688 ([illegible]ydlwyd yr holl freintiau gwladol ac eglwysig a fwynhawn) ond y sylwadau rhydd a medrus yr oeddid yn wneuthur ar y llywodraeth, ac yn erbyn gorthrymderau a choel-grefyddau Pabyddiaeth? Ond nid oes un yn fwy adnabyddus, nac yn fwy perthynasol i'n diben yn bresennol, na'r cyfnewidiadau a gymmerasant le yn ddiweddar mewn gwlad gymmydogaethol. Pan yr ymosodwyd ar ryddid yr Argraphwasg, fe ennynodd ynddynt yspryd hunan-ymddiffyniad, gan feddwl eu bod yn cael eu hyspeilio o'u breintiau naturiol. Ac yn wir, ni ellir canfod effeithiau y Gelfyddyd o Argraphu, ar yr olwg hyn, yn fwy amlwg nag oddi amgylch i ni y dyddiau presennol; mae ei gweithrediadau ar feddyliau y werinos megis "lefain yn lefeinio yr holl does."

Trwy wneuthur sylwadau cyhoeddus ar wahanol orchwylion llywodraethol, y mae yn amddiffynfa yn erbyn anghyfiawnder a gorthrymder; a'r tŵr cadarnaf yn erbyn ymosodiadau gormesol. Nid oes neb yn chwennych gweled ei anghyfiawnder yn cael ei ddinoethi, a'i greulondeb a'i ragrith yn cael eu datguddio; gan hynny nid yw gormeswyr yn ofni dim yn fwy na'r Argraphwasg; ac nid ydynt yn foddlawn i'r meddwl dynol ehedeg yn ddirwystr i ardaloedd myfyrdodau llywodraethol; canys gwybod y maent, tra y mae rhyddid yr Argraphwasg yn cael ei ddiogelu, nad allant obeithio y bydd i'w hanghyfiawnder a'u gorthrymder lwyddo, er eu bod yn feddiannol ar holl gâd-lüyddion eu gwlad.

Eithr fe ddywedir fod yr Argraphwasg yn amddiffyn heresiau a gau-grefyddau, ac yn tywallt allan dybiau niweidiol i grefydd, moesau da, a llywodraeth. Ond gellir gofyn, a oes dim o'r pethau goreu ym meddiant dynolryw yn cael eu camddefnyddio, hyd yn nod yr Ysgrythyrau sanctaidd? Ac a oes dim o'r Argraphwasg mor agored i wrthbrofi ac i haeru y cyfryw bethau? Nid yw yr Argraphwasg yn naturiol yn dwyn oddi amgylch y drygau crybwylledig; eithr ei thuedd a'i hamcan yw alltudio twyll a dichell o bob math, a sefydlu llywodraeth y gwir yn ddiwrthwyneb.

Oddiwrth y sylwadau blaenorol, fe ymddengys buddioldeb y Gelfyddyd o Argraphu yn dra eglur. Y mae fel rhyw lusern oleulawn, yn saethu ei phelydrau disglaer o amgylch y byd; ac y mae tywyllwch anwybodaeth yn gorfod encilio o'i blaen fel tywyllwch y nos o flaen gwawr y dydd. Y mae yn danfon yr efengyl i bedwar cwrr y ddaearen. Ac fel y golofn oedd yn arwain yr Israeliaid trwy y diffaethwch i'r Ganaan heddychol, yn arwain trigolion Ewrop, Asia, Affrica, ac America, i ardaloedd gwybodaeth o Dduw. Trwy arledaenu dysgeidiaeth hefyd y mae yn gwneuthur dynion yn fwy gwasanaethgar yn eu hoes; a thrwy gyfrwng hon, ym mhellach, nid yw ei gwasanaeth yn cael ei chladdu pan y'i cleddir hwy, ond ffrwyth eu llafurwaith a barha yn faeth i'r oesoedd a ddel. Anfarwolodd hon filoedd o goleddwyr dawn. Hi a ddygodd, o ardaloedd anghof, waith awduron enwog y cynoesoedd, ac a'u cyflwyna i oesoedd dyfodol yn feddiant tragywyddol, fel y rhagddywedodd Thucydides* am ei lyfr clodwiw (κτημα ες αει συγκειται); a hi a adnewyddodd gôf-adail prydydd Venusium;† ac nid yn unig a'i gosododd ar sylfaen fwy parhaus na phres, eithr ar un a bery hyd na bo amser mwyach. Pwy a ddichon ddarlunio ardderchawgrwydd y Gelfyddyd hon? Gellir ei galw yn llusern yr oesoedd—yn drysorfa pob gwybodau—yn ffynnonell difyrwch i'r doeth—ac yn faeth

* Thucydides, Llyfr I. Ben. 22.

† Horas, Llyfr III. Awdl 30.

i bob ymgeisydd gwybodaeth. Y mae yn gwareiddio ac yn moesoli dynolryw, ac yn effeithio yn helaeth ar lywodraeth teyrnasoedd y byd. Pa beth sydd gwedi gosod ein gwlad ni mor uchel ym mhlith teyrnasoedd? Pa beth sydd gwedi gwneuthur ei llywodraeth mor drefnus, ei masnach mor reolaidd, a'i sefydliadau mor odidog? Y mae yn ddiammau fod yr Argraphwasg yn cyfrannu tu ag at y cyfryw fendithion; a rhaid i ni ddymuno i'r amser frysio, pan na bo i'r Argraphwasg mwyach gael ei chamddefnyddio; eithr bod eu hunig ddyledd i gynnal rhinwedd a moesau da, a thaenu gwybodaeth o Dduw dros y byd, fel ag "y mae y dyfroedd yn toi y moroedd."

Y Parch. Evan Morgan,
*Curad Ciliau Aeron, a Chapel St. Alban,*
Ceredigion.

---

PREGETH FER ar Job xviii. 14.

"Brenin dychryniadau."

Dywed yr Ysgrythyr, "Gwae yr anwir, drwg fydd iddo." Er ei fod yn awr, fe allai, yn llwyddo yn ei holl lafur, ac yn meddiannu digonolrwydd o bob cysuron daearol: etto, os *anwir* y parhâ, "drwg *fydd* iddo." Dyna'r gwirionedd a osodir ger ein bron o'r 5ed adnod o'r bennod hon hyd ei diwedd. Ym mysg y pethau ofnadwy a ddigwydd iddo, mae un yn cael ei enwi yn y testun. Dygir ef i gyfarfod âg angeu fel *brenin dychryniadau*—nid fel cyfaill i'w drosglwyddo i breswylfod mwy dymunol a hyfryd, ond fel gelyn, dynesiad yr hwn a ddylai achosi'r dychryn mwyaf o'i fewn. Dangosir, yn

I. *Fod angeu yn frenin.* Fel brenin mae pawb yn gorfod plygu iddo. Nid oes neb nad yw, naill o fodd neu anfodd, yn gorfod ufuddhau i'r brenin hwn. Lletach yw ei lywodraeth hyd yn nod na'r eiddo'r diafol. Mae lluoedd mawrion ym mhob gwlad yn gwasanaethu hwnw; o herwydd paham y gelwir ef "Tywysog y byd hwn." Ond mae angeu yn helaethach ei lywodraeth. Er fod llawer o'r byd dan allu Satan, nid yw y byd oll felly; ond y mae'r byd oll yn gorfod plygu i angeu. Nid oes ond Duw ei hun, Llywydd a Rheolwr pob peth o fewn holl gyffiniau ehang y greadigaeth, yn meddu ar deyrnas fwy helaeth. Dywed y Salmydd, fod y "doethion yn meirw," ac, o ran y digwyddiad hwn, mai "yr un ffunud y derfydd am ffol ac ynfyd, y gadawant eu golud i ereill." Gelwir angeu mewn lle arall, "ffordd yr *holl ddaear*"—y ffordd "o'r tŷ i'r bedd" sydd raid i bawb ei theithio. Miloedd o droion y darfu i chwi, a minnau, groesi trothwy ein tŷ, a dychwelyd drachefn; ond croeswn ef ryw ddydd y tro olaf. Ar ol hyn ni welir mo'n gwedd, ac ni chlywir mo'n llais dan ein cronglwyd byth mwy. Nid yw crefydd ei hun, er gwerthfawroced yw, yn gwaredu rhag angeu. Hi a wared, yn wir, rhag yr *ail* farwolaeth—ond nid rhag marwolaeth naturiol. Rhaid i Abel farw yn gystal a Chain. Rhaid i Dafydd fyned i'r bedd yn gystal a Saul. Rhaid i Pedr ymadael â'r byd yn gystal a Judas. "Nid oes bwrw arfau yn y rhyfel hwn." Pa le y mae ein tadau a'n teidiau heddyw? Pa fodd na welwn ein henafiaid yn awr? Y maent wedi eu gwysio i'r tragywyddolfyd! Fel y mae dail y goedwig yn cwympo i'r llawr, i wneuthur lle i rai newyddion i dori allan; felly un cnwd o ddynion a wna ffordd i arall, hyd ddiwedd y byd. "Un genhedlaeth a â ymaith, a chenhedlaeth arall a ddaw: ond y ddaear a saif byth." "Bydd barod, O Israel, i gyfarfod â'th Dduw."

II. Mae angeu ynddo ei hun yn *frenin dychryniadau:*—hyny yw, y mwyaf dychrynllyd o bob peth arall. Duw y duwiau yw y Duw mwyaf—Cân y caniadau yw y gân

ragoraf; felly brenin dychryniadau yw'r pennaf o'r holl bethau dychrynllyd. Ymddengys hyn os ystyriwn,

1. *Y cyffelybiaethau a ddefnyddir gyda golwg ar y matter hwn.* Cydmarir angeu mewn un man i'r diluw yn amser Noah: "Dygi hwynt ymaith megys â *llifeiriant*." Fel nad oedd dim a safai o flaen y diluw—na thai, na choed, na chestyll, na mynyddoedd, na chreigiau; felly ni saif dim yn erbyn angeu. Fel bod y farn hòno yn dra dychrynllyd—felly mae angeu yn arswydus, yn enwedig i bawb sydd heb adnabod Crist, a gwaith yr Yspryd bendigedig ar eu calonau. Cydmarir ef i bladur lem, neu gryman miniog. Nid yw y cadarnaf o blant dynion o'i flaen ond fel glaswelltyn o flaen un o'r rhai hyn. "Y boreu y maent fel llysieuyn a newidir. Y boreu y blodeua ac y tyf; prydnawn y torir ef ymaith, ac y gwywa." Yn *Ps.* xlix. cyffelybir ef i lew neu flaidd yn ymborthi ar yr annuwiolion yn y bedd hyd y farn, fel ar ysglyfaeth melus: "Fel defaid y gosodir hwynt yn uffern; angeu a *ymborth* arnynt; a'r rhai cyfiawn a lywodraetha arnynt y boreu; a'u tegwch a dderfydd yn y bedd, o'u cartref." Cydmara Salomon angeu i ystorm rymus yn chwythu yr enaid diadgenhedledig yn dost yn erbyn ei ewyllys i dragywyddoldeb: "Y drygionus *a yrir ymaith yn ei ddrygioni:* ond y cyfiawn a obeithia pan fyddo marw." O enaid diofal, pan gaffo angeu *gommissiwn* i wneuthur ei orchwyl, nid gwiw i ti erfyn arno i oedi ei ddyrnod; am hyny brysia i adael dy bechodau, ac i ffoi drwy ffydd at Grist, fel na allo dy niweidio pan ddel i derfynu dy arosfa ar y llawr.

2. Ymddengys angeu yn dra dychrynllyd, *os ystyriwn pa fodd y daeth i'r byd.* Y tro cyntaf y clywn sôn am angeu ydyw *Gen.* 2. 17. "Yn y dydd y bwytâi o hono, *gan farw y byddi farw.* Plentyn pechod, gwelwn, yw angeu; ac os yw y cenhedlwr yn wrthun a melldigedig, ni all fod y cenhedledig amgen na gwrthun a melldigedig hefyd. Yr un tadogaeth, neu darddiad, a roddir i angeu yn *Iago* 1. 15. "Chwant, wedi ymddwyn, a esgor ar bechod: pechod, pan orphener, *a esgor ar farwolaeth.*" Dyna beth yw angeu:—pechod yn y pendraw—pechod wedi rhedeg ei yrfa—pechod yn ei effeithiau yn nhragywyddoldeb. Os yw pechod i'w arswydo, rhaid fod marwolaeth felly hefyd; canys ffrwyth pechod yw marwolaeth. Dywed St. Paul, yn *Rhuf.* v. i farwolaeth ddyfod i'r byd fel *condemniad*—eglurhad o ddigofaint Duw am droseddu ei ddeddf—fel *barn* am anufudd-dod i'w ewyllys: ac yn *Pen.* vi. iddo ddyfod i blith dynion *fel cyflog* pechod. Mewn lle arall (*Gal.* iii.) hysbysa yr un awdwr, iddo ddyfod fel *melldith* ar ddynolryw. Dywed yno fod dyn dan felldith, am wyro oddiwrth y gyfraith; i'r Iesu, yn ei anfeidrol gariad, symud y felldith hon; ac mai trwy farw y symudodd hi: yn ganlynol, marwolaeth oedd y felldith grybwylledig. Eglur yw, ynte, mai peth dychrynllyd yw marwolaeth. Fel na all llewes ddwyn oen—fel na all eryrod roddi bod i golomen—fel fod pob peth yn cenhedlu yn ol ei anian; felly, os peth i'w arswydo yw pechod, peth yw arswydo yw marwolaeth; canys o bechod mae ei darddiad. Frodyr, bydded i'r ystyriaethau hyn eich dwyn i fyfyrio yn ddwys ar farwolaeth, a gweddïo yn egnïol am daenelliad o waed cymmodawl yr Iesu ar eich cydwybodau, fel y byddo marwolaeth yn eich cyfarfod fel cyfaill a chymmwynaswr, ac nid fel gelyn ofnadwy a didrugaredd. "Bydd barod, O Israel, i gyfarfod â'th Dduw."

3. Ymddengys angeu yn *frenin*

*dychryniadau, o herwydd ei fod yn dychrynu y caletaf a'r mwyaf rhyfygus pan ddelo arnynt.* Mae llaweroedd o ddynion y rhai a wrandawant ar y gwirioneddau mwyaf cyffrous heb deimlo y radd leiaf o arswyd. Pan fyddo'r Gweinidog yn sôn am y pydew diwaelod, a'r arteithiau annhraethadwy sydd yno, ni ddychrynir y bobl hyn; ond ânt rhagddynt gyda phob tawelwch yn y llwybrau mwyaf aflan a llygredig! Ond pan ddel y rhai hyn i wely angeu, eu calonau celyd a ddryllir, ac a grynant rhag ofn y Barnwr y maent ar fedr sefyll ger ei fron. Rhoddaf rai esamplau o hyn. Chwi a wyddoch am Saul, y cyntaf o frenhinoedd Israel, ei fod yn hynod am ei annuwioldeb. Pwy a allasai ddangos mwy o ddiystyrwch i air Duw na Saul, yn ei ymddygiad tu ag at Agag? Pwy a allasai egluro mwy o falais, cenfigen, a chreulondeb nag a wnaeth ef tu ag at Dafydd? Etto, pan glywodd y pechadur ystyfnig haiarnaidd hwn gan Samuel, ei fod yn ymyl tragywyddoldeb, fod angéu wrth y drws, a bod Duw ac yntau ar ymgyfarfod â'u gilydd, "syrthiodd o'i hyd gyhyd ar y ddaear, ac *a ofnodd yn ddirfawr*, o herwydd geiriau Samuel; a nerth nid oedd ynddo." Yr oedd y dychryn a syrthiodd ar Belsassar yn llawn cymmaint. Tra yr oedd hwn, gyda mil o'i dywysogion, yn yfed gwin o lestri'r deml, yr oedd ei galon yn ysgafn, ac yn llawn o ddigrifwch; ond pan welodd y llaw ddirgelaidd gyferbyn âg ef, yn ysgrifenu ei gondemniad, aeth ei wyneb mor wyned a chalchiad y pared ar ba un yr oedd y geiriau yn cael eu ffurfio. "Yna y newidiodd lliw y brenin, a'i feddyliau a'u cyffroisant ef, fel y dattododd rhwymau ei lwynau ef, ac y curodd ei liniau ef y naill wrth y llall." Rhoddaf i chwi ddwy o esamplau etto, allan o hanesion ereill. Yr oedd un Thomas Paine yn Lloegr yr oes ddiweddaf, yr hwn a ysgrifenodd y cableddau mwyaf echryslon yn erbyn Crist a'i efengyl. Ymdrechodd â'i holl egni dynu i lawr grefydd y Bibl yn y wlad. Pan ddaeth hwn i deimlo gwasgfeuon angeu, yr oedd yn yr ofnau mwyaf, ac yn nyfnder anobaith yn llefain ar Grist am drugaredd. "Bernwch beth yw fy nhrallod," meddai'r fenyw a ddenodd oddiwrth ei gwr i fyw gyd âg ef mewn godineb ac aflendid, "wrth glywed y dyn hwn, er mwyn pa un y gadewais fy mhriod, fy mherthynasau, a'm crefydd, yn dywedyd wrthyf, na thâl yr egwyddorion a ddysgodd efe ddim yn yr oriau diweddaf." Yn yr oes ddiweddaf hefyd yr oedd dyn arall, yr hwn a elwid Voltaire. Cyrhaeddodd hwn enwogrwydd mawr o herwydd ei elyniaeth i achos Mab Duw. Nid aml y llwyddodd neb gymmaint ag ef yn ei ymegnïadau melldigedig. Mae ei lyfrau yn lliosog iawn, a'u heffeithiau i'w gweled heddyw mewn miloedd o fanau yn Nghyfandir Ewrop. Ond pan ddygodd olwyn amser y dyn hwn i derfyn ei oes, yr ofnau, y braw, a'r cryndod mwyaf annioddefol a lenwodd ei fynwes. Yr oedd ei gyfeillion anwylaf yn methu aros yn agos ato, gan ddywedyd, fod yr olwg arno yn wynebu angeu yn rhy frawychus i neb fedru bod yn dystion o hono. A'r wraig, yr hon a gyflogid i'w amgeleddu, pan geisiwyd ganddi, dro ar ol hyny, i fyned i weini i ryw glaf arall, a ofynodd, a oedd efe o'r un daliadau a Voltaire; os oedd, na chymmerai hi mo'r byd oll a chydsynio â'r cais. Medr angeu sobri y gwylltaf—medr godi arswyd yn y galon fwyaf rhyfygus: am hyny, eneidiau, byddwch barod i gyfarfod â'ch Duw.

4. Ymddengys angeu etto yn anghydmarol ddychrynllyd, *o herwydd ei uniongyrchol ganlyniadau*

*i'r pechadur anedifeiriol.* Amddifada ef o bob cysuron ar unwaith, a chymmer oddi wrtho bob gobaith o fwynhau cysuron mwy. Rhydd derfyn ar holl lawenydd gelynion Crist, ac ar bob cyfleusdra i geisio ei ffafr a dedwyddwch byth. Mewn chwanegiad at hyn, mae yn swyddog sarug i gludo 'r gwas anfuddiol i'r "pydew diwaelod"—i'r "llyn sydd yn llosgi o dân a brwmstan" —i "gerwyn fawr digofaint Duw" —i'r "llosgfëydd tragywyddol"— i'r "tywyllwch eithaf, lle y bydd wylofain a rhincian dannedd" yn ddiddiwedd! Beth a ddywedaf am ei boenau, ei arteithiau, ei ing, a chwerwder ei loesau yn y lle hwnw? Nid oes genyf iaith i'w osod allan, na dychymmygion i'w amgyffred! Ond dywedaf hyn— bydd ei ddioddefiadau tu draw i'r bedd yn annhraethol, yn arosol, yn fynedol, i barhâu ac i gynnyddu dros oesoedd tragywyddoldeb! Bechadur, arafa, edrych ym mlaen, ofna, gweddïa. "Bydd barod i gyfarfod â'th Dduw."

III. *Pa fodd y gellir wynebu angeu wedi yspeilio o'i ddychrynfeydd?* Os yw y rhan flaenorol o'r bregeth hon yn gyffröus, ac yn mynegi pethau ofnadwy, diolch i Dduw, mae genyf fodd, cyn dibenu, i ddangos ochr oleu y cwmwl! Mae 'r Ysgrythyrau yn ein cyfeirio at ŵr, yr hwn sydd yn "angeu i angeu (yr hwn sydd yn lladd a dinystrio angeu ei hun) ac yn drangc i'r bedd." Y gwr hwn yw Crist yr Arglwydd, yr hwn a ehedodd o drigfanau 'r gogoniant i waredu pechaduriaid rhag bod yn ysglyfaeth i angeu a Satan yn dragywydd!

Gwelsom mai pechod a ddygodd angeu i'r byd: Crist a ddioddefodd dros bechod, ac i'r sawl sydd yn hyderu yn ysgrythyrol ar ei ddioddefaint ef, mae angeu yn troi yn gyfaill tra gwerthfawr. Daeth marwolaeth i blith dynolryw fel *condemniad.* Crist a gondemniwyd yn ein lle; efe a wnaethpwyd yn bech-aberth drosom, a thrwy hyny a drôdd farwolaeth yn fendith i bawb o'i ganlynwyr. Os fel melldith a barn y daeth angeu i deyrnasu ar ddynion, Crist, drwy fyned yn felldith, a dioddef barn Duw yn eu lle, a newidiodd ei anian, ac a'i trôdd yn gymmwynaswr gwerthfawr i bawb a gredant ynddo. Ffugiai yr hen philosophyddion cenhedlig, fod careg yn bod, yr hon a droai yn aur bob peth y cyffyrddai âg ef. Try gwaed Iesu bob peth yn fendith i'w bobl, hyd yn nod gelyniaeth y diafol, a loesau marwolaeth ei hun: "Pob peth sydd eiddo chwi: pa un bynag ai Paul, ai Apolos, ai Cephas, ai y byd, ai bywyd, ai *angeu,* ai pethau presennol, ai pethau i ddyfod; y mae pob peth yn eiddo chwi; a chwithau yn eiddo Crist; a Christ yn eiddo Duw." 1 *Cor.* 3. 21, 22, 23. Os cyll y llew ei ddannedd, ac os cyll y sarph ei cholyn, nid ydynt i'w harswydo mwy: felly, nid rhaid i'r Cristion ofni angeu; canys y mae gwaed ei Brynwr wedi newid ei wasanaeth, gan ei wneuthur yn derfyn ar bob trallod, a blinder, a chroesau, a phrofedigaethau, yn lle yn swyddog i drosglwyddo 'r pechadur i garchar ac arteithiau tragywyddol. At Grist, ynte, fy mrodyr, at Grist ar frys. Llefwch am nerth oddi uchod i'w dderbyn i'ch calonau, i hyderu arno am faddeuant a phob bendith, i lynu wrtho yn wyneb pob peryglon a themtasiynau hyd y diwedd: yna y bydd angeu i chwi yn elw, a thragywyddoldeb yn dragywyddoldeb o orfoledd annhraethol yn nghymdeithas Duw.

OFFAB.

---

## YR ADFENT.

Y MAE 'r dyddiau wedi dyfod, er ys tro weithian, yn y rhai y di-

ystyrir, ac yr ymgeisir am ddiddymu, *hen bethau*, am eu bod yn *hen;* ac yr ymofynir am bethau *newydd*, yn unig am eu bod *yn newydd*. Er fod profiad cannoedd o flynyddau yn tystio gwerth yr *hen*, etto, "gwell y *newydd*, er na phrofwyd," yw llais llawer ym mhob cwr o'r wlad; a phe caffai y dychymygwyr penboeth hyn eu hewyllys, mae yn debyg na "adewid careg ar gareg," yn ein hadeiladau gwladol ac eglwysig, "a'r ni's dattodid." Ond nid fy mwriad yw dywedyd am bethau a berthynant i'n llywodraeth wladol: am y pethau hyn ein doethineb yw bod yn ddistaw, a gadael i'r rhai hyny eu trefnu, y rhai ydynt gymmwysaf o ran gwybodaeth, sefyllfa, a phrofiad at y gwaith. Am osodiadau ein Heglwys y mae mawr ddadwrdd i'w glywed ym mhlith rhai nad ystyriasant erioed mo'u diben na'u gwerth, ac ni wyddant am eu tarddiad. Dymunwn alw sylw y cyfryw at eiriau y gwr doeth—"Pob call a wna bethau trwy wybodaeth; ond yr ynfyd a ddengys ynfydrwydd."

Ystyr y gair ADFENT yw *dyfodiad*; dyfodiad Crist. Gelwir y pedair wythnos o flaen y Nadolig wrth yr enw hwn; a'r pedwar Sul a berthynant iddynt a elwir "*Suliau yr Adfent*." Mae son am yr *Adfent* yn lled foreu yn hanesion Eglwys Crist. Haera ysgrifenwyr Rhufeinig iddo gael ei sefydlu gan yr apostol Pedr, yr hwn a blannodd Eglwys Rufain. Ond gan hwy bynag y sefydlwyd ef, mae yn hysbys ei fod yn un o osodiadau Eglwys Crist cyn y flwyddyn 450, am i awdwr ag oedd yn byw y pryd hyny ysgrifenu traethawd ar yr *Adfent*. Yn y dyddiau gynt byddid yn arferol o ymgynnull i'r Eglwys bob dydd Mercher a Gwener trwy yr *Adfent*, fel y mae etto yn arferol yn y Grawys. Ac yn y Prif Eglwysydd byddid yn *pregethu* ar y dyddiau hyny.

Diben neillduo y tymmor hwn oedd galw ar Gristionogion i ymbarotoi tu ag at iawn goffâu ymddangosiad Crist yn y cnawd ar Ddydd Nadolig, yn niwedd y tymmor, yr un modd ag y trefnwyd y Grawys i ymbarotoi i gadw dyledus goffadwriaeth o'i angeu a'i adgyfodiad ar y Pasg. Pan y mae 'r diben mor dda ac mor dduwiol, gellid meddwl na ddiystyrid y gosodiad gan neb a eilw ei hun yn Gristion.

Y mae yn deilwng o sylw mai yr *Adfent* yw *dechreu y flwyddyn* yn nghyfrif yr Eglwys; a'r achos o hyn yw, nad yw Eglwys Crist yn rhanu tymhorau y flwyddyn, nac yn rhifo ei dyddiau, yn ol symudiadau yr haul naturiol, ond yn ol ymddangosiad "Haul Cyfiawnder;" pelyderau yr hwn a welir megys yn treiddio i dywyllwch y nos i ragfynegi ei fod yn barod i ymddangos uwch y terfyngylch, yn ei holl wres a'i ddisgleirdeb, i fywhau y meirwon, ac i roddi goleuni cadwedigol i'r rhai a "eisteddent ym mro a chysgod angeu."

Ond nid ymddangosiad *cyntaf* Crist yw yr unig beth y'n gelwir i'w ystyried a'i gofio yn y tymmor hwn; arweinir ein meddyliau at ei *ail* ymddangosiad, "ar gymylau y nef, i farnu y byw a'r meirw," ac "i roddi dial ar y rhai nid ydynt yn ufuddhau i'w efengyl ef," ac "i roddi i bob un yn ol ei weithredoedd." Nid rhyfedd gosod tymmor pennodol o'r flwyddyn i ystyried amgylchiad mor bwysfawr a hwn, rhag i'r "Barnwr ddyfod a'n cael ni yn ammharod." Os oes un amgylchiad a erys ddyn yn debyg o lwyddo i ddeffroi y pechadur anystyriol, neu i annog y gwir Gristion i ddiwydrwydd yn ei alwedigaeth nefol, mae Dydd y Farn felly; yn yr hwn "y rhaid i ni oll ymddangos ger bron brawdle Crist."

Dysgwn barchu gosodiadau mor ddefnyddiol o ran diben—mor

dduwiol o ran tuedd—ac mor hen o ran hanfodiad, a'r rhai a berthynant i'n Heglwys. Ac oddiwrth yr hwn sydd yn awr dan ein sylw cymmerwn rybydd i fod yn "barod i gyfarfod â'n Duw."

J—s.

---

DYLEDSWYDD A BRAINT GWEDDI YN NGWYNEB YR AMSERAU.

Yr ydym yn byw mewn amserau anarferol. Os yw 'r Efengyl i fod yn gyffredinol ar y ddaear, fel y tybiwn yn ddiau ei bod, amlwg yw y rhaid i gyfnewidiadau mawrion gymmeryd lle yn y byd, cyn y dichon i hyny fod. Y mae amrywiol wledydd ym mha rai yr ymddengys cyflwr presennol pethau i lygad dynol yn rhwystrau anorchfygol er taeniad y grefydd Gristionogol yn ei phurdeb cyntefig. Yn awr, rhaid symud y rhwystrau hyn, o ba natur bynag y byddont, er mwyn parotôi ffordd yr Arglwydd. "Pob pant a gyfodir, a phob mynydd a bryn a ostyngir: y gŵyr a wneir yn uniawn, a'r anwastad yn wastadedd." Yn llywodraeth Duw amrywiol achosion ydynt yn gyffredin mewn gweithrediad araf a dirgel o flaen cyflawniad unrhyw ddamwain bwysig; yr achosion hyn yn amlhau ac yn cyduno, yn fynych o'r diwedd a ennillant effaith awdurdodol, ac mewn yspaid byr a barant gyfnewidiadau yn holl gyfansoddiad gwladol; pa rai, yn ol trefn gyffredinol pethau, y rhaid i oesoedd eu dwyn i ben. Er prawf o'r gwirionedd hwn, cawsom rai amlygiadau hynod yn ddiweddar. Y cyfnewidiadau a welsom ydynt yn ddiau o ganlyniad mawr, naill ai er da, neu er drwg, i lwyddiant eglwys Crist. Am y digwyddiadau hyn y mae gwahanol olygiadau gan ddynion; rhai a'u cyfarchant fel yn rhagflaenu dyddiau gwell i holl ddynolryw, tra y mae ereill yn llewygu gan ofn, ac yn disgwyl am y pethau sydd yn dyfod ar y ddaear: ond ym mha oleuni bynag y golygwn hwynt, y mae dyledswydd yn deilliaw oddi wrthynt, yr hon a deimlir ond ychydig, tebygol, hyd yn nôd gan Gristionogion, sef y ddyledswydd o weddi: eithr po mwyaf ydyw gobaith rhai, ac ofnau ereill, mwyaf mewn cydmariaeth i hyny ydyw y ddyledswydd rwymedig arnynt i ymroddi i weddi. Os disgwyliwn weled cyflawniad o'n gobaith, neu siomedigaeth ein hofnau, edrychwn nid ar ddyn, ond fel offeryn, ond ar Dduw. Rhy dueddol ydym yn wir i ddysgu Duw. Pan y digwyddo pethau yn groes i'n meddwl, llenwir ni âg ofnau ac anobaith. Anghofiwn pa mor annigonol ydym i lywodraethu 'r byd, neu i farnu y mesurau trwy ba rai y llywodraetha Duw ef. Nis medrwn amgyffred y moddion dirgelaidd a gymmer efe yn ei law, olwynion o fewn olwynion, perthynas pethau y naill â'r llall, megis achosion ac effeithiau; rhai o honynt yn dwyn ym mlaen, ereill yn gwrthwynebu amcan neillduol, etto pob un o honynt yn cyduno er cyflawni un diben mawr, sef sefydliad teyrnas Crist yn y byd. Y moddion a ddefnyddir gan Dduw ydynt gan mwyaf yn wahanol i'r cyfryw a drefna dyn. Mewn dim ni lychwina efe falchder doethineb dynol yn fwy nag yn y moddion a ddefnyddir ganddo er cyflawniad ei arfaethau ei hun. Gweithreda yn fynych trwy bethau croesion, gan ddwyn goleuni allan o dywyllwch, trefn allan o annhrefn, a daioni allan o ddrygioni. Etto ni wel angel ddim i alaru am dano yn llywodraeth Duw; dyn anwybodus, ynfyd, dyn gwan, yn unig a edrych ar waith Duw gyda galar ac anobaith. Eithr dyn wedi myned i'r nefoedd, ni theimla mwyach fel y bu yn teimlo. Gwel yno nad oes dim o'i le yn llywodraeth Duw, ac ymddirieda yn ddiysgog yn y

doethineb a'r gallu trwy ba rai y llywodraethir ac y darostyngir holl bethau y bywyd hwn. Nis medrwn gyfodi i gyflwr mor uchel a sanctaidd, oblegid gwendid ein marwol anian. Cawn achos yn fynych, ie, y mae yn ddyledswydd arnom, i farnu a galaru o herwydd ymddygiadau dynion; etto, pan ystyriom fod holl weithredoedd y creaduriaid, ac yn wir holl bethau amser, dan lywodraeth Bôd o anfeidrol ddoethineb, anwrthwynebol allu, ac anolrheinadwy ddaioni; a phan y gorchymynodd efe i ni eu gosod hwynt yn ei law ef mewn gweddi, fel moddion, nid yn unig er esmwythâu ein hunain o'r baich yr hwn nis medrwn ei ddwyn, ond hefyd er dwyn i ben ei arfaethau grasol ei hun, yn rheoli, darostwng, a goruwchlywodraethu pob peth er ei ogoniant ei hun, a lles dynolryw, gobeithiwn y bydd i Gristionogion gyduno o un galon, ac o un enaid, mewn gweddi, yn enwedig ar amser mor bwysig ag ydyw hwn, fel y byddo i'r ysgydwad presennol o'r Cenhedloedd ddiweddu yn nyfodiad yr un Mawr, yr hwn a elwir yn bennodol, "Dymuniant yr holl Genhedloedd." Dattoder cadwynau coel-grefydd Pabaidd, â pha rai y rhwymwyd cynnifer o wledydd dros oesoedd; symuder y rhwystrau, y rhai sydd yn awr yn attal neu yn lluddias pregethiad dilwgr o Efengyl Crist; cyfoded llu o weinidogion doniol, ffyddlon, efengylaidd, a defnyddiol y Testament Newydd, ac yna cawn weled yn ebrwydd ffrwyth bendithfawr y llafur, nid yn unig yn ein gwlad ein hunain, ond hefyd ym mhob cwr o'r greadigaeth fawr. "Deffro, deffro, gwisg dy nerth, Sïon; gwisg wisgoedd dy ogoniant, sanctaidd ddinas Jerusalem. Gosodais wylwyr ar dy furiau, O Jerusalem! y rhai ni thawant na dydd na nos. Y rhai a draethwch am yr Arglwydd, na thewch, ac na adewch ddistawrwydd iddo; hyd oni osodo, ac hyd oni wnelo Jerusalem yn foliant ar y ddaear."

*Cyf.* M. R. Ll.

---

## HYNAFIAETH EGLWYSIG.

### Y FODRWY BRIODAS.

Heblaw fod y gwr yn hysbysu yn gyhoedd wrth briodi ei fod yn rhoddi ei gred i'r wraig, mae yn ofynol iddo roddi gwystl gweledig hefyd, sef modrwy, yr hon yn y dechreuad oedd *sêl*, â pha un y selid pob gorchymyn, ac y diogelid pob peth dymunol. *Gen.* 38. 18. *Esther* 3. 10, 12. Y rhoddiad o honi oedd yn arwydd fod y sawl a'i derbyniai yn cael eu cymmeryd i'r gyfeillach agosaf, ac i gred ac ymddiried. *Gen.* 41. 42. Oddiwrth hyn daeth yn arwydd ac yn wystl o *gariad*. *Luc* 15. 22. Ac arferwyd hi mewn priodas, nid yn unig gan yr Iuddewon a'r Cenhedloedd, ond gan y Cristionogion hefyd yn yr oesoedd boreuaf a phuraf; y rhai a roddent fodrwy i'w dyweddïau wrth eu cymmeryd mewn priodas, i hysbysu eu bod yn addas i lywodraethu y teulu. Ac yn yr ystyr yma yr arferid modrwyau hyd heddyw.

Gellid ystyried arwyddocâd y fodrwy mewn dwy ffordd; 1. Mewn ffordd o *gyfeiriad*. 2. Mewn ffordd o *osodiad*. Mewn ffordd o gyfeiriad, sylwer yn 1. ar ei *defnydd*, yr hyn yw *aur*, y puraf a'r gwerthfawrocaf o bob meteloedd, ac un sydd yn parhâu hwyaf yn ddilwgr, i arwyddo y cariad pur a pharhaus a ddylai fod rhwng y rhai a briodir. 2. Ar ei *dull*, sef *cron*, y perffeithiaf o bob lluniau, a'r mwyaf addas i uno pethau oeddynt o'r blaen yn wahanedig, ac i ddangos na ddylai fod byth ddiwedd ar gariad priodasol. 3. Ar y fan y dodid hi arno, sef *y pedwerydd bys o'r llaw aswy*, yr hwn a alwai yr hen Rufeiniaid

yn gyffredin yn *fys modrwy;* ac haerent fod gwythen fwy yn dyfod o'r galon i'r bys hwn nac i'r un o'r lleill, yr hwn, am yr achos hyny, a farnent yn fwyaf addas i ddwyn y cyfryw wystl o gariad, fel y dyger ef oddi yno i'r galon: ac er fod rhai ysgrifenwyr diweddar, y Dr. Brown ac eraill, yn gwadu hyn, etto y mae amryw awduron enwog, hen a diweddar, wedi ei gadarnhâu, yn gystal Cenhedloedd a Christionogion, yn gystal meddygon a difinyddion. (Gwel *Aul. Gel. Noct. Att.* Ll. 10. p. 10. *Isodorus Hispal. Etymol.* Ll. 19. p. 32.) Pa fodd bynag, dylid casglu yr addysg, sef, fod y gwr trwy hyny yn dangos y cariad anwylaf at ei briod, yr hwn a ddylai gyrhaeddyd ei chalon, ac ennill ei serch hithau ato ef. Achos arall am roddi y fodrwy ar y bys hwn yw, oblegid mai arno ef y mae lleiaf o draul, fel y gall y fodrwy fod yn wastad mewn golwg, ac heb fod mor ddarostyngedig i gael ei gwisgo allan, i'n dysgu y dylai y gwr a'r wraig feithrin a charu eu gilydd yn wastad hyd ddiwedd eu heinioes.

Eithr gan nad yw yr arwyddiadau blaenorol ond dammegol, deuwn yn

2. I ystyried yr hyn a amcanwyd trwy *osodiad* yr Eglwys, sef, *i fod yn arwydd ac yn wystl o'r ammod a wnaed rhyngddynt,* fel y mae yn eglur oddiwrth y geiriau a lefarir wrth ei rhoddi, ac oddiwrth y weddi ganlynol. Canys yr oedd yn arfer gynt, mewn pob ammod, i osod rhyw beth parhâus i gadw coffadwriaeth am dani; megys y *bwa; Gen.* 9. 13. *carnedd Laban; Gen.* 31. 52. *allor y ddau lwyth a hanner; Jos.* 22. 27. *maen Josua; Pen.* 24. 26, 27, a'r arian a roddir yn ernes neu wystl mewn ammodau; ac i'r un diben y mae y *fodrwy mewn priodas;* sef, i fod yn arwydd gweledig a pharhâus o gyfammod difrifol: yr hon, pa bryd bynag yr edrychont arni, a ddylai ddwyn ar gôf iddynt yr addewidion a'r addunedau a wnaethant i'w gilydd, a'u hannog i ofalu am gyflawni yr unrhyw.

Sylwer yma, fod yn gofyn *gosod y fodrwy yn gyntaf ar y llyfr,* ac yna fod y gweinidog i'w rhoddi yn ol i'r gwr, ac yntau i'w rhoddi i'r wraig; i'n dysgu mai ein dyledswydd ni yw offrymu yr hyn oll a feddom i Dduw, fel y gwir feddiannydd o honynt, cyn eu defnyddio ein hunain, ac i'w derbyn megys oddiar ei law ef i'w defnyddio er ei ogoniant.

C. T.

---

## CYFLAWNIAD Y PROPHWYDOLIAETHAU.

### *AM NINIFEH.*

At hanes byr am y greadigaeth, am y byd cyn y diluw, ac am wasgariad a gwahanol sefydliadau dynolryw ar ol y diluw, y mae Ysgrythyrau yr Hen Destament yn chwanegu hanes am yr Hebreaid am yspaid pymtheg cant o flynyddoedd, o ddyddiau Abraham hyd amser y diweddaf o'r prophwydi. Tra y mae y rhan hanesiol o'r Ysgrythyr yn olrhain hanes y byd o'r dechreuad, y prophwydoliaethau a roddant i ni ragolwg o hono hyd ei ddiwedd. Ac y mae yn beth hynod fod haneswyr cyffredin yn rhoddi heibio chwedlau ffugiol, ac yn ysgrifenu yn eglur a chredadwy oddeutu yr un amser ag y mae yr hanesiaeth sanctaidd yn diweddu, a phan y dechreua cyflawniad y prophwydoliaethau hyny, y rhai a berthynant i genhedloedd ereill heblaw yr Iuddewon.

Ninifeh, prif ddinas ymerodraeth Assyria, oedd, am lawer o oesoedd, yn ddinas fawr a phoblog iawn. Yn ol y desgrifiad a rydd ysgrifenyddion cenhedlig o honi, yr oedd ei chylchedd yn driugain milltir, ei muriau yn gan troedfedd o uchder, ac arnynt bymtheg cant o dyrau, pob un o honynt yn ddau can troedfedd o uchder. Oblegid i'r ddinas dramawr hon edifarhau wrth bregeth Jonah, arbedwyd hi dros amser rhag ei dinystrio: ond cyn pen hir hi a ddychwelodd drachefn at ei hanwir-

edd, ac fe'i hysgybwyd hi ymaith, fel mai prin y mae ei hol yn awr i'w ganfod. Yr Assyriaid a orthrymasant yr Israeliaid yn galed, ac a gymmerasant Samaria, ac a ddygasant y deg llwyth i gaethiwed. (2 Bren. 17. 5, 6. a 18. 10—13, 34. Ezra 4. 2.) Cymmerasant hefyd holl ddinasoedd caerog Judah, a gofynasant deyrnged drom gan yr Iuddewon. Ond y mae gogoniant a nerth Assyria a'i phrif ddinas yn awr wedi ymadael oddi wrthynt, fel oddiwrth gadarn lu Senacherib, ei brenin, pan darawyd hwynt yn y nos gan angel yr Arglwydd.

Hanesydd Groeg, yr hwn, wrth ddesgrifio ei dinystr, sydd yn cyfeirio yn fynych at hen brophwydoliaeth megys yn adnabyddus i wyr Ninifeh, a ddywed i'r Mediaid ymosod yn ddisymmwth ar yr Assyriaid mewn amser o lawenydd, pan oeddynt yn llawen, ac yn llawn o win melys; ac oblegid eu bod trwy hyny yn analluog i wrthsefyll y gelyn, i nifer mawr o honynt gael eu dinystrio; i'r afon, wedi ei chodi i uchder anarferol gan wlawogydd trymion a pharhaus, dori rhan fawr o'r muriau i lawr, agoryd ffordd i'r gelynion, a llifo dros y parth isaf o'r ddinas; i'r brenin, mewn anobaith, oblegid ei fod yn barnu fod y brophwydoliaeth ar gael ei chyflawni, bentyru coelcerth dirfawr, ac wedi rhoddi tân arno ef a'i balas, iddo daflu ei hun i'r coelcerth i'w losgi gyd â'i holl deulu a'i gyfoeth; ac yn ddiweddaf, i'r Mediaid, wedi cymmeryd y ddinas ar ol tair blynedd o warchae, gludo ymaith lawer o dalentau o aur ac arian i Ecbatana. "Tra y meddwont fel meddwon, ysir hwynt fel sofl wedi llawn-wywo. A llifeiriant yn myned trosodd y gwna efe drangc ar ei lle hi. Pyrth y dwfr a agorir. Ninifeh sydd er ys dyddiau fel llyn o ddwfr. Pyrth dy dir a agorir i'th elynion; tân a ysodd dy farau. Cadarnhâ dy ymddiffynfeydd. Yno y tân a'th ddifa. Ysglyfaethwch arian, ysglyfaethwch aur: canys nid oes diben ar yr ystôr, a'r gogoniant o bob dodrefn dymunol." Nahum 1. 8, 10. a 2. 6, 8, 9. a 3. 13—15.

Rhagddywedasid dinystr a pharhaus anghyfannedd-dra Ninifeh. "Yr Arglwydd a wna Ninifeh yn anghyfannedd, ac yn sych fel diffaethwch," &c. Seph. 2. 13, 14, 15. Buwyd yn hir heb wybod y'mha le y safasai hi; eithr cafwyd ef allan yn ddiweddar, ac y mae amryw o ymdeithwyr wedi bod yn ei edrych. Diffeithle eang yw yn awr, a rhai pentyrau o adfeilion yr hen adail yma ac acw arno. Y prif bentyrau, y rhai nid ydynt ond ychydig mewn nifer, ydynt mewn amryw fanau wedi eu gorchuddio â glaswellt, ac yn ymddangos yn debyg i gloddiau, ac amddiffynfeydd hen wersylloedd y Rhufeiniaid: ond y mae pentyrau ereill llai, ac nid mor amlwg a'r rhai uchod, yn ymddangos dros ddeng milltir o dir. Nid oes yno un coffadwriaeth o orwychder, nac un arddangosiad o fawredigrwydd i'w ganfod: nis gwyddys y'mha le yr oeddynt yn sefyll; y mae hyd yn nod y murddynod wedi darfod: ond y mae y diffyg o honynt yn profi gwirionedd gair Duw.

C. Ll.

---

## Y BARADWYS DDAEAROL.

### (*CHWEDL ARABAIDD.*)

Talm o amser cyn i Brophwyd y gwir gredinwyr oleuo y byd, a chyn i'r Coran cyssegredig ddisgyn o'r seithfed nef, yr oedd y brenin Sechdad yn teyrnasu yn Umenia yn agos i'r Mor Coch. A Sechdad oedd ddyn trachwantus gorthrymus, a gwaedlyd, a chwedi dwyn yr holl allu i'w law ei hun.

Cymmaint oedd ei rwysg a'i ryfyg, fel y meddyliodd ei hun yn rhyw greadur mwy na dynol, ac archodd ar ei ddeiliaid am ei addoli ef megys Duw. A hyn oedd gwyr y llys yn bur barod i wneud, er mwyn cael cadw eu lleoedd i fyw mewn glythineb ar yspail y wlad; ond nid oedd ond ychydig o'r bobl yn gyffredin yn foddlon i addef duwdod Sechdad; a hyny a barodd iddo wneud cyfraith, y'mha un y gosododd ei dduwdod ei hun i fod yn erthygl annadleuol yn nghrefydd ei deyrnas.

Er mwyn cadarnhau ei allu a'i rwysg, meddyliodd mai cymmwys ac angenrheidiol, oedd iddo addaw rhyw ddedwyddwch mawr i'r rhai a'i haddolent ef; felly efe a archodd adeiladu mur uchel oddi amgylch

un o'r gerddi gwychaf a helaethaf oedd yn ei holl deyrnas, a thu fewn i'r mur yr oedd rhesi o balmwydd hirion, brigau pa rai oedd megis yn do ar ben y mur, ac hefyd yn coroni yr ardd hyfrydaf a ddichon i ddyfais dyn feddwl am dani.

Mewn un rhan i'r ardd yr oedd blodau o bob math o liwiau; mewn rhan arall pob llysiau peraroglaidd; o'r neilltu yr oedd coed yn plygu tan bwysau pob aderyn hardd pereiddlais yn pyncio; a thrwy y goedwig yr oedd afon o ddwfr gloywlas, araf, yn rhedeg ar raian o aur ac arian cymmysgedig; ac yn yr afon yr oedd pysgod o bob lliw yn ymlawenhau yn eu helfen eu hunain; ar lan yr afon yr oedd cadeiriau o goed Libanus, gwedi eu haddurno gyda changhenau o rawn camphir, rhôs, a lili; yn y cadeiriau hyn yr eisteddai morwynion ieuaingc wedi eu coroni â pherlau i chwareu telynau aur, a phob rhyw offeryn cerdd a wnai gydsain gyda llais yr adar. Ar ben bryn glasdeg yn nghanol yr ardd hudol hon, yr oedd castell tra uchel a hardd, lle yr oedd pob hwylusdra i foddio chwantau y galon i'r eithaf. Dyma lle yr oedd cerddorion, dawnswyr, a chwareuwyr, a phob digrifwch, ac hefyd haid o enethod ieuangc, pa rai a oedd yn debycach i dduwiesau nefol, nag i ferched daearol; ond os rhaid cyfaddef y gwir, yr oedd eu gwynebau a'u gwisgiadau yn harddach na'u gweithredoedd. Ar air, yr oedd yn y castell fwy o hyfrydwch daiarol, nag a ddichon i ddyn feddwl am dano heb weled y lle, ac nid oedd trysordy tywysoges y mwynder, yr hwn y mae *Elis Wyn*, yn sôn am dano, ond rhyw fwth anhwylus i ddilyn chwantau y cnawd, rhagor y castell uchod.

Pan oedd pob peth yn barod, cyhoeddodd Sechdad y cyhoeddiad canlynol, yr hwn a osodwyd ar byrth y temlau, ac ym mhob lle amlwg trwy y deyrnas:

"Sechdad Duw Umenia yn danfon hyfrydol wahoddiad i'w wir addolwyr. Fel yr ydym yn amcanu dangos mwy o garedigrwydd i'r rhai a wir gredo ynom, nac un o'r duwiau ereill, pa rai nad ydynt ddim yn *addaw* hyfrydwch i'w haddolwyr tan ar ol marwolaeth, ac nid dieurwydd o hono yr amser hyny; bydded hyspys i ein gwir addolwyr ein bod yn ein doethineb a'n hanfarwol dduwiol fawrhydi, wedi parotoi paradwys yn ngerddi *Iram*, lle y caiff ein seintiau fwynhau holl ddymuniadau y galon yn y bywyd hwn. Ac yr ydym yn barod ar amser pennodol i dderbyn y cyfryw o honoch ag y sydd yn chwennych myned i fewn i ein diderfynol lawenydd, lle cewch eich coroni â choron ein gogoniant cystal a'n seintiau sydd yno eisoes; enwau pa rai a welwch y'ngwaelod y cyhoeddiad hwn."

Y rhai cyntaf a oedd wedi eu coroni yn y baradwys hon, oedd gwenieithwyr y llys a'u gordderch-wragedd, a genethod hefyd a oedd ar bob amser yn barod i ymostwng i'r duw Sechdad. Pan ymddangosodd y cyhoeddiad aeth amryw ereill i fewn, a Sechdad ei hun hefyd a ddisgleiriodd ei baradwys gyda ei bresennoldeb, er mwyn dangos i'r seintiau y dedwyddwch a barotoisai iddynt; ac wedi dangos iddynt hyfrydwch y lle, aeth ymaith i'w gartref ei hun, a gorchymynodd i'r milwyr, ag oedd yn cadw drws yr ardd, ladd pob un a geisiai fyned i mewn heb hollol ffydd yn ei dduwdod ef.

Yn y cyfamser dechreuodd ei seintiau fwynhau y mwynderau a osodwyd o'u blaenau i'r eithaf; ac yr oeddynt yn credu yn y dechreu nad allai awdwr cymmaint o hyfrydwch fod ddim llai na rhyw dduw galluog; ond ni pharhaes eu crediniaeth ddim hŵy na'u dedwyddwch; nac un o'r ddau ond ychydig ddyddiau. Mae pob difyrwch hawdd ei gael yn troi yn fuan yn ynfyd ac yn ddiflas, a mwynderau wrth eu mwynhau yn diflanu fel cysgodion; felly ni bu hir cyn i wyr ereill ymddangos yn eu plith, y rhai a ddaethant i mewn heb genad Sechdad, ac heb wybod i'r milwyr; a'r rhai hyny oedd y pendefigion hyn, sef *Gofid*, a *Chlefyd*, a *Blinder*, a'u cyfeillion. Mae yn hysbys i'r darllenydd mai gwyr hyfion ydyw y rhai hyn; byddant yn mynu myned i ystafelloedd breninoedd ac arglwyddi pan welont yn dda eu hunain, a hyny bob amser heb eu gwahodd. Pan ddarfu iddynt daro pob difyrwch yn ei ben, dechreuodd y trigolion bendigedig edrych ar eu cyflwr, ac edifarhau am fod mor ynfyd ag ymddiried mewn dyn;

gwyddent hefyd mai pobl segur, hawdd ei hebgor, oeddynt ym mhlith eu cymmydogion; a bod yn gas gan bob dyn synwyrol feddwl am Sechdad, a'i baradwys, a hwythau. Yr ystyriaeth hon a wnaeth iddynt edrych ar eu lle megys carchar annifyr; a dechreuasant wylo am na buasent yn byw mewn diniweidrwydd a pharch ym mysg eu cyfeillion.

Yn y cyfiwr uchod yr oedd seintiau Sechdad pan ddaeth ef i ymweled â hwy yr ail waith; ac yn lle eu cael, fel yr oedd ef yn disgwyl, yn nofio ar fôr o ddifyrwch, ac yn canu hymnau o foliant iddo, nid oedd ond tristwch ac anfoddlondeb yn ymddangos ym mhob gwyneb. Hyn a barodd iddo flinder a syndod mawr; o herwydd ei fod yn ofni, os darfyddai am lawenydd ei baradwys, y byddai ei dduwdod yn debyg o ddisgyn i'r dim. Rhag ofn i'r fath anffawd a hyny ddigwydd, efe a geisiodd ddyhuddo ei seintiau trwy weniaith ac addewidion teg, gan ddywedyd y byddai amryw ereill yn dyfod atynt yn fuan, ac y gwnai ef eu llawenydd a'u dedwyddwch yn berffaith gwbl; a hyny er gwaethaf pob clwyf a dolur, pa rai y mae dyn yn y cnawd yn etifedd iddynt.

Pan aeth Sechdad adref, nid bychan oedd ei anesmwythder. Gwyddai yn dda ddigon nad oedd yn ei allu ef wneuthur llawenydd ei baradwys yn llawenydd parhaol, a bod ei ddeiliaid yn gyffredin yn ffieiddio ei dduwdod ef cystal a'i baradwys. Yn y cyfyngder hyn meddyliodd am yr unig fodd yn ei olwg ei hun i gadw ei ryfygus awdurdod mewn parch.

Rhoes allan gyhoeddiad arall, y'mha un yr oedd ef yn dwyn ar ddeall i'w ddeiliaid ei fod ef yn myned i wneuthur uffern, lle y caffai y rhai gwrthnysig, anghredadwy, ddioddef poenau hyd at lewyg angeu. Gan fod yn llawer haws gwneuthur pob dyn yn ofidus a blinderus, nag yn llawen a dedwydd, mae yn debygol y buasai Sechdad yn cywiro ei addewid yn y cyhoeddiad a sonir uchod, pe cawsai amser i hyny; ond cyn iddo wneuthur ei uffern yn barod, cododd ei ddeiliaid wrthryfel yn ei erbyn, a darfu iddynt ei ddiswyddo, a chynnal barn arno am ei orthrymder a'i ryfyg. Buont yn hir yn myfyrio pa gosp oedd y fath fwystfil yn haeddiannol o honi. Penderfynwyd yn y diwedd, mai ei gau ef efo ei seintiau yn ei baradwys ei hun oedd y modd goreu i gael ymadael âg ef; ac felly y gwnaed.

Yno dioddefodd fwy o flinder yspryd, ac o gnofa cydwybod, nag a fuasai ddichon iddo ddioddef tan un gosp gorphorol. Ei seintiau hefyd oedd yn edliw iddo ei ryfyg yn addaw iddynt hwy lawenydd parhaol, ac yntau ei hun yn un o'r creaduriaid mwyaf annedwydd ac anghysurus ar wyneb y ddaear. Rhwng grwgnachrwydd ei seintiau, a'i flinder ei hun, ni bu Sechdad ond ychydig ddyddiau yn ei baradwys cyn disgyn ar wely angeu. Yno galwodd ar ei addolwyr gynt ger ei fron, a dywedodd wrthynt, ei fod ef yn llwyr edifeiriol am ei ryfyg a'i gabledd; a'i fod yn hollol gredu fod rhyw Dduw galluog, yr hwn sydd yn rheoli y ffurfafen, yn deilwng o addoliad; a bod y'ngallu y Duw hwnw roddi dedwyddwch parhaol i'w wir addolwyr; ond nid tra byddent yn y cnawd, nac wrth ddilyn chwantau y cnawd, fel y gwnaethai ef a'i ganlynwyr, yr oedd dedwyddwch i'w ddisgwyl; ond i'r rhai ag oedd yn rhodio mewn diweirdeb, sancteiddrwydd, ac uniondeb, ger bron eu Creawdwr. Yna Sechdad a ocheneidiodd yn riddfanus, ac a roes i fynu yr yspryd.

*Allan o'r* GREAL.

---

## Y DDERWEN.

(Parhad o du dalen 311.)

DICHON fod amryw o ddarllenwyr y Gwyliedydd yn meddwl i mi anghofio gwlad anwyl fy ngenedigaeth, pan yn darlunio y Dderwen. Ond gwybydded y cyfryw fy mod wedi cofio am *Frenin-bren y Ganllwyd*, a'r eiddo'r *Faenol*, ar fy llwybr i'r gwledydd tramor, y rhai a fuant yn addurniant i'n gwlad, ac yn wrthddrych sylw naturiaethwyr a masnachwyr coedydd yn gyffredin.

Derwen y *Ganllwyd* a fu yn wrthddrych myfyrdodau amryw o Feirdd hybarch Gwalia. Safodd am gannoedd o flynyddoedd yn ddigon digyffro, megys castell cadarn, yn wyneb holl ruthriadau ystormydd, tymhestloedd, gwynt, a mellt buan-

wyllt, ar etifeddiaeth Mr. Oakeley, Tan y Bwlch, y'Mhlwyf Llanddwywe, Meirion.

Bonyn y Dderwen ryfedd hon, 15 troedfedd oddiwrth y gwreiddyn, a fesurai 25½ troedfedd o amgylchiad, a 609 troedfedd pedwar-ochrog. Yn ei fforch hi a ymranai i amryw geingciau anferth: tair o honynt a fesurai 45 troedfedd o hŷd; ac yr oeddynt yn ddigon cryfion i wneuthur echelau olwynion melinau.

Danfonwyd llawer o'i mês, ac fe'u planwyd yma a thraw trwy 'r wlad; a chymmaint o'i hepil ag sydd yn awr mewn bod, a wiria y ddihareb, "Pob rhyw a genhedla ei ryw," cystal ym mhlith yr amryw lysiau a'r byd anifeilaidd.

Y mae chwech o'r rhyw yn awr ar etifeddiaeth Tan y Bwlch. Un o honynt a fesur 9½ troedfedd o amgylchiad, o fewn 5 troedfedd i'w gwreiddyn. Y maent oll o'r un ffurf a delw a'i ddiweddar fawrhydi, ond nid o'r un maintiolaeth: eu bonau sydd fyrion, a'u brigau yn daenedig; ac y maent yn hynod o'r buddiol er noddi anifeiliaid y'nghanol gwres hâf.

Mae bonyn hen Dderwen hybarch arall yn aros mewn coedwigfa gerllaw y fan lle y tyfodd *Brenin bren y Ganllwyd*, yr hwn a fesura 23 troedfedd o amgylchiad. Haera rhai gwyr dysgedig, mai bonyn byr, a brigyn taenedig, i'w cymmeriad naturiol y Dderwen—ac mai 'r achos o'i hir dwf yw ei chaethiwed mewn coedwigoedd; ond naturiaethwyr a ddosbarthant y Dderwen i amryw rywiau, megys y crybwyllwyd yn y Rhifynau blaenorol.

Cwympwyd llawer o Dderw ardderchog yn nghoedwigfa'r Faenol, Trefaldwyn, yn y flwyddyn 1796, y rhai a ddefnyddiwyd i gorphori amryw longau rhyfel. Un o honynt a fesurodd 68 modfedd o amgylchiad, o fewn 73 troedfedd i'w gwreiddyn. Un arall a fesurodd 687 troedfedd pedwarochrog, ac a werthwyd am 2*s*. y droedfedd, wedi ei ddinoethi o'r rhisglyn. Y mae amryw Dderw yn yr un goedwigfa yn awr, y rhai a fesurant o 400 i 450 o droedfeddi yr un.

## Y DDERWEN GALL (*Gall Oak.*)

Y Dderwen hon sydd yn dwyn y gneuen a elwir *Nut Gall*, y rhai sydd yn rhan o fasnach Prydain, ac a ddarlunir yn fanwl gan M. Oliver yn ei deithiau.

Y rhyw yma sy dra chyffredin yn Asia Leiaf. Nid oedd gan yr Ewropiaid ond ychydig o gopinod o honynt, er eu bod yn rhan fawr o'u trefnidiaeth hyd amser y Teithiwr uchod. Nid yw ond prysgoed, ac anfynych y cyrhaeddant dros 6 troedfedd o hŷd. Ni wnaeth M. Oliver y sylwadau manwl uchod arni yn unig, ond efe hefyd a'i dygodd i Ffrainc, y lle y meithrinir megys prysgwydd gerddi, ac a dyf yn yr awyr agored.

Y mae 'r *Gall* â'i thwf yn glwyfus, o herwydd y brathiad a dderbyn gan fath o drychfil hedegog, yr hwn a gyfenwa M. Oliver, *Diplolepis Galia Tinctoria*. Y gneuen sydd yn tyfu yn gron, ei harwyneb sydd arw ac anwastad. Gwnant eu hymddangosiad ar y twf blwydd o'r pren, ym mha rai y bydd yr wyau a ddodwywyd gan y trychfil. Y *Galls* goreu a gesglir cyn i'r trychfil gyfnewid ei ddull; canys y pryd hyny, hwy a fyddant yn drymach, a llawnach o gyffaith, &c. a phan eu gadewir gan y trychfilod, hwy a syrthiant i'r ddaear. Y *Galls* rhagoraf a ddygir o Aleppo. Trosglwyddwyd 174 tunell o *Galls* i Brydain yn y flwyddyn 1827.

## Y PREN TEAK.

Nid yw y pren hwn yn dwyn y berthynas leiaf â'r Dderwen: efe sydd frodor o'r India Ddwyreiniol. Defnyddir ef gan y brodorion i adeiladu eu llongau, megys y Dderwen; ac y mae rhyw debygolrwydd yn ei goed iddi. Y pren hwn sydd dra hynod o herwydd ei faintiolaeth: ei ddail sydd yn 20 modfedd o hŷd, ac yn 16 o led; ac efe a ddwg fath o gneuen galed. Yr Indiaid a adeiladant eu llongau cartrefol, yr un modd y rhai sydd ganddynt yn trefnidio â'r teyrnasoedd Ewropaidd, â'r pren hwn. Dygwyd un o honynt, o gylch 60 mlynedd yn ol, i'r ardd freiniol yn *Kew*, er prawf; ond o herwydd ei fod yn un o frodorion y pegynau poethion, methwyd a'i chwanegu er addurno y coedwigoedd Brytanaidd. Heblaw fod y *Teak* yn werthfawr, y mae efe hefyd yn bren hardd ragorol. Cafwyd ei fod yn gyffredin dros 200 troedfedd o hŷd. Ei gorph, ei ddail,

a'i ganghenau, ydynt oll yn hynod o'r ardderchog eu gosodiad. Ar lanau yr afon *Irrawuddy*, yn ymerodraeth *Burman*, y mae 'r *Teak* yn goedwigoedd digyffelyb; a dyrchafant eu penau gyd â'r fath orwychder uwchlaw y prysglwyni, y rhai, yn gyffredin, sydd yn gwneuthur coedwigoedd y parthau hyny yn anhygyrch, fel yr ymddangosant megys pe dyrchafasid un goedwigfa ar drostanau cawraidd, y naill goruwch y llall. Nid yw y *Teak* yn meddu ar gryfdwr y dderwen, y gedrwydden, &c. ond y mae rhyw ardderchawgrwydd yn ei ffurf nad ydynt hwy yn feddiannol arno.

I. M.

---

## AT Y GWYLIEDYDD.

SYR—Er mor dywyll a chaddugawl yw yn awr, etto gwych genyf eich gweled, wrth oleu eich llusern ddisgleiriawl, yn parhau yn ffyddlawn ar eich gwylfa. Dilys genyf fod i chwi elynion creulawn ofnadwy; ond gwelaf eich gwaywffon yn eich deheulaw, a'ch cleddyf yn eich aswy, heb gymmaint a cholli eich arfau yn y frwydr, na goblygu eich pen i ddirmyg ac enllib eich gwrthwynebwyr. Hir oes i chwi, angwaneger eich zel a'ch brwdfrydedd dros "dŷ Israel," i ba un y'ch "rhoddwyd yn Wyliedydd;" a bydded i'ch dewrder yru byddinoedd yr estroniaid i gilio; a chaffed eich gwroldeb ei goroni â goruchafiaeth trwyadl. Ni ryfygaf ormesu ar eich amser, trwy eich attal ar gwyliaeth; etto, caniatewch i mi osod ger eich bron holiad ac ymofyniad pob dyn gwir ystyriol a theimladol, "Y Gwyliedydd beth am y nos? y Gwyliedydd beth am y nos?"

Er craffu a allwyf yn nghanol nos dywell fel hon, a throi ar dde ac ar aswy, yn ol ac ym mlaen, nid wyf yn canfod dim ond cipolwg weithiau ar Seren fechan rhwng cymylau duon yn eu chwyrn fynediad ar esgyll y gwynt ystormus sydd yn chwythu. A phrin y ceir golwg arni na y rhyfyga rhyw *Angkristionogwr* ymuniawni ar bentwr o'i hunan glod, a llefain yn hyf bethau cableddus i'ch erbyn chwi a'ch gosodwyr, fel ffrwyth ei ddeall sywedyddawl, i glywedigaeth minteioedd y Cadfridawg Ehud, ag sydd ym mhob oes yn arwain ei luoedd i wlad golledigaeth. Yn y cynnulleidfaoedd hyn y sethrir y rheol euraidd hono, "Perchwch bawb; cerwch y brawdoliaeth; ofnwch Dduw; anrhydeddwch y Brenin." Yn eu plith hwy y ceir y rhai hyny a ryfygant "gablu urddas." Ië, yn eu mysg hwy y ceir lluoedd "amseroedd enbyd y dyddiau diweddaf." 2 *Tim.* 3. Yn nghanol y dyryswch a'r tywyllwch hwn, "Y Gwyliedydd beth am y nos? y Gwyliedydd beth am y nos?"

Disgwyliais, yn hir cyn hyn, ddyfod i blith rhai a "ddygent fawr zel dros Arglwydd Dduw Israel, ond er fy ngalar fe'm siomwyd yn ddirfawr; canys wedi fy nghyfarwyddo hyd at y rhai a "gyfenwant eu hunain ar enw Duw Jacob," clywwn yn eu mysg heresïau, ymddadleu, croesineb, a checraeth, yn terfynu mewn ymraniadau a rhwygiadau ofnadwy a dychrynllyd. Yma y safai rhyw areithiwr i grochlefain, hyd yn nghlyw ei bleidiau gwrthwynebol, "Deuwch allan o'u canol hwynt, ac ymddidolwch," heb ddim ond cynfigen a rhagfarn yn llywodraethu ei yspryd. Dyma fel ag y gosodir gwir grefydd yn ffiaidd gan annuwiolion, yn watworgerdd gan y byd, ac a bar grechwen ofnadwy yn nghyngreirwyr pyrth uffern. Ië, fel hyn y methrir gorchymynion y Pen mawr, yr hwn a ddywedodd "Dilynwch heddwch â phawb;" y dirmygir Ef fel esiampl; ac y gosodir ei enw yn wawd gan erlidwyr ei groes. Yn nghanol yr annhrefn, "Y Gwyliedydd beth am y nos? y Gwyliedydd beth am y nos?"

Wrth adael y rhai hyn hyd oni "chyneuo Duw ei dân yn Sïon, a gosod ei ffwrn yn Jerusalem," fel ag y purir ei eglwys oddiwrth y fath sothach; a rhoddi o hono ef dragywyddol ddistawrwydd ar "blantos bwhwmanllyd a gylch-arweinir â phob awel ddysgeidiaeth;" a myned i chwilio am "ystafell i lechu ynddi hyd onid êl y llid heibio," llenwir fy nghlustiau âg Och y clwyfedig ar faes y gwaed; â thor calonus ochenaid y dioddefydd dan arteithiau Clwy 'r Geri (*Cholera Morbus*); ac â bloedd alarus y weddw yn cryfhau dolef yr amddifaid a'i hamgylchant, ar fynediad

eu tad i fro a chysgod angau. Pan y clywyf gynnud y meusydd yn clecian yn y ffamau, a dynion â'u holl egni yn ceisio tori ffon ein bywyd—pan y gwelwyf anneddau boneddion parchus, a duwinwyr duwiol, yn fflamio yn ddychrynllyd hyd entrych awyr—pan y clywyf folltau cedyrn garcharau ein hynys yn cael eu gyru yn ol gan ddwylaw y rhai a sychedant am waed, ac a hoffant gelanedd; a lladron, yspeilwyr, a mwrddwyr, yn cael eu gosod mewn rhyddid o afael cosp cyfiawn gyfreithiau ein tir, gwaeddaf etto " Y Gwyliedydd beth am y nos? y Gwyliedydd beth am y nos?"

Yn eich cylchdro nesaf, disgwyliaf gael clywed eich sylwadau chwi, neu rai o'ch cydweinidogion parchus, ar y gofyniad difrifawl hwn, " Beth fydd yn canlyn y nos hirfaith hon?" A chyda chalon hiraethlon am eich dychweliad y terfyna eich ewyllysydd da,

CRYNEDIG AB OFNUS.

BRO Y DYMHESTL,
*Y Mis olaf o'r flwyddyn* 1831.

---

## Y DYN DEWR.

EFE a gymmer orchwyl mewn llaw heb fyrbwylldra, ac a'i cyflawna heb ofn; nid yw efe yn chwilio am beryglon, eithr pan gaffont hwy afael ynddo ef, efe a'u dwg gyda'r gwroldeb mwyaf, a chyda llwyddiant. Yn fynych efe a edrychodd ar angeu yn ei wyneb, ac a aeth heibio iddo dan wenu: a phan ddeallo fod yn rhaid iddo roddi i fynu iddo, efe a'i croesawa ac a'i diystyra. Y mae efe yn rhagddarbod y gwaethaf o bob digwyddiadau, ac a ymesyd arnynt cyn y delont, mewn brwydr ddirgel yn y meddwl; ac os bydd i ddisymmwythdra rhyw ddrwg annisgwyliadwy aflonyddu ei feddyliau, a throi ei wyneb yn welw-las, cyn gynted ag y byddo wedi ei faeddu yn ei fryd ei hun, efe a gasgl ei alluoedd ynghyd ac a orfoledda ar yr enbydrwydd. Y mae efe yn feistr arno ei hun, ac a ddarostwng ei anwydau i reswm; a thrwy y fuddugoliaeth dufewnol hon, a weithia heddwch iddo ei hun. Nid oes arno ofn dim ond anfoddlonrwydd y Goruchaf, ac ni ffy oddiwrth dim ond pechod. Nid yw efe yn edrych ar ei ddwylaw, ond ar ei achos, nid pa mor gadarn yw efe, ond pa mor ddiniweid; a phan mai daioni yw ei *warrant*, gellir ei fwrw i lawr, ond ni's gellir ei drechu.

Y cleddyf iddo ef yw 'r olaf o bob prawf, yr hwn a dyn o'r waun, etto fel amddiffynydd nid fel rhoddwr her, gyda math o ewyllysgarwch anewyllysgar, er na ddichon un dyn ei drafod yn well nag ef, gyda mwy o ddiogelwch, neu well *grân*. Gwell ganddo i'w waed gael ei weled na'i gefn, ac efe a ddiystyra fywyd oni chaiff ei gadw ar delerau anrhydeddus. Nid oes neb yn fwy tyner wrth elyn edifeiriol neu orchfygedig, neu yn casau yn fwy y gorchwyl o osod ei droed ar gelain; gwell ganddo fyddai mygu tramgwydd nag ymddial ar y dirym, ac nis gwn pa un a ffieiddir fwyaf ganddo ai annewredd neu greulondeb. Ychydig y mae efe yn siarad, ond y mae yn ymffrostio llai, gan garu iaith ddistaw'r dwylaw, i gael ei weled yn hytrach na'u glywed. Efe a orwedd bob amser yn agos oddi fewn iddo ei hun, wedi ei arfogi â llawn-fwriadau doethion, ac ni welir ef ond gan angeu neu gan berygl. Nid yw yn afradlon ar waed i'w gamdreulio yn ddiraid, nac yn gybyddlyd i rwgnach ei roddi pan fyddo Duw neu wlad yn galw amdano? ac nid yw efe fwy haelionus o'i fywyd ei hun nag o eiddo eraill. Terfynir ei allu gan ei ewyllys; ac y mae efe yn ei chyfrif y dial mwyaf i allu niweidio a pheidio ei wneud.

Efe a lywodraetha heb ormes, ac a ufuddhâ heb waseidd-dra, ac nid yw yn cyfnewid ei feddwl wrth gyfnewid ei sefyllfa. Uchder ei yspryd a edrych dros ben damweiniau, ac nid yw ei hyfdra yn ddyledus i anwybodaeth nac annheimladrwydd; ond yn gyntaf efe a brisia beryglon ac wedi hyny efe a'u dirmyga; y mae gwedi ei dafoli mor gywir gan ddoethineb fel y mae yn nofio yn ddiysgog y'nghanol pob tymhestl. Yn fyfyriol yn ei amcanion, yn ddiysgog yn ei lawn-fwriadau, yn hyf yn ei ymosodiadau, yn ddiflino wrth ei gyflawni, ac yn ddedwydd mewn llwyddiant; ac os byth y gorchfygir ef, ei galon fydd y diweddaf i roddi i fynu.

H.

## DIGWYDDIAD HYNOD,

*A adroddwyd gan y Parch. J. Fletcher, gynt Ebrwyad Madeley, Swydd Amwythig.*

Un sabboth (medd efe) gwedi darllen y Gwasanaeth, aethum i fynu i'r areithfa, gan amcanu traddodi pregeth a barotoiswn i'r perwyl; ond yr oedd fy meddwl wedi terfysgu cymmaint, fel nad allwn gofio fy nhestyn, nac un rhan o'r bregeth. Ofnais y buasai raid i mi ddyfod i lawr heb ddywedyd gair: ond wedi dyfod ychydig ataf fy hun, meddyliais am ddywedyd ychydig ar y Llith cyntaf, sef y drydedd bennod o Daniel, yn cynnwys hanes am y tri llangc yn cael eu taflu i'r ffwrn danllyd. Wrth wneuthur hyn cefais y fath gymmorth hynod gan Dduw, a rhwyddineb meddwl, fel y tybiais fod rhyw achos neillduol yn peri hyny. Am hyny dymunais, os oedd neb o'r gynnulleidfa yn teimlo rhyw beth mwy nag arferol, ar iddo fynegi i mi yn ystod yr wythnos. Ac yn ganlynol, ar ddydd Mercher, daeth gwraig ataf, ac a adroddodd yr hanes canlynol:—"Yr wyf er's ychydig amser wedi bod mewn trafferth ynghylch fy enaid. Arferwn ddyfod i'r Eglwys ar bob cyfleusdra, a threuliwn lawer o amser mewn gweddi yn y dirgel: oblegid hyn fy ngwr (yr hwn sy gigydd wrth ei alwedigaeth) a ymgynddeiriogodd yn ddirfawr, ac a fygythiodd ymddwyn yn dost tu ag ataf os na pheidiwn a myned i'r Eglwys, ïe, nac i un cyfarfod crefyddol arall. Pan ddywedais wrtho nad allwn yn gydwybodol beidio a myned o leiaf i'r Eglwys, aeth yn waeth ei hwyl, gan dyngu yn ofnadwy, os awn byth yno drachefn, y torai fy ngwddf cyn gynted ag y deuwn adref. Hyn a wnaeth i mi lefain yn fawr ar Dduw i'm cynnal yn yr awr gyfyng hòno. Er nad oeddwn yn teimlo llawer o dawelwch y pryd hyny, etto gan fod genyf hyder ar Dduw, penderfynais fyned y'mlaen yn fy nyledswydd, gan adael y canlyniad iddo ef. Y Sul diweddaf daethum i lawr y grisiau yn barod i fyned i'r Eglwys, pan y gofynodd fy ngwr i mi, a oeddwn i yn penderfynu myned yno? Dywedais wrtho, fy mod. "Wel, ynte," medd efe, "ni thoraf eich gwddf, fel yr amcenais; ond poethaf y ffwrn, a thaflaf chwi iddi y mynyd y dychwelwch adref." Er iddo fy mwgwth fel hyn gyda llawer o lwon ofnadwy, aethum i'r Eglwys, gan weddio ar hyd y ffordd ar i Dduw fy nerthu i ddioddef pa beth bynag a ddigwyddai i mi. Tra yr oeddych chwi, Syr, yn sôn am y tri llangc, y rhai a daflodd Nebuchodonosor i'r ffwrn danllyd boeth, gwelais fod y cwbl oll yn perthyn i mi, a Duw a gymmwysodd bob gair at fy nghalon. A phan oedd y bregeth drosodd, meddyliais, pe buasai genyf filoedd o fywydau, y gallaswn eu rhoddi i lawr dros Dduw. Teimlais fy holl enaid wedi ei orlenwi gymmaint â'i gariad, fel y prysurais adref, wedi llwyr benderfynu ymroddi i'r hyn a welai Duw yn dda; heb ammeu, os goddefai i mi gael fy llosgi, y cawn fyned i'r nefoedd; neu, ynte, yr achubai efe fi ryw ffordd, fel yr achubodd efe y tri llangc. Pan ddaethum at ddrws y tŷ, gwelwn y fflamau yn dyfod allan o enau y ffwrn, ac nis gallwn ddisgwyl dim ond cael fy nhaflu iddi yn union. Teimlwn fy nghalon yn lloni, os rhaid oedd myned i'r ffwrn, y byddai ei ewyllys ef yn cael ei gyflawni. Agorais y drws, ac, er fy syndod, gwelwn fy ngwr ar ei liniau yn gweddïo ar Dduw am faddeuant o'i holl bechodau. Cofleidiodd fi, ac erfyniodd arnaf faddeu iddo; ac y mae er y pryd hyny yn ceisio Duw." Yn awr y gwyddwn paham y cymmerwyd fy mhregeth oddi arnaf, sef, fel y gallai Duw fel hyn ddangos ei drugaredd.

---

## AT OLYGWR Y GWYLIEDYDD.

Syr—Cefais yn ddiweddar gan gyfaill yn Rhydychain Gofrestr o enwau y Duwinyddion union-gred a gyflwynwyd i'r Senedd, Ebrill 25, 1642, gan Farchogion a Bwrdeisiaid amryw Siroedd, Dinasoedd, a Bwrdeisdrefi, fel rhai addas i'w cynghori hwynt mewn perthynas i'r Diwygiad Eglwysig, o barth ei threfn a'i gwasanaeth. Ac os ydych yn gweled yn addas, rhoddwch iddi le yn eich Cyhoeddiad defnyddiol.——Ydwyf, yr eiddoch, &c.

Ab Gwilym.

Dros Brif Ysgol Rhydychain—James, Archbishop of Armagh, Dr. Stiles, Parson of St. George's, near the Bridge.

Dros Brif Ysgol Caergrawnt—Dr. Brownrigge, Master of Catherine Hall, Dr. Ward, Master of Sidney College.

Dros Swydd Berks—Dr. Twist, William Reyner.

Swydd Buckingham—Henry Wilkinson, Thomas Valentine.

Dros Swydd Bedford—Thomas Dillingham, Oliver Boles.

Dros Swydd Caergrawnt—Dr. Thomas Windcope, Mr. Thomas Goodwyn.

Dros Cumberland—Dr. Hoyle, Mr. Bridges of Yarmouth.

Dros Gerniw—Mr. Gamon, Mr. John Hicks of Lawrick.

Dros Durham—Dr. Inneston, Mr. William Morton.

Dros Gaerefrog—Mr. Levir of Rippon, Mr. Micklethwaite of Cerry Burton.

Dros Essex—Stephen Marshall of Finchfield, Obadiah Sedgewick of Cogshall.

Dros Swydd Gaerloyw—William Mewe of Estington, B. D. Mr. John Duninge of Coldaston.

Dros Hereford—Mr. John Greene of Pencombe, Mr. Stanley Gower of Bracton.

Dros Swydd Hertford—Dr. Smith of Barkway, Dr. Burgesse of Waterford.

Dros Huntingdon—Mr. Thomas Bathurst, Mr. Philip Nye.

Dros Caint—Mr. Francis Tailor, Mr. Wilson of Otham.

Dros Lundain—Mr. Edward Calamy of the Parish of Aldermanbury, Mr. George Walker of St. John's Parish, Mr. Carol of Lincoln's Inn, Mr. Lazarus Seaman of Allhallowes, Bredstreet.

Dros Lincoln—Anthony Tuckney of Boston, Thomas Coleman of Blyton.

Dros Fynwy—Dr. Harris, Warden of Winchester College, Mr. Morley.

Dros Middlesex—Dr. Downing of Hackney, Mr. Jeremiah Burroughes.

Dros Northampton—Mr. Reignolds, Parson of Branston, Mr. Hill, Parson of Titchmarsh.

Dros Northumberland--Mr. J. Jackson of Grayes Inn, Mr. William Carter of London.

Dros Norfolk—Mr. Thomas Thoroughgood, Mr. John Arrowsmith.

Dros Nottingham—Dr. Sanderson of Boothby, Mr. John Foxcroft of Gotham.

Dros Rydychain—Robert Harris, B. D. Parson of Hanwell, Robert Crosse, B. D. Fellow of Lincoln College.

Dros Rutland—Mr. Sàmuel Gibson, Mr. Jeremy Whitaker.

Dros Somerset—Samuel Crook of Wranton, B. D. John Connant of Livington, B. D.

Dros Suffolk—Thomas Young of Stowmarket, John Phillips of Wrentham.

Dros Southampton—John Langley, Rector of Westudeley, Christopher Tisdale, Rector of Uphusborne.

Dros Surrey—Dr. Staunton of Kingston, Dr. Featley of Lambeth.

Dros Swydd Amwythig—Mr. Edward Corbet of Oxford, M. A. Samuel Hildersham.

Dros Stafford—Francis Cook of Yoxhall, Clerk, John Lightfoot of Ashley, Clerk.

Dros Sussex—Benjamin Pickering, Henry Nye

Dros Wigorn—Arthur Salway. Dr. Prideaux, Bishop of Worcester.

Dros Westmoreland—Henry Hall, B. D. Henry Hutton, M. A.

Dros Wiltshire—Henry Sender, Rector of Collingborne, B. D. Thomas Baily, Rector of Mannigford, B. D.

Dros Warwick—Mr. Burgesse, Parson of Sutton Ulfield, Richard Vines, Parson of Weddington.

CYMRU.

Dros Môn—Richard Buckley, B. D.

Dros Brycheiniog—Dr. Temple of Battersey.

Dros Aberteifi—Mr. Shute of Lumber Street.

Dros Gaerfyrddin—Mr. Nicholson.

Dros Gaernarfon—Mr. Cattarne.

Dros Dinbych—Ric. Lloide, D. D.

Dros Fflint—Dr. Christopher Pashley.

Dros Morganwg—Henry Tozer, Fellow of Exeter College..

Dros Meirionydd—William Spurstoe.

Dros Benfro—Francis Channell.

Dros Drefaldwyn—Meedw. Ellis, Rector of Guilsfield.

Dros Maesyfed—Dr. Hatchet.

---

Dros Ynysoedd Guernsey a Jersey—Samuel de la Place, Jo. de la March.

---

## CLADDEDIGAETH Y MEIRW.

Mr. Gwyliedydd,—Y mae camgymmeriad nid bychan ym meddyliau llawer o ddynion mewn perthynas i'r geiriau a arferir wrth gladdu; "Yr ym ni yn rhoddi ei gorph ef i'r ddaear, sef daear i'r ddaear, *mewn gwir ddiogel obaith* o adgyfodiad i fuchedd dragywyddol, trwy ein Harglwydd Iesu Grist."

Yr ymadrodd "rhoddi 'r corph i'r ddaear," a arwydda ein bod yn rhoi 'r corph i'w gadw yn ddiogel dan law un a'i dyry yn ffyddlon yn ol. Nid ydym yn ei fwrw ymaith megys celain hollol ddiwerth a diddymedig; ond yn ei ddodi yn y pridd yn ofalus, fel peth â hedyn tragywyddoldeb ynddo, "mewn gwir ddiogel obaith o ad-

gyfodiad i fuchedd dragywyddol." Nid fel pe baem yn credu yr adgyfyd pob un a gleddir i wynfyd a hapusrwydd, neu fel pe baem yn mynegi y cyfryw sicr a diogel obaith am adgyfodiad yr hwn yr ydym yr awrhon yn ei gladdu. Nid ei adgyfodiad *ef* yn unig a hysbysir, ond *yr adgyfodiad*, sef yr adgyfodiad cyffredinol trwy ein Harglwydd Iesu Grist; canys nid ydys yn myned y'mlaen i ddywedyd, "yr hwn a newidia *ei gorph ef*, eithr fel hyn, "yr hwn a newidia *ein corph gwael ni*;" hyny yw, cyrph Cristionogion yn gyffredin. Mai hyn yw ystyr y geiriau, a ymddengys yn mhellach oddiwrth y modd yr arferir hwynt yn y drefn wrth gladdu eu meirw ar y môr:—"Gan hyny yr ydym ni yn rhoddi ei gorph ef i'r dyfnder *i ddychwelyd* i lygredigaeth, gan ddisgwyl am adgyfodiad *y corph* pan fwrio 'r môr ei feirw allan."

---

## "GWRANDO ADDYSG."

"Er croesed yr ymddengys weithiau wyntoedd a thônau rhagluniaeth, etto nid sicrach dim na'u bod oll yn cyduno i brysuro eneidiau ei saint at Dduw, a'u cymmwyso i ogoniant."

"Os dyrchefir di o isel i uchel radd, cofia nad yw amgen na chamu o gwch i fwrdd llong: dy beryglon a barhânt, canys yr wyt etto ar y cefnfor."

"Dyledswydd y Cristion yw disgwyl amser Duw. Nid oes un fendith yn werth ei cheisio nad yw yn werth ei disgwyl: Goreu amser amser Duw."

---

## SYLW AR LYTHYR CYMRO.

*Rhif.* 103, *tu dal.* 339.

Mr. Gwyliedydd,

Mewn Rhifyn diweddar o'r Gwyliedydd darllenais "*Gynnygiad Cymro i Ddiwygio yr Ysgrythyrau.*" Nid wyf yn rhyfygu beio ar un rhan o hono; yn hytrach, yn fy nhyb i, haeddai glod. Nid wyf yn ddigon hyddysg yn naliadau crefyddol yr amryw bleidiau a enwir, i farnu ai cywir ai anghywir yw 'r darluniad a roddir o honynt. Yn gymmaint ag mai *breuddwydio* yr oedd yr awdwr, fe allai iddo gam-weled neu gam-glywed rhai pethau. Ond am yr hyn a ddywedir gan Weinidog yr Eglwys Sefydledig, ymddengys i mi, os nad wyf yn cam-ddeall, fod yno ychydig anghywirdeb. Dywedir yno fod "y *Calfin* yn gwrthebu ffurfiau Eglwys Loegr, am iddynt olygu fod gan ddyn *ewyllys rhydd.*" Yn yr olwg gyntaf ar y geiriau, ymddengys yma anghytundeb â'r 10fed Erthygl o eiddo 'r Eglwys am "Ewyllys rhydd."

Cymro Arall.

---

## GWERTHIAD PLANT GAN EU MAMAU YN MALABAR.

Y mae plant Malabar yn nwyfau rhad yn Anjenjo. Yn niwedd y tymhor gwlawog (medd ymdeithydd) pan nad oedd prinder neillduol yn y gwledydd tufewnol, prynais fachgen a geneth oddeutu wyth neu naw mlwydd oed, fel rhodd i wraig fonheddig yn Bombay, am lai o arian nag y gallesid prynu dau fochyn yn Lloegr. Prynais y cwpl ieuangc, a rhoddais iddynt *rice*, a physgod heilltion, digon am ddau fis, a phedwar pâr o ddillad newyddion erbyn eu môrdaith, a'r cwbl am ugain *rupee*, neu bymtheg swllt a deugain. Ni ddylai dyngarwch Brytanaidd feio arnaf am y weithred hon. Yr oedd yn bryniad llawen i'r plant; rhyddhawyd hwynt oddiwrth newyn a noethni, a danfonwyd hwynt at feistres dyner, yr hon a'u magai yn serchus; ac wrth ymadael â'r India a ddarparodd gogyfer a'u cysur. Ond pe gwrthodaswn eu prynu, buasent yn sicr o gael eu gwerthu i ereill; ac fe allai y buasent mewn caethiwed trwm gan ryw *Gristion* arall.

Tra yr oeddwn yn eistedd un diwrnod wrth ddrws fy nhŷ, daeth gwraig, â physgod ar werth ganddi ataf; a thra yr oedd y gwas yn eu cadw, gofynodd imi brynu plentyn dwy flwydd oed, yr hwn oedd yn ei breichiau; a chynnygiodd ef am *rupee*. Pan y ceryddais hi am ei annheimladrwydd, atebodd, gan wenu, ei bod yn disgwyl un arall yn fuan, ac nas gallai gadw y ddau, am hyny yr oedd yn rhoddi i mi y cynnygiad cyntaf. Daeth ataf ym mhen ychydig ddyddiau wedi hyn, â basgedaid

anall o bysgod; ond yr oedd newydd werthu ei phlentyn i Signor Manuel Rodriquez, teithyddwr o Portugal, yr hwn, er ei fod yn Gristion, ac yn ŵr cyfoethog iawn, a dybiodd yn angenrheidiol ei thynu i lawr yn ei phris, i hanner *rupee*. Fel hyn y darfu i'r wraig ieuangc hon werthu ei hunig blentyn am bymtheg ceiniog.—Gwel *Forbes Oriental Memoirs.*

---

## Y GWLEDYDD GOGLEDDOL.

Yn ystod misoedd y gauaf yn y Gwledydd Gogleddol, y fath yw sychder yr awyrgylch, fel nad oes dim eira yn disgyn. Pa leithder bynag a all fod, y mae yn ehedeg oddi amgylch fel nodwyddau bychain. Dywed y Cadben Parry fod anadl gwr, yn yr oerfel mwyaf, yn debyg i fŵg o ddryll newydd saethu; ac ymddangosai câd o ddynion yn gweithio ar y rhew fel pe byddent wedi eu hamgylchu â chwmwl. Ni byddai y mŵg a ddeuai o simnai y llong yn esgyn i fynu, ond ehedai yn wastad am filltiroedd.

---

## YMLADD YN JAPAN.

Y mae eu dull o ymladd yn Japan yn dra hynod, ac a ymddengys i ni yn farbaraidd. Pan ymrafaelia dau ŵr, y gwr a dybia ei fod yn cael cam, a gymmer gyllell, ac a drywana ei hun â hi; ac a'i hestyn i'w elyn, yr hwn, yn uniongyrchol, a wna yn yr un modd; a thybir yn anfri mawr, os na chytuna y gelyn i wneuthur hyn.

---

## DISTRYW TREF PLEURS.

Y mae yr hanes canlynol a gymmerwyd allan o lythyr Esgob Burnet, yn dra hynod.

"Wedi son am syrthiad mynyddoedd yn y rhanau hyny, nis gallaf fyned heibio distryw tref Pleurs, gerllaw Chevannes, ar yr un gwaelod, ond ar dir ychydig uwch. Yr oedd y dref oddeutu hanner maintioli Chevannes. Nifer ei phobl oedd oddeutu dwy fil a dau cant o bersonau; ond yr oedd wedi ei hadeiladu yn fwy harddwych o lawer; oblegid heblaw palas mawr *Francken*, yr hwn a gostiodd rai miliynau, yr oedd yno lawer o balasau ereill, pa rhai a adeiladwyd gan wyr cyfoethog o Milan, a pharthau ereill o'r Eidal, y rhai oedd yn hoffi y sefyllfa, a'r awyr, ynghyd â rhyddid llywodraeth y fan; oblegid byddent yn arferol o ddyfod yma yn amser y poethder; ac yma y rhoddasant eu hunain i fynu i bob chwantau a allai golud mawr eu prynu. Oddiwrth ddull un o'r palasau ag oedd o fewn ychydig o'r dref, a'r hwn ni ddistrywiasid, gellir barnu am y rhai ereill. Yr ydoedd yn dŷ yn y wlad, yn perthyn i deulu *Francken*; er hyny gellir ei gydmaru â llawer o balasau yn yr Eidal: a chostiodd y tŷ a'r ardd o leiaf gan mil o *goronau*. Daeth pechadurusrwydd y fan yn nodedig; a dywedodd *Madame de Senlis* y byddai ei mam yn aml yn adrodd darnau o bregethau Gweinidog Protestanaidd, a fyddai yn gweinidogaethu mewn Eglwys fechan ag oedd gan y blaid hon yno; a byddai yn aml yn eu rhybuddio am y barnedigaethau dychrynllyd ag oedd yn crogi uwch eu penau.

Ar y pummed o Awst, 1618, daeth un o'r preswylwyr a dywedodd fod y mynydd yn hollti, a pharodd iddynt oll fyned ymaith; ond y diolch a gafodd oedd chwerthin am ei ben. Yr oedd ganddo ferch; a gwnaeth iddi ddyfod gyd âg ef, a gadael y cwbl; ond pan aeth hi ychydig o'r dref, cofiodd ei bod wedi anghofio cloi drws ei hystafell, lle yr oedd rhyw bethau gwerthfawr ganddi. Aeth yn ol, a chladdwyd hi gyd â'r lleill; oblegid amser swpper, syrthiodd y bryn i lawr, a chladdwyd y dref, a'r holl drigolion, fel na ddiangodd un.

"Syrthiad y mynydd a lanwodd wely yr afon, a'r newydd cyntaf a gafodd pobl *Chevannes* o'r digwyddiad, oedd yr afon yn peidio a rhedeg, fel na ddaeth diferyn o ddwfr am dair neu bedair awr, ond cafodd yr afon redfa newydd, ac a ddychwelodd atynt. Nis gallwn gael hanes gwirioneddol am fuchedd y gwr a ddiangodd, felly y mae yn rhaid i ni adael y rheswm dirgelaidd o'r fath ragluniaeth hynod, i ddatguddiad y dydd diweddaf, pan yr eglurir y rhagluniaethau hyny, a'r na's gallwn yn awr eu hamgyffred. Cafodd teulu *Francken* fwnwyr i glôddio oddi tan y ddaear; canys heblaw eu llestri a'u dodrefn, yr oedd ganddynt lawer o arian a thrysorau gwerthfawr yno. Cymmerodd y mwnwyr arnynt nas gallent gael dim, ond aethant adref i Tyrol, ac adeiladasant dai gwychion, ac ymddangosodd lawer o olud, ac ni ellid rhoddi un hanes pa fodd y cafwyd hwynt, os na chawsant drysorau yno."

---

## HANESIAETH YSGRYTHYROL.

Y mae trigolion Ceylon yn credu mai eu hynys hwy oedd y gwir fan ym mha un y trigai Adda, ac mai yno hefyd yr oedd Paradwys, a dangosant ôl troed gwr ar ben bryn, a dywedant mai oddi yno y cymmerodd ei olygfa olaf ar baradwys, ac aeth oddi yno i India, pa un oedd y pryd hyny yn gyssylltiedig a'r ynys, ond cyn gynted ag yr aeth ymaith, i'r môr gau arno a thori bob gobaith o ddychwelyd.

### FFORDD I DDYSGU Y KORAN.

YMDDENGYS na ddarfu dysgu y Koran betruso llawer ar y *Koolfuiaid* (llwyth o bobl yn Affrica). Eu hunig ffordd i'w ddysgu ydyw ysgrifenu ychydig o hono â rhyw sylwedd du, ar ddarn o bren; yna ei olchi ymaith, ac yfed y dwfr budr hwnnw. Pan ofynwyd iddynt gan Cadben Clapperton, Pa fendith ysprydol a ddeilliai iddynt trwy yfed y dwfr budr hwn? dywedasant, yn eiddigeddus, "Ai dwfr budr a ddywedwch chwi am Air Duw." Y mae y ffordd hon o ddysgu y Koran yn aml iawn ym mharthau tufewnol Affrica.

---

# BARDDONIAETH.

---

### CYWYDD Y GREADIGAETH.

HYNOTAF Drefnwr natur,
A phob gwaith yn berffaith bur;
Creawdydd a Llywydd llâd,
Y ddaear fawr yn ddiwad;
A Lluniwr pob lle hynod,
Dragwyddol anfeidrol FOD.
Y Gre'digaeth helaeth hon,
Cofier, a wnaeth Duw cyfion;
Y bodau bàn a'r bydoedd,
I gyd trwy y wybr mae'n goedd;
A gwirfaith wyneb garwfôr,
Holl bysgod a milod môr;
Onid ti a'u gwnaeth hwynt oll,
Diogel Lywydd digoll?
Mewn chwe diwrnod hynodwaith
I gyd gorphenaist y gwaith;
O chwyldaith haul uchelder,
I gylchoedd gorsafoedd sêr.
Trefnwyd iawn daenwyd y de,
A'i goglud ar y gwagle;
A'r gorllewin a'i llinell
I bau y ddaearen bell;
Y dwyrain wiw gain ei gwawr,
A gogledd uwch y gwaglawr;
Ddengys yn hysbys i ni,
Coeliwn, fawr allu CELI.
Holl gylchoedd y bydoedd bàn,
Mal eres demlau arian;
Crogedig fro Caergwydion,
I daith canolbarth y dòn.
Yr Huan a'i lân oleuni,
Bywyd a nawdd ein byd ni,
Goleuydd pob broydd prid,
Marworyn liw mererid.
Y sèr, a'r fro asurawl,
Sydd ini yn gweini gwawl,
O eres rodau arian,
Y bydoedd a'u cylchoedd càn.
Pe sylwem edrychem dro,
Ucheldrem ar eu chwyldro,
Mil miloedd uwch pob maelawr
O fydoedd ar gylchoedd gwawr;
Heuliau, lleuadau lliwdeg,
Mawr daith i'w cylchrod mor deg;
Seren uwch seren siriawl,
I gyd a daenant eu gwawl.
Gwregysau golau gwelir,
Yn glau trwy yr awyr glir;
A dysglau arian disglaer,
A lanwant guddiant y gaer.
Y cydsêr yn uchder nen,
Anolo uwch y niwlen;
Ardaenawl *Eridanus*,*
A gradd *Hirundo*,† a *Grus*,‡
*Arcturus*,§ *Aquaries*‖ cain,
Goreudeg gylch goradain;
*Canis Minor*,¶ ac *Orion*,**
O ryfedd fawredd fy ION!
Aneirif luon ereill,
A'u lle o amgylch y lleill,
O gydsêr yn uchder nod,
A'u hanes sydd yn hynod.
Planedau a'u cylchau cain,
Drwy fro 'r wybr dêr firain;
*Mercher* a *Mawrth* mawr-chwyrn
Yn chwai yn eu rhedfa chwyrn;
A *Sidus* bell, a *Sadwrn*,
A *Iau* fawr seddfawr, a swrn
O fydoedd uwch rhifedi,
Ein deall gwan hyball ni.
Y wenfàd leuad deg lwys,
O'i gwirffyrdd nid yw 'n gorphwys;
Y nos pelydra i ni,
Ei glânaf deg oleuni;
Ei gwyneb sydd yn gwenu,
I'n dwyn o dywyllnos du.
Anian ei llewyrch unol,
Fydd ar fryn, dyffryn, a dol;
Ariana, bob rhyw enyd,
Ddyfroedd ac aberoedd byd.
Pwy sydd a genfydd y gwaith,
Yn burffawd wnai Duw 'n berffaith?
A daena gallu dynion
Ryfeddol waith unol ION?
Yn nes pe deuem yn awr,
Drwy lithrig wybr dêr lathr-wawr;
O uchder y sêr, a son
Eilwaith, at ddaearolion;
Dros led y byd gweledig,
Fawr daith, hyd y gwyrddfôr dig.

---

* *Eridanus*, cyfseryddiad deheuol, yn cynnwys 72 o sèr.

† *Hirundo*, cyfseryddiad deheuol, yn cynnwys 11 o sèr.

‡ *Grus*, cyfseryddiad deheuol, yn cynnwys 14 o sèr.

§ *Arcturus*, seren o'r maint cyntaf yn nghyfseryddiad y *Bootes*.

‖ *Aquaries*, un o'r 12 arwydd, yn cynnwys 83 o sèr.

¶ *Canis Minor*, cyfseryddiad deheuol, yn cynnwys 14 o sèr.

** *Orion*, cyfseryddiad deheuol, yn cynnwys 98 o sèr.

Rhyfeddod, purnod bob parth,
Cynalbwynt i'r canolbarth.
Miloedd o chwai gymylau,
Trwy 'r nengylch o gylch yn gwau;
Hylaw hwy ànt i'w helynt,
A'u gwaith ar esgyll y gwynt.
Eira a gwlaw ar y glyn,
Arswydus a rhew sydyn;
Mellt fforchawg o didawg dân,
I deryll gylch y daran;
Corwyntoedd y nefoedd nawd,
Yn dirwyn uwch daearawd;
A hynotaf drefn natur,
Is heulrawd yn barawd bur;
O'i nawdd a greodd ein Nêr,
Gorenwog Lyw Goreu-Ner.
  Gwylltion fwystfilod gelltydd,
A rodiant, deithiant y dydd;
Anifeiliaid yn filoedd,
A gerddant, gwibiant yn g'oedd.
Mynyddau uwch banau 'r byd,
Coeliwn a'r creigiau celyd;
Wiw gadwynau gydunant,
Yn gylchau gwregysau gant.
Y dolydd gwyrddion deiliog,
Is banau y creigiau crog;
Y pêr lysiau pur lwysion,
A harddant frithant y fron.
Holl adar cerddgar y coed,
A'u mwyngân ro'nt o'r mângoed,
Filoedd hwy a iawn folant
Eu Nêr doeth ar dyner dant.
  Y môr a'i donau mawr-wyllt,
Cynhyrfus, gwgus, a gwyllt;
Terfyn sydyn osodwyd,
I'w ferwddwfr y llifddwfr llwyd;
Er rhuo a llwybro 'r llaith,
Trosto ni ddaw mewn trystwaith.
Pob rhan deg tan wanegau,
Y môr gwyllt a'i burwyllt bau,
A huliwyd yn ehelaeth,
A llaw Nêr, pob llu a wnaeth,
O ymlusgiaid, aml osgo,
Drigant, ymgreiniant y gro.
Yr eogiaid drwy yr eigion,
Chwareuant deithiant y dòn,
Y Dolphin dibrin ei daith,
Hen Ddora* a'i ddihirwaith,
A'r Afangc† creulon gwangcus,
O fraw na ddiangc 'ar frys,
A chiwed‡ heb rifedi,
Breswyliant llwybrant y lli.
  Llaw Duw-Ion yn dirion daeth,
I hulio 'r ddaear helaeth:
Creu pob peth yn ddifethu,
Yn ddoethlân burlân y bu;
A gosodai ddifai ddyn,
Diwyrni 'n llyw da arnyn'.
Rhyfeddod pob rhyw foddion,
Yw ei waith ac iawnwaith Ion;
Gwneud sêr yr uchelderau,
I gyd o'r eangder gau,
Mân dywod, main, a daear,
Milod, gyd âg ednod gwâr,
A'u gosod oll yn gyson,
Yn eu lle i weini 'n llon;
Y lleuad, haul, a lluoedd
Y nef i gyd, Naf yn goedd,
A'u lluniodd, hyn ddarllenir
Yn y gair uniawn a gwir.
G. ab Gwilym Padarn.

---

## PENNILLION

*A gyfansoddwyd yn Buenos Ayres, Amerig Ddeheuol.*

Fy ngwlad, Ow fy ngwlad! lle trigianai fy nhadau,
  Clyw 'th blentyn yn llefain am danat dan gur,
Mae meddwl am danat yn tànio 'm serchiadau,
  Mae 'n llosgi fy mynwes a chariad mwyn pur;
Diammeu fod yma ryw ddaear gyfoethog
  O berlau a ffrwythydd a llysiau mwyn teg;
Mil gwell genyf fi ddaear Cymry fynyddog,
  A'i ffrwythydd a'i llysiau i'r corph pan fo'n freg.

Ni welir gan rhai'n ond llid a thrallodau,
  Er cymmaint eu cyfoeth, trawsineb a brad;
Ond golchwyd pob bradau â gwaed fy nghyndadau,
  O fryniau hen Gymry, a thi yw fy ngwlad:
Ni fynwn mo'r gwledydd ar hyd *De la Plata*,
  Sy'n cyrhaedd oddi yma i'r *India* medd rhai,
Am fyw i anghofio trigolion tir Gwalia,
  Sy'n fil mwy dymunol, od ydyw yn llai.

'Rwy'n tybied y clywaf sŵn pêr dy delynau,
  Peroriaeth dy releidr yn disgyn i'm clyw,
Y gwelaf dy gwmwl-doedig fynyddau,
  A'r bwthyn lle mae fy anwylyd yn byw:
Ond Ow! im' nid ydynt ond gwag ddarluniadau,
  A esyd fy meddwl crwydredig ger bron,
Er iddynt am enyd fèr loni 'm meddyliau,
  Mawr dristwch ddilyna yr enyd oedd lon.

Fy ngwlad, Ow fy ngwlad! fel hyn yr wyf beunydd,
  Yn llefain am danat dan loesion o hyd;
Wyt fil myrdd anwylach imi na'r holl wledydd
  A welais i etto, Baradwys y byd!
Os dof fi 'n ddiangol drwy dân y magnelau,
  I droedio ym mhlith dy drigolion di sen,
Yn iach, byth yn iach i Amerig y dehau,
  Yn iach i'w gwasanaeth byth mwyach Amen.
Siarl.

---

## Y FLWYDDYN 1832.

Hawddammawr it' heddyw Frenines ar Amser,
Daeth dydd dy fynediad i'th deyrnas mewn gwychder
Er gweled llawr anian mewn gwisg o bruddoldeb,
Am golli dy chwaer aeth i dragwyddoldeb.

Mor hoff genym weled y Calan yn gwawrio,
Er canfod mor fuan ein hamser â heibio;
A Duw o'i drugaredd a'i ras ini beunydd,
Roes ini gael dechreu ar hoff Flwyddyn newydd.

Coronwn di etto à choron o flodau,
Plethwn y lawryf o amgylch dy ruddiau;
Cei etto anadlu mewn awyr bereiddlon,
A lenwir â sawyr rhosynau ireiddlon.

Dy chwaer a osodòdd o'n blaen ddyledswyddau,
Rhoes ini rybuddion, a thost fygythiadau;
Dywedai yn fynych am awr ein marwolaeth,
A llym y llefarai ei thrymaidd dystiolaeth.

O dan ei theyrnasiad rhoem lawer mewn dufedd,
A garem eu gweled—hwy oedd ein hanrhydedd;
Er hyny daeth angeu—o'n mynwes fe'u dygodd,
A thristyd ein calon ein grudd a'i dangosodd.

---

* *Shark.* † *Crocodile.* ‡ *Tyrfa.*

Gwenodd, a gwgodd, a ni heb ystyried,
Bu fel Boanerges, a neb yn ei chlywed;
Anadlai ei hanadl olaf yn ddiau,
Gan roi yn ein herbyn ni wir gyhuddiadau.

Nis gwyddom yr awrhon, ni ddawr i ni wybod,
Pa un ai 'th deyrnasiad fydd gyntaf yn darfod,
Ai ni a osodir o'n bri a'n sirioldeb
Yn ngwlad y distawrwydd, lle trig cydraddoldeb.

Hyn oll a ddymunem ein byr ddyddiau bellach,
Ystyried ein hamser, a byw yn amgenach,
A chanfod y diwedd i'n bywyd ammherffaith,
"Can's ebrwydd y derfydd, a ni a awn ymaith."

CAMBRIAN.

## PENNILL.

BETH yw bywyd?—dyrysfau blinder;
Beth yw lloniant?—cysgod gwyw;
Beth yw pleser?—dim ond gwagder;
Beth yw gwynfyd?—breuddwyd yw.

Cyf. I—.

## LLYN TEGID.

LLYN o ddwr peraidd llona ddarparwyd,
Llyn i bysgota glana rhaglunniwyd,
Llyn y'ngwlad Meirion union a enwyd,
Llyn Tegid helaeth doraeth a dyrwyd,
Ar wlaw yn darllaw dwrllwyd——annigrif,
Heliodd ei genllif haeledd o Gynllwyd.

## CYWYDD I ANERCH

### THOMAS ROBERTS, LLWYNRHUDOL, AR OL MARWOLAETH EI WRAIG,

*Yr hon a fu farw y 29ain o Fawrth, 1829.*

TOMAS, mae yn fraint imi
Gynnal serch i d'anerch di,
Cawsom gynt, gyda hynt hael,
Ein deuwedd, ddyddiau diwael;
A gweled pob argoelion
O ofal dyfal Duw Iôn,
A'i nawdd beunydd sydd heb siom,
Teg eto tuag atom.
Ond nid byd o hyd yw hwn
Di gylus da y gwelwn,
Namyn byd hefyd yn hau
Anwadal gyfnewidiau;
Mae pawb yma, gyrfa gain,
Yn y dymhestl un damwain:
Pa le ceir dyn briddyn brau
Byw grasol heb ei groesau?
Gorthrymder, blinder yn blâ,
Siomiant pob peth sy yma,
"Ni ddaw ochenaid i ddyn
Byw digroes heb ei deigryn."
Neud Tithau, Frawd, wyt weithion
Dan drymder o brudd-der bron
Am golled, di arbed oedd—
Nefoles un o filoedd;
Colli i'w bedd Gydwedd gu,
Galar nas gellych gelu:
Nid hawdd yw gwneud dyhuddiant
I Wr blin am farw ei blant,
Ond colled am eu Mammaeth,
Gwn y gwir mae yn gàn' gwaeth.
Gwraig oedd gywir egwyddor
Ar berffaith da waith Duw Iôr,
Gwraig uniawn goreu gynnydd
O henw da fu hon i'w dydd,
Gwerthfawr oedd yn gyhoedd gu
Ei thalent yn ei Theulu,
Nis bu Cyfeilles bywyd
Ragorach, burach mewn byd,
Gwir yw un o'r goreuon,
Urdd frig hardd, fu y Wraig hon,
Cafodd dalentau cyfoeth
Rhinwedd dda yn mhob rhan ddoeth
Cai ddysgeidiaeth odiaeth aidd
Ban ddygiad boneddigaidd,
A gwnaeth ddefnydd i'w dydd, do,
Hyd einioes da o hono,
Ail *Sarah* sefyllfa fâd,
Mor addas ymarweddiad!
Balchder ysbryd fraenllyd fri
Nid oedd yn deiryd iddi,
Yn addurn ei blyneddoedd
Da ei dull a diwyd oedd,
Gwir ffyddlon yn moddion maeth
Gloyw deg ei galwedigaeth,
Gwinwydden bêr gynnyddiant
Gwir hoff les i'w Gwr a'i Phlant,
A'i hymdawr, dirfawr derfyn,
Yn ddidwyll at Dduw a dyn.
Tirionwch natur uniawn
*Mair* deg, a fu mawr ei dawn;
Ac fel y Fair cyngrair cu
"Dewisodd ran da" Iesu,
Hithau mae 'n gobaith weithian
A gadwodd ei rhodd a'i rhan,
Arlynodd rëol uniawn
Wrth air Duw, rhaith oreu dawn.
Yn awr o'r byd hadlyd hwn
Duw a'i galwodd da gwelwn,
A'i chorph a roed i orphwys,
Un feddiant a'i Phlant hoff lwys,
Olynol i'r un lanerch
A'i dau fab* ac ei dwy ferch;†
Yn awr nid oes yn oesi
I gael rhan o'i galar hi
Ond ei Phriod hyglod da
Tirion a'i Ferch *Keturah*,
Dilyned tra deil einioes
Ffordd ei Mam hoff hardd ei moes,
I orfod pen yr yrfa
Llwybrau hedd a diwedd da.

ROBERT DAVIES, *Nantglyn.*

* Maurice a Thomas.   † Hannah a Jane.

# HANESION GWLADWRIAETHOL.

## NEWYDDION TRAMOR.

Poland.—Dywed y Newyddiaduron, fyd cyflwr presennol y Pwyliaid druain yn dra gresynus, yn enwedig y rhai isel-radd o honynt, gan fod llywodraeth Rwssia wedi rhoddi gorchymyn i gymmeryd oddi wrthynt bob erfyn hwsmonaeth, megys pladuriau, bwyeill, a'r cyffelyb, pa rai ydynt anhepgorol angenrheidiol iddynt yn eu galwedigaethau. Dywedir hefyd fod y Rwssiaid yn dra drwg-dybus o drigolion dinas Warsaw, a bod amryw o'r dinasyddion ag oeddynt yn dra gwresog dros iawnderau eu gwlad wedi eu cymmeryd ymaith yn ddiweddar trwy ddichell a llofruddiaeth.

Holland a Belgium.—Y mae Brenin Holland yn parhau i nacâu cydsynio â'r ammodau a benderfynasid arnynt gan Brydain, Ffrainc, ac Awstria, gan haeru nad all efe gydsynio â'r 24 erthyglau a gynnygiwyd iddo, *yn y dull* ag y maent wedi eu ffurfio; er ei fod yn gwybod yn dda ddigon fod heddwch cyffredinol Ewrop yn sefyll fel ar golyn ar ei gydsyniad neu ei wrthodiad o'r erthyglau a gynnygiwyd iddo.

Ffrainc.—Ar ol y terfysg gwaedlyd a fu yn ddiweddar yn ninas Lyons, dywedir fod y Duges de Berri yn arfer ei holl egni i gyffroi terfysg ym mharthau deheuol Ffrainc, ond ei bod mewn angen o arian i fyned y'mlaen â'i hamcanion. Y mae ei phleidwyr yn gofyn 5000,000 o *ffrancs* at y gwaith; a'r unig ffordd iddi gael y fath swm yw gwystlo ei thlysau a'i gemau gwerthfawr, &c. Ond diammeu fod llywodraeth Ffrainc yn gwybod yn dda am ei hamcanion, ac yn cadw golwg manwl ar y parth hwnw o'r deyrnas.

Hispaen a Phortugal.—Dywed rhai Newyddiaduron fod Fferdinand, Brenin Hispaen, am gynnorthwyo Don Miguel yn ei hawl i frenhiniaeth Portugal; ac os bydd i Don Pedro lwyddo i lanio ei filwyr yno, y danfonai Fferdinand fyddin o 60,000 i'w gwrthwynebu. Ond ein barn ni ydyw, nad yw hyn oll ddim amgen na gwag-siarad. Gwyddys yn dda, na fedd Fferdinand mo'r modd i hepgor y fath fyddin, gan fod matterion tufewnol ei deyrnas ei hun y'mhell o fod yn heddychol. Heblaw hyn oll, y mae achos arall yn ddigon i wrthwynebu y cyfryw dyb, sef, y gŵyr Fferdinand na oddef teyrnas Lloegr ddim iddo ymyraeth â matterion Portugal gyd â'r diben o gynnorthwyo Don Miguel. Dywed rhai Newyddiaduron fod Adchwyl eisoes wedi dechreu yn yr Hispaen.

## NEWYDDION CARTREFOL.

### *YR IWERDDON.*

Yr hanesion o rai parthau yn y wlad hon ydynt yn dra arswydus. Yn Swydd Kildare, yr hon hyd yn hyn fu yn dra thangnefeddus, arwyddion o aflonyddwch ydynt yn dechreu ymddangos. Y mae yr yspryd gwrthryfelgar, sydd yn waradwydd i'r Swyddi cyfagos, yn ymledaenu yn nghymmydogaeth Rathangan. Y rhybydd canlynol a ddosparthwyd ar hyd y Plwyf hwn:—"Dim Degwm—Dim Degwm. Yr ydym yn rhybuddio preswylwyr Plwyf Rathangan, y rhai ydynt yn talu degwm, am iddynt wrthod eu talu hwynt: a phwy bynag a feiddia dalu degwm, neu dreth Eglwysig, a gaiff ei saethu, yn ol gorchymyn y Cyfeisteddwyr, os gellir gwneud hyny yn gyfleus, onidê caiff ei dŷ a'i eiddo eu dinystrio. Os bydd i gasglydd degwm feiddio edrych am ddegwm (os hysbysir hyny i'r Cyfeisteddwyr) efe a gaiff ei grogi yn gyntaf, yna ei losgi."

*Llofruddiaeth erchyll yn Kilkenny.*—Dydd Mercher, Rhagfyr 14. Heddyw 'r boreu aeth oddeutu 40 o swyddogion heddwch, dan lywyddiaeth Cadben Gibbons, y Prif-geisbwl, i wasanaethu rhai dynion â phoenwys am y degwm a berthynai i'r Parchedig Dr. Hamilton, ym Mhlwyf Knocktopher. Oddeutu un o'r gloch prydnawn, daeth 2000 o ddynion atynt, ac a ymosodasant arnynt. Cadben Gibbons, a 13 ereill, a laddwyd, a chlwyfwyd 4 yn rhagor mor dost nad oes y gobaith lleiaf am eu hadferiad. Cafodd amryw ereill eu clwyfo; eu holl arfau a chwilfriwiwyd, a gadawwyd hwynt yn ymyl y cyrph archolledig. Diangodd rhai o'r Hedd-swyddogion i Knocktopher, ac un arall i Kilkenny. Yn ebrwydd wedi iddo gyrhaedd y dref, aeth y Prif-swyddog, ynghyd â bagad o filwyr, at breswylfa y Dr. Hamilton, a chawsant y terfysgwyr wedi eu harfogi â ffyrch, rhawiau, &c. Lladdwyd tri o honynt. Cafodd celain yr Hedd-swyddogion eu symud i le diogel.

Wedi i'r adynod ddangos eu llid, drwy drywanu y cyrph, hwy a wasgarasant, ac a ddychwelasant at eu gorchwylion gyd â'r fath sirioldeb a phe buasent wedi cyflawni y weithred fwyaf ganmoladwy. Y mae un o honynt wedi ei ddal, a'i fwrw i garchar, ac y mae pob ymdrechiadau yn cael eu gwneuthur i gael gafael ar y lleill, pa rai, fel yr ydys yn gobeithio, a ddeuant yn fuan i'r ddalfa.

## Y SENEDD.

Dydd Mawrth, y 6ed o Ragfyr, oedd y dydd a bennodwyd i agor y Senedd. Oddeutu dau o'r gloch aeth ei Fawrhydi i Dŷ yr Arglwyddi; esgynodd yr orsedd; ac wedi gwysio aelodau Tŷ y Cyffredin, ei Fawrhydi a draddododd yr Araith ganlynol:—

"Fy Arglwyddi a Boneddion,—

"Yr wyf wedi eich galw ynghyd, fel y galloch yn ddioed ddechreu ar eich dyledswyddau pwysig; y rhai, oblegid amgylchiadau yr amseroedd, a alwant am eich ystyriaeth ddiatreg. Ac yr wyf yn gofidio yn ddiffuant o herwydd yr anghyfleusdra a deimlwch drwy ail ddechreu mor fuan ar eich gorchwylion, ar ol yr hamdden byr a gawsoch i ymorphwys oddiwrth lafur a lludded yr eisteddfod ddiweddaf.

"Teimlwyf mai fy nyledswydd, yn y lle cyntaf, yw cyflwyno i'ch sylw manylaf y trefniadau a gynnygir er diwygio Tŷ y Cyffredin. Y mae penderfyniad cyflym a boddhaol ar y peth hwn yn dyfod o ddydd i ddydd, o fwy o bwys er diogelwch y deyrnas, ac er boddlondeb a llwyddiant fy mhobl.

"Dwys alarwyf o herwydd y tlodi sydd yn ffynu mewn amryw barthau yn fy nheyrnas; yr hwn a symudir yn oreu, ac yn fwyaf effeithiol, dan fendith yr Hollalluog, drwy gynnal heddwch cartrefol a thramor. Teimlwyf yn sicr o'ch tuedd i fabwysiadu unrhyw drefniadau, i gefnogi pa rai y cewch fi bob amser yn barod ac awyddus, a symudant achosion ac esmwythau effeithiau diffyg gwaith, yr hyn a achoswyd gan ddyryswch masnachol, a chan yr attaliad a roddwyd, o ganlyniad, i weithrediadau diwydrwydd.

"Gyda gofid dwfn y canfyddais fod clefyd yn ffynu yn *Sunderland*, ag sydd gyffelyb yn ei ymddangosiad a'i nodweddiad i'r clefyd a daenodd drwy lawer o wledydd Ewrop. Llawer o ansicrrwydd sydd yn ei gylch, pa un ai priodor ydyw, neu ynte wedi hanu o wledyd tramor; ond nid ydyw ei ymlediaeniad wedi bod mor helaeth, nag mor angeuol, ag ydoedd ar y Cyfandir. Eithr nid oes llai angenrheidrwydd i ni ddefnyddio pob moddion er attal taeniad y clefyd. Ac yr ydys wedi dilyn y cyfarwyddiadau mwyaf effeithiol i hyny a roddwyd gan y rhai a fwynhasant y cyfleusderau goreu i'w olrhain.

"Mewn rhai parthau yn yr Iwerddon dangoswyd llawer o wrthwynebiad i dalu y degwm; yr hyn a ddilynwyd mewn rhai manau gan effeithiau galarus. Ac un o'ch dyledswyddau cyntaf fydd ymofyn, onid oes modd i ddiwygio a gwellhau y cyfreithiau perthynol i hyn, fel y gellid sicrhau diogelwch yr Eglwys Sefydledig; ac ar yr un pryd, symud yr achos presennol o'r achwyniadau.

"Ond yn hyn, yn gystal a phob peth arall perthynol i'r Iwerddon, uwchlaw y cwbl, angenrhaid yw golygu y moddion goreu er diogelu heddwch a threfn cartrefol; yr hyn yn unig sydd eisieu i gyfodi gwlad a gynnysgaeddwyd gan ragluniaeth â chynnifer o fanteision cynenid i'r cyflwr mwyaf llwyddiannus.

"Ymddygiad llywodraeth Portugal, ynghyd â'r mynych niweidiau a dderbyniodd fy neiliaid ganddi, ydynt wedi lluddias i'm perthynas gyfrinachol â'r deyrnas hono gael ei adnewyddu. Ni allaf lai na theimlo y pryderwch mwyaf am ansawdd gwlad ag sydd wedi bod cyhyd o amser mewn undeb mor agos â'r deyrnas hon. Dychweliad y gangen henaf o deulu ardderchog Braganza i Ewrop, a'r peryglon a ddeilliant oddiar ymryson am goron Portugal, a alwant am fy sylw neillduol at amgylchiadau, pa rai a gânt effaith, nid yn unig ar ddiogelwch y wlad hono, ond hefyd ar lwyddiant cyffredin Ewrop.

"Y trefniad a grybwyllais wrthych yn nherfyniad yr Eisteddfod ddiweddaf, er gwahanu Taleithiau Holland a Belgium oddiwrth eu gilydd, a ddilynwyd gan gytundeb rhwng y Pum Teyrnas Gynghreiriawl â Brenin Belgium, yr hwn a gyfarwyddais i gael ei osod ger eich bron wedi iddo gael ei gadarnhau.

"Nid yw Brenin yr Iseldiroedd, hyd yn hyn, wedi cydsynied â'r cytundeb hwn; ond hyderaf nad yw yr amser ym mhell, pan y gwel y Penadur hwnw yr angenrheidrwydd o gydsyniad â'r trefniad a wnaethpwyd yn unfryd gan Weinidogion y Cyngreiriaid, gyd â'r gofal a'r ammhleidgarwch mwyaf, am lwyddiant yr holl deyrnasoedd hyny.

"Dywenydd genyf eich hysbysu fy mod wedi gwneud cytundeb â Brenin y Ffrancod, yr hwn a ddodir ger eich gwydd, a diben yr hwn yw llwyr ddiddymu caeth-fasnach Affrica. Hyderaf y galluoga y cytundeb hwn i lyngesau y ddwy deyrnas, drwy ymdrechiadau cyssylltiedig, i gyflawni gwrthddrych ag sydd yn nhyb y ddwy deyrnas o bwys mawr i ddyngarwch.

"Mewn perthynas i ansawdd Ewrop yn gyffredinol, y mae y sicradau cyfeillgar a dderbyniwyf oddiwrth Dywysogion y Cyfandir, a'r undeb sy rhyngof fi a'm Cyngbreiriaid, yn rhoddi lle i obeithio yn gadarn na chaiff yr heddwch presennol mo'i derfysgu.

"Foneddion Ty y Cyffredin,—

"Gorchymynais i amcan-gyfrif o draul y flwyddyn ddyfodol gael ei ddarparu; a gosodir hi ger eich bron mewn amser dyledus. Gofalaf am iddi gael ei llunio gyd â'r cynnildeb mwyaf; ac ymddiriedaf yn eich doethineb a'ch gwladgaredd i wneud y cyfryw ddarpariadau ag a fyddant yn angenrheidiol er dwyn ym mlaen achosion y wladwriaeth.

"Fy Arglwyddi a Boneddion.—

"Y creulonderau a'r terfysg a ddigwyddasant yn Nghaerodor, a lleoedd ereill, a achosasant i mi y galar dwysaf.

"Rhaid i awdurdod y cyfreithiau gael ei amddiffyn, drwy gospi y troseddwyr a achosasant i gymmaint o feddiannau gael eu distrywio, a chynnifer o fywydau gael eu colli; ond tybiaf yn addas gyfeirio eich sylw at y moddion goreu er gwellhau y dull presennol o reoli dinasoedd breiniol yn y deyrnas hon, er mwyn diogelu yr heddwch cyffredinol yn fwy effeithiol erbyn y cyfryw derfysgiadau.

"Gan fy mod yn teimlo serch diffuant at ein ffurflywodraeth, ni allaf gymmeradwyo unrhyw ymyraeth âg arferiad cyfreithlawn o'r iawnderau hyny ag a sicrhânt i fy neiliaid y fraint o ymddiddan am, a

gweithor yn gyhoeddus eu hachwyniadau. Ond wrth barchu yr iawnderau hyn, fy nyledswydd hefyd ydyw rhwystro cymdeithasau, o dan ba esgus bynag y llunir hwynt; y rhai, yn eu ffurf a'u dibenion, ydynt anghydweddus â phob llywodraeth reoliaidd, ac yn wrthwyneb i yspryd, yn gymmaint ag i osodiadau y gyfraith; a theimlaf yn ddilys na chyfeiriaf yn ofer at fy neiliaid ffyddlon, i gefnogi fy mhenderfyniad diysgog i roddi i lawr bob cyfarfodydd a chymdeithasau anghyfreithlon, y rhai a beryglant heddwch a diogelwch fy ngwladwriaethau."

Wedi traddodi yr Araith, ei Fawrhydi a ymadawodd o Dŷ yr Arglwyddi; ac ar ei ddychweliad i Balas St. Iago, dangosodd pawb yr arwyddion serchocaf o barch i'w Brenin.

Yn y prydnawn ail ymgynnullodd y Senedd; a chynnygiwyd Anerchiad at ei Fawrhydi mewn ateb i'w Araith, gan Iarll Camperdown; a chefnogwyd y cynnygiad gan Arglwydd Lyttleton, nid *Dinorben*, fel y mynegwyd yn rhai o'r Newyddiaduron. Amrai o'r Pendefigion a wnaethant sylwadau ar Araith y Brenin; rhai yn beio, ereill yn ei chymmeradwyo; ond cytunasant â'r Anerchiad yn unfryd unllais.

Ty y Cyffredin. Dydd Mawrth, *Arglwydd Cavendish* a gynnygiodd anfon Anerchiad at ei Fawrhydi, mewn atebiad i'r Araith, yr hon a gymmeradwyodd ac a ganmolodd efe yn wresog.

*Syr F. Vincent* a gefnogai y cynnygiad. Canmolai ymddygiad Gweinidogion ei Fawrhydi am wysio y Senedd ynghyd; a haerai eu bod yn deilwng o'r hyder a roddwyd ynddynt am eu diwydrwydd, eu cymmwysderau i'w swydd, a'u gwladgarwch.

*Mr. Croker* a sylwai ar yr hyn a ddywedai yr Araith o barth cyfnewid y cyfreithiau perthynol i'r degwm yn yr Iwerddon. Ni wnai dim llai na llwyr ddiddymiad y degwm roddi boddlonrwydd i ddynion drwg a therfysglyd. Os ymyrid â'r degwm ni byddai un math o eiddo yn ddiogel.

*Syr C. Wetherell* a ymddiffynai ei ymddygiad yn myned i Gaerodor i gyflawni ei ddyledswydd fel Cofiadur y ddinas hono. Achwynai yn llym yn erbyn cam gyhuddiadau y Newyddiaduron, y rhai a haerant mai efe oedd yr achos o'r holl derfysg a'r cyflafan a ddigwyddodd yn y ddinas grybwylledig. Nid oedd un gair o wirionedd yn y cyhuddiad. Nid aeth i'r ddinas hono heb ymgynghori â Phrif Ysgrifenydd Cartrefol ei Fawrhydi. A phe buasai heb fyned yno yn ol ei arferiad, buasai ei elynion yn edliw iddo ei anwroldeb.

YMPRYD.

*Mr. S. Perceval* a rybuddiodd y byddai iddo gymmeryd y cyfleusdra cyntaf i gynnyg anfon Anerch at ei Fawrhydi, i erfyn arno roddi gorchymyn i'w ddeiliaid neilltuo diwrnod i ymostwng ger bron Duw, ac i weddio arno am dynu ymaith ei law farnedigaethol oddiar ein gwlad.

CYFREITHIAU Y TLODION.

Ty yr Arglwyddi.—Dydd Iau, Rhagfyr 8fed, *Ardalydd Salisbury* a ddymunai wybod gan yr *Arglwydd Ganghellydd* a amcanai gyflawni ei addewid a wnaeth yn yr Eisteddfod ddiweddaf, i ddwyn i mewn rhyw gynnygiad er diwygio y cyfreithiau presennol ynghylch y tlodion.

Yr *Arglwydd Ganghellydd* a atebai na wyddai gan bwy y dygid i mewn y cyfryw gynnygiad; ond os na wnai neb arall, y cymmerai efe y gorchwyl mewn llaw yn yr Eisteddfod bresennol.

CYMDEITHASAU ANGHYFREITHLAWN.

*Iarll Winchelsea* a ddymunai gael hysbysiad gan *Iarll Grey* a amcanai Gweinidogion y Brenin gynnyg rhyw drefniadau i'r diben o roddi i lawr y Cymdeithasau hyny a ymyrent â gweithrediadau y Senedd, ac a oeddynt yn hollol anghydweddus â'r ffurf-lywodraeth.

*Iarll Grey* a ddatganai ei farn fod ganddo ef, a'i gyd swyddogion, ddigon o awdurdod i ddodi i lawr y Cymdeithasau crybwylledig. Am hyny ni amcanant geisio ychwaneg o awdurdod gan y Senedd.

LLOSGI AMAETHDAI.

Dydd Gwener, Rhagfyr 9fed. *Arglwydd Teynham* a rybuddiai y dygai drefniad i mewn ar y cyfleusdra cyntaf, i ddiogelu ŷd, a meddiannau amaethyddol, rhag cael ei gosod ar dân gan ddynion drwg.

Ty y Cyffredin.

DIWYGIAD YN Y SENEDD.

Dydd Llun, Rhagfyr 12. *Arglwydd J. Russel* a ofynai ganiatâd i ddwyn ysgrif i mewn i ddiwygio y Senedd. Areithiodd yn faith o blaid yr Ysgrif: a dynododd y gwahaniaeth rhwng yr Ysgrif hon a'r un a wrthodwyd gan Dŷ yr Arglwyddi. Nid yw nifer y Seneddwyr i gael ei leihau. Rhoddir un Aelod o'r Senedd yn rhagor i Swydd Fynwy.

*Syr Robert Peel* a haerai fod bron bob cyfnewidiad a gynnygiodd efe, a'i gyfeillion, yn yr Ysgrif ddiweddaf wedi cael ei wneuthur yn yr Ysgrif: a bod cefnogwyr yr Ysgrif yn cydnabod eu bod yn ei gwellhau. Yr oedd hyn yn ddigon o atebiad i'r holl gableddau a ysgrifenwyd yn erbyn y rhai a wrthwynebent yr Ysgrif ddiweddaf.

*Mr. Shiel* a achwynai yn aruthr oblegid nad oedd nifer Seneddwyr yr Iwerddon i gael ei gynnyddu.

Wedi i amryw foneddigion ereill areithio

o blaid ac yn erbyn yr Ysgrif, rhoddwyd caniatâd i'w dwyn hi i mewn.

Dydd Gwener, Rhagfyr 16. DIWYGIAD YN Y SENEDD. *Arglwydd Althorp*, wrth gyfodi i gynnyg ail ddarlleniad yr Ysgrif am Ddiwygiad yn y Senedd, a hysbysai, mai ei amcan oedd cynnyg fod i'r Senedd gael ei gohirio, wedi terfyniad y ddadl ynghylch yr Ysgrif hon, tan yr 17eg o Ionawr, 1832.

*Arglwydd Porchester* a ddatganai ei barodrwydd i gefnogi Diwygiad cymmedrol yn y Senedd. Yr oedd yr Ysgrif bresennol yn well mewn rhai golygiadau, ac yn waeth hefyd, na'r Ysgrif a wrthodwyd. Cymmaint oedd ei wrthwynebiad i'r Ysgrif hon ag y cynnygiai iddi gael ei darllen ym mhen *chwe mis*.

*Syr E. Sugden* a gefnogai y cynnygiad. Haerai fod yr Ysgrif bresennol yn rhoddi mwy o awdurdod i'r werinos na'r Ysgrif o'r blaen; a'i bod hi yn hollol groes i egwyddorion y ffurf-lywodraeth.

*Mr. Macauley* a amddiffynai yr Ysgrif, a'i threfniadau, mewn araith hyawdl.

*Mr. Croker* a feiai yn dra llym ar ymddygiad Gweinidogion y Brenin ynghylch yr Ysgrif hon o barth y terfysgiadau a fu yn amryw o ddinasoedd Lloegr. Haerai ped ymddygasent fel y dylent, ni ddigwyddasai y terfysgiadau uchod.

*Arglwydd Althorp* a atebai gam-gyhuddiadau yr areithydd diweddaf yn erbyn Gweinidogion y Brenin.

Dydd Sadwrn. *Syr H. Inglis* a haerai y byddai yr Ysgrif yn dra dinystriol i sefydliadau ein gwlad—ac na byddai un math o eiddo yn ddiogel.

*Arglwydd J. Russell* a godai i eglurhau y rhanau hyny o'r Ysgrif ag a gam-gymmerid gan ei gwrthwynebwyr. Amddiffynodd ei ymddygiad yn dwyn ym mlaen yr ysgrif hon.

Wedi i Syr C. Wetherell, Mr. Stanley, Syr Robert Peel, ac ereill, gefnogi neu wrthwynebu yr Ysgrif, terfynwyd y ddadl, a chafwyd fod 324 o blaid, a 162 yn erbyn, yr ail ddarlleniad—mwy o blaid ail ddarlleniad yr Ysgrif o 162.

Ymadawsant o'r Senedd hanner awr wedi un o'r gloch boreu Dydd Sul.

Ni chyferfydd y Senedd tan yr 17eg o Ionawr.

Enwau y Seneddwyr a bleidleisiasant ail ddarlleniad yr Ysgrif Ddiwygiedig a Diwygiol:—

Glynn Henry, Aelod dros Fwrdeisdref Fflint.
Mostyn E. M. Ll. Yr Anrhyd. dros Swydd Fflint.
Powel Colonel, dros Geredigion.
Paget Syr C. dros Fwrdeisdref Caernarfon.
Wood Col. dros Swydd Frycheiniog.
Uxbridge Iarll, dros Ynys Môn.

Nid oedd neb arall o'r Seneddwyr dros Gymru yn y Senedd.

## DIENYDDIAD

***John Bishop, a Thomas Williams, am lofruddiaethau erchyll yn Llundain.***

YN mis Tachwedd aeth pedwar o ddynion, sef, Bishop, Williams, May, ac un arall, i Goleg y Brenin yn Llundain, a dywedasant wrth was un o'r Meddygon perthynol i'r Sefydliad, fod ganddynt *gorph* i'w werthu am Ddeg *Gini*. Nid oedd y Meddyg yno; am hyny gofynasant ganiatâd i adael y corph yno tan bore dranoeth, pryd y dychwelent i farchnata â'r Meddyg am dano. Yr oedd un o geidwaid y Meddygdy yn ammeu oddiwrth ymddangosiad y corph ei fod erioed wedi ei gladdu. Hysbysodd ei feddwl i'w feistr; yr hwn, pan ddaeth y dynion uchod i farchnata âg ef am y corph, a ddanfonodd am swyddogion i'w cymmeryd hwynt i fynu. Wedi ymdrech maith, llwyddasant i'w dal, a dygwyd hwynt ger bron Ynad Heddwch. Efe a'u rhoddodd hwynt mewn carchar, ac a orchymynodd i'r Swyddogion ymofyn ynghylch y corph; pa le y cawsant ef, a phwy oedd efe. Trwy ymdrechiadau diflino y Swyddogion, cawsant hanes fod Bishop a Williams wedi denu rhyw grwydryn o fachgen o'r Eidal i dŷ y cyntaf, ac na welwyd mo hono mwy. Arferai y bachgen, enw yr hwn oedd Carlo Ferrari, yr hwn oedd oddeutu 14 oed, grwydro ar hyd yr heolydd gyda llygod gwynion mewn llaw-gist. Ychydig ddyddiau cyn dal y carcharorion, gwelwyd y bachgen yn nghymmydogaeth y carcharorion gan amryw o wragedd, y rhai a ddaethant ym mlaen i roddi tystiolaeth yn erbyn y carcharorion. Un o'r tystion a welodd blant Bishop yn chwareu gyda llygod yn yr ardd. Chwiliwyd y tŷ a'r ardd a chafwyd dillad bachgen o'r un maint a chorph Carlo Ferrari. Cafwyd hefyd ben a gwallt dynes a rhyw gyfran o'i gwisgoedd. Profwyd fod rhai o'r carcharorion wedi gwerthu dannedd plentyn am *Gini*. Mewn perthynas i un o'r carcharorion gan i'w gymdeithion gyfaddef na wnaeth efe ddim rhagor na'u cynnorthwyo i gludo y corph i Goleg y Brenin, gollyngwyd ef yn rhydd. Ar ol holiad maith a manwl darfu i'r Ynad Heddwch bwrw tri o honynt i garchar Newgate. Ac ar y dydd cyntaf o Ragfyr cawsant eu profi ger bron Syr Nicholas Tyndal. Yr amrywiol dystion a ymddangosasant yn eu herbyn, ac er i'r carcharorion ymdrechu croes-holi rai o honynt, nid oeddynt yn amrywio yn eu tystiolaeth. Wedi i'r Barnydd ail-adrodd yr holl dystiolaeth, ac egluro y gyfraith i'r Rheithwyr, aethant i'w hystafell briodol; ac ym mhen ychydig o amser dychwelasant i'r Llys, a datganasant y rheithfarn fod y tri charcharor yn Euog o Lofruddiaeth.

Annerchwyd hwynt yn dra difrifol gan y Barnydd, a chynghorodd hwynt i ddefnyddio yr ychydig oriau oedd iddynt yn y byd hwn i wneuthur eu Heddwch â'u Creawdwr o flaen yr Hwn yr ymddangosent mor fuan. Gorchymynodd iddynt gael eu cymmeryd yn ol i'r carchar a'u dienyddio ar y dydd Llun canlynol, a'u cyrph i gael eu rhoddi i'r Meddygon. Gwaeddodd May, "Yr wyf fi yn ddieuog o'r llofruddiaeth hwn, a gŵyr Bishop hyny o'r goreu."

Wedi ei symud i'r carchar darfu i Bishop a Williams wneud cyfaddefiad maith o'u troseddau; a haerodd y ddau nad oedd y carcharor May, yn euog o'r llofruddiaeth. Parodd hyn i rai o swyddogion y ddinas osod ei achos ger bron Prif Ysgrifenydd ei Fawrhydi; a llwyddasant i gael arbediad o'i fywyd. Pan fynegwyd hyn iddo, syrthiodd i lawr, a bu mewn llewyg am enyd o amser, nes yr ofnid fod y genadwri o drugaredd wedi bod yn achos o angeu iddo. Wedi dyfod ato ei hun, datganodd ei ddiolch yn wresog am ei arbediad.

Dydd Llun, cyn tori y wawr, yr oedd minteioedd o bobl yn cyrchu at y Dienyddle, i gael golwg ar yr adynod ag oedd i ddioddef llymder y gyfraith o herwydd eu troseddau. Pan ymddangosasant dan y crogbren, y torfeydd a ddechreuasant ysgrechian arnynt yn erchyll; a pharhausant i wneuthur hyny tra yr oedd y ddau yn hongian ar y crogbren.

CYFFES BISHOP A WILLIAMS.

Haerent mai nid bachgen Italaidd oedd yr hwn a aethant hwy âg ef i Goleg y Brenin; ond bachgen o Swydd Lincoln. Tybir yn gyffredin nad yw y gyffes yn gywir yn hyny; oblegid fod dau o drigolion yr Eidal, gyd â'r rhai y bu Carlo Ferrari yn cyfanneddu yn Llundain, wedi cymmeryd eu llw mai ei gorph ef ydoedd y corph a gymmerwyd ym meddiant y carcharwyr. Gwelsant ef yn yr heol—denasant ef i fyned gyda hwynt i dafarndŷ—rhoddasant ddiod iddo—ac aethant tua phreswylfa Bishop. Nid oedd y teulu wedi myned i orphwys, am hyny rhoisant y bachgen mewn adeilad yn yr ardd. Wedi i'r teulu fyned i'w gwely, dygasant y bachgen i'r tŷ; rhoddasant fara a chaws iddo, a gwydraid o *rum* a *laudanum* wedi hyny. Ym mhen deng mynyd wedi yfed y ddiod syrthiodd i drymgwsg, a rhoddasant ef i orwedd ar y llawr. Ym mhen oddeutu hanner awr symudasant ef i'r ardd, a rhwymasant ei draed â rheffyn. Yna cymmerodd Bishop ef yn ei freichiau, a gollyngodd ef yn araf ar ei ben i ffynon yn yr ardd, tra y gafaelai Williams yn y rheffyn i'w rwystro rhag myned yn rhy ddwfn. Rhwymwyd y rheffyn wrth ddernyn o bren yn ymyl y ffynon. Darfu i'r bachgen ymysgwyd ychydig gyd â'i draed a'i freichiau yn y dwfr. Dychwelasant i'r tŷ; ac ym mhen tri chwarter awr tynasant y corph o'r ffynon gyd â'r rheffyn a rwymwyd wrth ei draed. Diosgasant ei ddillad, a chladdasant hwynt yn y man y'u cafwyd gan un o'r tystion. Cludasant y corph i'r tŷ golchi, a thaflasant gwd trosto. Wedi hyny rhoddasant ef mewn llaw-gist; a rhwymasant reffyn o'i amgylch, rhag ofn i neb ei agor. Yr oedd hyn oddeutu dau o'r gloch yn y boreu. Aethant i'w gwelyau, a chysgasant dan oddeutu 10; yna cyfodasant, ac aethant i dafarndŷ, lle y cyfarfyddasant â James May. Yma cytunasant i werthu y corph i Feddyg yn Ngholeg y Brenin, fel y mynegwyd eisoes.

Cyfaddefasant hefyd eu bod hwy ill dau wedi lladd merch ieuanc, ar y 9fed o Hydref, yn yr un modd a'r bachgen uchod. Ac oddeutu pymthegnos ar ol hyny, lladdasant fachgen o'r enw Cunningham. Ychydig cyn eu dienyddiad cyffesasant iddynt roi *rum* a *laudanum* i ddau ddyn; ond gan na roisant ddigon, ni chafodd effaith arnynt, yr hyn a arbedodd eu bywydau.

Yr oedd Williams yn fab yn nghyfraith i John Bishop. Ni wyddai ddim am y fath greulonderau nes yr hyfforddwyd ef gan Bishop. Bu hwn yn ngharchar yn fynych am adgyfodi cyrph o'r beddau. Bu yn dilyn yr alwad felldigedig hon am naw mlynedd. Bu May yn dilyn yr unrhyw alwad am bum mlynedd. Efe a gaiff ei alltudio dros ei einioes. Bu gwragedd Bishop a Williams yn ngharchar; ond y maent wedi eu rhyddhau, gan na wyddent hwy ddim am weithredoedd ysgeler eu gwyr.

---

*Llosgi.*—Dywedir fod y Llywodraeth wedi cael hysbysiadau tra phwysfawr mewn perthynas i'r llosgfeydd sydd yn dinystrio cymmaint o eiddo yn amryw barthau o'r wlad. Cymmerwyd dau ddyn i fynu yn nghymmydogaeth y brif-ddinas, y rhai a dybir eu bod yn euog o'r trosedd erchyll hwn.

Dywenydd genym hysbysu fod rhai dynion, a fuont yn euog o losgi ŷd ac adeiladau, wedi cael eu bwrw i garchar. John Brown, am losgi tas o haidd yn perthyn i Mr Howes, Besthorpe, a dau ddyn arall, ydynt yn ngharchar Ely, am losgi meddiannau yn Coveney.—*Norfolk Paper.*

Achoswyd llawer o fraw yn nhref Stone yr wythnos ddiweddaf, oblegid fod ŷdlan Mr. G. Lovett, o Harwich Grange, yn y gymmydogaeth, wedi cael ei rhoddi ar dân. Yr oedd hen was i Mr. Lovett wedi bwgwth y gwnai efe niwed i'w feistr: ar

hyn cymmerwyd ef i fynu.—Allan o'r *Stafford Journal.*

Y mae saith o ddynion wedi eu cymmeryd i fynu, y rhai a ddrwg-dybir o fod yn gyssylltiedig â'r dyhirod a oddeithiasant ydlan yn perthyn i Syr H. W. Wilson, yn Barton Stracey, yn agos i Andover. Dinystriwyd 9 o dasau gwenith, a thair o ysguboriau yn llawn o ŷd.

Y mae'r trosedd hwn wedi ymledaenu o Swydd Bedford i Swydd Bucks. Yn Okely, yn agos i Buckingham, llosgwyd côr, ac oddeutu 20 tunell o wair; dâs o haidd yn Stoke; dwy dâs o wenith yn Coddington; amryw o dasau o wellt, a llawer iawn o haidd yn Brixworth.

*Dixon.*—Cafodd yr adyn hwn, a brofwyd yn euog o osod meddiannau ar dân, ei ddienyddio ar yr 22ain o fis Rhagfyr. Haera yn daer ei fod yn ddieuog o'r trosedd a ddygir yn ei erbyn.

*Rhybudd i dorwyr Sabbothau.*—Ar ddydd Sul, Rhag. 11eg, fel yr oedd Hugh Roberts, o Frynheilin, ym mhlwyf y Foelas, ar ei ffordd i'r Capel, cyfarfu â dau wr ieuaingc o i gyfeillion, y rhai a ddywedasant wrtho fod haid o hŵyaid gwylltion ar y Merddwr. Y newydd hwn a wnaeth i Roberts newid ei feddwl, ac yn lle myned i'r addoliad, aeth adref, newidiodd ran o'i ddillad, cymmerodd ei ddryll, ac aeth ar ol yr hwyaid. Pan oedd yn agos i'r lle yr oedd yn disgwyl eu gweled, daeth haid arall ac a ddisgynodd yn nes atto ef na'r rhai oedd a'i fryd arnynt yn y dechreu. Taniodd ar y rhai hyn a lladdodd amryw ac archollodd eraill. Rhedodd i'r dwfr ar ol y rhai a archollasai, ac oblegid fod yr afon yn y fan hòno yn ddofn ac yn ddolenog, ac wedi gorlifo dros ei glanau fel nas gallai wybod ym mha le yr oedd ei gwely hi, efe a syrthiodd iddi. Gwelwyd ef yn ymdroi unwaith yn y dwfr i beidio codi mwyach! Yr oedd y pryd hyny rhwng tri a phedwar o'r gloch ond ni chafwyd ei gorph nes oedd yn agos i saith. Gobeithiwn y bydd i'r digwyddiad alaethus hwn rybuddio dynion ieuaingc ereill yn yr un ardal, rhag myned allan â'u drylliau ar y Sabbothau, canys y mae le i ofni fod ereill o honynt yn euog o'r un pechod a'r trengedig.

---

DYRCHAFIADAU EGLWYSIG.

Y Parch. John Hughes, Curad Parhaus Eglwys St. Michael Aberystwyth, i Brebendaeth Nantgynllo, yn perthyn i Eglwys Golegawl Brycheiniog—rhydd trwy farwolaeth y Parch. B. Newton.

Y Parch. Alfred Ollivant, A. C. Ail Benaeth (*Vice Principal*) Coleg Dewi Sant, i Brebendaeth St. Harmons, yn perthyn i Eglwys Golegawl Brycheiniog—rhydd trwy farwolaeth y Parch. W. A. Barker.

Y Parch. W. Bowen, Curad Parhaus Harold, a Churad Kent Church, yn Sir Henffordd, i Ficerlaeth Hay, yn Sir Frycheiniog.

Y Parch. Charles Maybury, A. C. gynt ysgolhaig o Goleg Iesu, Rhydychain, i Bersonoliaeth Penderin, Sir Frycheiniog.

Y Parch. John Evans, Curad St. Clears, i Ficeriaeth Llangan, Sir Gaerfyrddin—rhydd trwy farwolaeth y diweddar Ficer John Evans.

Y Parch. John Morgan Downes, o Goleg Dewi Sant, i Gapeliaeth Llannlid, ym Mhlwyf Dyfynog, Sir Frycheiniog.

Y Parch. Joseph Jones, Curad Rhosili, Sir Forganwg, i Ficeriaeth yr un lle—rhydd trwy ymadawiad y Parch. Hugh Williams, A. C.

Y Parch. Isaac Williams, G. C. i Guradiaeth Parhaus Treyddyn yn Esgobaeth Llanelwy—rhydd trwy ymadawiad y Parch. H. W. O. Jones.

Y Parch. Thomas Evans, o Goleg Dewi Sant, i Gapeliaeth Nerquis, Tegeingl, Esgobaeth Llanelwy.

URDDIADAU EGLWYSIG.

Ar ddydd Sul, Rhagfyr 18, cynnaliwyd Urddiad gan Arglwydd Esgob Bangor yn ei Eglwys Gadeiriol, Ar ol Pregeth hyawdl ar 2 Cor. 6. 3, 4. gan y Parch. J. W. Trevor, Ficer Caernarfon, ac un o Holyddion ei Arglwyddiaeth, aeth yr Esgob y'mlaen i Urddo y boneddigion canlynol:

YN OFFEIRIAID,

Y Parch. Edward Evans, G. C. o Catharine Hall, Caergrawnt; a'r Parch. Joshua Hughes, o Goleg Dewi Sant, Llanbedr (trwy lythyrau cenad oddiwrth Esgob Tŷ Ddewi).

YN DDIACONIAID,

Hugh Jones, G. C. o Goleg y Drindod, Dublin; Jenkin Jones, G. C. o Goleg St. Ioan, Caergrawnt (trwy lythyrau cenad oddiwrth Esgob Llanelwy); David Edwards, o Goleg Dewi Sant (trwy lythyrau cenad oddiwrth Esgob Tŷ Ddewi).

---

**MARWOLAETH.**

GYDA dwys deimladau o alar yr ydym yn hysbysu am farwolaeth y GWIR BARCHEDIG DR. TURNER, Esgob Calcutta, yn yr India Ddwyreiniol. Yr amgylchiad gofidus hwn a ddigwyddodd ar y 7fed o Orphenaf, 1831. Llythyr oddi yno a ddywed fel hyn:—"Nid oedd ein Hesgob yn mwynhau iechyd da pan ydoedd yn Lloegr. Ond ei ymdaith ddiweddaf drwy Madras, Bombay, a Ceylon, yr hon a barodd iddo lawer o bryderwch, llafur, a lluddedl, oedd yr achos o'i farwolaeth. Yr oedd yn ddyn synhwyrol a haelionus: gwelodd, a gwyddai lawer am y byd, ond nid oedd yn ei garu. Nid oedd ei ddoniau fel areithydd o'r rhyw ardderchocaf; ond yr hyn oll a ddywedai fyddai yn dda a synhwyrol: efe a hyrwyddai ac a noddai bob gwaith da. Ni ddylai y llywodraeth fod mor anystyriol o fywydau dynion duwiol, drwy roddi iddynt gymmaint o waith mewn gwlad fel hon. Cafodd yr Esgobion hyn, sef, y Doctoriaid Middleton, Heber, James, a Turner, eu tori i lawr yn yr yspaid byr o saith mlynedd. Nid oedd y Dr. Turner ond 45 mlynedd o oedran. Yr oedd cwmwl o alar wedi gorchuddio wynebpryd yr Archdiacon Corrie tra yr oedd "yn rhoddi ei gorph ef i'r ddaear, pridd i'r pridd, a lludw i'r lludw," yn mynwent y Brif Eglwys, yn agos i gladdfa yr Esgob Middleton, yr unig Esgob a gladdasid yn Calcutta yn perthyn i Eglwys Loegr. Bu Heber farw yn Trichinopoly, tra ar ei ymdaith Esgobaethol. Yr Esgob James a fu farw pan ydoedd yn mordwyo tua Penang, a rhoddwyd ei gorph ef yn y dyfnder. Ac yr oedd y Dr. Turner ar fedr myned i Penang, er lles i'w iechyd, pan y galwyd ef i bresennoldeb ei Feistr nefol. Bu farw yn heddychlawn ac yn ddedwydd, a hirfaith fydd y galar ar ei ol, a'r coffadwriaeth am ei enw."

O herwydd y digwyddiad uchod, cynnaliwyd cyfarfod gan Aelodau y Gymdeithas er Taenu Gwybodaeth Gristionogol, Rhagfyr 13, i'r diben o anfon Anerchiad at y llywodraeth, a Chymdeithas yr India Ddwyreiniol, i ddangos yr angenrheidrwydd o bennodi ychwaneg nag un Esgob yn yr India. Archesgob Canterbury, Esgob Llundain, Syr R. H. Inglis, a boneddigion ereill, a areithiasant ar yr achlysur.

# Y GWYLIEDYDD.

LLYFR IX.] CHWEFROR, 1832. [RHIF. 106.

## BYWGRAPHIAD

### *Y diweddar* BARCH. EDWARD DAVIES, *o* OLVESTON, *yn* SWYDD GAERLOYW.

ODID bod un o ganghenau llëenyddiaeth wedi cael ei hesgeuluso yn fwy gan ein cenedl ni, y Cymry, na BYWGRAPHYDDIAETH; a hyny a'n difuddiodd yn ddirfawr o'n cyfiawn ymffrost o barth enwogion gwiwbarch a hanasant o ddiledryw wehelyth Frythonaidd. Y rhai, pe cadwesid dyledus goffa o honynt, a fuasent gynnifer o dystion diwrthbrawf o athrylithfawr gynneddfau y genedl, nid gorîs odid o genedloedd Ewropa. Llawer o naddynt wrth gael trwy dreigl tyngedfenawl eu harwain o'u cyssefin fröydd, a myned i weini helyntion bywyd i barthau pellenig, ac i blith cenedloedd alltudryw, ac yno ymfrodori ac ymgyfathrachu, nes cael eu hôni gan y cyfryw drigolion fel eu treftad gynnwynawl; a myned felly yn ddifuddiawg ddihysbys i'w cenedl eu hunain.

Nid cwbl anhyfel i'r darluniad yma a fu treigl gwrthddrych y cofiant canlynawl; yr hwn, er maint ei wasanaeth a'i edmygedd i'w gywladyddion, nis gŵyr y filran o honynt griglyn yn y byd am ei fodolaeth na'i fawrgamp yn yr hyn oll a orug efe, dros ei genedl a'i llëenyddiaeth, er hoedli o hono hyd o fewn yr ychydig fisoedd diweddaraf.

Y Parch. EDWARD DAVIES a enid ar y 7fed o Fehefin, 1756, mewn tyddyndŷ a elwir Hendre' Einion, y'mhlwyf Llanfaredd, yn Swydd Faesyfed. Efe ydoedd fab hynaf Edward Davies, o'i wraig Elizabeth, ferch Richard Owens o'r Tŷ'n-y-llidiard, yn y plwyf cyfnesaf, Llan St. Ffraid. Amaethwr oedd ei dad yn trîn y tyddyn crybwylledig, o dreftad ei frawd hynaf, Richard Davies. Ei hynafiaid oeddynt uchelwŷr a chyfrifolion yr ardal, lle y trigasent erys amryw ganrifoedd. Ac yn amser genedigaeth gwrthddrych ein cofiant, yr oedd amryw ganghenau o'i welygordd yn feddiannwŷr nid llai nag ugain o dyddynod yn y gymmydogaeth.

Derbyniai ei lëen-addysg cyntaf gan ei fam, yr hon a'i hyfforddiai i ddarllen; er ar y cychwyniad nad oedd ganddo fymryn o hoffder mewn llyfrau; yr hyn oedd beth hynod mewn un a dröai allan mor nodedig ddiflin ei awydd i ddysgeidiaeth a gwybodaeth.

Pan ydoedd tua chwech oed, dygwyddai iddo ddamchwaen anffodiawg, yr hon a fu agos i'w ddifuddiaw o'i olwg, ac a fu yn achlysur o anafiad o herwydd yr hon y dyoddefodd anfantais dros ysdod ei oes, ac a droes cyn ei ddiwedd yn olygball hollol iddo. Mewn asbri i geisio tanio gwn a ddodasid i warchadw perllan ei dad, dyrchodd y pylor o'r badellig i'w lygaid, yr hyn a'i niweidiai gymmaint fel y bu ryw ysbaid cyn cael adferiad o'i olwg. Ac i chwanegu anffawd ei olwg, fe'i niweidid yn ddirfawr eilchwyl drwy effeithiau y frêch gôch, yr hon a gaffai pan oedd tua deg oed, tra yr ydoedd dan addysg Mr. Thomas Bowen o'r Bwlch, Llan St. Ffraid, gyd â'r hwn y dysgai ysgrifiaeth, rhifyddiaeth, a Gramadeg Saesoneg.

Yn ddeuddeg oed, aeth i ysgol y Parch. Evan Meredydd, Curad y plwyf, lle y dechreuai ddysgu Lladin, nes cyrhaedd mor belled a Chwedlau Phœdrus. Eithr oddiar iddo lithro i'r fath oed tra yr ydoedd mor ol-llaw mewn dysg, bu yn achlysur anfantais a gofid iddo tra y bu byw yn y byd. Etto, y pryd hyn efe a ddechreuai gael blâs ar lyfrau, a chynnyddu cymmaint mewn gwybodaeth, fel y tueddid ei rïeni i'w ddarparu i urddau cysegredig. Eithr rhwystrus fu ei gynnydd trwy fynych newidiad ei athrawon. Oddiwrth Mr. Meredydd aeth at y Parch. Rhŷs Marc o'r Bwlch, ac oddi yno at y Parch. Evan Williams o'r Crûg-cadarn, gyda yr hwn y cyrhaeddodd mor belled a Virsil a'r Testament Gryw.

Er ei eni yn Nghymru, etto dygwyddodd hyny fod yn y parth hwnw o'r Dy-

wysogaeth lle y mae 'r Saesoneg yn cael ei llefaru yn bènaf, ac mewn plwyf lle yr oedd gwasanaeth yr Eglwys yn cael ei weini yn hollol yn yr iaith hòno, oddigerth ambell lìth yn achlysurol o'r Bibl Cymraeg. A'i rïeni a ystyrient wybodaeth o'r Gymraeg yn niweidiol i'w plant, ac yn rhwystr iddynt ddysgu Saesoneg, ac felly fe'u gwaherddid. Er hyn oll o ddïannogaeth, fe gyrhaeddodd Mr. Davies wybodaeth ganolig o'r Gymraeg drwy glywed ymddyddanion y teulu, a darllen llyfrau ei dad.

Yn y fl. 1772, pan oedd efe yn unarbymtheg oed, dechreuai gyfansoddi emynau, y rhai erbyn 1775 oeddynt wedi chwyddo i dua 56 o nifer; ond ni chyhoeddwyd hwynt byth. Ac er nad oedd y brydyddiaeth yn gampus, hwy a dystient hewyd boreuol eu hawdwr. Yn 1773 cyfansoddai emyn Gymreig, yr hyn a ddangosai y'mhellach nad oedd efe yn esgeulus o lëenyddiaeth ei genedl.

Yn 1774, aeth i Brif ysgol Ramadegol Brecheiniog, athraw yr hon y pryd hyny ydoedd y Parch. Dafydd Gruffydd. Yno daeth i gydnabyddiaeth âg un a fu wedi hyny yn enwog, ac a barhâodd yn gyfaill mynwesol iddo hyd derfyn ei oes, yr hyn a ddamweiniai yn 1812, a hwnw oedd Mr. Theophilus Jones, awdwr Hanes Swydd Frycheiniog; yr ail lyfr o ba un a gyflwynodd efe i Mr. Davies.

Wedi tario o hono yn ysgol Brecheiniog ysbaid blwyddyn, ei rïeni a farnent ei fod wedi dysgu digon i'w gymhwyso i urddau cysegredig, ac na byddai ei ysgoleigdod pellach ond traul ofer; ac mai buddiolach fyddai iddo weithian ddechreu darbod drosto ei hun, drwy ddysgu ereill. Ac felly, er ei fod yn gydwybodus o ddiffygiolder ei ddysgeidiaeth, efe a gydsyniai â'u darbwylliad, drwy agoryd ysgol yn Hay, yn y fl. 1775.

Tra yn y lle hwn, bu mor ffodiawg a myned i lettŷa gyda gŵr dysgedig o'r enw y Parch. Richard Llwyd. A thrwy addysg y gŵr hwnw, addefai Mr. Davies iddo gael mwy o ddiwylliad gwybodaeth nag oddiwrth ei holl athrawon ereill. Felly cadwai ei ysgol am flwyddyn yn addoldŷ y Methodistiaid, hyd yn mis Ionawr 1777, y caffai, drwy ymddidoliad y Parch. John Thomas, ei ddewis gan Elusenwŷr Yspyttŷ Crist yn Llundain, i fod yn athraw yr Ysgol Râd Ramadegol yn Hay.

Oddiar deimlad o'i ddiffygiolder mewn dysgeidiaeth, bu orfod iddo ymroddi gyda diwydrwydd ychwanegol i efrydiaw yn ddyfnach i'r Roegiaith a'r Lladiniaith; a thrwy hyny fe lwyddai i gael urdd Ddiaconaidd yn y fl. 1779, i Guradiaeth Baiton yn Swydd Henffordd. Y pryd hwn yr oedd ei olwg mor wanaidd, fel y cyferchid ef mewn dull cellweirus gan Mr. Theophilus Jones dan yr enw "Prydydd unllygeidiog."

Er mwyn ennill hawl i urddau eglwysig, efe a weinidogaethai am flwyddyn yn Bacton, St. Margaret, a Thurnaston; a hyny i gyd yn ddïwobr. A'r hanner blwyddyn canlynol gweinyddai i Guradaethau Dorston, a Peterchurch, yn lle y manau uchod, gan barhâu felly hyd ddiwedd 1782. Y pryd hyn, yn oed misoedd yr haf, pan yr oedd gwasanaeth hwyrol i'w gyflawni yn Norston a Peterchurch, yr oedd ganddo bum gwasanaeth i'w gyflawni, a thair pregeth i'w traddodi bob Sul, ac uwchlaw 30 milltir i'w teithio, am yr hyn i gyd nid oedd ei wobr blynyddol ddim ond £30.

Naturiol yw casglu ddarfod i'r holl lafur gweinidogaethol hwn, ar y Suliau, ynghyd â'i lafur beunyddiol yn ei ysgol, a'i fyfyrdod dyfal ar ei oriau segur, niweidio ei ansawdd corphorol i'r fath raddau, fel y dug arno ei hun wendidau a lynent wrtho tra b'ai byw yn y byd. A chan mor lwythog ei lafur, a lleied ei wobr, hiraethai am ryw sefyllfa fwy dymunol; ac yn y cyfamser, dygwyddai fod galwad am Athraw i Ysgol Ramadegol Chipping Sodbury, yn Swydd Gaerloyw; ac er bod cynnifer a phedwar ar ddeg o gyd-ymgeiswŷr am y sefyllfa, efe a lwyddodd i'w chael. Ac felly efe a ymsymudodd yno o Hay, gan gymmeryd arno arolygiad yr ysgol grybwylledig, a gwasanaethu Curadiaeth y plwyf am rai misoedd, nes cael o hono ei bennodi yn Llithwrydd y lle, yr hyn, ynghyd â Churadiaeth plwyf cymmydogaethol, a elwid Great Badminston, a gyflawnodd efe am un mlynedd ar bymtheg, sef o 1783 hyd 1799.

Yn y fl. 1783, efe a brïododd Margaret Smith o'r Drewen, yn Swydd Gaerloyw; a'r gyfathrach hòno a'i cynnorthwyai i

allu cymmeryd ato amryw o'i ysgoleigion i'w gwestyâ.

Fel hyn y talm-olrheiniwyd gyrfa Mr. Davies, ac y byr-ddangoswyd ei helyntion amgylchiadol hyd ei sefydliad yn y byd, fel y dywedir, a chyrhaedd o hono uwchlaw deugein-mlwydd oed. Y mae yn gorphwys arnom yn nesaf adrodd ei wrolgampau llëenyddawl, a'i helyntion amgylchiadol ereill hyd derfyn ei daith. Hyn a amcanwn ei wneuthur ar ryw gyfle rhagllaw.

*(I'w barhau.)*

## PREGETHIAD CRIST

### I'R YSPRYDION YN NGHARCHAR, YN Y CYFAMSER RHWNG EI FARWOLAETH A'I ADGYFODIAD.

"Wedi ei farwolaethu yn y cnawd, eithr ei fywhâu yn yr Yspryd: trwy yr hwn yr aeth efe hefyd ac a bregethodd i'r ysprydion yn ngharchar; y rhai a fu gynt anufudd, pan unwaith yr oedd hir-amynedd Duw yn aros yn nyddiau Noë." 1 *Petr* 3. 18—20.

Rhaid i ni ystyried Crefydd yn *wybodaeth*, ac hefyd yn *gelfyddyd*. Megys celfyddyd, y mae 'r egwyddorion ag sydd i drefnu ein hymddygiad ni, ddim llai na'r rheolau sydd i'w cadw, yn y cymhwysiad o'r egwyddorion eu hunain, yn eithaf eglur a dealladwy. Ond megys gwybodaeth, y mae llawer iawn o'i gwirioneddau uwchlaw i'n hamgyffred ni; ac amrywiol ranau o'r Llyfr Sanctaidd, sydd yn datguddio y cyfryw wirioneddau, ydynt anhawdd a chaled i'w deall. Yn hyn oll canfyddir yn amlwg ddoethineb a daioni yr Hollalluog Dduw. Yn ei anfeidrol ddaioni, efe a barodd fod yr holl reolau a'r egwyddorion sylweddol o iechydwriaeth yn eglur i'r dealldwriaethau iselaf. A chyd â'r cyffelyb ddoethineb, efe a osododd len o dywyllwch ar rai dosparthiadau o'i Air Sanctaidd, er annog a chyffroi ein gofal ni, er ennill ein dwys chwiliad, i ddysgu i ni ostyngeiddrwydd, ac i'n hadgofio o'n cyflwr ymddibynol.

Yr adnodau a ddewisais yn destun, ydynt ym mysg y rhai ag ydynt anhawdd a chaled i'w deall. Yn y geiriau sydd yn rhagflaenu y testun, y mae 'r apostol yn mynegi i "Grist hefyd unwaith ddïoddef dros bechodau, y Cyfiawn dros yr anghyfiawn, fel y dygai ni at Dduw." Ac yna, yn ngeiriau 'r testun, efe a â yn y blaen, "wedi ei farwolaethu yn y cnawd, eithr ei fywhâu yn yr Yspryd"

Y meddwl a roddir gan rai dysgedigion i'r geiriau hyn, a pha un a ymddengys yn unol â'r Saesoneg, yw, i Grist gael ei gyfodi o feirw trwy nerth y Dwyfol Yspryd: ond y rhageiriau *yn* a *thrwy*, sef yn y cnawd, a thrwy yr Yspryd, a chwanegwyd gan y cyfieithwyr Saesoneg. Nis ceir *hwy* yn yr iaith wreiddiol, ym mha un, y geiriau eu hunain a safant yn wrthwynebol i'w gilydd; sef, *θανατωθεις μεν σαρκι, ζωοποιηθεις δε πνευματι*;* ac a arwyddocânt y rhanau gwahanol o ddynoliaeth Crist; ei gorph, yr hwn a fu farw, a'i enaid, yr hwn a fywhawyd. Os yn lle cymhwyso 'r gair *yspryd* i arwyddocâu y rhan hono o Grist a'r a fywhawyd, ni a feddyliwn ei fod y Dwyfol Yspryd; ac fel hyn yn ei wneud *yn achos* o'i fywhau ef: gan fod y gair "cnawd" yn yr iaith wreiddiol yn atteb i'r gwrthwyneb i'r gair "yspryd," yna y mae yn rhaid i ni ddyfod i'r casgliad afresymol hwn, sef mai *cnawd* Crist oedd yr achos o'i farwolaethu ef, ac nid *yn rhan* o hono, a ddarfu ddïoddef loesau y natur ddynol. Gwir ystyr y geiriau, yn ddïammheuol, yw, "ei farwolaethu yn y cnawd, ond ei fywhâu yn yr yspryd." Mewn perthynas i'r cnawd, efe a fu farw: ei ran farwol ef a ddïoddefodd boenau ymddattodiad: efe a drengodd mewn ing: efe a ddïoddefodd angeu trosom ni. Ond ei yspryd, (ei enaid) nis gallai ei elynion ei ladd ef: mae yn anfarwol yn ei natur, efe a fywhawyd, efe a gadwyd yn fyw. Ond, pa beth oedd gorchwyl yspryd Crist (ei enaid) pan yr hunodd ei gorph yn y bedd? Yn fywiol yn ei natur, heb ymddibynu yn angenrheidiol ar y corph, mewn perthynas i'r defnydd a'r arferiad o'i alluoedd; fe fyddai yn gymmwys i ni benderfynu, pe bai yr ysgrythyrau heb sôn dim yn ei gylch, fod enaid dynol Crist, yn yr adwy rhwng angeu a'r adgyfodiad, yn dra phrysur ar waith. Priodoldeb Yspryd Dwyfol a

* See *Valpy*'s Edition of the Greek Testament: and also Dr. *Bloomfield*'s Sacred Synoptica, where he says, that "Christ went and preached, or rather proclaimed, his kingdom to the Ante-diluvians in Hades."

thragywyddol yw, BOD, heb ymddibynu ar amser a lle. Y mae 'r apostol yn dywedyd yn bendant fod enaid Crist yn fywiog ac ar waith: ac y mae efe yn adrodd y gwrthddrychau ynghylch pa rai yr oedd efe yn gweini, ynghyd â'r lle yn yr hwn yr oedd ei enaid yn cartrefu ar ol ei ymadawiad â'r corph. Ni a ddylem hefyd, gan hyny, gael ein tywys yn rhesymol i feddwl fod gan enaid Crist, yn parhâu i fod ar ol marwolaeth y corph, ei drigfa mewn rhyw le neu gilydd. Yr apostol, yn y geiriau nesaf o'r testun, a ddywed "i Grist fyned, a phregethu i'r ysprydion yn ngharchar; y rhai a fu gynt anufudd, pan unwaith yr oedd hir amynedd Duw yn aros yn nyddiau Noë." Y mae amrywiol ffyrdd o ddehongli y rhan dywyll hon o'r Ysgrythyr Lân.

Rhai o'r cyfryw a ddadleuant fod y geiriau blaenorol, sef, "wedi ei farwolaethu yn y cnawd, eithr ei fywhâu yn yr yspryd," yn arwyddocâu i Grist gael ei gyfodi o feirw trwy nerth yr Yspryd Dwyfol, a feddyliant i Grist, trwy yr unrhyw Yspryd, bregethu i bechaduriaid gwrthryfelgar yn nyddiau Noë, y rhai yn *awr* a gedwir yn ngharchar mewn tywyllwch, erbyn barn y dydd mawr. Gwir yw, ddarfod i Yspryd Duw Dad, ac o herwydd hyny hefyd Yspryd Crist, y Mab, ymryson â'r hiliogaeth gyndyn a orchuddiwyd gan y diluw. Fe ellir, am hyny, ddywedyd i Grist, trwy yr Yspryd hwnw, â pha un yr ysprydolodd ei was Noë, bregethu i'r anufuddion cyn y diluw; ond, deliwch sylw, nid dyma yr athrawiaeth a osodir allan yn y rhan hon o'r Ysgrythyr Lân.

Yn y lle cyntaf, ni a welsom nad yw 'r gair *yspryd* yn cyfeirio at yr Yspryd Glân, ond at yspryd neu enaid dynol Crist; ac ynfyd fyddai meddwl i Grist, trwy ei enaid dynol, bregethu i'r anufuddion yn nyddiau Noë. Y mae hyn, o hono ei hun, yn benderfynol yn erbyn y cyfryw ddehongliad o'r geiriau tan ein hystyriaeth. Eithr ym mhellach, y maent hwy yn amlwg gyfeirio at ryw beth a wnaeth Crist *ar ol* ei farwolaeth; "Wedi ei farwolaethu yn y cnawd, eithr ei fywhâu yn yr yspryd: *trwy yr hwn* yr aeth efe hefyd ac a bregethodd i'r ysprydion yn ngharchar." Ei bregethiad ef, ynte, nid allai gyfeirio at bregethiad yr Yspryd Glân yn nyddiau Noë. Y mae 'r esponiad hwn hefyd yn dal allan fod y rhai y pregethodd Crist iddynt, trwy ei Yspryd, yn nyddiau Noë, yn parhâu yn anufudd ac yn ddiedifeiriol; a bod y lle, neu 'r carchar, yn yr hwn y cedwir hwynt, yn un o gospedigaeth a phoen. Ond y mae yr apostol yn eu darlunio hwynt fel "y rhai a fu *gynt* anufudd;" y rhai, ar ryw bryd neu gilydd, a fuont anufudd, ond a adferwyd drachefn trwy edifeirwch. Ac nid oes unrhyw sail yn yr Ysgrythyr i gadarnhau 'r dyb greulon ac anghariadus, i'r holl eppil ddynol cyn y diluw yn nyddiau Noë (oddieithr efe ei hun a'i deulu) barhâu i'r diwedd yn anedifeiriol, a'u gorchuddio gan ddiluw, i'w taflu i'r llyn ag sydd yn llosgi yn oes oesoedd.

Ar y llaw arall, y mae yr apostol, gan lefaru am y rhai, yn nyddiau Noë, a fu *gynt* anufudd, yn ddiammheuol yn cefnogi y penderfyniad caredig hwn, fod rhai o'r hiliogaeth annuwiol a'r a ddigiasant Dduw, gan ei annog i ddwyn diluw ar y ddaear, gwedi edifarhau tan bregethiad Noë. Ac er nas achubwyd hwy oddiwrth ddyfroedd y diluw, o herwydd mai bwriad goruchel Duw oedd yn unig gadw yn fyw ddigon i ail bobli 'r ddaear, etto iddynt, trwy ei drugaredd ef, gael eu hachub rhag fflamau y llyn sydd am byth yn llosgi. Fel hyn, ynte, enaid Crist yw yr yspryd yn y testun, ac nid y Dwyfol Yspryd. Y mae pregethiad Crist, yn y testun, yn cymmeryd lle ar ol ei farwolaeth; ac y mae efe yn pregethu, nid i'r rhai sydd i'r diwedd yn anedifeiriol, ond i'r "rhai a fu gynt anufudd," ac ar ol hyn a ddychwelwyd trwy edifeirwch. Nis gall pregethiad Crist i'r ysprydion yn ngharchar, gan hyny, arwyddocâu pregethiad trwy yr Yspryd Dwyfol i bechaduriaid gwrthryfelgar yn nyddiau Noë, y rhai yn awr a gedwir mewn cadwynau yn y tywyllwch, erbyn barn y dydd diweddaf.

Ereill a haerant fod y pregethiad hwn o eiddo Crist, yn cyfeirio at ei bregethiad trwy 'r apostolion i'r cenhedloedd, y rhai oeddynt yn ngharchar mewn caethiwed i'w gwyniau a'u chwantau cnawdol; ond y mae rhwystr anorchfygol yn erbyn y fath ddehongliad a hwn, sef, i Grist bregethu i'r rhai a fu gynt anufudd yn nydd-

iau Noë. Ni fu y cenhedloedd, i ba rai y pregethodd Crist trwy ei apostolion, erioed yn anufudd yn nyddiau Noë; nis gallasent hwy, gan hyny, fod "y rhai yr aeth efe ac y pregethodd iddynt, wedi ei farwolaethu yn y cnawd/"

Y synwyr amlycaf a mwyaf llythyrenol o'r geiriau yw, yn ddiammeu, yr un mwyaf gwirioneddol; Crist a farwolaethwyd yn y cnawd, ond ei yspryd a fywhawyd—a gadwyd yn fyw. Yn yr yspryd hwn, sef ei enaid, yr aeth Crist i ryw le, yn yr hwn yr oedd y rhai a fu gynt anufudd yn nyddiau Noë *yn ngharchar*, ond a adferwyd drachefn trwy edifeirwch; ac iddynt hwy y pregethodd efe.

*(I'w barhau.)*

## LLYTHYR PERERIN.

Mr. Gwyliedydd—Nid yw o bwys i chwi, na'ch cyfeillion, wybod pa bryd, na pha le yr wyf fi, bryfyn gwael, yn ysgrifenu y llythyr hwn; ac, onidê, bid sicr i chwi, y cawsech chwi, er llawer o draul a thrafferth, wybod pob un o'r ddau. *Pererin* wyf, ac ar fy nhaith o foreu fy oes hyd ei phrydnawn, ac etto nid oes gorphwysdra. Y mae yn awr lawer wyneb serchog a welais yn anweledig; a llawer tafod hyawdledd a glywais yn ddistaw dawel yn y bedd. Ond pa le y mae y peth byw a siriolai y wyneb, ac a barai i'r tafod lefaru er addysg, cysur, neu ddychryn y gwrandawyr?

"Ni newidia yr Ethiop ei groen, na'r llewpard ei frychni," fel y gwyddoch; felly, nid hawdd y newidiaf finnau yr hyn a arferais. Arferwyd fi er cyn côf genyf, a diolch i Dduw a'm rhïeni am hyny, i fyned i'r Eglwys ar y Sabbath; ac yn wir nid allaf yn awr fod yn gysurus un Sabbath os na byddaf yno, er yn heneiddio ac yn penwynu.

Ar ol teithio yn ddiweddar trwy fröydd a chymmydogaethau hyfryd a dymunol, a gweled a chlywed llawer o bethau, y rhai ni soniaf am danynt y tro hwn, daethum, ond yn dra blinedig, yn hwyr y dydd olaf o'r wythnos, i ardal a elwir ——, a lletyais gyda chyfaill yno; ac wedi cydnabod daioni Duw tu ag atom, a diolch iddo am ei ofal tadol am danom, a gorchymyn ein hunain i'w gadwraeth Ef am y nos hono, yn gystal ag am y rhan sydd yn ol o'n pererindod yn y byd, aethum i orphwys. Codais yn y boreu; ac ym mhen rhyw amser aethum tua'r Eglwys, a dymunais gan Dduw gymhorth i mi a'r gynnulleidfa i'w "addoli Ef mewn yspryd a gwirionedd." Galwyd arnom yno i ystyried yr hyn yr oeddem ar ddechreu arno gan y Gweinidog, trwy ddarllen i'n clywedigaeth ychydig o adnodau, perthynol i hyny, allan o'r Ysgrythyr Lân; ac yna ymhelaethodd ar ddyben addoliad cyhoeddus, mewn cyfarchiad serchog, cyffrous, ac addysgiadol. Diweddodd ei gyfarchiad, gan erfyn ac atolygu arnom fyned gyd âg ef at "orseddfaingc y gras, gyda chalon bur a llef-erydd gostyngedig." A chan nad ellir yn hawdd gael allan agwedd addasach o ran corph i bechadur yn teimlo ei fai, ac yn barod i'w gyfaddef, ac yn erfyn am ei fywyd, o flaen Mawredd anchwiliadwy, nac ar ei liniau, syrthiais i, a rhan fawr, os nid pawb, o'r gynnulleidfa, ar fy ngliniau; a chefais eiriau mor gymmwys ac addas i mi fel pechadur, i gyfaddef fy meiau ger bron Duw, ac i erfyn am ei drugaredd, a phe buasent wedi eu cyfansoddi er fy mwyn i yn unig. Yr oeddwn yn gallu cyd-ddywedyd â'r cwbl. Yn wir, ni fedraf fi un amser ddarllen y cyfaddefiad cyffredin yn Ngwasanaeth cyhoedd ein Heglwys, heb ryfeddu wrth ei ragoroldeb—yn gynnwysfawr, heb feithdra—yn fanwl, heb neillduolrwydd—yn edifeiriol, heb anobaith—yn efengylaidd, heb duedd i benrhyddid—yn ddeisyfiadol, etto heb hunanoldeb. Wedi hyn cyhoeddodd yr Offeiriad, mewn llef-erydd uchel, "newydd da o lawenydd mawr" i bob pechadur edifeiriol, sef, "Bod yr Hollalluog Dduw, Tad ein Harglwydd Iesu Grist, &c. yn pardynu, ac yn gollwng y rhai oll sydd yn wir edifeiriol, ac yn ddiffuant yn credu i'w sanctaidd Efengyl Ef." Newydd yw hwn o'i gredu a bair i galon yr edifeiriol lamu o'i fewn o wir lawenydd. Yr ydym yn ei gredu, os ydym hefyd, nid o herwydd bod yr Offeiriad yn ei ddywedyd, ond o herwydd mai Gair ac Ewyllys dadguddiedig Duw yw, yn cael ei gyhoeddi a'i fynegi ganddynt hwy i'n clywedigaeth ni; ac nid yw amgen na phregethiad byr, ond gynnwysfawr, o'r Efengyl. Wedi hyn dyrchafasom ein heneidiau at Dduw yn y nefoedd, a

galwasom arno, fel y dysgodd ein Harglwydd bendigedig i'w holl ddisgyblion wneuthur, gan ddywedyd, "Ein Tad yr hwn wyt yn y nefoedd," &c. Yna deisyfasom gan yr Arglwydd gymmorth i'w glodfori a'i ganmol, o'r hyn lleiaf o ran agwedd allanol, yn ngeiriau y Psalmydd duwiol, peraidd ganiadydd Israel. Ond, fy nghyfaill anwyl, y mae arnaf ofn eich bod yn barod i ddywedyd fy mod wedi myned yn hen a dwndrus, am hyny âf ym mlaen i osod o'ch blaen chwi, a'ch cyfeillion, yr hyn, yn neillduol, a'm hannogodd i'ch cyfarch y tro hwn.

Y mae y dyddiau hyn, fel y gŵyr pob ystyriol, yn dduon, a thywyll, a bygythiol; ac nid all y mwyaf anystyriol lai na chyfaddef hyn. Pa beth sydd yn y dyddiau o'n blaen, Duw yn unig a ŵyr. Er hyn i gyd y mae 'n dda genyf fi glywed llais Gweinidogion Duw yn galw dynion i ystyried llais yr amseroedd; ac am hyny nid annerbyniol oedd genyf glywed y Gweinidog yn y gynnulleidfa hon yn galw arnynt i ystyried y dyddiau yr oeddynt yn byw ynddynt. Ei destun oedd y geiriau hyn, o eiddo y prophwyd efengylaidd Esaiah, "Dywedwch mai da fydd i'r cyfiawn; canys ffrwyth eu gweithredoedd a fwynhânt. Gwae yr anwir, drwg fydd iddo; canys gwobr ei ddwylaw ei hun a fydd iddo." *Esa.* 3. 10, 11. Ar ol ychydig o ragymadrodd, fe sylwodd y Gweinidog am dro, yn y lle *cyntaf*, ar ansawdd yr amser y llefarwyd y geiriau ynddo; ac yma fe ddangosodd mai amser *llygredig* iawn ydoedd mewn gwlad ac eglwys; amser y gallai y prophwyd ddywedyd am y genedl, mai "cenedlaeth bechadurus oedd, a phobl lwythog o anwiredd, had y rhai drygionus, a meibion yn llygru;" amser y gellid dywedyd am y deyrnas yn gyffredin, ac am bob gradd ynddi, eu bod yn llygredig, "y pen oll sy glwyfus, a'r holl galon yn llesg; o wadn y troed hyd y pen nid oes dim cyfan ynddi, ond archollion, a chleisiau, a gwelïau crawnllyd:" amser y gellid dywedyd am ddynion yn myned i dŷ Dduw, ac i gyflawni dyledswyddau crefyddol mai *yn ofer* y gwnaent hyny, pan yr oedd eu proffes a'u hymddygiad yn groes i'w gilydd,—"Beth yw llïosogrwydd eich aberthau i mi, medd yr Arglwydd—na chwanegwch ddwyn offrwm ofer—pan estynoch eich dwylaw, mi a guddiaf fy llygaid rhagoch—a phan weddïoch lawer ni wrandawaf—EICH DWYLAW SY LAWN O WAED:" amser y gellid dywedyd am y *ddinas* a fu yn *ffyddlon*, mai *putain* oedd: dyddiau y cyhoeddid am y "tywysogion eu bod yn gyndyn, yn caru ac yn dilyn rhoddion a gwobrau:" amser yr oedd y "bobl yn cael eu gorthrymu y naill gan y llall, a phob un gan ei gymmydog:" ac amser yr oedd "bachgen yn ymfalchio yn erbyn yr henwr, a'r gwael yn erbyn yr anrhydeddus:" ie, amser yr oedd "MERCHED SION yn ymfalchio, ac yn rhodio â gwddf estynedig, ac â llygaid gwammal, gan rodio a rhygyngu wrth gerdded, a thrystio â'u traed," &c. Yma fe ddangosodd y Gweinidog bod y darluniad uchod yn ddarluniad tra chywir o'n gwlad ninnau, ac ymddygiad ei thrigolion yn y dyddiau hyn. Mwy o lawer o ddynion, ym mhob ardal a chymmydogaeth, o bob gradd a sefyllfa, yn ddynion penrhydd annuwiol, nac y sydd yn ddynion duwiol, yn ofni yr Arglwydd, ac yn cadw ei ffyrdd ef; canys am un teulu yn gweddïo chwi a gewch gànt yn rhegu ac yn melldithio—am un teulu yn byw yn sobr, yn gyfiawn, ac yn dduwiol, chwi a gewch ugeiniau yn wrthryfelwyr yn erbyn Brenin y nefoedd, yn sathru ei ddeddfau tan eu traed, ac yn dirmygu ei gyfreithiau a'i osodiadau—ac o'r miloedd sydd yn cyrchu i foddion gras, ac i addoliadau cyhoeddus Duw, ychydig yw y nifer a ddangosant yn eu bywyd a'u hymarweddiad eu bod mewn gwirionedd yn caru yr Arglwydd, ac yn ei wir wasanaethu Ef. Am un blaenor, a thywysog, a gewch yn weddïwr, yn barchwr Duw a'i Sabbathau, yn gredwr ei Air Ef, ac yn gadwr ei orchymynion, chwi a gewch ugeiniau, os nid cannoedd, yn gablwyr Duw, yn halogwyr ei Sabbathau, yn wawdwyr ei Air, ac yn dorwyr ei gyfreithiau; ac er ein bod, fel cenedl, yn arddel crefydd yr Arglwydd Iesu Grist, etto, yn Senedd Brydain Fawr, fe glywir llais gwadwyr Duw, a gwatwarwyr ei athrawiaethau Ef; am un bunt a rydd ein cyfoethogion a'n blaenoriaid, yn gyffredin, at achosion crefydd, ac helaethiad gwybodaeth o Grist Iesu ein Harglwydd, fe roddir miloedd i gynnal arferion drwg, coeg-ddigrifwch, a phethau llygredig, &c.

Yn *nesaf*, fe ddangosodd mai amser *bygythiol* ydoedd. Amser yr oedd yr Arglwydd yn *cuddio* ei lygaid rhagddynt, ac yn anfon atynt, gan ddywedyd—"Fel hyn y dywed yr Arglwydd, Arglwydd y lluoedd, cadarn Dduw Israel, Aha, ymgysuraf ar fy ngwrthwynebwyr, ac ymddïalaf ar fy ngelynion." Yr amser yr oedd Arglwydd y lluoedd yn cyhoeddi bod ei ddydd ef ar ddyfod "ar bob balch ac uchel, ac ar bob dyrchafedig, i'w darostwng;" y dydd yr oedd yr Arglwydd yn hysbysu pa fodd yr ymddygai tu ag at ei winllan, o herwydd ei hanffrwythlondeb, gan ddywedyd, "Tynaf ymaith ei chae, fel y porer hi; toraf ei magwyr, fel y byddo hi yn sathrfa, ac mi a'i gosodaf hi yn ddifrod. Nid ysgythrir hi, ac ni chloddir hi; ond mieri a drain a gyfyd: ac i'r cymylau y gorchymynaf na wlawiont wlaw arni." Yr amser yr oedd Duw Israel yn anfon atynt, gan ddywedyd, "Gan glywed y clywch, ond na ddeallwch; a chan weled y gwelwch, ond na wybyddwch." Yr amser yr oedd barnedigaethau Duw yn carlamu drwy y ddaear, ac yn agosau, gyda chamrau breision, tu ag at Judea a Jerusalem, &c. Yma hefyd fe ddangosodd y pregethwr i'r gynnulleidfa bod ein dyddiau ni yn dra thebyg i'r dyddiau hyny: bod Duw, fel pen-llywodraethwr y byd, yn awr yn ymweled â'i breswylwyr am eu hanwireddau; ac yn ei ragluniaeth yn gwasgu pob gradd, hyd nes y maent oll yn gorfod teimlo ac anesmwytho—rhai yn dioddef yn dawel, ereill yn ymgynddeiriogi, ac yn peri terfysg, dadwrdd, ac anghydfod. Y march coch yn carlamu trwy rai gwledydd, ac yn sathru eu trigolion, yn wyr, gwragedd, a phlant, o dan ei draed. Y march du yn ymddangos mewn ardaloedd ereill, ac yn bygwth rhuthro ar eu trigolion. Yr haint hefyd yn cerdded yn araf drwy deyrnasoedd lawer, ac yn difa eu trigolion wrth yr ugeiniau a'r cannoedd, os nid y miloedd—yr haint hwn hefyd yn agosau yn raddol tu ag at ein gwlad anwyl ni, &c.

Yn *drydydd*, amser o *ddigywilydd-dra* mewn pechod ac annuwioldeb. Amser y cyhoedda y prophwyd fod "dull eu hwynebau hwynt yn tystiolaethu yn eu herbyn, a'u pechod fel Sodoma a fynegant, ac ni chelant." Bu amser yr oeddynt yn gostwng eu penau, ac yn cywilyddio o herwydd eu pechod a'u hannuwioldeb; ond yn awr yr oeddynt yn rhodio yn benuchel a thalgryf yn eu ffyrdd drygionus. Bu amser pan na wnaent weithredoedd y tywyllwch ond yn y tywyllwch; eithr yn awr gwnant y pethau aflanaf, a mwyaf annuwiol, yn gyhoedd, ac yn y goleuni, fel pobl Sodoma. Yn lle edifarhau a diwygio o herwydd ymdriniaethau Duw tu ag atynt, y maent yn ymhyfâu ac yn ymgaledu mewn drygioni. Yn awr, ebe 'r Gweinidog, edrychwch o amgylch, a chydmerwch etto agwedd trigolion ein gwlad ni o ran eu hymddygiad mewn pethau yn perthyn i Grist a'i grefydd, âg ymddygiad trigolion gwlad Judea tu ag at yr Arglwydd eu Duw, a'i achos yn eu plith. Bu amser pan yr oedd cywilydd ar ddynion wneuthur yn gyhoedd weithredoedd y diafol—pan yr oedd yn gywilydd gan wreng ammharchu boneddig, a phan yr oedd yn gywilydd gan foneddig ymddwyn yn anfwyn tu ag at y gwreng—pan yr ystyriai plant yn beth gwaradwyddus ddiystyru oedran, a chyfodi yn erbyn penwyni—pan yr ystyrid yn beth rhy ffiaidd i'w adrodd, na'i ddioddef, gablu urddas, a dywedyd yn ddrwg am benaeth y bobl—pan yr ystyrid yn beth cywilyddus esgeuluso gwasanaeth Duw, a halogi ei Sabbathau ef—pan yr oedd dirmygwyr Duw, ac anghredwyr ei Air ef, yn cael eu hystyried fel yn adar y tywyllwch, ac ni welid mo honynt mwy na'r dylluan a'r ystlum, ond yn ngwyll y nos, a chonglau y tywyllwch. Ond yn awr y mae cablwyr Duw, dirmygwyr Crist, gwawdwyr ei Air ef, halogwyr ei Sabbathau, troseddwyr ei gyfreithiau, a gelynion ei achos, yn rhodio ein heolydd mor ben uchel a neb, gan fynegi eu pechod, ac heb ddangos un ymgais i'w gelu. Gellir dywedyd am danynt hwy, a'r cyffelyb, yn ein dyddiau ni, fel y dywedodd yr Arglwydd gynt am y cyffelyb bobl, trwy y prophwyd Jeremiah, "A fu gywilydd arnynt hwy pan wnaethant ffieidd-dra? na fu ddim cywilydd arnynt, ac ni fedrasant wrido; am hyny y syrthiant ym mysg y rhai a syrthiant, yn amser eu hymweliad y syrthiant medd yr Arglwydd." *Jer.* 8. 12, &c.

Yn yr *ail* le fe sylwodd y Gweinidog am gryn amser ar *ddiben* neillduol llefariad geiriau y testyn—i *gysuro 'r* cyfiawn—i

*ddidwyllo'r* anwir. "Yn ddiau (eb efe) wrth edrych ar yr amseroedd, ac ystyried lleferydd y prophwyd, nid allai y cyfiawn yn y dyddiau hyny lai nag ofni a chrynu rhag y pethau a gyhoeddid a'r barnedigaethau a grogent uwch eu penau. Ond i'w cysuro hwy, fe addysgwyd y prophwyd i gyhoeddi, 'Dywedwch mai da fydd i'r cyfiawn; canys ffrwyth eu gweithredoedd a fwynhânt.' Dywedwch, os daw y farn, a rhedeg o'r dinystrydd drwy y wlad, 'Mai da fydd i'r cyfiawn;' os daw 'r diluw, 'Da fydd i'r cyfiawn,' fe fydd arch i Noah; os daw tân a brwmstan o'r nefoedd i losgi Sodoma, etto dywedwch, 'Da fydd i'r cyfiawn,' y mae Soar i Lot i ffoi iddi; os daw 'r newyn ar y wlad, a dinystrio holl gynnaliaeth dyn, etto, 'Dywedwch, mai da fydd i'r cyfiawn,' y mae cigfrain i borthi Elias; os daw erlidigaeth o achos cyfiawnder, ac os teflir y tri llangc i ganol y tân poeth, y mae gwaredwr i ddiogelu rhag y tân; os daw y farn, a marw o honynt ynddi, etto, dywedwch, 'Da fydd i'r cyfiawn,' canys y mae yr Arglwydd gyd âg ef yn nyffryn cysgod angeu, ac am hyny nid ofna niweid, ei wïalen a'i ffon a'i cysura ef; y rhai cyfiawn hefyd a ânt i *fywyd tragywyddol.*"

Dangosodd y Gweinidog hefyd o dan y pen hwn, pwy oedd y cyfiawn, ac ym mha ystyr yr oedd felly, a pha fodd y mwynhaent ffrwyth eu gweithredoedd. Sylwodd hefyd ar rai o'r pethau gogoneddus a ddywedir am dano ef yn y byd hwn, ac ar rai o'r pethau rhyfedd a bendigedig y sydd yn ei aros yn y byd a ddaw, &c. Y rhan arall o ddiben llafariad y geiriau, sef, i *ddidwyllo* yr anwir, a adawodd y Gweinidog hyd y prydnawn, am hyny minnau a'i gadawaf allan o'r llythyr hwn, oddieithr ychydig eiriau. Dangosodd pwy oedd yr *anwir*, ac ym mha ystyr yr oeddynt felly. Yr oeddynt felly yn *gyfrifol*, Rhuf. 5. 19. yr oeddynt felly yn *egwyddorol*, Ioan 3. 6. Rhuf. 8. 8. ac felly yn *weithredol*, Rhuf. 8. 6, 7. Gal. 5. 19. am hyny yr oeddynt yn blant digofaint wrth naturiaeth, Eph. 2. 3. ac yr oedd digofaint Duw yn aros arnynt, Ioan 3. 36. ac am hyny dywedwch, "Gwae yr anwir," yn awr yn y byd hwn, a "drwg fydd iddo" yn y byd a ddaw: "Y rhai hyn a ânt i gospedigaeth dragywyddol—yno y bydd wylofain a rhingcian dannedd—lle nid yw y pryf yn marw, na'r tân yn diffodd." Diweddodd y Gweinidog ei bregeth gyd â'r ymofyniad hwn, "I ba un o'r ddwy dorf hyn yr ydym ni yn perthyn?" Ymofyniad pwysig a difrifol iawn; a gwyn fyd y rhai hyny a allant ddywedyd, a dywedyd y gwir hefyd, "Nyni a gyfiawnhawyd yn enw ein Harglwydd Iesu Grist; ac am hyny y mae genym heddwch tu ag at Dduw." Ymhelaethodd y Gweinidog ar y pen hwn, er cysur i gredinwyr, ac annogaeth gref iddynt i ymroddi yn hollol i wasanaeth yr Arglwydd, ac i rodio ger ei fron mewn uniondeb a sancteiddrwydd y rhan sydd yn ol o'u bywyd. Nis gallaf o herwydd ammherffeithrwydd fy nghof wneuthur cyfiawnder â'r pethau hyn, maddeuwch fy ammherffeithrwydd; a chofiwn, os byddwn gyfiawn, mai *da fydd* i ninnau; canys fe fwynhawn ninnau ffrwyth ein gweithredoedd: "Canys yr hwn sydd yn hau i'r yspryd, o'r yspryd a fêd fywyd tragywyddol."——Ydwyf, fy hen gyfaill anwyl, yr eiddoch yn hollol,

PEREBIR.

---

## ORIAU YSGRYTHYROL.

### LUC.

PEN. 15. 20. "*Ac a syrthiodd ar ei wddf ef, ac a'i cusanodd.*"—Y ffordd gyffredin o gyfarch y naill y llall yn Persia, ydyw i un roddi ei wddf ar wddf ei gyfaill, ac yna rhoddi ei foch ar ei foch ef: a thybia rhai mai hyn a feddylir wrth yr ymadrodd hwn.

ADN. 23. "*Llo pasgedig.*"—Dywed Ymdeithwyr y byddai trigolion y gwledydd dwyreiniol yn cyfrif lloi pasgedig fel eu danteithion penaf; a gallwn gasglu hyn hefyd oddiwrth amrywiol fanau o'r Ysgrythyrau.

ADN. 25. "*Efe a glywai gynghanedd a dawnsio.*"—Yr oedd yn ddefod yn y dwyrain i gyflogi merched i ddawnsio, a thybient yn beth anweddaidd a merchedaidd i ddynion ddawnsio.

PEN. 16. 20. "*A fwrid wrth ei borth ef.*"—Dyma y fan lle y safai, neu y dodid y cardodwyr, ac oddiwrth hyn y tarddodd y rheol hono ym mhlith yr Iuddewon. "Os bydd gwr marw, a gadael meibion a merched; ac os gadawa ond ychydig o

eiddo ar ei ol, cymmerir gofal o'r merched, a gadawir y meibion i *gardota wrth y pyrth*."

Adn. 21. "*A chwennychai gael ei borthi i'r briwsion a syrthiai oddiar fwrdd y cyfoethog.*"—Byddai cyfoethogion y dwyrain yn arfer sychu eu dwylaw â mwydion bara, a thaflent y briwsion o dan y bwrdd. Gallwn, oddiwrth yr arfer hon hefyd, weled meddwl y wraig o Ganaan, pan y dywedodd, "Y mae y cŵn yn bwyta o'r briwsion sydd yn syrthio oddiar fwrdd eu harglwyddi."

Pen. 17. 2. "*Maen melin.*"—Yr oedd hyn yn ddïareb ym mhlith yr Iuddewon a'r Cenhedloedd hefyd. Byddai yr Hindwiaid hefyd unwaith yn arfer y dull hwn o gospi pobl am lofruddiaeth, yn enwedig y merched, pan geid hwynt yn euog o hono.

Adn. 6. "*Gellwch ddywedyd wrth y sycamorwydden hon, Ymddadwreiddia.*"—Dywed y Dr. Shaw, bod y coed hyn yn nodedig am ledaeniad eu gwraidd, am ba achos yr oeddynt yn dra anhawdd i'w dadwreiddio.

Pen. 19. 20. "*Wedi ei dodi mewn napcyn.*"—Byddai ym mhlith yr Iuddewon arfer, yr hon a alwent, *meddiannu drwy napcyn*, neu lïan; cymmerent ddarn o lïan, yr hwn a alwent *Sudar* (y gair a arferir yn yr adnod hon) a'r marchnadyddion a afaelent arno i sicrhau y pryniad. Ac oddiwrth yr arfer hon y mae y Dr. *Gill* yn sylwi, na ddarfu y gwr hwn wneuthur defnydd o'i *Sudar* i werthu neu brynu, ond rhwymodd ei arian ynddo, am hyny yr oedd y ddau yn gorwedd yn ddiddefnydd.

Pen. 20. 18. "*Pwy bynag a syrthio ar y maen hwnw, a ddryllir: ac ar bwy bynag y syrthio, efe a'i mâl ef.*"—Y mae yma gyfeiriad at ddau ddull o labyddio ym mhlith yr Iuddewon, un drwy daflu dyn i lawr ar faen, a'r llall drwy adael i faen syrthio ar y dyn.

Pen. 22. 64. "*Ac wedi iddynt guddio ei lygaid ef, hwy a'i tarawsant ef ar ei wyneb, ac a ofynasant iddo, gan ddywedyd, Prophwyda, pwy yw yr hwn a'th darawodd di.*"—Y mae hyn yn cyfeirio at chwareu sy gan blant, yr hwn a elwir *μυινδα*, y'mha un y maent yn gyntaf yn cuddio llygaid rhyw un, yna yn ei daro; ac nis gollyngir ymaith, nes y dywedo pwy oedd yr hwn a'i tarawodd. Gwnaethpwyd hyny ar yr achlysur hwn, er mwyn gwawdio ein Hiachawdwr bendigedig.

Pen. 23. 33. "*A phan ddaethant i'r lle a elwir Calfaria, yno y croeshoeliasant ef.*"—Dewiswyd Calfaria yn lle i Grist ddioddef, mewn cydffurfiad âg arfer oedd gan yr Iuddewon; oblegid byddent yn wastad yn croeshoelio ar uchelfeydd a mynyddoedd.

Sigma.

---

## CYFLAWNIAD Y PROPHWYDOLIAETHAU.

### *BABILON.*

Babilon oedd gyffelyb i Ninifeh o ran ei mawredd, a'i hanwiredd. Ac yn awr y mae adfeiliau y dinasoedd hyn, y rhai oeddynt unwaith yn elyniaethol i'w gilydd, ac yn ceisio rhagori y naill ar y llall, yn dangos eu bod wedi dwyn eu "baich" rhagddywededig—a bod y gweledigaethau hyny yn gywir, y rhai a welodd prophwydi Israel mewn perthynas iddynt. Mor helaeth yn awr yw yr hanesion, ac mor llïosog yw y tystion, am eu hanghyfannedd-dra presennol, ac am eu mawredd yn yr amser gynt.

Amrywiol a gwahanol yw y desgrifiadau a rydd ysgrifenwyr Groeg a Rhufain o fawredd Babilon gynt; ond y maent oll yn cytuno wrth sôn am ei hardderchawgrwydd rhyfeddol, yr hyn sydd eglur hyd heddyw oddiwrth y pentyrau anfeidrol o'i hadfeiliau. Y mae tystiolaeth Herodotus, yr hwn a hanfododd oddeutu 250 o flynyddoedd ar ol Esay y prophwyd, yn dra gwerthfawr; oblegid iddo ymweled â Babilon, ac ysgrifenu oddiwrth yr hyn a welodd ac a olrheiniodd efe ar y fan. Caerau Babilon, cyn eu darostwng i 75 troedfedd gan Darius Hystaspes, oeddynt 350 troedfedd o uchder, 87 troedfedd o drwch, a 48 milltir o amgylchiad. Teml Belus, neu Baal, yr hon oedd 600 troedfedd o uchder—y gerddi crogedig, y rhai oeddynt yn fwäog y naill uwch y llall, ac o'r un uchder a'r caerau—y can porth prês—y palas a adeiladodd Nebuchodonosor, yn gylchynedig gan dri mur, ac yn wyth milltir o gylchedd—y llyn cyfagos, a wnaeth Semiramis, yn 160 milltir o am-

gylchiad, a 75 troedfedd o ddyfnder—oeddynt oll yn dangos llawer o weithredoedd ardderchocaf dynolryw yn gryno yn yr un lle. Babilon Fawr oedd ogoniant teyrnasoedd, a phrydferthwch a godidawgrwydd Caldea; y dref aur, a moliant yr holl ddaear. A manwl yw y desgrifiad a rydd yr Ysgrythyrau o bob gradd o'i chwymp, hyd oni ddelai i'r hyn ydyw yn awr, sef hollol anghyfannedd-dra: ïe, mor fanwl ydyw y desgrifiad a ganfyddwn yn ysgrifeniadau y prophwydi am hyny ag a ellir ei ysgrifenu gan yr ymdeithydd a edrycho ar Babilon syrthiedig ei hun.

Mewn perthynas i ddinystriad Babilon, dywed Herodotus a Xenophon, mewn cysondeb perffaith â'r hyn a ragddywedasai Esay a Jeremi, i'r Mediaid a'r Persiaid ymuno, dan Cyrus, a dyfod i fynu yn ei herbyn, a'i hamgylchynu—i'r Babiloniaid wrthod dyfod allan i'r maes i ymladd—i Cyrus droi dyfroedd yr Euphrates, oedd yn myned trwy ganol y ddinas, i'r llyn a grybwyllwyd uchod—i'r gelyn fyned i mewn trwy ei gwely yn y nos, ar amser gwyl flynyddol, yn yr hon y byddent arferol o ymloddesta mewn cyfeddach a meddwdod—i'r tywysogion, a'r swyddogion, a'r cedyrn gael eu lladd pan oeddynt mewn trymgwsg ar ol bod yn gwledda—ac i Babilon, yr hon ni ddinystriasid erioed o'r blaen, gael ei chymmeryd fel hyn heb ddim gwrthwynebiad, mewn modd na wyddai y brenin a'r trigolion, y rhai oeddynt anhysbys o'u perygl. Mor ëang oedd y ddinas nes oedd un cenad yn cyfarfod â'r llall â'r newydd fod y gelyn o fewn y muriau, a bod Babilon wedi ei chymmeryd.

Y mae darostyngiad graddol Babilon mewn oesoedd dilynol i'w ganfod hefyd yn y Prophwydi. (*Esa.* 47. 1. *Jer.* 51. 44, 47, 52.) Ceisiodd Alexander Fawr ei hadgyweirio i'w gogoniant blaenorol, a rhoddodd ddeng mil o wŷr ar waith i ail gau ceulenydd yr Euphrates, a chodi teml Belus; ond marwolaeth Alexander yn ei ieuengctid a roddodd derfyniad ar y gwaith, ac nis "iachawyd hi:" eithr hi a ddaeth yn raddol yn fwy anghyfannedd o hyd, nes, yn y bedwaredd ganrif o oed Crist, y daeth ei muriau i fod yn gae i fwystfilod gwylltion, ac y trowyd y lle ym mha un y safasai y dref aur, yr hon oedd yn teyrnasu ar y cenhedloedd, i faes hela, er difyrwch breninoedd Persia. O fod yn fwyaf, ïe yn brydferthwch teyrnasoedd, y mae Babilon yn awr yn fwyaf ei hadfeiliau; ac ar ol yspaid dwy fil a phedwar cant o flynyddoedd, dengys i bob ymdeithydd yr un olygfa a ddesgrifir yn gywir gan y Prophwydi:—"Torir allan o Babilon enw a gweddill. Ni chyfanneddir hi yn dragywydd: ni phabella yr Arabiad yno, a'r bugeiliaid ni chorlanant yno. Ond anifeiliaid gwylltion yr anialwch a orweddant yno; a'u tai hwynt a lenwir o ormesiaid, &c. Y mae hi yn feddiant i aderyn y bwn, ac yn byllau dyfroedd—yn drigfa dreigiau—yn ddiffeithwch—yn gwbl anghyfannedd—tir heb drigianydd—a phawb a êl heibio iddi a syna." *Esa.* 13. 19, &c. a 14. 22, &c. *Jer.* 50. 13, 23, 39, &c. a 51. 13, 26, &c.

Y mae arswyd coel-grefyddol rhag ysprydion drwg, ac ofn naturiol rhag yr anifeiliaid gwylltion sydd yn trigo ym mysg adfeiliau Babilon, yn attal yr Arabiaid rhag pabellu, a'r bugeiliaid rhag corlanu yno. Nid yw palasau, ac adeiladau ardderchog ereill Babilon, yn awr ddim ond pentyrau afluniaidd o briddfeini a sothach, yn ystlysau ac ar benau pa rai, yn lle yr ystafelloedd gorwych oeddynt unwaith, y mae yn awr yn ogofeydd ym mha rai y mae draenogiaid *(porcupines)* yn ymlochesu, a dylluanod ac ystlumod yn nythu; ac ym mha rai y mae y llewod yn cael ffauau, a dreigiau, a bwystfilod niweidiol ereill, yn cael ymguddfa dawel. Er ei bod wedi ei chwbl ddinystrio, "eu tai sydd yn llawn o ormesiaid, a chywion yr estrys a drigant yno, a'r ellyllon a lamant yno: a'r cathod a gyd-atebant yn ei gweddw-dai hi, a'r dreigiau yn y palasoedd hyfryd: ac ni phreswylir hi mwyach byth," &c. Y mae ceulenydd yr afon wedi eu hysgubo ymaith, a'r wlad yn gyffredin sydd wlyb a chorsog, yn enwedig ar ol gorlifiadau blynyddol yr Euphrates. "Y môr (neu yr afon) a ddaeth i fynu ar Babilon: hi a orchuddiwyd âg amlder ei dônau ef." Yn y tymmor hwnw y mae llynau mawr o ddyfroedd yn cael eu gadael o fewn yr hen gaerau, yr hyn sydd drachefn yn gwirio y bygythiad a lefarwyd yn ei herbyn—"Gwnaf di yn feddiant aderyn y bwn, ac yn byllau dyfroedd." "Y mae helaethrwydd y wlad," medd Syr R. K. Porter,

"wedi ymadael mor llwyr a phed ysgubasid hi âg ysgubau distryw o'r gogledd i'r dehau. Babilon a ddarostyngwyd i lawr i'r bedd." "Gan ddryllio y dryllir llydain furiau Babilon." Yr oeddynt mor llydain, fel y dywed hen hanesyddion, ag y gellid gyru chwe cherbyd arnynt wrth ochrau eu gilydd. Buont yn sefyll am fwy na mil o flynyddoedd ar ol traddodi y brophwydoliaeth. Cyfrifid hwynt yn un o "saith rhyfeddod y byd." A pha beth a all fod yn fwy rhyfeddol yn awr, neu pa beth a allai fod yn fwy annirnadwy gan ddyn, pan oedd Babilon yn sefyll yn ei nerth a'i gogoniant, nag i lydain furiau Babilon gael eu dryllio mor hylwyr fel mai braidd y gellir gwybod yn sicr y'mha le yr oeddynt yn sefyll. Y mae yn rhaid bod y ffos, allan o ba un y cloddiasid hwynt, wedi eu llenwi â hwynt drachefn; canys y mae y ddau wedi diflanu yn yr un modd.

"Pwy a fynegodd hyn er yr amser gynt? Onid myfi yr Arglwydd, ac nid oes Duw onid myfi? Onid yw dydd yr Arglwydd wedi dyfod yn erbyn Babilon, fel dinystr oddiwrth yr Hollalluog." A phan welom ardderchocaf weithredoedd dyn wedi eu dwyn fel hyn i lawr i'r llwch, ym mha le y mae y nerth, y doethineb, y prydferthwch, neu y mawredd dynol, yn yr hyn y dylai neb ymffrostio; ac enw pwy yn unig a ddylid ei ofni, a'i ddyrchafu yn oes oesoedd, ond enw yr hwn a gyflawnodd bob un o'i amcanion yn erbyn Babilon? A chan weled fod gogoniant teyrnasoedd yn syrthio fel hyn, pa feddiant, neu fraint ddaearol, sydd yn haeddu ei hoffi yn gyffelyb i hawl yn y deyrnas hòno, yr hon yn unig ni syflir yn dragywydd? Pa mor ddiles mewn cydmariaeth y ceir hwynt oll yn y diwedd, megys llwch Babilon syrthiedig! A pha gynnaliaeth arall a raid i'r gwir Gristion ei geisio, neu pa ofn dynol a raid iddo ofni rhagddo, tra y bo efe yn rhoddi ei hyder yn y Duw hwnw, yn ol gair yr hwn y cwbl ddinystriwyd llydain furiau Babilon? Os nad all yr anadl frau yn eu ffroenau, a beddau eu brodyr, a'u cyndadau, ddysgu i'r bydol, yr esgeulus, a'r Cristion mewn enw yn unig, na wnaethpwyd balchder i ddyn, bydded iddynt fyned ac edrych am furiau Babilon, a sefyll ar adfeiliau dinystriol teml Belus. Yno gallant ddysgu gwirionedd yr ymadrodd hwnw—"Pob peth a'r sydd yn y byd, megys chwant y cnawd, a chwant y llygaid, a balchder y bywyd, nid yw o'r Tad, eithr o'r byd y mae." O na fyddai i'r cyfryw oll gofio, mai "yr hwn sydd yn gwneuthur ewyllys Duw, sydd yn aros yn dragywydd."

C. Ll.

---

## LLYTHYR EWYLLYSIWR DA I'R HEN EGLWYS.

Wyliedydd Hynaws,—Rhoddwch le i'r llinellau canlynol yn eich Cylchgrawn gwerthfawr.

Mae 'n flinder mawr genyf ganfod cymmaint o ieuengctid dïofal yn rhuthro i'r weinidogaeth, y rhai sydd yn aml yn rwgnachlyd eu hyspryd, os bydd rhaglunniaeth yn croesi eu hamcanion. Synais lawer gwaith wrth glywed rhïeni yn datgan eu bwriad i wneud eu plant yn weinidogion, a'r plant etto yn rhy ieuaingc i ddangos un math o gymmwysder i'r swydd. Synais hefyd lawer tro, wrth ganfod dynion o enwadau crefyddol ereill, y rhai a lefant yn groch yn erbyn yr Eglwys Sefydledig, etto yn dwyn eu plant i fynu i weini ynddi, heb roddi un arwydd erioed o ofn yr Arglwydd, a bod Crist a'i achos yn werthfawr yn eu golwg! Beth yw 'r canlyniad o hyn? Pa fath weinidogion mae 'r cyfryw yn wneuthur? Nid oes, ac yn wir ofer disgwyl am, ffyddlondeb a diwydrwydd ynddynt. Ni wnant ond yr hyn sydd raid iddynt ei wneuthur rhag eu troi allan o'u swydd. Ni welir hwynt yn myned o dŷ i dŷ i chwilio am braidd Crist, yn ol eu hymrwymiadau wrth eu hurddo, i annog, i hyfforddi, i geryddu, ac i gysuro, fel y byddo amgylchiadau yn gofyn. Nid ydynt yn esamplau i'r ffyddloniaid, mewn gair, mewn ymarweddiad, mewn cariad, mewn yspryd, mewn ffydd, mewn purdeb. Ni welir un tebygolrwydd eu bod yn ofni y bydd Duw yn gofyn gwaed ereill ar eu dwylaw, a'u bod yn hiraethu dyweddïo pobl eu gofal fel morwyn bur i Grist. Beth yw eu pregethau? a ydynt y cyfryw ag a rydd iawn gyfarwyddiadau a chysur i'r enaid a ddihunwyd? i'r pechadur sydd yn griddfan o herwydd llygredd ei anian,

ag sydd mewn brwydr feunyddiol â gelynion ei iachawdwriaeth? Pa fodd y gellir disgwyl y fath beth? Gan na theimlasant erioed bwys eu heuogrwydd eu hunain, gan na phrofasant erioed effeithiau grasol y gwirionedd yn eu calonau, ofer disgwyl y gallant ddywedyd gair yn ei bryd wrth y lluddedig! O eisieu bod ymborth ysprydol yn eu pregethau, hunangyssegriad i waith y weinidogaeth, a zel a diwydrwydd yn eu hymddygiad, mae 'r eglwys yn gwaelu yn feunyddiol.

Ond chwi a ddywedwch, Wyliedydd addfwyn, oni allai 'r Gweinidogion sydd eisoes yn yr Eglwys rwystro hyn? Ni all neb gael ei ordeinio (y cyfryw yw gofal doeth yr Eglwys) heb i dri Gweinidog sicrhâu i'r Esgob ei fod yn addas i'r swydd. Yn wir, Wyliedydd anwyl, mae y Gweinidogion mor feius yn hyn a'r rhïeni. Er doeth rag-ddarpariad yr Eglwys, a dymuniadau yr Esgobion, os bydd y gwr ieuangc yn ysgolhaig lled dda, a'i foesau heb fod yn anhardd, bydded mor amddifad ag y byddo o wir grefydd, hwylusant ei ffordd hyd eithaf eu gallu! Ni chwiliant a ŵyr efe rywbeth yn brofiadol am yr efengyl, ac a oes argoelion o weithrediadau yr Yspryd Glân i'w canfod ynddo. Yr Arglwydd a roddo edifeirwch i'r fath Weinidogion. Ni allaf lai na meddwl eu bod yn dwyn gelynion i'r gwersyll—eu bod yn bradychu 'r achos a ddylent ei gynnal—eu bod yn niweidio 'r Eglwys yn ddirfawr, ac yn dwyn barn drom arnynt eu hunain. Meddyliaf y dywed Duw wrthynt ryw ddydd—"Pwy a geisiodd hyn ar eich llaw?" "Na ddod ddwylaw yn ebrwydd ar neb, ac na fydd gyfranog o bechodau rhai ereill: cadw dy hun yn bur."

EWYLLYSIWR DA I'R HEN EGLWYS.

---

## CLADDEDIGAETH Y MARW.

MR. GWYLIEDYDD—Wrth ddarllen, yn eich Rhifyn diweddaf, eglurhad byr ar y geiriau hyny yn Ngwasanaeth Claddedigaeth y Marw—"Yr ydym yn rhoddi ei gorph ef i'r ddaear, mewn gwir ddiogel obaith o adgyfodiad i fuchedd dragywyddol," mewn perthynas i ba rai y mae llawer o gam-gymmeriad, daeth i fy meddwl ymadrodd arall yn yr un Gwasanaeth, yr hwn a gam-ddeallir mor fynych, ond odid, a'r llall, sef, "ein bod yn gobeithio fod ein brawd" trengedig "yn gorphwys yn Nghrist." Er deall yr ymadrodd hwn yn iawn, rhaid cofio fod dau fath o obaith: y naill o *hyder*, wedi ei seilio ar ein cred, yr hwn sydd gadarnach, neu wanach, yn ol fel y bo y dystiolaeth yn ymddangos: y llall o *chwenychiad*, wedi ei seilio ar ein serchiadau, yr hwn sydd hefyd gadarnach, neu wanach, yn ol y gradd o bossiblrwydd a chariad. Yn yr ymadrodd uchod y gobaith olaf a feddylir, trwy yr hwn y gallwn obeithio yn dda am ryw un, os na fyddwn yn hollol sicr ei fod yn annedwydd. Ac felly gallwn obeithio fod y trengedig yn "gorphwys yn Nghrist," os nad ydym yn gwbl sicr (yr hyn, yn gyffredin, nid allwn fod) ei fod wedi ei ddyfarnu i ddamnedigaeth. Ond y mae yn ymddangos, oddiwrth holl rediad y Gwasanaeth hwn, nad amcanwyd iddo gael ei ddarllen ar gladdedigaeth y cyfryw rai ag a fyddont farw mewn cyflwr o anedifeirwch cyhoeddus, heb un arwydd o ddychweliad at Dduw.

C. T.

---

## COFFADWRIAETH BARCHUS

*Am rai Enwogion a fuont offerynol i gyfieithu y Bibl i'r Gymraeg, ac i ddiwallu eu Cydwladwyr â'r Ysgrythyrau.*

MR. GWYLIEDYDD—Gweddus yw fod coffadwriaeth barchus am y gwyr da rhagorol hyny, a fuont yn offerynol yn llaw Duw i gyfieithu 'r Bibl i'r iaith Gymraeg.

1. MR. WILLIAM SALESBURY, yr hwn oedd ŵr boneddig yn byw yn y Cae Du, ym mhlwyf Llansanan, Swydd Ddinbych. Efe a gyfieithodd y rhan fwyaf o'r Testament a argraffwyd yn Gymraeg, yn y flwyddyn 1546. Ysgrifenodd y Geirlyfr a argraffwyd yn y flwyddyn 1551. Bu 'r gwr da hwn yn llafurus dros ei gydwladwyr yn amser y brenin Harri 'r wythfed, ac Edward y chweched; ac efe a lechodd mewn rhyw fodd, tra parhaodd yr erlidigaeth waedlyd a thanllyd yn amser Mari; ond pan ddaeth Elisabeth i'r deyrngadair, cymmerodd y gwr da rhagorol hwn ei waith da mewn llaw drachefn. Trefnodd yr Esgobion ef i edrych at argraffiad y Testament Newydd: bu yn byw yn nhy

Humphrey Toy yn Llundain, pan yr oedd yn golygu y Testament Cymraeg yn y wasg yn y flwyddyn 1567.

2. Y GWIR BARCHEDIG DR. RICHARD DAVIES. Y gwr da hwn a anwyd yn Swydd Ddinbych: bu ef tu hwnt i'r môr yn amser erlidigaeth Mari, ond pan ddaeth ei chwaer Elisabeth i'r deyrngadair, efe a ddychwelodd i'w wlad ei hun. Gwnaed ef yn Esgob Llanelwy, ac oddi yno symudwyd ef i Esgobaeth Tŷ Ddewi. Efe a gyfieithodd y rhan fwyaf o'r Testament Newydd, sef yr Ail Epistol at Timotheus, a'r un at yr Hebreaid, Iago, a Phetr, i'r Gymraeg. Dywedir iddo argraffu amryw bethau, ym mhlith pa rai yr oedd Llythyr o flaen y Testament Newydd at ei gydwladwyr: dywedir hefyd iddo gyfieithu rhan o'r Hen Destament, sef o Deuteronomium hyd Ail Lyfr Samuel. Bu farw yn y flwyddyn 1581, yn 80 oed, a chladdwyd ef yn Abergwili.

3. MR. THOMAS HUET, Pen-cerddor Tŷ Ddewi, fel yr ydys yn barnu, a gyfieithodd y Datguddiad. Argraffwyd hwn yn Llundain, gan Henry Denham, ar draul Humphrey Toy; y mae Calender o'i flaen, a Llythyr Saesoneg o gyfiwyniad William Salesbury at y frenines Elisabeth. Trwy lafur a gofal y tri wyr hyn y daeth allan y Testament Newydd yn brintiedig gyntaf erioed i'r Gymraeg.

4. Y GWIR BARCHEDIG DR. WILLIAM MORGAN, yr hwn a anwyd yn Ngwibernant, ym mhlwyf Penmachno, yn Swydd Gaernarfon. Cafodd ei ddysgeidiaeth yn Nghaer Grawnt (*Cambridge*). Bu ef yn olynol yn Ficer y Trallwm, yn 1575; Llanrhaiadr ym Mochnant, yn 1578; a Pherson Llanfyllin a Phennant Melangell, yn 1588. Dywedir iddo ddechreu cyfieithu 'r Bibl i'r iaith Gymraeg, ac i'r plwyfolion achwyn arno, ac o'r herwydd i'r Dr. gael achos i ymddangos yn Lambeth o flaen yr Archesgob Whitgift, yr hwn a'i derbyniodd yn garedig, a chymmerodd feddyliau helaeth a pharchus am y Dr. a'i gymmwysderau, ac a'i hannogodd ef i fyned ym mlaen â'r gwaith da o gyfieithu y Bibl i'r Gymraeg. Yn ei Lythyr at y frenines Elisabeth, o flaen y Bibl, y mae y Dr. Morgan yn rhoddi clod mawr i'r Archesgob, gan nodi mor barod oedd ef i ddal sylw ar duedd a chyflwr y Cymry, tra bu 'r Archesgob yn eu llywodraethu, ac mor barod a fu hefyd i'w gynnorthwyo yntau yn y gwaith mawr trwy ei haelioni, ei awdurdod, a'i gyngor; ac i wyr da ereill, trwy esampl yr Archesgob, roddi cynnorthwy mawr iddo ef amryw ffyrdd. Dyrchafodd y frenines Elisabeth y Dr. Morgan yn Esgob Llandaff, Gorphenaf 20, 1595; a symudwyd ef i Lanelwy Medi 17, 1601. Bu farw Medi 10, 1604, yn 70 mlwydd oed.

5. Y GWIR BARCHEDIG DR. JOHN WHITGIFT, Archesgob Caergaint, a anwyd yn Swydd Lincoln. Gwnaed ef yn Esgob Caerwrangon yn y flwyddyn 1577, ac yn yr un flwyddyn gwnaethpwyd ef dan y frenines yn llywodraethwr ar holl Dywysogaeth Cymru dros ddwy flynedd a hanner. Dyrchafwyd ef i Gaergaint yn y flwyddyn 1583; a bu farw yn y flwyddyn 1603, yn 74 mlwydd oed.

6. Y GWIR BARCHEDIG DR. WILLIAM HUGHES, o Swydd Gaernarfon, yr hwn a wnaed yn Esgob Llanelwy yn y flwyddyn 1573. Bu farw yno yn y flwyddyn 1600, a daeth y Dr. William Morgan yn ei le. Y mae y Dr. Morgan, yn ei Lythyr a grybwyllwyd, yn gosod Esgob Llanelwy ym mlaenaf o'r cynnorthwywyr, ar ol yr Archesgob; yna

7. Y GWIR BARCHEDIG DR. HUGH BELLOT, yr hwn a wnaed yn Esgob Bangor yn y flwyddyn 1585; ac a symudwyd i Gaer Lleon Gawr yn y flwyddyn 1595; a bu farw yno yn y flwyddyn 1596. Derbyniodd y gwr da hwn ei ddysgeidiaeth yn Nghaer Grawnt.

8. Y PARCHEDIG DR. GABRIEL GOODMAN, yr hwn a wnaed yn Ddeon Westminster yn y flwyddyn 1561; a bu yn y lle hwnw ynghylch 40 mlynedd. Bu yn haelionus iawn mewn llawer ffordd i'r Cymry. Yn y Llythyr a soniwyd am dano, y mae y Dr. Morgan yn cydnabod yn neillduol ei rwymedigaeth i'r Dr. Goodman, am ei fod mor gariadus a llettya y Dr. Morgan tra bu ef yn gofalu am y Bibl yn y wasg. Y mae ef yn cydnabod i'r Archesgob gynnyg lle iddo yn ei dŷ ef dros yr amser hyny, ond yr oedd tŷ 'r Deon yn fwy cyfleus.

9. Y PARCHEDIG DR. POWEL, Ficer Rhiwabon, yw y nesaf. Dywedir am y gwr enwog hwn nad oedd neb yn ei amser

ef mor hyddysg a medrus ag ef yn iaith a hanes Cymru. Bu ef farw yn fuan wedi dyfod o'r Bibl allan, yn y flwyddyn 1590.

10. Y PARCHEDIG EDMUND PRYS, Archdiacon Meirionydd, yr hwn oedd Berson Maentwrog. Ganwyd ef yn y lle a elwir Gerddi Bluog, ym mhlwyf Llandecwyn, yn y flwyddyn 1544: yr oedd yn byw yn y Tyddyn Du, Maentwrog. Cafodd ei ddysgeidiaeth ym Mhrif Ysgol Caer Grawnt. Claddwyd ef yn Eglwys Maentwrog yn y flwyddyn 1624, yn 80 mlwydd oed. Gwr o ddysgeidiaeth mawr oedd ef, megys y tystia ei waith. Y Cymro ardderchog hwn a drodd y Salmau ar gân; ac oddiwrth ei waith ef, sydd hyd heddyw i'w weled o flaen y Salmau Cân, y mae yn ymddangos ei fod yn ŵr difrifol a duwiol. Bu, ac y mae etto hyd heddyw, ei waith ef yn cael ei dderbyn yn barchus, a'i arfer wrth ganu mawl i Dduw gan y Cymry yn gyffredin, yn Eglwys Loegr, &c.

11. Y GWIR BARCHEDIG DR. RICHARD VAUGHAN. Dywedir ei eni ef yn Swydd Gaernarfon; a dygwyd ef i fynu y'Nghaer Grawnt. Yr oedd y Dr. Vaughan yn hyddysg yn yr iaith Gymraeg, ac yn cael ei gyfrif yn bregethwr rhagorol, ac yn ŵr duwiol. Gwnaed ef yn Esgob Bangor yn lle y Dr. Bellot, yn y flwyddyn 1595; ac ar ol marw Bellot, symudwyd y Dr. Vaughan i Gaer Lleon, ac oddi yno i Lundain yn y flwyddyn 1604. Wedi mawr ymdrech y gwyr clodfawr hyn, daeth y Bibl allan i'r Cymry yn y flwyddyn 1588.

12. Y GWIR BARCHEDIG DR. RICHARD PARRY, yr hwn a anwyd yn Rhuthyn ynghylch y flwyddyn 1560. Cafodd ei ddysg yn Westminster, dan yr enwog Camden. Gwr o ddysg a dawn anghyffredin oedd. Yn ei Lythyr Lladin, o flaen y Bibl, at y frenines, dywed fel hyn, "Llawer Llan, ac yn ganlynol llawer Plwyf, sydd naill ai yn hollol heb yr un Bibl ynddo, neu yn unig hen Fibl wedi ei dreulio, a rhan yn eisieu o hono." Mae efe yn nodi iddo gymmeryd y fath ryddid, ac etto mawr ofal, i wella 'r cyfieithiad, a newid amryw fanau, fel yr oedd ef yn ammhëus pa un oedd fwyaf priodol alw y diweddaf yn eiddo y Dr. Morgan, neu ei gyfieithiad ef ei hun. Y diwygiad hwn o waith y Dr. Parry, a'i gynnorthwywyr, sydd genym gan mwyaf hyd heddyw. Bu yn waith pwysig iawn i'r gwr llafurus hwn. Y mae efe yn dal sylw, yn y Llythyr a soniwyd am dano, i'r ddau air canlynol fod yn annogaeth gysurus iddo trwy y gwaith, sef, "Mi a fyddaf gyd â'th enau." *Exod.* 4. 12. "Fy nerth a berffeithir mewn gwendid." 2 *Cor.* 12. 9. Daeth y Bibl allan wedi ddiwygio fel hyn yn y flwyddyn 1620. Bu y Dr. Parry yn Ddeon Bangor, ac yn Esgob Llanelwy, yn y flwyddyn 1604. Bu farw yn ei dŷ, perthynol iddo fel Arch-diacon, yn Diserth, yn Swydd Fflint, a chladdwyd ef yn ei Eglwys Gadeiriol Llanelwy, Medi 26, 1623, yn 63 mlwydd oed.

13. Y PARCHEDIG A'R DYSGEDIG ATHRAW Y DR. JOHN DAVIES, Person Plwyf Mallwyd, yr hwn a anwyd ym Mhlwyf Llanferres, yn Swydd Dinbych. Dygwyd ef i fynu mewn dysgeidiaeth dan ofal y Dr. Parry, Pen Athraw Ysgol Rhuthin, o ba le yr aeth i Goleg yr Iesu, yn Rhydychain, yn y flwyddyn 1589: bu y'Nghôleg Lincoln, Rhydychain. Pan oedd John Davies yn G. D. anrhegodd y brenin Iago I. ef â Phersonoliaeth Mallwyd; yn y flwyddyn 1604, yn Berson Llanymowddwy, a *Sinecure* Llanfôr: bu hefyd yn Ganon Llanelwy, trwy rodd y Dr. Parry, i'r hwn yr oedd efe yn Gapelwr. Gwnaed ef yn Ddoctor yn 1616. Ei wraig ef oedd merch Rhys Wynn o'r Llwyn Ynn, yr hon oedd chwaer gwraig yr Esgob Parry. Cydnabyddid yn gyffredinol fod y Dr. Davies yn hanesydd cywir, ac yn fanwl chwiliwr hynafiaeth perthynol i'w genedl; ac hefyd ei fod yn ddysgawdwr enwog, a barnydd cywir, o'r ieithoedd dysgedig, sef Groeg, Hebraeg, &c. Cynnorthwyodd y Dr. Morgan, a'r Dr. Parry, yn nghyfieithiad y Bibl a argraffwyd yn y flwyddyn 1620. Cyhoeddodd Rammadeg o'r Iaith Gymraeg (yn Lladin) yn y flwyddyn 1621. a Geirlyfr Cymraeg a Lladin, yn y flwyddyn 1632. Cyfieithodd y 39 Erthyglau Crefydd i'r Gymraeg, a Llyfr *Resolution* i'r Gymraeg, yn y flwyddyn 1632. Symudodd y Bwrdd Cymmun yn Eglwys Mallwyd o'r pen dwyreiniol iddi i'w chanol, megys ag y mae hyd heddyw, er a allai yr Arch-esgob Laud yn erbyn hyny. Bu y Dr. Davies farw, yn ddiblant, y 15fed o

Fai, 1644, a chladdwyd ef ar y 19eg yn nghangell Eglwys Mallwyd. Dywedir fod ei ysgrifen-fedd ef fel hyn—

JOHANNES DAVIES, S. T. P.
RECTOR ECCLESIÆ PAROCHIALIS DE MALLWYD,
OBIIT 15 DIE MAII,
ET SEPULTUS FUIT 19, A. D. 1644.
IN VIRTUTIS, POTIUS QUAM NOMINIS MEMORIA.

T. R. D.

---

## Y PINWYDD *(PINE)*.

Er nad yw y Binwydden o gryfdwr a pharhâd y Dderwen, etto gellir ei rhestru yn ail ym mhlith y coed gwerthfawrocaf. Tyfiant y Pinwydd, yn gyffredin, sy dra buan: y maent yn goed ag sydd yn tyfu yn uniawn, o hir barhâd, ac yn hawdd i'w gweithio. Gan mai 'r Dderwen yw y prif bren a ddewisir i adeiladu llongau, y Binwydden yw 'r hon a etholir yn fwyaf cyffredin i adeiladu tai. Dyma yw pren yr adeiladydd. Pan fyddo ar y Saer eisieu trawst neu bawl o gryfder neillduol, efe a chwilia am y Dderwen; ac felly, pan fyddo ar y Saer llongau eisieu darn o bren ysgafn a hir, megys hwylbren, &c. efe a ymofyn am y Binwydden. Y gwahanol rywiau o Binwydd a gyfrifir gan lysieuwyr yn un-ar-hugain. Ni ddwg un o'r rhywiau hyn ddail llydain, ond rhyw fath o nodwyddau llymion; ond etto y maent yn wir ddail. Y rhan fwyaf o honynt sydd yn fythol wyrddion. Y mae dull y pren, yr un modd a defnyddioldeb y coed, yn amrywio yn ol eu rhyw, ac yn ol sefyllfa y fan lle y byddont yn tyfu.

Mewn rhyw fanau neillduol, nid peth anghyffredin yw gweled yr hanner gogleddol i'r Binwydden gyffredin yn goch a chaled; pan, ar yr un pryd, y bydd yr hanner deheuol iddi yn dewach oddiwrth y galon at y rhisglyn yn wyn a meddal.

Nid oes genym hanes pa bryd y dechreuwyd defnyddio 'r Binwydden gan frodorion y gwledydd lle y tyf yn naturiol. Yn ol hanesyddiaeth Syria, ni a gawn fod Cedrwydden Libanus yn cael ei defnyddio gan y brodorion yn yr oesoedd boreuaf. Y Rhufeiniaid, wedi hyny y *Fenetians*, a arferent y *Larch* i wneuthur dodrefn eu tai, &c. yr un modd a'u llestri mordwyol. Y Norweaid a'r Daniaid a adeiladent eu llongau rhagoraf o'r Pinwydd a dyfent ar fynyddoedd *Scandinavia*. Fe welodd y Dr. Clarke, ar gulfôr *Bothnia*, gerllaw terfynau Lapland, long wedi ei hadeiladu o Binwydd, o 46 tunell, newydd ei gollwng i'r dyfnfôr. Y brodorion a adeiladasent hon ar y llanerch fwyaf dyryslyd y'ngodreu coedwig, â'i gogwyddiad tu a'r hafan, heb gymmaint a llonggadlas, na dim cyfleusderau ereill gofynol gan forwyr.

Trigolion gogledd-barth Prydain sydd yn parhau i wneuthur eu badau o Binwydd hyd heddyw. Er fod Pinwydd yr America yn feddalach ac yn llai eu parhâd na Phinwydd Ewrop, etto defnyddir hwy i adeiladu llongau, yr un modd a dodrefn tai. Y Pinwydd a gloddir o gorsydd yr Iwerddon ydynt goed gorwych, ac fe'u defnyddir gan y trigolion i amryw bethau. Amryw o foneddigion penaf y wlad hòno a ddefnyddiant Binwydden y gors i wneuthur lloriau i'w tai, ac i addurno eu muriau, &c. Brodorion rhai parthau a wnant eu llestri, ac hefyd eu rhaffau o honi; a rhydd Pinwydden y gors hèr i'r pryf wneuthur ei lwybr iddi; ac ymddengys ei bod, o ran ei pharhâd, yn rhagori ar y Gedrwydden ei hun. Gan fod y Binwydden mor hawdd i'w gweithio, ac mor gymmwys i dderbyn eiliw (*paint*) defnyddir hi yn gronglwydydd, yn lloriau, ac i wisgo tai yn dufewnol. Y rhyw Ewropaidd a ddefnyddir i gynnal pwysau, ond rhyw meddalion America i wneuthur gorwych-waith a cherf-waith tumewnol. Megys y mae cyflwr presennol rhan fawr o Canada, Norway, Sweden, glanau dwyreiniol y Baltic, rhan o ucheldiroedd yr Alban, a chyda phob tebygolrwydd rhan o Brydain, ynghyd â'i hynysoedd gogleddol, ar y rhai hyn ni thyf cymmaint a phrisgwydden o un rhyw na math, oeddynt oll yn yr oesau boreuaf yn goedwigoedd Pinwydd heirddion.

Y mae dadl wedi bod y'mhlith dysgedigion, a oedd y Binwydden yn frodor o'r ynys hon, ai nad oedd. Dywed Cesser yn bennodol, fod pob math ar goed ag oedd yn Ffrainc yn tyfu yn Brydain, oddieithr y Beech a'r Binwydden.

Y mae yn lled ryfedd, modd bynag, fod y gair Saesonaeg *Beech*, yn tarddu o'r gair Eldaeg *Fagus:* ond y mae i'r Ffynnidwydden dri enw, y rhai ydynt wir Fry-

thonaeg. Fe gafwyd Pinwydd mewn amryw o'r corsydd: rhai a fynant iddynt gael eu dwyn yma yn amser traws-feddiant y Rhufeiniaid. Gweddillion amryw o'r coed yma a gafwyd, nid yn unig ar y naill ochr i ffyrdd y Rhufeiniaid, ond hefyd oddi tanynt. Ni a gawn helaethach desgrifiad o hanfodiad coedwigoedd Pinwydd Brytanaidd mewn darluniad a roddir i ni gan y Parch. A. De la Pryne o hylyfydd (*chase*) Hatfield, Swydd Gaerefrog. Danfonodd ei chwiliadau i'r Gymdeithas Freiniol, yr hon a'u cyhoeddodd yn y flwyddyn 1701. Yr hyn a ganlyn sydd dalfyriad o honynt y'ngeiriau yr awdwr ei hun :

"Hylyddfan Hatfield oedd yr hylyddfan fwyaf o hyddod cochion a feddai Siarl y cyntaf yn Lloegr. Hon a gynnwysai 180,000 o gyfeiriau o dir: yr oedd o gylch ei hanner yn cael ei thoi gan ddwfr o galan i galan. Yr hylyddfan yma a werthwyd i un Syr *Cornelius Vermuiden*, Isellmyn. Cyn hir wedi, y boneddig hwn a ymroddodd i'w sychu a'i llafurio, a hyny gyda thraul ddirfawr o £400,000. Sychwyd 90,000 cyfair o'r tir hwn mor isel a gwaelodion yr afon *Ouse*, ac hefyd hyd waelodion yr holl *Farshallands* amgylch ogylch godrau Swydd Lincoln, Bawtry, Caercrian, Baln, Snaith, a Halden, a chafwyd ynddo gannoedd o wreiddiau a bonau coed bychain a mawrion. Y rhan fwyaf o'r rhywiau hyn a fuont briodol i'r ynys, megys Ffynidwydd, Derw, Bedw, Beech, Yw, Drain, Helyg, Onen, &c. Eu gwraidd oll oeddynt yn sefyll yn y ddaear yn eu cyflwr gwreiddiol, a chyn amled ag oedd ddichonadwy iddynt dyfu. Bonau y rhan fwyaf o honynt oeddynt bob un wrth ei wreiddyn priodol. Nifer o'r coed mawrion oeddynt yn gorwedd ar eu hŷd, o gylch llathen oddiwrth eu gwraidd; a'u brigau yn gyffredin a orweddent â'u blaenau i'r gogledd-ddwyrain; ond mewn perthynas i'r rhai bychain, gorweddent, rhai ar draws, rhai ar uchaf, a rhai o dan y rhai mawrion.

"Y drydedd ran o honynt oeddynt Ffynidwydd, ac amryw o honynt yn 30 llath, neu ragor, o hŷd, ac a werthwyd i wneuthur hwylbrenau, &c. Cafwyd yma hefyd Dderw yn 20, 30, a 35 llath o hŷd, er bod amryw latheni yn eisieu o'u blaenau. Y maent cyn ddued a'r muchudd (*ebony*) ac yn hynod o'r parhaol y'mhob gwasanaeth. Y mae'n beth rhyfedd a nodedig fod llawer o'r amrywiaethau hyn wedi eu llosgi, yn enwedig y Pyg-brenau a'r Pinwydd; rhai trwy eu canolau, a rhai ar hŷd un ochr yn unig. Cafwyd amryw wedi eu chwilfriwio, a'u naddu yn bedwar-ochrog; ereill wedi eu hanner hollti â chynion coed a cherig, a bwyill toredig ynddynt. Y bwyill oeddynt yn gyffelyb i'r rhai a arferid wrth boethoffrymu, a'r rhai hyn oll yn y fath le a dyfnder, fel yr oedd annichonadwy iddynt gael eu hagor rhwng difrodiad y goedwig a'r amser y sychwyd hi. Gerllaw i hen wreiddyn anferth y'mhlwyf Hatfield, cafwyd wyth neu naw o ddarnau bathol Ymerawdwyr Rhufain, ond wedi eu llygru gan amser, fel nad oedd yr argraph yn ddealladwy. Ar ororau y dyffryn hwn, rhwng Birmingham a Brumby, yn Swydd Lincoln, y mae amryw o fryniau mawrion o dywod rhydd; ac oddi tanynt, fel eu treiglir gan y gwynt, darganfyddir llawer o wraidd Pinwydd mawrion, a nodau 'r fwyall arnynt mor newydd a phe gwneuthid hwynt ychydig wythnosau yn ol. Cyll a Mês a gafwyd amryw weithiau y'ngwaelod y pridd, a'r corsydd hyny, ynghyd â dyrneidiau o gnapiau (*cones*) y Binwydden ynghyd."

*(I'w barhau.)*

---

ANERCH GOLYGWYR Y GWYLIEDYDD

*At eu Gohebwyr, a'u Cydwladwyr, mewn perthynas i Gofrestri o'r Ysgrif-lyfrau, a'r Llyfrau Argraffedig, yn yr Iaith Gymraeg.*

NID oes yr un genedl, yn ol ei maintioli, mor gyfoethog mewn Ysgrif-lyfrau, a Llyfrau Argraffedig, a chenedl y Cymry. Dywedir i'r dysgedig a'r diflin Dr. PUGHE ddarllen rhai miloedd o hen Ysgrif-lyfrau pan yr oedd efe yn darparu, ac yn cyfansoddi, ei Eirlyfr gorchestawl, fel y tystia yr enghreifftiau a roddir yno, yn agos dan bob gair gwreiddiol. Dywedir hefyd fod mwy na dwy fil o lyfrau wedi cael eu hargraffu yn yr iaith Gymraeg er pan gafwyd allan y gelfyddyd fendithfawr o argraffu, sef mewn ystod llai na'r tri chan mlynedd diweddaf.

Ond y mae llaweroedd o'r rhai hyn, ïe, y nifer amlaf o honynt, yn drysor clöedig i

ran fawr o'n cenedl, Pe gofynid i lawer o'n cydwladwyr, pa ysgrifeniadau a llyfrau argraffedig sydd yn y Gymraeg, ac ar ba destynau y maent, a phwy a fernir yr awduron enwocaf ym mhob oes, &c. tybir na roddent ond ateb go drwsgl, a thra anfoddlonawl. Y gwirionedd ydyw, na ŵyr ond ychydig o ddysgedigion ein gwlad nemawr am y rhan luosocaf o'r Llyfrau a'r Ysgrifeniadau sydd yn ein hiaith. Onid ydyw yn ymofyniad teilwng o ddwys ystyriaeth pob gwladgarwr, gan hyny, pa fodd y gellir gwneuthur y trysorau hyn yn fwy hysbys a buddiol i'n gwlad a'n cenedl? Meddyliwn nad oes yr un modd gwell na thrwy gyhoeddi Cofrestri o'r hen Ysgrifeniadau a'r Llyfrau argraffedig, yn cynnwys hanes cyflawn am danynt, am eu hawduron, eu testynau, eu cynnwysiadau, &c. Trwy hyn deuai ein cenedl yn hysbys o'r trysorau llëenyddawl sydd yn ei meddiant, a chynhyrfid llawer i ddyfod yn fwy cydnabyddus â hwynt.

Dywenydd mawr fyddai gan Olygwyr y Gwyliedydd gyhoeddi y fath Gofrestri yn nalenau eu Cyhoeddiad. Ac i'r perwyl hwn, dymunwn ar yr Ofyddes hybarch A. Ll. a'r gwladgarwr cymmwynasgar Aneurin Owen, i ddanfon i'n Swyddfa eu Cofrestri hwy o Ysgrif-lyfrau Talaeth Powys; a galwn hefyd ar bawb ereill yn meddu gallu a chyfle i'n cynnorthwyo, fel y gallwn roddi, yn nalenau y Gwyliedydd, *Gofrestr perffaith o'r holl Ysgrif-lyfrau sydd yn awr mewn bod yn yr Iaith Gymraeg.*

Mewn perthynas i'r gwrthddrych arall, amcanwn argraffu, yn ein Rhifyn nesaf, "*Gofrestr o'r rhan fwyaf o'r Llyfrau printiedig, y rhai a gyfansoddwyd yn yr Iaith Gymraeg, neu a gyfieithiwyd iddi, hyd y flwyddyn* 1717;" ac yr ydym yn bwriadu argraffu, yn ein Rhifynau dilynol, "*Gofrestr ychwanegawl o'r cyfryw Lyfrau ag a argraffwyd o'r flwyddyn* 1717 *hyd y flwyddyn* 1780;" ac o ryw ychydig ereill hefyd, yn gystal cyn ac wedi y blynyddau hyny.

Y Cofrestr cyntaf a wnaethpwyd trwy lafur y Parchedig Moses Williams, Periglor Dyfynog, yn Swydd Frycheiniog. Gwr dysgedig a hybarch yn ei ddydd oedd yr Awdwr. Cyfieithiodd amryw Lyfrau i'r Gymraeg; a bu yn offerynol i roddi argraffiad o'r Bibl i genedl y Cymry. Gellir dywedyd, mewn perthynas i'r Cofrestr hwn, er iddo gael ei argraffu "yn Llundain, gan Brintwyr y Brenin, yn y flwyddyn 1717," ei fod mor hollol ddieithr i'n cenedl yn gyffredinol, a phe na buasai erioed mewn bod. Ni chlywsom ond am un cyfaill a welodd un *copi* o'r Llyfr; a pha Lyfr Cymreig nad yw yn hysbys i'n Gohebwr dysgedig a ffyddlon "Garmon?" Gwelodd ef, amryw flwyddau yn ol, yn Llyfrgell Bodleian, yn Rhydychain. A'r hyn a ddywed y Dr. Pughe yn ei "*Fuchdraethawd Cymreig*," mewn perthynas iddo ydyw, fod *copi* o'r Llyfryn hwn yn meddiant Iarll Macclesfield." Y mae'n anhysbys i ni yn bresennol pwy ydoedd awdwr, neu awdwyr, y Cofrestr ychwanegol. Yr ydym am gyhoeddi y cyfan air yn ngair fel y maent yn yr adysgrifen a ddanfonwyd i ni.

Gwyddom yn dda nad yw y Cofrestri hyn yn berffaith, ac y gall pob carwr a choleddwr Llëenyddiaeth Gymreig ychwanegu yn helaeth atynt. Ein hunig wrthddrych ni yn eu hargraffu ydyw, i hyny fod yn offerynol i'w gwneuthur yn fwy cywir a pherffeithiach. Nid rhyfedd fod rhai Llyfrau wedi eu gadael allan; yn hytrach, dylem ryfeddu fod cynnifer wedi eu casglu, pan ystyrir pa gan leied o fasnach ydoedd, ac y sydd etto, rhwng Deheubarth a Gogledd Cymru; a pha gan leied a wyddis yn awr, mewn un rhan o'r Dywysogaeth, am y Llyfrau a argraffir mewn rhan arall bellenig o honi. Gobeithiwn y bydd i hyn fod yn foddion i dynu sylw dysgedigion y Dywysogaeth at drefnu ryw ffordd i hyrwyddo ymdaith gwybodaeth lëenyddawl trwy ein gwlad. Diammeu genym y gellid gwneuthur llawer mwy nag a wnaethpwyd, neu a wneir yn bresennol, i'r perwyl hwn. Tybiwn mai y cam cyntaf ydyw gwneuthur yn adnabyddus, trwy y Dywysogaeth, pa lyfrau sydd yn argraffedig yn ein hiaith. A pha ffordd well sydd i wneuthur hyny na thrwy gyhoeddi Cofrestri o'r fath y rhai hyny y crybwyllwyd am danynt uchod? Ond pa fodd y gellir darparu y cyfryw Gofrestri perffaith o'r holl Lyfrau Cymreig sydd yn awr mewn bod? Rhaid i lawer roddi eu hysgwyddau wrth y gorchwyl. Rhaid dosbarthu y gwaith rhwng llawer o ddwylaw, trwy Wynedd a Phowys, a Gwent a Dyfed; ac felly y baich a all fod yn rhy

drwm i un ysgwydd, a deimlir yn ysgafn trwy ei ddwyn gan lawer.

Deisyfwn, gan hyny, ar ein hen Ohebwyr "*Darllenwr*," "*Pant*," a "*Chwiliedydd*," os ydynt etto ar dir y rhai byw, a phawb ereill hefyd o'n darllenwyr llëenyddawl, i chwilio a chydmaru y Cofrestri hyn i'w diwygio, ac ychwanegu atynt, ac i ddanfon i'n Swyddfa y cyfryw ddiwygiadau ac ychwanegiadau, &c. ag a'n cynnorthwya ni, ryw amser i ddyfod, i gyhoeddi *Cofrestr perffaith o'r holl Lyfrau argraffedig yn yr Iaith Gymraeg.* Ond tra yr ydym yn gwneuthur y galwad cyhoeddus hwn, nid ydym heb lettya ofnau dirgelaidd (os cywir ein tyb) fod *Un* o'n Gohebwyr uchod, yr hwn oedd yn fwy hyddysg yn hanesyddiaeth y Deheu a'r Gogledd nac un a adawodd ar ol, wedi myned i dir angof, ym mhell tu hwnt i gyrhaedd ein galwad ni; ac nid oes ammheuaeth genym bod i'w "enw gyffroi galarnadau" mewn llawer bro, wrth ddarllen ein Rhifynau diweddaf. Cofied y rhai a adawyd, gan hyny, gynghor y gwr doeth yn hyn cystal ag mewn ystyr uwch :—"Beth bynag a ymafael dy law ynddo i'w wneuthur, gwna â'th holl egni: canys nid oes na gwaith, na dychymmyg, na gwybodaeth, na doethineb, yn y bedd, lle yr wyt ti yn myned." *Preg.* 9. 10.

Gobeithiwn y bydd i'n cyfaill, a'n Gohebwr achlysurol "*Carnhuanawc*," a *Myfyrwyr Coleg Dewi Sant*, gymmeryd y gorchwyl hwn mewn llaw yn y Deheudir. Ar bwy arall y gall mantell Moses Williams ddisgyn yn gymmwysach y'Ngwent? A pha fodd y gall Myfyrwyr Coleg Cymreig dreulio eu horiau hamddenol yn fwy buddiol nac yn y fath orchwyl a hwn?

Bid hysbys i'n cyfeillion yn y Deheubarth, mai yn Nyfed y sefydlwyd yr Argraffwasg gyntaf yn Nghymru; ond ni chrybwyllir, yn y Cofrestri hyn, am un llyfr a argraffwyd yn Nhrehedyn, er y gwyddom ni yn y Gogledd i amrai gael eu hargraffu yno. Gwyddom hefyd fod llawer o awduron dysgedig wedi bod yn y Deheudir, megys Vicar Pritchard, Stephen Hughes, Iago ab Dewi, Moses Williams, Griffith Jones, &c. ond ni sonir yma ond am nifer fechan o'u gwaith. Hyderwn y bydd i'r dysgedigion a grybwyllwyd uchod gyflawni y diffyg hwn: a disgwyliwn na bydd gwyr Powys a Gwynedd yn ol llaw mewn gorchwyl mor glodwiw.

Buddiol, fe allai, gyda golwg ar y gwrthddrych hwn, fyddai darparu Rhestr o enwau yr Argraffwyr Cymreig yn y ddwy ganrif ddiweddaf. Rhydd llythyrau "*Darllenwr*," "*Pant*," a "*Chwiliedydd*," yn ein trydydd Cyfrol, ychydig o gynnorthwy yn hyn, a rhydd y Cofrestri hyn ychwaneg, heblaw rhoddi atebiad i lawer o'u gofyniadau hwy; ac fe allai y bydd i'r hysbysiadau canlynol fod o ryw ddefnydd.

Y llyfr cyntaf a argraffwyd yn Gymraeg ydyw y Rhifyn 21, yn y Cofrestr cyntaf. Argraffwyd ef yn y flwyddyn 1546; ond ni ddywedir ym mha le, na chan bwy. Ymddengys mai Llundain oedd Argraffle pennaf llyfrau Cymreig hyd ddechreu y ddeunawfed ganrif. Argraffwyd rhai cyn hyny yn Rhydychain, a rhyw ychydig yn yr Amwythig gan Thomas Jones. Yn yr hanner cyntaf o'r ganrif ddiweddaf, Caerfyrddin oedd prif argraffle i awduron y Deheubarth, fel yr oedd yr Amwythig i'r Gogleddwyr. Bu Carter yn Nhrehedyn ynghylch 1722, a Nicholas Thomas yn Nghaerfyrddin ynghylch 1725, a Ross yn yr un lle ynghylch 1735, a Felix a Farley yn Nghaerodor, &c. Wedi hyny, yn y rhan olaf o'r ganrif, daeth Ross a J. Daniel yn Nghaerfyrddin, a North a Williams yn Aberhonddu, heblaw amrai ereill yn y trefydd uchod, ac hefyd yn Nhrefecca, Abertawe, &c. Fel argraffwyr i awduron y Gogledd, gellir enwi Thomas Jones yn yr Amwythig o 1690 i 1700; a Sion Rhydderch, ei fab yn nghyfraith, o 1700 i 1750; Thomas Durston yn yr un dref ynghylch 1744; a —— yn Sir Fôn, dan nawdd yr Hynafieithydd clodfawr Lewis Morris, ynghylch 1750. Ac yn y rhan olaf o'r ganrif cyfododd Richard Lathrop, Stafford Prys, Eddowes a Wood yn yr Amwythig; Huxley y'Nghaerlleon; a Marsh a Hughes yn Ngwrecsam; heblaw ereill ynghylch yr un amser, neu wedi hyny, yn agos ym mhob tref yn Ngwynedd a Phowys. Y mae y rhai hyn yn ddigon adnabyddus: ac nid atebai un diben i roddi yma restr o'u henwau.

Meddyliwn nad annichonadwy fyddai cael gwybodaeth am yr holl lyfrau a argraffwyd gan yr argraffwyr hyn, pe caffen

ryw "*Chwiliedydd*" diwyd ym mhob cymmydogaeth lle bu argraffwasg, yr hwn a chwiliai, trwy bob modd cyrhaeddadwy, yn lyfrau a gyhoeddwyd gan bob argraffwr yn ei gymmydogaeth.

I'r diben i ddwyn ein cyfeillion gwladgarawl i roddi i ni eu cynnorthwy gwresocaf yn y gorchwyl rhyglyddawl hwn, erfyniwn arnynt gymmeryd i'w hystyriaeth y buddioldeb a darddai o'i iawn gyflawniad. Rhoddai y fath Gofrestri hysbysrwydd cyffredinol o'r trysorau llëenyddawl sydd yn ein hiaith; a galluogent yr athrylithgar a'r ymofyngar i'w mwynhau. Dysgent ni pwy oedd cymmwynaswyr ein cenedl ym moreuddydd gwybodaeth, yn gystal ac wedi hyny ym mhob oes; ac i bwy yr y'm yn rhwymedig am gyhoeddi cynnifer o lyfrau yn ein hiaith. Hysbysent awduron pa ran o'r winllan Gymreig sydd wedi, neu heb ei ragfeddiannu; fel y gallont ymdrechu i ddiwallu diffygiadau, yn hytrach na rhuthro i feusydd wedi eu gorlenwi eisoes: gwelent ar ba destynau y mae awduron enwog wedi ysgrifenu, ac ar ba rai y mae diffyg llyfrau yn ein hiaith; ac yna byddai iddynt ymdrechu i gyflawni yr hyn sydd yn ddiffygiol, a chael eu rhestru ym mhlith cymmwynaswyr eu cenedl. Trwy hyn cynnorthwyid Cymdeithasau, ac ewyllyswyr da i'w gwlad, i ddethol llyfrau addas a buddiol i'w hail-argraffu. Gwybyddent ym mha barthau o'r Dywysogaeth i ymofyn am unrhyw lyfr, trwy eu bod yn hysbys gan bwy, ym mha le, a pha bryd, y cyhoeddwyd ef gyntaf. Galluogai hyn yr Hanesydd i roddi cywirach hanesyddiaeth am lëenyddiaeth ein gwlad: a chynnorthwyai y Buch-haneswr i roddi cyflawnach darluniad o nodweddiadau a llafur yr enwogion hyny y mae, ac y bydd, Cymru dan rwymedigaeth annhaladwy tra y parhao ein hiaith a'n cenedl.

Felly y gobeithiwn y bydd i'n Cyhoeddiad fod, nid yn unig o ryw ddifyrwch presennol i'n cydgenedl, ond hefyd o ryw leshad parhaol iddynt hwy, a chenhedlaethau dyfodol. Dyma ein gwrthddrych yn ein holl orchwylion, sef, hyrwyddo lleshad tymhorol a thragywyddol ein cydgreaduriaid. A bydded arwydd-air parhaol y Gwyliedydd, "*Budd a lles Cymru a Chymry.*"

## YNYSOEDD MOR Y DEHEU.

Y Pendefig Auura, gyd â'i wraig, a nifer o'i ddeiliaid, a yrwyd gan dymhestl o'i ynys ei hun Rurutu, i ynys Raiatea, yn Môr y Deheu, lle y bu llafur y Cenhâdon a'r trigolion yn foddion, dan fendith Duw, er ei dröedigaeth. Dymunai drosglwyddo yr Efengyl i'w bobl ei hun yn Rurutu; a Mr. Grimes, llywydd y llong *Hope*, yn myned heibio i Raiatea, a gynnygiodd yn dirion ei gymmeryd ef a'i holl bobl i'w hynys enedigol. Taer erfyniodd y Pendefig am gael athrawon gyd âg ef; yn ganlynol, Mahamene a Puna, dau Gristion genedigol, a ymadawsant â'u gwlad a'u cyfeillion er mwyn mynegi Efengyl Crist i eilun-addolwyr Rurutu; a boddlonodd ychydig ereill fyned gyda hwynt, i ddwyn yn ol y bâd, a'r newydd o'u glaniad diogel. Ar y 5ed o fis Gorphenaf, 1821, hwyliodd y llong o Raiatea, a glaniodd yn ddiogel yn ynys Rurutu oddeutu y 7fed. Yn ebrwydd Auuru a gynnullodd y Brenin a'r Penaethiaid ynghyd mewn cyngor, i'r diben o egluro iddynt ei fwriad o ddileu eilun-addoliaeth allan o'r ynys. Gorphenaf yr 8fed cynnaliwyd cyfarfod mawr gan y Brenin a Phenaethiaid yr ynys, y'mha un yr oedd y Cenhadon o Raiatea yn wyddfodol. Cyfododd Auura i fynu, a chan edrych yn dosturiol o'i amgylch, gyda theimlad dwys a hyawdledd cynhenid, cyfarchodd y Penaethiaid yn y modd hwn:—"Gyfeillion, fy nymuniad yw, ac er mwyn hyn y daethum i'r tir hwn, ar i chwi adnabod enw Mab Duw, a gwaith yr Yspryd Glân yn goleuo eich calonau, a thrugaredd Duw tu ag atom. Hyn yw fy nymuniad; bwrier yr yspryd drwg yn ddiatreg i'r tân. A ydych chwi, frenhinoedd a phenaethiaid, yn cyduno llosgi yr yspryd drwg yr awr hon? a gawn ni ddadymchwelyd ei deyrnas? Na oddefwch i ni mwyach ei addoli ef; na fydded i ni mwyach alw arno ef; na fydded iddo mwyach lywodraethu yn ein calonau; boed llywodraeth y tiroedd bychain hyn yn eiddo Jehofah, ac yn eiddo ef yn unig; yna llawenycha fy nghalon er eich mwyn. Wele, meddyliasoch i mi gael fy nifetha gan yr yspryd drwg yn nyfnderoedd y môr, ond wele fi etto ar gael. Efe yw achos mawr pob

twyll. Ni wyddwn y tywysai Duw fi i Raiatea, lle y mae Cenhadon; yno y blodeua ac y ffrwytha gair Duw; ac wele, Duw a'm dug yn ol drachefn. A gydunwch chwi i ddyfod ynghyd i'r un lle, a chydfwyta yno bawb oll?" Atebodd y Brenin a'r Penaethiaid fel hyn: "Yr ydym yn hollol gyduno; derbyniwn a chynnaliwn Air y Bywyd. Y mae 'r ymadrodd, 'Lloegwch yr ysprydion drwg yn tân,' wrth ein bodd. Llosger pob peth a wneir gan ein dwylaw, fel eilun, yn tân. Wele, O Auura, yr ydych yn dywedyd fod genym eneidiau: ni wyddem erioed fod genym eneidiau, erioed, erioed." Dywedodd Auura, "Mae genyf un gair yn ychwanog i'w ddywedyd wrthych. Dewiswyd y ddau Genad hyn gan yr eglwys yn Raiatea. Parodd Duw i'r meddwl gyfodi y'nghalonau y Cenhadon, ac wele, danfonwyd hwynt i'n dysgu ni i ddarllen; oblegid er mawr gariad tu ag atom ni y danfonwyd hwynt."

Yna cyfododd Mahamene i fynu, gyda gwylder mawr, a serchawgrwydd tirion yn ymddisgleirio yn ei wyneb, a chyfarchodd y gynnulleidfa fel y canlyn:—"Cydunasoch, a'ch dymuniad yw ar i'r Iesu achub eich eneidiau. Chwi ydych y bobl y gweddïodd Cenhadau Raiatea, Moorea, a Lloegr drostynt. Pa le bynag y mae Cenhadau, yr eglwysi a dosturiant wrth y gwledydd sydd heb Efengyl; am hyny y cyfranant eu harian, fel y danfoner Gair Duw i'r gwledydd heb Athrawon. Cenhadau Raiatea a ddanfonasant ddau i'ch dysgu chwi ddarllen ac adnabod enw y gwir Dduw. Achuber chwi trwy Iesu Grist."

Yna cyfododd Puna, yr Athraw arall, a chyfarchodd y Cyfarfod:—"Gyfeillion anwyl, hyn yw fy meddwl am danoch: y mae tosturi yn fy nghalon tu ag atoch chwi, am eich bod yn byw mewn tywyllwch, ac yn nghysgod angeu. Wele, yr ydych yn bwyta ymborth angeu, y pysgodyn gwenwynig; ac yn yfed dwfr chwerw. Wele, yr ydym yma ger eich bron, i fynegi i chwi am y gwir Dduw, fel yr adnabyddoch ef. Dywedaf hyn i chwi, O Frenin a Phenaethiaid, parotowch un lle i gyd-fwyta ynddo, chwi a'ch gwragedd, a'ch plant, a'ch Brenin; ac yno yr yspryd drwg, yr hwn a gynhyrfodd y dyn hwn yr awr hon, a lwyr waradwyddir: nid oes ganddo un noddfa; ond bwriwch o'ch mysg bob peth cywilyddus; oblegid hyn yw 'r achos ei fod yn eich mysg. Yr ydych yn ei addoli ef, ac y mae efe yn arferol o'ch twyllo chwi. Ond yn awr, byddwch wresog yn yr Yspryd mewn gweddi ar Dduw, a chwi a ddiengwch. Oni wrandewch ar y gair hwn, meirw fyddwch; a goddefwch lid Duw, a dygir chwi gan yr yspryd drwg, yr hwn a fwriasoch ymaith yr awr hon, i dân uffern. Ond os perchwch air ac enw Mab Duw, felly yr achubir chwi." Goruchafiaeth y gwirionedd oedd union-gyrchol a chyflawn. Trwy allu ac Yspryd Crist y genedl hon a anwyd ar unwaith. Y Brenin, y Penaethiaid, a'r bobl, a ddangosasant eu parodrwydd i wrando y newyddion mawrion hyn, y rhai a ddygwyd iddynt fel hyn o Raiatea; penderfynasant i adael eilun-addoliaeth, ac yn y fan difrodasant eu delwau, a dygasant hwynt at y Cenhadon, yn arwydd o wirionedd eu bwriadau. Y delwau hyn a ddychwelwyd yn y bâd i ynys Raiatea, ac wedi hyny danfonwyd hwynt i Lundain. Ar y 9fed o Awst, Cenhadon Lloegr yn Raiatea, yn hiraethlon am lwyddiant yr athrawon, a gawsant yr hyfrydwch o weled y bâd yn dychwelyd yn llwythog gyd â'r carcharorion hyn, duwiau y Paganiaid, pa rai a gymmerwyd mewn rhyfel heb golli gwaed, wedi ei ennill gan waed yr hwn a elwir Tywysog heddwch. Treuliasant chwe diwrnod ar y môr yn dyfod adref yn y bâd agored. Dygasant lythyrau oddiwrth Auura, Pendefig Rurutu, Mahemene a Puna. Er lleied o amser y bu Auura gyda hwynt, dysgodd yr Egwyddor-lyfr, rhan o'r Catecism, a medrai ddarllen Efengyl Matthew, a medrai ysgrifenu a llythyrenu yn gywir cyn gadael Raiatea. Wrth ddarllen y llythyrau, teimlasant radd o'r llawenydd sanctaidd hwnw, yr hwn a brawf y lluoedd angylaidd, pan y dolefant, "Aeth teyrnasoedd y byd yn eiddo ein Harglwydd ni a'i Grist ef.

C. W.

---

## Y CHOLERA MORBUS.

Wrth geisio darlunio y pla ofnadwy hwn, nid ein hamcan yw dychrynu ein darllenwyr. Afraid yw sylwi mai clefyd dieithr ydyw; yr hwn nas clywodd ein

hynafiaid am dano. Yn yspaid pedair blynedd ar ddeg, y mae wedi ysgubo ymaith *ddeng miliwn a deugain*, o leiaf, o'n cyd-greaduriaid. Ymwelodd â'r rhanau tecaf o'r byd; meistrolodd bob amrywiaeth o oerni a gwres; a gorchfygodd bob amrywiaeth o ddynion. Fel y frech wen, lle bynag y delo, y mae 'n gwreiddio yno. Y mae 'n taro i lawr mewn llai nag awr o amser weithiau. Mae yn gwanychu mor fuan, fel na ddichon dyn holliach, mewn pymtheg mynyd, symud un aelod. Dirfawr wendid, attalfa ar rediad y gwaed, ac oerni corph, ydynt dri o arwyddion hynotaf y *Cholera*. Yn y flwyddyn 1818, yn misoedd Gorphenaf ac Awst, yr ymwelodd y clefyd echrydus hwn â rhanau gorllewinol India. Haera rhai o'r Meddygon yn yr India, yn wir, fod hanesion am dano er ys oesoedd lawer; ond un peth sy sicr, na chymmerwyd y fath sylw o hono, hyd mis Awst, 1817, ag a wnaed fyth o hyny hyd heddyw. Dechreuodd (medd y Dr. Hawkins) yn Awst, 1817, yn Jessore, ynghylch can milldir o du gogledd-ddwyreiniol Calcutta, gan ymledaenu o bentref i bentref, a lladd miloedd, a chyrhaeddodd Calcutta yn nechreu mis Medi. Lledodd oddi yno i Behar, gan ddiboblogi dinasoedd mawrion lawer. Dioddefodd Benares, Allahabad, Goruckpore, Lucknow, Cawnpore, Delhi, Agra, Meerat, Bareilly, yn olynol. Y mae 'n deilwng o'n sylw nad ymddangosodd y pla yn y lleoedd hyn ar unwaith. Na, pan ymadawai âg un, torai allan yn sydyn mewn un arall.

Heb olrhain y clefyd echryslon hwn trwy yr holl wledydd a threfydd yr ymwelodd â hwynt, buddiol, fe allai, yw gosod ger bron darllenwyr y Gwyliedydd rai o'i briodoliaethau.

1. Mae y pla hwn, yn ei ymdaith, yn cymmeryd y lleoedd mwyaf poblogaidd, a lle byddo y tramwy mwyaf, a hyny yn olynol. Yn Rhaglawiaeth Bengal rhedodd hyd lanau yr afon Ganges am ddeuddeg cant o filltiroedd. Ymosododd ar bob tref ar làn y Jumna. Y mae 'n canlyn nid yn unig afonydd lle y byddo tramwy lawer, ond hefyd y prif-ffyrdd. Yn Rhaglawiaeth Madras aeth yn raddol hyd y prif-ffyrdd, ac ymosododd ar y prif drefydd yn agos iddynt. Teithiodd o Aska i Palmacottah, gyda rheoleiddiwch rhyfeddol o ran tir ac amser, fel gwr ar ei daith. Pyn gyrhaeddodd Jaulna yr oedd iddo dair o brif-ffyrdd; ac efe a gymmerodd y tair, a theneuodd drigolion pob tref o bwys yn agos i'r ffyrdd hyn. Pan ystyriom hyn, ac hefyd fod cynnifer o drefi a pheatrefi poblog yn yr India, na ddaeth y clefyd etto, pwy a all ammeu fod y *Cholera* yn heintus, neu lygrol? Yn Rwssia drachefn, dechreuodd y *Cholera* yn Astrachan, ar lan yr afon Wolga, yr hon sydd yn rhedeg heibio i'r trefydd enwocaf yn yr Ymerodraeth, ac megys y cymmundeb rhyngddynt. Dioddefodd y trefydd hyn yn olynol. Yn gyfagos i un o honynt, Zaretzin, y mae 'r brif-ffordd yn ymranu yn dair cangen; un gyd â'r afon Wolga, yn arwain tua'r gogledd; yr ail tua'r deheu; a'r drydedd tua chanol-bwynt yr Ymerodraeth. Cymmerodd y *Cholera* y tair ffordd ar unwaith! Gellid gofyn yma, i'r masnachwyr hunanol, sydd yn gwadu fod y *Cholera* yn llygrol, Paham y mae 'n dewis y ffyrdd goreu, ac nid y croes-ffyrdd? paham yn teithio lle y byddo llongau, a cherbydau, a mèni? ie, nid yn unig hyd eu llwybr hwy, ond hefyd gyda hwy, gan orphwys lle y gorphwysont, a theithio lle teithiont hwythau.

2. Un peth hynod arall perthynol i'r *Cholera* yw, Nad ydyw yn ymosod ar ran fawr o wlad newydd ar unwaith. Mae yn ennill tir yn raddol; a'r lle yr ymesyd arno gyntaf bob amser yw y cyffiniau, neu lan y môr. Mae yn amlwg mai felly hefyd yr ymosododd ar ein hynys ni. Rhy faith fyddai ei olrhain trwy yr holl wledydd lle bu er mwyn profi hyn; ond y mae yn dra sicr. Yn Ceylon, y ddau fan y torodd y clefyd allan gyntaf oedd Jaffnapatam a Colombo, y ddau ar lan y môr, ac mewn cymundeb masnachol parhaus â chyfandir yr India. Rhwng y ddau le (dau cant a hanner o filldiroedd o leiaf) nid oedd neb, am amser hir, wedi eu taro ganddo; ond o'r diwedd tramwyodd trwy y tir, ac i'r brif ddinas Candy. Yn Ynys Sumatra, ymwelodd yn gyntaf âg Acheen. Yn Java, Batavia, a dinasoedd ereill ar lan y môr, oedd y rhai cyntaf. Y Porthladdoedd Louis, a St. Denis, oedd y lleoedd cyntaf yn Ynysoedd Ffrainc a Bourbon. Ac i fod yn fyr, pan ddaeth i Rwssia,

Astrachan, ac Orenburg, un ar y cyffiniau, a'r llall ar fin y dwfr, a'r ddwy mewn masnach parhaus â gwledydd y pla yn Asia.

3. Mae y *Cholera*, ar ei ddyfodiad cyntaf i wlad newydd, yn ymosod, yn gyntaf, ar ryw dref fasnachol. Yn wir, nid ymddengys fod un eithriad i'r brïodoledd hon, ond pan ganlyno gorph o filwyr. Os nad yw y clefyd yn heintus, beth ydyw y rheswm am hyn? Os yn yr awyr yn unig y mae y drwg, gellid disgwyl, yn ddiammeu, yr ymwelai â glan y môr yn gyntaf; ond etto nid mewn lle unigol; oni throsglwyddai yr awelon ef i amryw leoedd ar unwaith? Gallasem ddisgwyl yr ymosodasai ar Astrachan, a'r holl beutrefydd o amgylch ar lan y Caspian, ar unwaith.

4. Y peth olaf sydd yn galw am ein sylw yn hanes y *Cholera*, ydyw hyn; sef, ei fod yn ennill tir yn rheolaidd, yn ol meithder y tir, a'r cyfleusderau i'w drosglwyddo. Lle bynag y byddo gwyliau crefyddol arbenig yn digwydd, mae 'r clefyd yn chwyrn yn lledaenu, ac yn myned gyd â'r gwahanol drigolion i'w cartrefi. Mae 'r hanesion Indiaidd yn llawn profion o hyn. Yn nesaf, mae lluoedd milwraidd yn rhoddi cyfle rhwydd iddo i ymledu. Gorfu ar filwyr Persia, pan darawyd hwynt gan y *Cholera* droi yn ol, a gwneuthur heddwch â'r Twrciaid. Ac ym mysg eiu milwyr ni yn yr India y gwnaeth ddifrod ofnadwy. A pha fath rai oeddynt? milwyr ieuaingc, iachus, yn cael ymborth iachus, a dillad addas, ac o ran eu sefyllfa yn gorfod cadw eu hunain yn lanwaith; etto bu y difrod yn llawer mwy yn eu plith hwy nag mewn trefydd yn cynnwys cynnifer o drigolion. Paham? yn ddiammeu am fod mwy o gymmundeb rhwng milwyr a'u gilydd, nag sy rhwng trigolion trefydd.

I dynu at ddiweddu yn bresennol, mae yn eglur oddiwrth hyn o hanes y clefyd, fod rhanau a threfydd llawn o drigolion yn fwy agored na lleoedd llai poblog; a'i fod yn ymdaenu yn ol y cymmundeb a fo rhwng y trigolion; ac felly y mae yn tramwy ar hyd y dwfr yn gyflymach nag ar dir. Yn nesaf mae 'n tori allan ar gylch drachefn a thrachefn lle unwaith y delo. Ymwelodd â Chalcutta bedair gwaith ar ddeg yn yspaid pedair blynedd ar ddeg. Ymwelodd â Madras naw gwaith, ac â Bombay ddeuddeng waith yn yr un ystod byr.

Y mae yn hysbys i lawer o'n darllenwyr yn ddiammeu fod dadl rhwng meddygon ynghylch y dull y mae y clefyd yn trosglwyddo ei hun a'r naill fan, ac o'r naill ddyn i'r llall, a gadawn iddynt farnu drostynt eu hunain oddiwrth y sylwadau blaenorol. Ddarllenydd hawddgar, arfer gymmedrolder, ac ymddiried yn Nuw.

---

## Y DYN AMYNEDDUS.

Gwnawd y dyn amyneddgar o fettel mwy hyblyg nag yw yn galed. Ei ysgwyddau ydynt lydain, addas i ddal baich o sarhâd, yr hwn a ddug efe, nid o herwydd annewredd neu waeledd yspryd, o herwydd na feiddia ymddïal, ond o herwydd gwrolder Cristionogol, ac na ddylai ymddïal: y mae wedi cael y fath fuddugoliaeth arno ei hun, fel na ddichon tramgwyddiadau fuddugoliaethu arno ef; ac yn hyn yn unig y canfyddir fod goruchafiaeth yn gynnwysedig mewn rhoddi i fyny. Y mae uwchlaw natur, tra y mae yn ymddangos islaw iddo ei hun. Gŵyr y creadur gwaelaf pa fodd i droi drachefn i gynnyg talu 'r pwyth, ond i reoli ei hun, a pheidio gwrthwynebu, er cael ei gymmell, sydd fwy na gwroldeb. Ei benderfyniadau ydynt yn wastadol yn llawn o feddyliau ac ewyllys da; naill ai, medd efe, ni wnawd y cam hwn â mi, neu os gwnawd ef, fe allai nad oedd gyda bwriad i ddrygu; ac os oedd, dichon iddo gael ei gyflawni oddiar hyfforddiad anghywir; ac os nid hyny, caiff byrbwylldra, er ei fod yn fai ynddo ei hun, wasanaethu yn esgus. Efe ei hun a gais faddeuant gan y troseddwr, cyn cyfaddef o hono, a chyfaddefiad byr a wna 'r tro, pan fyddo ar yr hwn a dramgwyddwyd chwant i faddeu. Efe yw tyst goreu Duw, a phan safo ger bron y ddadleufa dros y gwirionedd, y mae ei dafod yn rhydd a thawel, ei dalcen yn ddiysgog, a chyd âg wynebpryd digyffro efe a glyw ei ddedfryd anghyfiawn, ac a lawenycha o'i herwydd. Ceidwaid y carchar, ag ydynt yn cadw gyd âg ef, yw ei weision anrhydedd, ei ddaear-dŷ a gyfrif yn barth isaf o gell y nefoedd, a'r arteithglwyd yn risiau yr esgynfa i'r nefoedd; efe a rydd hêr i'w ddïenyddwyr, ac a wyneba y poenau llymaf gyda grym ymroddiad; a thra byddo yn dïoddef, tua-

turia yr edrychwyr wrtho, a'r poenydwyr a achwynant ar flinder, a phawb a lenwir â syndod. Ni ddichon neb loesau ei drechu, na ffyrnigrwydd, na dihoeniad. Nid yw efe yn cyfrif disgwyliad yn gospedigaeth, am hyny dichon oddef i'w obaith gael ei ohirio hyd ddiwrnod arall. Cyfreithiau da a wasanaethant i'w ddïogelu, ac nid er ymddïal: a'i awdurdod ei hun a ddefnyddia i ochelyd gwarth, ac nid i'w ddychwelyd. Ei obaith sydd mor gadarn, fel y dichon fuddugoliaethu ar yr anhawsderau mwyaf anghysurol, a'i afael mor gadarn, fel mai wedi iddo unwaith ei chael, efe a gyll ei fywyd cyn y gollyngo hi yn rhydd. Ni ddichon nac amser na chyndynrwydd beri iddo anobeithio am lwyddiant; ond er yn waethaf i groesau a phob gwrthwynebiadau, efe a ddybla ei gynnygion haelionus o gariad. Efe a gynnyg y môr, wedi llawer o long-ddrylliadau, ac a barha i guro wrth y drws hwnw a'r nas gwelodd yn agored erioed. Digwyddiadau gwrthwynebus, yn lle ei lwfrhâu, nid ydynt ond ei brofi ef; a phan fyddo croesau yn ei gystuddio, efe a genfydd law ddirgelaidd a dwyfol yn taro â'r fflangellau teimladwy hyn, yn erbyn yr hon ni feiddia efe wrthryfela na grwgnach. Am hyny y mae pob peth a ddigwyddo iddo ef yn gyffelyb, ac y mae efe yn myned â'r un meddwl i'r gigfa ac i'r gorlan. Ei ymarferiadau adfywiol ydynt dawel a thirion, a dim llawnach o adloniad nag y maent yn wag o lidiawgrwydd. Y dyn hwn yn unig a ddichon droi angenrheidrwydd yn rhinwedd, a gwneuthur defnydd da o ddrwg. Efe yw 'r cyfaill sicraf, y gelyn diweddaf ac esmwythaf, y buddugoliaethwr penaf; a chymmaint yn fwy dedwydd nag ereill, ag y dichon ddioddef fod yn fwy gresynol na hwy.

H.

---

## GWRTAETH O LUDW MAWN.

Y SAWL a fo â mawnog yn gyfleus iddo, dylai yn anad dim ymarfer â lludw mawn i'w daenellu ar wyneb y tir at bob math o gnŵd, ond at ŷd beth bynag. Rhaid cymmeryd gofal bod y lludw yn llwyr sych; canys os bydd wedi gwlychu, ni wiw sôn am ei daenellu ar wyneb y tir; dealler hefyd fy mod yn bwrw y tir wedi ei barotoi drwy ei drin yn dda, onidê ni lwydda ei daenellu â lludw mwy na pheth arall; a chan fod llawer un yn fyr o hyn, iawn i bob amaethwr ei ddal ar gôf.

Annogir cymmysgu mawndir â rhyw fath o flawr neu hâl* yn benaf ar bob gwrteithion. Eithr mai nid hawdd cael llawer math o hâl yn ein gwlad ni, etto bydd hawdd cadw lleisw gwartheg, a rhai anifeiliaid ereill, gan wneud rhigolau iddo redeg i bwll, ac yna ei lenwi â mawndir o amser i amser. A lle nis caffer lleisw, y pummed ran o galch a wna y tro yn burion.

Pan weloch unwaith rinwedd da y gwrtaeth hwn, mor hawdd ei gael ar lawer o dyddynod, nis peidiwch byth yn ol o'i gynnyddu hyd eithaf eich gallu.

Lle nad oes mawn, gellir bwrw pridd, neu wellt, neu redyn, yn y pwll, i leisw ddisgyn arno; a gwna hwn wrtaeth da iawn; etto nid mor effeithlawn a'r llall.

Os calch fydd yn y cymmysg, rhaid gofalu am ei ysiacio yn iawn ac yn gyflawn; onidê cewch eich siomi yn arw, o weled y calch yn un talpiau mawrion; a bydd digon o flinder yn ei ail friwo a'i gymmysgu.

Pur gyffredin, yn ein gwlad ni, yw yr arfer o arddu ar gnydiau gleision er mwyn gwrteithio, onid o angen nid mawr y canmolaf hyny. Gwenith yr hydd a arferir yn benaf, mae yn debyg, ac a wasanaetha yn wrtaeth da i wenith, pan droir mewn pryd, fel nad hauer y gwenith yn ddiweddarach na'r wythnos gyntaf o fis Medi. Dygai y triniad hwn gnwd da o faip, os heuir yn ddigon cynnar fel y gellir ei aredig yn niwedd Mehefin. Byddai yn llesol pe taenid hanner y dognedd arferol o galch ar y cnwd glâs yn union cyn troi arno, yr hyn a gynnydda lawer ar y twymiad.

Didòni a llosgi tyweirch, er gwrteithio, a welir yn fynych ar hyd Gymru: ond er hyny arfer yw hon nas dylid ei chanlyn, os gellir peidio; a gwaeth na'r arfer hefyd yw y triniad niweidiol sydd yn gyffredin ar ei hol, drwy agos ddifetha bywyd y tir yn llwyr, gan ei roddi dan gnydiau gwangcus, heb ei deilo, nac ychwaith yr un cnwd tynerus i gyfryngu rhyngddynt.

---

* Un o brif elfenau pob cnawd, a eilw y Saeson SALTS, sef *halion*, neu *halenau*.

Pa olwg lymach a eill fod nag a welir ar diroedd wedi eu diddòni a'u llosgi fel hyn? Lle byddo gwellt bras a brwynog, hwyrach y gellir ei ddiddòni a'i losgi er lles iddo; ond i ennill hyny, bydd yn gofyn dau can mesur o galch yn nghyfer pob erw, a deg a deugain certaid o dail, a chnwd o gloron *(potatoes)*; a maip yr ail flwyddyn, a llocio defaid arnynt; ac yna haidd, â hadau gwellt ynddo i orphwyso.

AMAETHWR.

---

## NAW TEILWNG Y BYD.

YR oedd tri o honynt yn Iuddewon, sef, Josua, Dafydd, a Judas Macabëus: tri yn genedl-ddynion, sef, Hector o Gaerdroia, Alecsander Fawr, a Julius Cæsar: a thri yn Gristionogion, sef, Arthur o Frydain, Siarl Fawr o Ffrainc, a Godfrey o Bouillon.

CYNHAFAL.

---

## SANCTEIDDRWYDD.

MAE cynnydd sancteiddrwydd yn muchedd y credadyn yn debyg i estyniad y dydd yn fuan ar ol tröad y rhod; nis gallwn dros ryw ysbaid ddim ei ganfod, ac etto y mae yr ymestyniad yn cynnyddu, a chyn hir yn dyfod mor amlwg fel nas dichon neb ei wadu.—TOPLADY.

---

## TRAMGWYDD.

NID yw natur yn ein dysgu ond i garu ein cyfeillion yn unig; eithr y mae duwioldeb yn ein dysgu i garu ein gelynion hefyd. Mae gras yn ein dysgu nid yn unig i garu ein cyfeillion, eithr i ymdrechu gwneud cyfeillion o'n gelynion. Dylid ysgrifenu tramgwyddiadau yn y llwch, eithr cymmwynasau mewn meini marmor. —DR. CALAMY.

---

## DYLEDSWYDD A RHAGLUNIAETH.

NYNI bïau dyledswyddau; yr Arglwydd bïau digwyddiadau. Pan elom ni i ymyraeth â damweiniau, ac megys i basio barn ar ragluniaeth Duw, gan ei holi, "Pa'm y gwnaethost hyn yma? a pha fodd y gwnai hyn acw?" yna mae ffydd yn dechreu colli tir: nid oes dim a wnelom ni â'r cyfryw beth: ein lle ni yw dilyn sodlau rhagluniaeth, a gochelyd byth fyned o'i blaen, na llercian chwaith ym mhell o'i hôl; ac os methu wnawn felly yn ein hymgais, ni bydd y bai na'r groes yn gyfrifol i ni.—RUTHERFORD.

---

## HANESYN NODEDIG.

YN yr hanes a gyhoeddodd y Parch. J. H. Stewart, o Le'rpwll, am Long-ddrylliad galarus y *Rothsay Castle*, yn mis Awst diweddaf, y mae yr hanesyn nodedig ac effeithiol a ganlyn:—

"Ynghanol y cyfyngderau mwyaf tòrcalonus ag oedd yn goddiweddyd gwyr, gwragedd, a phlant, ac hyd yn nod babanod, ar y noswaith drallodus hono, y mae yn rhoddi gradd o esmwythdra i'r meddwl i droi am fynydyn i edrych ar ryw arwydd o ddwyfol drugaredd. Y mae 'n ddiau genyf y rhydd yr hanesyn canlynol, a gefais gan dad y bachgen ei hun, i chwi hyfrydwch annhraethol. Yr oedd efe, â'i fab yn ei law, yn sefyll yn agos i'r llyw, pan i'r tònau ysgubo ymaith amryw ag oedd yn sefyll yn eu hymyl. Ar hyn barnodd y tad mai nid diogel fyddai iddynt aros yno yn hwy. Rhedodd, â'i fachgen yn ei law, at yr hwylbren, ond nis gallai ei fab ddringo i fynu ar ei ol; gan hyny ymbiliodd ar ei dad i beidio a'i adael. Ond ei dad, yn gweled fod ei fywyd ei hun mewn perygl, a ollyngodd law ei fachgen. Pan ddaeth y bore, dygwyd y tad, ynghyd âg ychydig ereill, i'r lan; ac wrth ei ddwyn i dir, dywedai ynddo ei hun, "Pa fodd yr edrychaf y'ngwyneb fy ngwraig, a'r bachgen heb fod genyf." Ond pan gollyngodd tad daearol ei afael yn ei blentyn, nis gollyngodd ei dad nefol ef. Wedi iddo gael ei daflu trosodd i'r môr gan y tònau, gafaelodd mewn darn o'r llestr, ar ba un yr oedd amryw ereill yn nofio, a chyda hwynt efe a achubwyd yn wyrthiol. Pan yr oeddynt yn ei gario ef i'r lan, ac yntau heb wybod am waredigaeth ei dad, dywedai, "Ow, Ow, ni wiw i chwi fy nwyn i'r lan, a minnau wedi colli fy nhad!" Yn ddiarwybod dygwyd ef mewn dirfawr wendid i'r un tŷ ag yr oedd ei dad ynddo, ac nid hyny yn unig, ond dodwyd ef yn yr un gwely âg ef. A pha fath oedd eu llawenydd pan adnabuont eu gilydd, hawsach yw ei amgyffred na'i ddarlunio.

# BARDDONIAETH.

## COFION BARDDONOL.

MR. GWYLIEDYDD—Digwyddodd i mi, er's rhai blynyddau yn ol, gael hen Ysgrif-lyfr, o eiddo rhai o'm hynafiaid, yn gynnwysedig o Gywyddau ac Englynion ar amrywiol destynau sylweddol; a bu ar fy meddwl, lawer gwaith, anfon rhyw gyfran o'r cyfansoddiadau sydd ynddo i chwi i'w cyhoeddi yn y Gwyliedydd, os barnwch hwynt yn deilwng. O barthed yr Englynion canlynol disgwyliaf i "Feirdd yr oes oleu hon farnu yn dyner y Twyll Odlau, a'r Twyll Cynghanedd, a beiau ereill Cerdd dafawd, a ddyfritbant y rhai hyn;" a'u derbyn o herwydd eu hynafiaeth yn unig.——Ydwyf, &c.

AMBROS.

## ENGLYNION AR Y DEG GORCHYMYN.

NA chymer un llun yn lle,——gwir Dduw,
Gwaharddwyd yn ddie;
Cais di 'r Arglwydd a'th lwydde,
Nid Duw a fydd ond efe.

Dyn dar gwilia bob gwaith——rhag cym'ryd
Mewn camfraint fodd diffaith,
Nag arfer drwy oferwaith
Enw Duw yn hyn o daith.

Gorphwys heb chwys na chwant——y Suliau,
Pob sylwedd ni charant;
Ar y Sabboth cymmer seibiant,
I'th blaid, i'th dylwyth a'th blant.

Os gweddaidd beraidd bara——a geisi,
Ac oesoedd pob gwrda,
Da yw 'r wedd anrhydedda
Dad a Mam dinam da.

Gochel di sòri a siarad——milain,
A malais a bwriad,
A lladdiadau bob lladdiad,
Gwaradwyddus bur wys brad.

Ysfa waith talaith bob teulu——gochel,
Ac iachus yw medru,
Mab a merch rhag gordderchu,
Gwaith annedwydd yn y dydd du.

Mewn llys o'th 'w'llys na thwylla——un garwr
Y gwirion na threisia;
A lladrad na fwriada
I ddyn am ei gyflon dda.

Os pwyth llawn o ffrwyth dyn ffraeth——rhagorol,
A geiriau ehelaeth,
Cam anianol dystiolaeth
Na ddwg rhag gwg a fo gwaeth.

Na wna ladrad frad i fro——cymmydog,
Cam ydyw ei dwyllo;—
O bleser paid a blysio
Ei wreigan druan ar dro.

Na'i ych, na'i was gwych gwir,——na'i forwyn,
Na'i fawrdda oedd gywir,
Na'i asynod a sonir,
Na dim a feddo, na'i dir.

WILIAM LLEYN *a'i cânt, yn y fl.* 1560.

## PRIODAS-GAN YR OEN.

*Efelychiad o waith* QUARLES.

HOSANNA i'r Goruchaf, llawenydd pur a chân
I'r nefol hardd Briodfab, a'i Briodasferch lân,
Caniadau lanwo 'r nefoedd, nes siglo 'i muriau hi,
Cydano mewn gorfoledd a wnelo ein daear ni.
Tafodau 'r dynion dawo yn awr fo'n fudion mwy,
Yn nhaflod eu geneuau am byth y glynont hwy;
Tynghedaf chwi, O greigiau, a meini oll ynghyd,
I dori y distawrwydd, os dynion saif yn fud.

Chwi oll y rhai sy'n meddu y gyssegredig ddawn,
Yn awr neu fyth dangoswch hi 'n ffrŵd lifeiriol lawn;
Na ddadlwch fod eich awen o hwyl ar hyn o bryd,
Oblegid dyma destyn sy'n creu caniadau o hyd.

O deffro dithau ddaear, a gwel ryfeddod fawr,
Yr undeb priodasawl a gymmer le yn awr;
Y nefoedd adgymmodawl, a phechaduruu fyd,
Er cymmaint fu 'r elyniaeth sydd yn cofleidio ynghyd.

Disgynwch, gôr angylaidd, oddiar eich meinciau 'n awr,
Cydunwch mewn gorfoledd â dynion ar y llawr,
Erioed y fath *Brïodfab*, ni arddangosai 'r *Nef*,
Na'r *ddaear* chwaith gyffelyb i'w *Brïodasferch* ef.

G. HIRAETHOG.

## PENNILLION

*A gyfansoddwyd oddiwrth Bregeth, a bregethwyd yn Eglwys ——, Rhagfyr* 4, 1831, *ar* MAL. 4. 2.

MAE addewidion gwerthfawr gwiw,
I'r cyfryw rai sy'n ofni Duw,
Y cyfyd Haul Cyfiawnder cu,
A meddyginiaeth oddi fry.

Ond rhaid cael gwel'd ein cyflwr gwael,
Cyn canfod gwerth Efengyl hael:
Ni chredir mewn Iachawdwr gwiw,
Nes teimlo 'n clwyfau o bob rhyw.

Nid rhaid i'r iach wrth feddyg rhad,
A'r glân ni fyn mo'r gwerthfawr waed:
Y rhai oleuwyd gan ein Duw
A welent werth yn Iesu gwiw.

Nis gall y dyn wneud dim sy dda,
Heb gymmorth Duw, a gwel'd ei bla;
Ond wedi gwel'd ei ddwfn glwy',
Nis gwrthyd yr Iachawdwr mwy.

'N ol syrthio draw yn Eden dir,
A boreu golli 'r ddelw bur;
Heb unman glân o'r pen i'r traed,
Yn ymdrybaeddu yn ein gwaed.

Trwy anufudd-dod Adda draw,
Aeth pawb i afael poen a braw;
Digiasom Dduw anfeidrol dda,
A thynu wnaethom arnom bla.

Ond trefnwyd modd trwy ryfedd ras,
I'n gwared oddiwrth bechod cas;
A'n dwyn yn ol i heddwch Duw,
A gwella'n clwyfau o bob rhyw.

Er maint trueni dynol ryw,
Llewyrchu wnaeth efengyl wiw,
A'i holl drysorau nefol rhad,
I bechaduriaid o bob gwlad.

Cyhoeddi mae âg uchel lef,
Ei flwyddyn gymmeradwy ef;
Caiff carcharorion eu rhyddhâu,
A'r cloff, a'r clwyfus, eu hiachâu.

Y rhai sydd lesg gânt eu cryfhau,
A'r aflan hefyd ei lanhau;
Y dall gaiff olwg, byddar glyw,
A'r mudan fodd i foli Duw.

Ac i'r rhai sy mewn t'wll'wch mawr,
Yn eiste'n drist, fe gyfyd gwawr;
Cwyd Haul Cyfiawnder cyn bo hir,
A'i lewyrch red trwy 'r anial dir.

Gwna hwn y nos yn hyfryd ddydd,
A dwg i'r goleu bethau cudd;
Ei wres a'i oleu hyfryd ef
Yw holl hyfrydwch nef y nef.

Llewyrchu wnelo 'r Haulwen hwn,
Dros holl derfynau y byd yn grwn;
Na byddo dyn o dan y nef,
Heb lawn fwynhau ei oleu ef.

Ei fawl a lanwo 'r ddaear faith,
Ym mhob rhyw lwyth o bobl ac iaith;
Hosanna boed trwy 'r ddae'r a'r nen,
I'r Drindod sanctaidd mwy Amen.

PERERIN NANT CONWY.

---

## EINIOES, ANGÊU, A THRAGWYDDOLDEB.

Cysgod yn chwyfio tros y byd,
Yn sylwedd genym ni;
A yw, ac nad yw ar y pryd,
Mal glâswawr ïs y lli';
Pren gwyrenig teg ei wawr,
Diaddfed yn parhau,
Deisyfion o lawenydd mawr,
Hyn ydyw *Einioes* frau.

Noson yw hwn o ddunos prudd,
Oferedd beunydd fâg;
Rhyw oediad nes ymwawria dydd,
A hwnw 'n oediad gwag;
Agendor nas bu undyn draw,
I wel'd yr aphwys ddofn:
Heb wybod p'am mae ofn a braw,
Ac *Angeu* yw ein hofn.

Eangder maith y nwyfre lâs,
Yn cyrhaedd i bob man,
A draidd tu hwnt ein golwg bâs
I barthau pell di drân:
Boreu, a'i haul nas êl ar ddwyr
Heb fachlud byth mo'i wawr;
Diwrnod ddêl heb iddo hwyr
Yw *Tragwyddoldeb* mawr.

GWENFFRWD.

---

## PENNILLION

*Ar Farwolaeth Sophïa Jones, Hafodau, Ceredigion, yr hon a fu farw 1831, yn wyth mlwydd oed.*

PRYDYDD.

Pa beth yw 'r achos 'n awr o fod
Mwyn dafod bach *Sophïa*
Yn ddistaw yn ei genau mâd,
Yn rhad, beth yw hyn yma?

GALARWYR.

Yr angeu glas a'i farwol gledd,
A ddaeth mewn agwedd milwr,
A dygodd ymaith, trwm y tro,
Ei bywyd, do, 'r difrodwr!

CYSURWR.

Nid ydyw angeu, cofiwn hyn,
Ond megys gwesyn ffyddlon;
Nid yw ond gwneuthur arch nef fawr
Wrth dori i lawr blant dynion.

PRYDYDD.

Ow! nid *Sophïa*'n siwr a ga'dd
I ymladd yn ei herbyn!
Ai hon, rhowch ateb im' o fodd,
A frathodd ef a'i golyn?

GALARWYR.

Ië, ein hanwyl anwyl ferch,
A gwrthddrych mawrserch ini,
A fathrodd dan ei droed yn drwm,
Mae fel y plwm yn oeri!

CYSURWR.

Ar frys symudodd angeu hi
Oddi wrthych chwi i'r nefoedd:
Hi gân yn fwyn yn Sion fry,
A hyn wna hi 'n oes oesoedd!

PRYDYDD.

'R wy'n cofio fwyned oedd ei gwedd,
A'r agwedd gu oedd ganddi;
Tra yn yr ysgol hi oedd ben,
A'i diben oedd myn'd rhagddi.

GALARWYR.

Gwirionedd yw—wrth i chwi sôn
Am *Sophy*'n gwiwlon eneth,
Nid allwn lai nac wylo 'n wir,
Wrth gofio 'i llafur difeth!

CYSURWR.

Na wylwch mwy o'i phlegid hi,
Yn wisgi hi esgynodd,
Trwy Grist, o fraw i nefol fro,
Ac yno cân 'n oes oesoedd.

PRYDYDD.

Mi gredaf finnau nad oes croes,
Nac unrhyw loes nac adfyd,
Yn poeni, nac yn blino bron,
Trigolion gwlad y gwynfyd!

GALARWYR.

Mae côf am dani, ar bob pryd,
'N rhoi gofid yn ein hyspryd:
Ond credu wnawn mai yn y nef
Mae'i chartref disglaer hyfryd!

CYSURWR.

Lle wylo dagrau chwerw 'n llyn
Am golli 'ch plentyn ufudd,
Ymbarotowch i'w dilyn hi,
Mae 'i hangeu i chwi 'n rhybudd.

ISAAC MINRHEIDOL.

---

## Y LLEUAD.

O LEUAD ariannaidd! mor deg yn dy lwybr,
Mor loyw a hardd, wrth dramwy y wybr:
Er hyny os creffir, er teced wyt Dduwies!
E welir rhai brychau yn duaw dy fonwes.
Un modd, os edrychir i mewn i ddynoliaeth,
E welir rhyw fai, rhyw anaf, ysywaeth;
A rhaid yw cyfaddef na welir gwir burdeb
Yn nim, nac yn neb; ond yn Nuw tragwyddoldeb.

TEGID.

---

## PENNILL (CYFIEITHIAD).

Yr amser *aeth heibio* ni elli ei alw,
Yr amser *presennol* gwna iti yn elw,
Yr amser i *ddyfod* efallai na weli,
Yr amser *presennol* gan hyny sydd iti.

R. S. IEU.

# HANESION GWLADWRIAETHOL.

## NEWYDDION TRAMOR.

PORTUGAL.—Y mae achos y wlad hon yn dra therfysglyd. Dywedir fod gan Don Pedro 10,000 o wyr arfog, yn hiraethu am longau i'w cludo i Lisbon, a thybiant y gosodant gyfiawn aer coron Portugal ar yr orsedd. Cafwyd allan fradwriaeth yn Fayal, diben pa un oedd i ddadymchwelyd yr awdurdodau ag oedd o blaid *Donna Maria*, ac i ladd yr holl Saeson ag oedd yn y fan hôno. Y mae rhai o'r rhai blaenaf yn y bradwriaeth hwn wedi cael eu saethu, ac y mae amryw yn ngharchar.

YR ALMAEN.—Bu ychydig derfysg ar y 5ed a'r 6ed o Ionawr yn *Hannau*, ond nid oeddynt yn rhai pwysig, a gostegwyd hwynt yn fuan gan ychydig filwyr.

GWLAD GROEG.—Y mae y newydd wedi cyrhaedd yn ddiweddar, fod rhyfel cartrefol wedi tori allan yn y wlad hon; ond nid ydym wedi cael dim hanes pennodol pa beth sydd wedi cymmeryd lle yn ganlynol i hyny.

YR AIPHT.—Y mae rhyfel wedi tori allan rhwng Ymerawdwr Twrci a Phasha yr Aipht. Ibrahim Pasha, yr hwn a wnaeth ei hun mor nodedig gynt y'ngwlad Groeg, a gymmerodd, heb un gwrthwynebiad, *Gaza*, *Jaffa*, *Caffa*, ac y mae wedi myned ym mlaen cyn belled ag Acre. Y mae y Sultan yn ddiwyd yn cymmeryd moddion i rwystro ei fynediad ddim pellach i Syria, ac y mae yn adeiladu ac yn anfon llongau allan i'r perwyl hwn. Dywed llythyr o Gonstantinople ei fod am gan i fynu holl borthladdoedd yr Aipht, yr hyn a ddena sylw y teyrnasoedd ereill i'r amrafael hwn.

## NEWYDDION CARTREFOL.

YR IWERDDON.—Cyflwr y wlad anffodus hon sydd dra therfysglyd. Mewn amrai barthau o'r wlad, y werinos a ymgynnullant ynghyd i rwystro amaethwyr i dalu y degwm. Ar ol hir gysgu, y mae y llywodraeth wedi deffro, ac wedi penderfynu rhoddi terfyn ar y cyfarfodydd hyn. Pe buasent wedi dechreu cospi y troseddwyr mewn pryd, ni buasai cymmaint o eiddo wedi ei ddinystrio.

Mr. O'Connell sydd wedi bod yn brysur gyda gorchwylion tra phwysig yn ei olwg ei hun. Dymunai i'r holl Seneddwyr dros yr Iwerddon ddyfod i'w gyfarfod ef i Ddublin, ac i'r perwyl hwn anfonodd orchymyn iddynt ymgynnull yno ar ddiwrnod pennodedig. Ond er mawr siomedigaeth i'r terfysgwr, ni ddaeth yno ychwaneg na *phump*.

Dydd Mawrth, yr 17eg o Ionawr, cynnaliwyd cyfarfod yn Nublin o gefnogwyr yr Ysgolion yn y rhai yr hyfforddir y plant yn yr Ysgrythyrau. Erioed ni welwyd nifer mwy lliosog o foneddigion, Offeiriaid, a Gweinidogion o amrywiol enwau o Ymneillduwyr. Archesgob Tuam yn y Gadair. Cyfarchwyd y gwyddfodolion gan areithwyr godidog, y rhai a ddatganasant eu penderfyniad i gefnogi yr Ysgolion Ysgrythyrol, ac i wrthwynebu amcanion y Pabyddion a'r llywodraeth i rwystro 'r genedlaeth ieuanc rhag derbyn addysg Ysgrythyrol. Efallai nad yw yn hysbys i lawer o'n darllenwyr fod Gweinidogion y Brenin wedi gosod Cyfeisteddwyr i oruchwylio Ysgolion yn yr Iwerddon, ac wedi ymddiried £30,000 iddynt i ddwyn eu dibenion ym mlaen. Nid yw y Bibl i gael ei ddarllen ynddynt, am fod y Pabyddion, neu yn hytrach yr Esgobion a'r Offeiriaid Pabaidd, yn gwrthwynebu hyn. Ymddygiad Gweinidogion y Brenin yn hyn a phethau ereill, sydd wedi cynhyrfu Protestaniaid yr Iwerddon i amddiffyn eu breintiau gwladol a chrefyddol, ac i ymegnïo hyd yr eithaf i wared eu gwlad rhag llwyr ddinystr. Llwydded Duw eu hymdrechiadau gwladgarawl.

YR ALBAN.—Ar nos Wener, Ionawr 13, tòrodd allan un o'r tanau mwyaf arswydus a gofiwyd erioed yn Glasgow. Cymmerwyd rhyw gymmaint o sidanau allan o nwyf-dai y Meistriaid Wingate a'i Feibion, cyn i'r tân gyrhaeddyd y fan hono, ond collwyd yno, yn gystal ag mewn nwyf-dai ereill, lawer iawn o feddiannau. Gellir meddwl cymmaint oedd y tân, pan y dywedir nad oedd y cistiau haiarn ag oedd yn y tai o un defnydd i gadw y llyfrau ag oedd o'u mewn; a llosgwyd cauadau rhai o honynt ymaith; ac ym mhell wedi i'r tân beidio yn y tai, yr oedd y fflamau i'w gweled yn dyfod allan o honynt, a llosgwyd rhai yn y fath fodd fel nad oes un tebygolrwydd o honynt i'w weled. Galarus yw adrodd fod un gwr ieuanc wedi cael ei losgi trwy ei ymdrechiadau i achub llyfrau ei dad, yr hwn oedd Lyfr-werthwr. Aeth i fewn i'r tŷ gyda dau ereill, a thra yr oeddynt i fewn syrthiodd y llofft uwch eu penau, a chladdwyd ef yn y tân. Deallir fod y ddau ereill wedi gallu dïanc. Lladdwyd un dyn arall hefyd trwy syrthio i lawr ar *rails*, y rhai a aethant trwy ei goluddion.

Bernir fod gwerth oddeutu £150,000 wedi cael ei losgi trwy yr anffawd arswydus hwn.

---

## Y SENEDD.

Cyfarfu y Senedd ddydd Mawrth yr 17eg o Ionawr.

Ty yr Arglwyddi.—Yn ebrwydd wedi i'r Arglwydd Ganghellydd ddyfod i mewn, daeth y Duc Wellington yno, er mawr lawenydd i'w gyfeillion, y rhai a gydlawenhasant âg ef am ei adferiad i'w iechyd cynnefin.

Ty y Cyffredin.—Y Llefarydd a gymmerodd y gadair oddeutu pedwar o'r gloch.

*Mr. Sadler* a ddygodd Ysgrif i mewn i benderfynu yr oriau y dylai plant weithio mewn melinau cotwm. Rhoddwyd caniatâd i'w darllen y tro cyntaf, a darllenir hi yr ail waith ar y trydydd o Chwefror.

Etholiad Swydd Dorset.—*Arglwydd Ashley* a ddywedai, er ei fod yn sicr iddo gael ei ethol yn gyfreithlon i gynnrychioli y Swydd hòno yn y Senedd, etto ni fwriadai amddiffyn ei hawl, am fod y draul mor fawr.

*Mr. Hume* a haerai fod hyn yn rheswm arall o blaid Diwygiad yn y Senedd. Yn ol y dull presennol, nid allai gwr boneddig amddiffyn ei hawl heb dreulio llawer o arian. Gobeithiai y gofalai Gweinidogion y Brenin am drefnu rhyw ffordd er lleihau y draul wrth ethol Seneddwyr.

*Syr C. Wetherell* a ddatganai ei gydsyniad, am unwaith yn ei fywyd, â'r areithydd diweddaf: ond nid oedd dim tebygolrwydd yr ychwanegid y pwngc hwn at yr amrywiol byngciau oedd i ddyfod dan eu sylw.

### DIWYGIAD YN Y SENEDD.

Ty y Cyffredin.—Dydd Gwener, Ionawr 20fed, *Arglwydd John Russell* a gynnygiai, fod i'r Tŷ ymffurfio yn Gyfeisteddiad i ystyried yr Ysgrif er Diwygio y Senedd.

*Mr Croker* a feiai ei Arglwyddiaeth yn llym am ei ymdrechiadau i brysuro yr Ysgrif drwy y Senedd, cyn iddi gael ei hystyried gyda phwyll a gofal. Achwynai yn erbyn yr hysbysiadau a roddodd Lieut. Drummond ynghylch rhai o'r Bwrdeisdrefi. Wedi i'r Arglwyddi J. Russell ac Althorp, a Syr C. Wetherell, ac ereill, areithio o blaid ac yn erbyn y cynnygiad, ymranodd y Tŷ, a chafwyd fod

| | |
|---|---|
| O'i blaid ......... | 152 |
| Yn ei erbyn ..... | 99 |
| Mwy o'i blaid .. | 53 |

Y cynnygiad cyntaf yn yr Ysgrif, oedd, *fod i 56 o Fwrdeisdrefi gael eu llwyr ddifreinio.*

*Mr. Croker* a ddymunai gael gwybod paham y penderfynwyd ar y nifer hwn, sef 56?

*Arglwydd J. Russell* a ddywedai mai yr unig reswm oedd, mai hyn oedd y nifer yn yr Ysgrif ddiweddar. Am dano ei hun, ni theimlai y gwrthwynebiad lleiaf i ddifreinio ychwaneg o Fwrdeisdrefi.

*Mr. Wynn* a dybiai na ddylid penderfynu nifer y Bwrdeisdrefi a ddifreinir, nes penderfynu yn gyntaf pa nifer o drefydd a gynnysgaeddir â'r fraint o ddewis Seneddwyr. Wedi llawer o ddadleu, y Tŷ a ymranodd.

| | |
|---|---|
| O blaid y cynnygiad .. | 198 |
| Yn ei erbyn ........... | 123 |
| Mwy o'i blaid ...... | 75 |

Y rhai a bleidiasant y cynnygiad o Gymru.

Williams, W. A. Swydd Fynwy.
Williams, Syr J. H. Swydd Gaerfyrddin.
Phillips, Syr R. B. Hwlffordd.

Yn ei erbyn.

Clive, Henry, Trefaldwyn.
Wynn, Charles, Swydd Drefaldwyn.
Wynne, C. W. G. Swydd Gaernarfon.

---

## PROFIAD Y TERFYSGWYR YN BRISTOL

Yn ebrwydd wedi y terfysgiadau yn y ddinas uchod, penderfynodd y Llywodraeth anfon nifer o Barnwyr i lawr yno i brofi y dynion a garcharwyd am losgi a lladrata yn amser y terfysg. Ar y trydydd o Ionawr, y Prif Farnydd Syr N. Tyndal, ynghyd â'r Barnwyr Taunton, a Bosanquet, a gyrhaeddasant y dref hono. Boreu drannoeth agorwyd y Llys gan y Prif Farnydd, yr hwn a gyfarchodd y Rheithwyr mewn araith faith, yn gosod o'u blaen, ac yn egluro, y gyfraith berthynol i'r troseddau a gyflawnwyd gan y carcharorion a ddygid i'w profi yn y Llys hwnw. Rhy faith yw yr araeth i'w chyfieithu. Cafodd ei hargraffu trwy orchymyn Iarll Melbourne, Prif Ysgrifenydd Cartrefol ei Fawrhydi, ac anfonwyd *copi* o honi i bob Swyddog Heddwch yn y deyrnas.

Nifer y carcharorion oedd 112. Am losgi a dinystrio y carchar, 12; am losgi y *Bridewell*, 5; am ddinystrio tai a lladrata, 81; am ymgynnull yn derfysglyd, 7; am gymmell tafarnwyr i roddi diod iddynt, 7.

Dydd Mercher, Ionawr 4ydd, *Wm. Clarke, Pat. Kearney, James Williams, Daniel Higgs, James Courtenay, a John M'Kay*, a gyhuddwyd o ymgynnull gyda bwriad i godi terfysg, ac i losgi y *carchar*, a phreswylfa y Goruchwyliwr.

Nifer o dystion a brofasant fod y carcharorion yn dra phrysur yn llosgi a dinystrio y carchar. Cydunasant yn eu tystiolaeth mai *Clarke* oedd yn blaenori yn y terfysgiadau, ei fod yn cefnogi y lluaws i losgi y carchar, ac mai efe a agorodd byrth nesaf allan y carchar. Mam y carcharor *Clarke* a dystiai nad oedd ei mab bob amser yn ei synwyrau, yn enwedig wedi cael diod. Rheithfarn Euog yn erbyn *pedwar* o honynt; a *James Williams* yn *ddieuog*.

*William Clarke*, a *Pat. Kearney*, yngbyd â thri ereill, a gyhuddwyd o losgi y *Bridewell*.

Y prif dyst oedd goruchwyliwr y carchar, ac un o'i weinidogion. Llawer a dystiasant iddynt weled pedwar o'r carcharorion yn cyflawni y weithred ysgeler. Rheithfarn, *pedwar* yn *Euog*, ac *un* yn *ddiauog*.

*Thomas Bendall*, a *James Simons*, dau lâs-langc, a gyhuddwyd o losgi a dinystrio Palas Esgob Bristol.

*Robert Jones*, trulliad yr Esgob, a dystiai i'r Esgob adael y Palas oddeutu tri o'r gloch brydnawn. Y terfysgwyr a ruthrasant i'r Palas oddeutu wyth o'r gloch. Buont wyth mynyd yn dinystrio y pyrth. Wedi hyny aeth *Jones* i'r Palas, ac a glodd y drysau. Pan ruthrodd y terfysgwyr i'r tŷ, enciliodd yntau i'r cefn, a dychwelodd i'r ardd o flaen y tŷ, lle yr arosodd nes y daeth y milwyr. Gofynodd i'r Swyddog Milwraidd l ganiatau i dri neu bedwar o'r milwyr fyned gyd âg ef; ond ni roddai genad iddynt ddisgyn oddiar eu ceffylau. Yr oedd y carcharor *Bendall* yn un o'r terfysgwyr; ac yn dra phrysur yn dwyn y llyfrau o'r Llyfrgell, ac yn eu taflu i'r fflamau. Amryw o dystion ereill a gadarnasant dystiolaeth Mr. Jones. Ar ran y carcharor *Bendall*, pump o dystion a haerent ei fod o ddeall gwan. Cafwyd y ddau yn *Euog*.

*Christopher Davies* a gyhuddwyd o gefnogi y terfysgwyr, a dinystrio adeilad o eiddo y Brenin. Yr oedd y carcharor hwn yn perchen llawer o eiddo, ac yn wr cyfrifol yn y ddinas. Yr oedd ei ymddygiad yn fwy terfysglyd na neb o'i gymdeithion trueuus. Aeth i mewn i annedd y Prif Ynad, a chyfranogodd o'r danteithion a ddarparwyd i Syr C. Wetherell—arosodd gyd â'r terfysgwyr trwy y nos, weithiau wrth y carchar, waith arall wrth y *Bridewell*, wedi hyny wrth Balas yr Esgob, yn cefnogi yr adynod yn eu gorchwyl ysgeler. Drannoeth wedi y terfysg y carcharor a ddiangodd, ac ni chymmerwyd ef am ddau fis. Galwyd amryw o dystion, y rhai a dystiasant iddynt weled y carcharor yn cefnogi y terfysgwyr â'i holl egni, ac iddynt ymdrechu i'w ddarbwyllo i ddyfod o blith y terfysgwyr. Cafwyd ef yn *Euog*.

## Y DDEDFRYD.

Wedi i'r Rheithwyr ddatgan eu barn yn erbyn y carcharorion, galwyd pump o'r terfysgwyr penaf ym mlaen, a chyfarchodd y Prif Farnydd hwynt fel y canlyn:—

"Garcharorion! cawsoch eich profi, ar dystiolaeth, ym mhob achos yn neillduol, yr hon ni âd ammeuaeth o'ch euogrwydd yn meddwl undyn; ac y mae cyfreithiau eich gwlad yn gofyn am eich einioes. Ymgynnullasoch gyda lluaws o ddynion tebyg i chwi eich hunain; a thrwy weithredoedd gorthrechol parasoch fraw a dychryn i drigolion dlwyd ac heddychlawn y ddinas. Difuddiasoch lawer o'u hunig foddion o gynnaliaeth. Taniasoch adeiladau cyffredin, a difrodasoch feddiannau personau unigol. Nis gall cydymdeithas hanfodi rhwng dynion a'u gilydd, os na fydd i droseddau fel y rhai hyn gael eu gostegu gan law gadarn y gyfraith. Os na wneir esiampl o honoch i ddychrynu ereill rhag gweithredu y cyfryw echryslonedd, fe fydd yr hyn oll sydd yn gwneuthur einioes yn ddymunol i ddyn ar goll yn gwbl—y diniweid a ddaw yn ysglyfaeth i'r drygionus, a gormes a gymmer le cyfiawnder. Pa egwyddor a allai eich cynhyrfu i weithredu y troseddau hwn, nis gallwn farnu âg un math o sicrwydd oddiwrth y dystiolaeth o'n blaen. Nid pwys eisieu neu drueni, nid camwri dychymmygol neu wirioneddol, dan ba un yr oeddych yn dioddef. Nis gallwn feddwl fod un egwyddor arall yn eich cynhyrfu, amgen na bod eich bryd ar roddi y ddinas i fynu i'r fflamau, fel y byddai ddarostyngedig i yspail cyffredinol. Yr ydych, bob un o honoch, yn sefyll yn esiampl hynod ac arswydol i ereill o'r drygioni a'r trueni sydd yn canlyn pan fo dyn yn bwrw ymaith attaliad cyfreithiau Duw a dyn, ac yn ymroddi i'w nwydau poethwyllt ei hun. Nid oes genyf ond gweddio na bydd i'ch siampl chwi gael ei chanlyn. Goddefwch i mi, gan hyny, eich annog oll yn ddifrifol, i ymbarotoi, trwy bob moddion yn eich gallu, i'r diwedd ofnadwy yr hwn sydd yn sicr yn eich aros. Trowch yn daer a difrifol at orsedd gras, i ofyn ganddo Ef, yr hwn a ŵyr pa fodd i wahanu trugaredd oddiwrth gyfiawnder, y maddeuant hwnw, yr hyn nid all y cyfreithiau ei ganiatau i chwi." Yna y traethodd ei Arglwyddiaeth y ddedfryd o *Farwolaeth* arnynt yn y geiriau arferol.

Ar ol hyny dygwyd y 19eg ereill ger bron, a chyfarchodd y Prif Farnydd hwynt fel y canlyn:—

"Garcharorion! ar ol profiad amyneddgar o flaen Rheithwyr diduedd a deallus cafwyd pob un o honoch yn euog o drosedd, am yr hwn y mae cyfreithiau eich gwlad, er diogelwch pawb, wedi eich cael yn euog o farwolaeth. Chwychwi, gyda llawer ereill, sydd hyd yn hyn wedi diangc o law cyfiawnder, a ddiofrydasoch i anrhaith a distryw y ddinas, ym mha un yr ydych yn byw, y lle oedd yn rhoddi i chwi oll gynnaliaeth a diogelwch. Dygasoch ran o hono i gyflwr o ddistryw ac anghyfannedd-dra gwaeth nag a fuasai un gelyn estronol, oddieithr y mwyaf annhrugarog yn ei wneuthur. Ymddifadasoch lawer o'i thrigolion diwyd o'u holl foddion o fywioliaeth; a gellir, yn gyfiawn, ystyried fod y gwaed a dywalltwyd i ostegu eich terfysg yn gorwedd wrth eich drws chwi. Yr oeddych fel pe buasech yn meddwl fod cyfraith wedi ei halltudio dros fyth allan o'r wlad. Yr ydych yn sefyll yn esiampl o fyrdra tymmor anghyfiawnder, ac fod y gyfraith yn rhy gref i ymosod arni genych chwi a'ch cyffelyb. Dan y cyfryw amgylchiadau, nid wyf yn meddwl y gwnaem ar gam, pe gorchymynem i eithaf toster gael ei chyflawni arnoch; ond y taer obaith sy genym y bydd i dynged alarus y rhai y traethasom y ddedfryd hono arnynt yn ddigon o rybydd, sydd yn peri i ni gyduno mewn gostyngedig erfyniad am arbediad eich einioes chwi. Ni fynwn i chwi feddwl, eich bod, trwy ddiangc oddiwrth farwolaeth, wedi gochelyd cospedigaeth. Chwi a gewch dreulio y rhan sydd yn ol o'ch einioes mewn gwlad dramor a phellenig, wedi eich ysgaru yn dragywydd oddiwrth eich rhieni, eich perthynasau, a'ch cyfeillion, mewn cyflwr o lafur caled, ac ymddifadrwydd gwastadol. Hyn a'ch attal rhag terfysgu heddwch cymdeithas etto, ac a fydd yn rhybydd i bawb o amgylch."

## PRAWF Y COLONEL BRERETON.

Cadwyd Prawf-lŷs Milwraidd *(Court Martial)* er profi ymddygiad y Colonel Brereton, yn amser y terfysg yn Bristol. Yr oedd yr holiad hwn wedi myned ym mlaen am ddau ddiwrnod; a phan oedd-

ynt ar ddechreu y gwaith y trydydd dydd, daeth y newydd fod y Colonel Brereton wedi saethu ei hun! Cyrhaeddodd y newydd hwn y ddinas oddeutu naw o'r gloch y boreu. Yr ydoedd ei breswylfod o fewn milldir a hanner i Bristol. Ymddengys iddo ddychwelyd o'r ddinas oddeutu un-ar-ddeg o'r gloch y nos; ac nid oedd dim yn anarferol yn ei ymddygiad. Aeth i'w ystafell wely ychydig ar ol hanner nos; ond rhaid ei fod wedi aros yn hir cyn cyflawni y weithred, oblegid yr ydoedd wedi ysgrifennu i lawr y rhesymau a'i taeddodd i wneuthur hyny, yr hyn a lanwodd oddeutu deuddeg papur-len. Byddai yn arferol o adael ei law-ddrylliau ar y bwrdd. Ni ddiosgodd ei holl ddillad; ond tynodd ei *goat*, a gorweddodd ar y gwely. Oddeutu tri o'r gloch y boreu clywodd un o'r morwynion sŵn ergyd o lawddryll, ac a waeddodd allan. Yna aeth un o'r gweision yn union i ystafell ei feistr, a chafodd ef yn gorwedd ar ei wely, ac wedi marw. Aeth y belen i mewn i'w ochr aswy, a rhaid ei bod wedi myned i'w galon, o herwydd iddo farw mor fuan. Yr oedd y llaw-ddryll ar y llawr, a'r gwely a'r llawr wedi eu gorchuddio â gwaed. Y trengedig ydoedd yn ŵr gweddw, a gadawodd ddwy ferch ieuaingc i alaru ar ei ol,

## TERFYSGWYR NOTTINGHAM.

Bu terfysgiadau yn y dref hon, cyffelyb i'r terfysgiadau a achosasant gymmaint o ddinystr, a chynnwrf, ym Mristol. Y Llywodraeth a anfonodd Farnwyr yno i brofi y terfysgwyr. Buont yno am saith niwrnod; ac yn eistedd yn y Llŷs am 12 awr bob dydd. Cyhuddwyd 12 o ddynion am losgi melinau Beeston, a chafwyd chwech o honynt yn *Euog*, a chwech yn *Ddieuog*. Tri o ddynion a gafwyd yn *Euog* o losgi a dinystrio *Colwick Hall*. Y dynion a gyhuddwyd o losgi y *Castell* a ryddhawyd; oblegid nad oedd y tystion yn deilwng o'u credu. Gadawyd *pump* o'r adynod yma i gael eu dienyddio.

## RHAGRITHIWR CREFYDDOL.

Yn Sessiwn Sir Warwick, *Stephen George Whelps* a gyhuddwyd o ymosod yn anweddus ar *Eliza Bailey*, genethig oddeutu 12 mlwydd oed.

*Mr. Hill* a gyfarchodd y Rheithwyr yn erbyn y cyhuddedig, ac a'i galwodd yn bregethwr y ffydd ganol. Dywedodd y carcharor—"Yr ydwyf yn *Arch-offeiriad o'r Eglwys Gyfunol Anymddibynol Drindodaidd.*" "Da iawn (ebai *Mr. Hill*) ond gan y dywedir y dylid profi pob ffydd drwy ei gweithredoedd, rhaid i ffydd y carcharor gael ei phrofi yn yr un modd."

Yr enethig, a thystion ereill, a brofasant fod y carcharor wedi ymosod arni, gyda bwriad i wneud niweid iddi.

Pan ofynwyd i'r carcharor a oedd ganddo rywbeth i ddweud, cyfarchodd y Llŷs fel y canlyn:—"Foneddion. Yr oeddwn yn myned trwy Birmingham, ar fy nhaith o deyrnas Cymru i Ffrainc, wedi ffurfio llawer dosparth, a sefydlu eglwys fechan yn y ffydd newydd, pan y digwyddais fyned i lawr yr heol lle y preswyliai yr enethig, i'r diben o gyfrannu Traethodau a Charolau. Curais ddrws y tŷ yn yr hwn yr oedd yr enethig. Agorodd y drws, a rhoddais gusan iddi; ond nid ymddygais yn anaddas yn ei gwydd. Yn awr gofynaf, a ydyw yn debyg y byddwn i, yr hwn wyf yn ymdeithio oddi amgylch i hyrwyddo rhinwedd a duwioldeb; y byddwn i, meddaf, yn euog o anfoesoldeb a gwrthuni. Dwys-alarwyf fod y cyhuddiad hwn wedi cael ei ddwyn i'm herbyn dan yr amgylchiadau hyn; ond diau fod rhagluniaeth wedi ei oddef er y dibenion goreu a doethaf. Bum yn ymdrechu sefydlu cangen o'n *Heglwys Gyfunol Anymddibynol Drindodaidd Gristionogol Gyffredinol.* Rhoddaf fy hun yn llwyr yn eich llaw chwi, i ddweud a ydwyf fi yn euog o'r cyhuddiad hwn ai peidio. Ni ddywedaf ei fod yn ammhossibl i mi fod yn feddw y pryd hyny; oblegid da y gwn fod y natur ddynol yn wan iawn; ond nid oes genyf y côf lleiaf i mi gyflawni y trosedd a ddygir i'm herbyn."

Wedi i'r Rheithwyr ymgynghori am ychydig o fynydau, cawsant yr Archoffeiriad yn *Euog;* a dyfarnwyd ef i gael ei garcharu am 12 mis.

## Y CHOLERA MORBUS.

Nifer y rhai a glafychasant er y dechreuad yn *Sunderland*, 534; y rhai a fuant feirw, 202.——Yn *Newcastle*, cleifion, 752; meirw, 223.——Yn *Gateshead*, cleifion, 378; meirw, 131.——Yn *North Shields*, cleifion, 75; meirw, 27.——Yn *Houghton*, cleifion, 166; meirw, 45.——Yn *Haddington*, cleifion, 49; meirw, 20.——Yn *Tranent, Scotland*, cleifion, 7; meirw, 3.

---

*Ffordd newydd i feddyginiaethu Llewygon.*—Yn un o heolydd Llundain cafwyd dynes ieuanc yn glaf iawn, mewn llewyg. Y ceisbwl a'i cludodd i Yspyttŷ *St. Bartholomew;* a dau o'r meddygon ynà ganfuasant yn ebrwydd mai cymmeryd arni yr oedd hi. Mewn modd syml a sobr dymunasant ar bawb ymadael o'r ystafell. Wedi cau y drws, dywedodd un o honynt, "Ni all hi byth adferu; dyma y fath gorph ag sydd arnom ni eisiau; gadewch i ni ei chludo hi i'r Meddygdŷ, a'i *Burcio* hi." Buan yr iachàodd y ddynes: ac mewn mynyd neidiai oddiar y gwely lle y gorweddai, a dechreuai eu rhegi hwynt, "Y lladron genych chwi," ebe hi, "yr oeddwn i yn gwybod beth yr oeddych chwi ar fedr ei wneud â mi; ond —— ni chewch chwi mo fy nghorph i. Mwrdwr! Mwrdwr!" Agorasant y drws iddi; a hi a aeth o'i golwg yn fuan,

---

*Tyngu Anudon.*—Yn Sessiwn *Old Bailey*, yn Llundain, cafodd Thomas Hague, Amaethydd cyfrifol o Swydd Gaerefrog, ei gyhuddo o *dyngu anudon* yn wirfoddol, am iddo gymmeryd ei lŵ fod George Van Drury yn ei ddyled o £500. Ni fu Mr. Van Drury yn ei ddyled o hatling erioed. Yr oedd y carcharydd wedi bygwth cyhuddo Mr. Van Drury o drosedd annaturiol; ac er mwyn iddo gadw yn ddistaw rhoddid iddo arian o bryd i bryd; nid am ei fod yn euog, ond er mwyn iddo gael llonyddwch. O'r diwedd aeth Mr. Hague yn dra digywilydd, ac a haerodd fod Mr. Van Drury yn ei ddyled o £500. Er llareiddied oedd Mr. Van Drury yr oedd y cyhuddiad hwn yn ormod iddo oddef; a gwysiodd Mr. Hague ger bron ei well. Ar ol prawf maith, y Rheithwyr a gawsant Mr Hague yn *Euog*. Cafodd y carcharor ei ddedfrydu i *sefyll yn y gwddf-gyffion am un awr, ei garcharu am chwe mis, ac wedi hyny ei alltudio am saith mlynedd.*

## YR EISTEDDFOD FAWR YN BEAUMARIS.

Y MAE un o'r Cymmanfaoedd Gwladol hyny o Feirdd a Cherddorion, y rhai, tybygid, na hanfodant yn awr mewn un lle arall yn Ewrop ond yn Nghymru, wedi ei phenodi i gael ei chynnal yn BEAUMARIS, yn Awst nesaf, dan Raglawiaeth Syr R. B. W. BULKELEY, Barwnig.

Cenfydd ein darllenwyr, ar ein hamlen, restr o Destynau y Traethodau ac o'r Cywyddau, ac o'r Gwobrau a ddyfarnir i'r ymgeiswyr buddugawl. Y mae y Gwobrau yn haelionus: a rhai o'r Testynau yn dra chyfaddas, yn enwedig "*Amaethyddiaeth;*" yr hwn, os traethir arno yn dda yn yr Iaith Cymraeg a all fod yn fuddiol iawn i lawer o Amaethyddion unlaith Cymru.

Cynnelir y cyfarfod hwn o fewn hen furiau Castell Beaumaris, yr hyn a bâr i fyfyrdodau goruchel gyfodi yn meddyliau pob Cymro a garo ei wlad, ac a barcho ei hen osodiadau. Adeiladwyd y Castell hwn gan Edward I. i'r diben o gadw meddiant yn y rhan hon o'r wlad a ennillasai efe drwy drais a gormes. Trwy ddichell gyfrwysddrwg ceisiodd y gormesdeyrn gwaedlyd hwn ddiffoddi Barddoniaeth o Gymru trwy ladd ei Beirdd, mewn gobaith y byddai i'r cariad gwresog i ryddid, yr hwn oedd i'w ganfod mor gyffredin ym mhlith ei thrigolion, ddarfod gyd â'r rhai oeddynt yn ei ennyn, trwy goffhau ardderchog weithredoedd dewrion a doethion eu gwlad enedigol. Ond ei ddichell oedd mor ofer ag oedd greulon; canys y gweddill o'r Beirdd erlidiedig a gawsant lôchesau yn nghilfachau y mynyddoedd, ym mha le y trigasant mewn diogelwch, ac o ba le yr anfonasant allan eu hysgrifeniadau i gadw i fynu yspryd rhyddid yn mynwesau eu cydwladwyr, nes yr ymdreuliodd cynddaredd gormeslywodraeth, ac y dychwelodd tawelwch amser, i'w galluogi i ddisgyn o'u hymddiffynfeydd, ac i ymgymmysgu unwaith etto mewn gwychach cwmpeini. Mae Edward yn huno gyd â'i dadau er ys pum cant o flynyddoedd bellach, a chedyrn furiau ei Gastell yn Beaumaris ydynt yn cael eu malurio i ddistryw gan law araf ond diball amser; etto, dan gysgod y murian adfeiliedig hyn y bwriedir yn awr gynnal cymmanfa o'r gwyr hyny, i ddinystrio pa rai yr arferodd Edward fuddugoliaethus ei holl ymdrechiadau. Wrth feddwl am hyn ni all yr Eisteddfod ddyfodol, a gynnalir yn Beaumaris, lai na pheri llawenydd boddhaol yn nghalon pob Cymro gwladgarawl, tra ar yr un pryd y byddo yn gwneuthur argraff addysgol ar y meddwl, trwy ddangos gwagedd ymdrechiadau cadarnaf dyn, pan arferir hwynt i ddibenion anghyffredin.

I'r sawl sydd yn hoffi hen arferion Cymru y mae yn rhaid i'r gymmanfa wladol hon o feibion yr Awen fod yn dra boddhaol. I'r cyfryw rai fe ymddengys fel pe byddent yn cael eu trosglwyddo yn ol, trwy gaddug oesoedd wedi myned er ys hir amser heibio, i'r dyddiau hyny, pan, dan awdurdod tadol ei thywysogion genedigol, yr oedd Barddoniaeth a Cherddoriaeth yn brif foddion o ddysg a difyrwch, a phan y derbyniai eu proffeswyr y parch uchaf, yn gystal gan y tywysog a'r bobl. Mae amrywiol reolau a defodau yr hen Eisteddfodau etto yn cael eu cadw—Cywyddau y Beirdd yn rhedeg yn yr un iaith a mesurau ag eiddo eu tadau—a'r un pêr dônau ar y delyn ag a barodd ddifyrwch yn llys a gwersyll Gruffydd ab Cynan, ac Owen Gwynedd, ettô yn cael eu gwrando â chyffelyb foddlonrwydd gan y rhai ardderchocaf a dysgedicaf yn ein gwlad.

Y Rhaglaw a bennodwyd i'r Eisteddfod ddyfodawl yw Syr R. B. W. BULKELEY, Barwnig, disgynydd o'r Syr Richard hwnw, i ba un, gyda Syr Rhys Griffith, ac ereill, yn y flwyddyn 1568, y rhoddodd y Frenines Elizabeth orchymyn i olrhain ansawdd Barddoniaeth a Cherddoriaeth, ac i gennadu a rheoli ymddygiad y Beirdd a'r Cerddorion yn yr amser hwnw, yr hyn a wnawd yn ganlynol mewn cyfarfod yn Nghaerwys, ar yr 22ain o Fai, yn yr un flwyddyn.——Allan o'r *North Wales Chronicle.*

*Gwobrau ychwanegol.*—Heblaw y rhai a hysbysir ar ein hamlen, y mae y *Royal Cambrian Institution*, yn Llundain, wedi rhoddi dau wobr i'w dyfarnu yn Eisteddfod Beaumaris i awdwyr y Traethodau goreu ar "*Ffug-chwedlau a Thraddodiadau Cymru*" (Legends and Traditions of Wales) ac ar "*Gystrawiaeth* (Syntax) *yr Iaith Gymraeg.*"

---

## SIRYDDION GWYNEDD.

RHESTR o'r gwyr a gynnygir i lenwi y swydd o Siryddion Gwynedd am y flwyddyn bresennol.

SWYDD DREFALDWYN.—Syr Charles Thomas Jones, Broadway, Marchog; John Jones, Ysw. Rhos Pen Bwa; a William Morris, Ysw. Pentrisfraint.

SWYDD GAERNARFON.—Thomas Assheton Smith, Ysw. Vaynol; John Rowlands, Ysw. Plastirion; a David Price, Ysw. Hendrerhysgethin.

SWYDD FON.—Syr John Williams, Barwnig, Tŷ Fry; Richard Lloyd Edwards, Ysw. Hirdrefaig; a Charles Henry Evans, Ysw. Henblas.

SWYDD FEIRION.—Syr Joseph Huddart, Plas yn Penrhyn, Marchog; William Turner, Ysw. Croesin; a Hugh Jones, Ysw. Hengwrt Uchaf.

SWYDD DDINBYCH.—Hugh Maxwell Godwin, Ysw, Mount Allen; John Townshend, Ysw. Trevalun; ac Edward Llwyd, Ysw. Cefn.

SWYDD FFLINT.—Syr Edward Mostyn, Barwnig, Talacre; Syr John Hanmer, Barwnig, Hanmer; Syr John Williams, Barwnig, Bodelwyddan.

---

*Helwriaeth.*—Y boneddigion yn nghymmydogaeth Gwrecsam ydynt wedi penderfynu danfon eu helwriaeth oddiar eu tiroedd i'r hely-werthydd yn y dref hono; a bod yr ennill a dardda oddiwrth eu gwerthiad i gael ei gyfrannu rhwng y tlodion. Yn hyn, yn gystal ag mewn llawer o bethau ereill, gwelir fod Syr W. W. Wynn yn blaenori, ac yn rhoddi esiampl dda i'w gymmydogion.

---

LLANGEFNI.—Cynnaliwyd Cyfarfod o holl drigion cyfrifol y lle hwn, a dewiswyd nifer o honynt i fyned oddi amgylch i edrych ar anneddau y tlodion, ac i roddi mewn grym y rheolau a gyhoeddwyd gan Feddygon y Brif-ddinas.

---

*Anffawd galarus.*—Dydd Iau, y 19eg o Ionawr, syrthiodd genethig fechan, oddeutu tair oed, merch i Robert Jones, Crydd, Tŷ Nant, gerllaw y Bala, i'r nant ag sydd yn rhedeg yn lled agos i'r tŷ, ac a foddodd. Cynnaliwyd celain-ymholiad ar y corph o flaen E. Williams, Ysw. a'r Rheithfarn oedd *Marwolaeth ddamweiniol.*

*Nifer Trigolion Teyrnas Brydain.*—Yn ddiweddar cyhoeddwyd y papurau a gynnwysant gyfrif trigolion y deyrnas hon, drwy orchymyn y Senedd. Oddiwrth y crynodeb hwn gellir casglu mai nifer y trigolion yn

| | |
|---|---|
| 1801 | 10,942,646 |
| 1811 | 12,609,864 |
| 1821 | 14,391,631 |
| 1831 | 16,537,398 |

Nifer y Benywod yn y deyrnas hon, yn

| | |
|---|---|
| 1801 | 5,492,356 |
| 1811 | 6,269,650 |
| 1821 | 7,254,613 |
| 1831 | 8,375,780 |

Nifer trigolion Cymru yn

| | |
|---|---|
| 1801 | 541,546 |
| 1811 | 611,788 |
| 1821 | 717,438 |
| 1831 | 805,236 |

Nifer trigolion Llundain yn

| | |
|---|---|
| 1801 | 864.845 |
| 1811 | 1,009,546 |
| 1821 | 5,221,694 |
| 1831 | 1,474,069 |

Nifer trigolion Llundain yn fwy na thrigolion Cymru o 668,838.

Crynodeb o Ardreth Flynyddol y Tiroedd.

| | |
|---|---|
| Yn Lloegr | 49,744,622 |
| Yn Nghymru | 2.153.801 |
| Yn yr Alban | 6,652,655 |
| Y cwbl | £58,551,078 |

*Bibl Gymdeithas Newydd.*—Hysbys i'n darllenwyr fod anghydfod ac ymraniad mawr wedi cyfodi ym mhlith Aelodau y Bibl Gymdeithas Frytanaidd a Thramor ynghylch y Sosiniaid. Yr oedd nifeiri o ddynion duwiol yn anfoddlon i gymdeithasu â'r hereticiaid hyn; am hyny ymdrechasant ddarbwyllo Cyfeisteddwyr y Fam-Gymdeithas i ddiarddelu y Sosiniaid. Ond ni wrandawai y Cyfeisteddwyr ar eu hachwyniadau. Ac wedi aros am chwe mis yn disgwyl am i'r Cyfeisteddwyr newid eu barn, penderfynasant ymddidoli oddiwrth yr hen Gymdeithas, a llunio Cymdeithas newydd. Yn ganlynol i hyn, darfu i uwchlaw 2000 gyfarfod ar Ddydd Mercher y 7fed o Ragfyr, yn *Exeter Hall*, Llundain. S. Perceval, Ysw. A. S. yn y Gadair. Cynnygiwyd a chefnogwyd penderfyniadau gan dri o Seneddwyr, amrai o Offeiriaid, a boneddion ereill. Dechreuasant a therfynasant y Cyfarfod drwy weddi a mawl. Ni all neb fod yn Aelod o'r Gymdeithas hon ond y sawl a gredant yn athrawiaeth y Drindod.

*Rhybudd i Rïeni.*—Ar ddydd Llun, Rhag. 5. cynhaliwyd celain-ymholiad yn Llanfôr, yn agos i'r Bala, ger bron E. Williams, Ysw. Meddyg, ar gorph Ann Hughes, plentyn oddeutu pedair oed, yr hon a losgasid trwy i'w dillad gymmeryd tân. Nid oes oddiar fis er pan fu digwyddiad cyffelyb o fewn milltir i'r un man. Rhy fynych y cawn achos i feio ar esgeulusdra cyffredin yn hyn, y rhai ydynt yn edrych ar ol plant, dyledswydd pa rai yw cadw golwg manwl a gwyliadwrus arnynt. Os gadewir i blant o'r oed hwn fyned yn rhy agos, a gwthio eu teganau i'r tân y'ngwydd y fam neu fammaeth, pa beth a ellir ei ddisgwyl ond aml ddamweiniau cyffelyb.

Esgob Durham.—Y mae yr Esgob hwn wedi anfon i Durham y swm o £50. i Sunderland, £50. i Bishop Auckland, £21. i Gateshead, £20. i Stockton, £20. ac i Bernard Castle, £20. i Gymdeithasau a sefydlwyd er cynnorthwyo y tlodion yn yr amrywiol leoedd hyny.

## HYSBYSIADAU LLEENYDDAWL.

Ionawr 2, cyhoeddwyd y Rhifyn 13, o'r Cambrian Quarterly Magazine, a'i Gynnwysiad sy fel y canlyn:——Professor Muchar's Historical Account of the Celts, especially of those who inhabited Noricum; New-Year's Day; Anecdote of Sir William Jones and Thomas Day; Letter from Dr. Meyrick. containing an old Welsh Manuscript of the Tenth Century; Englyn, and English Translation; Letter from an Amateur Gipsy; My Nghariad, and Translation; Tour through Brittany; Lines to Shelton Oak; Nugæ Cambro-Britannicæ; The Nettle, and Welsh translation; The New Game Act defective, particularly as it regards Wales; Poetry by the late Mr. Justice Hardinge; The Value of Church Livings in Anglesea, taken in the time of Henry VIII. and Elizabeth; Ymddyddaniad rhwng Pumlùmon a Hafren: English words adapted to the Welsh Air Serch Hudol; Further Considerations on Reform, particularly as to its Operation in Wales; Old Petition to the Mayor of Chester; Cywydd i Anerch T. Roberts, Llwynrhudol, ar ol Marwolaeth ei Wraig; St. David's Club.—Olion. Letter respecting the old Motto "Eich Dyn," Lewis Glyn Cothi, Dr. Abr. Rees, Edmund and Robert Meyricke, &c.; Letter comparing the Welsh and Cornish; Letter on the Disputed Welsh Orthographies.—Review of New Books. The Celtic Annals; Clerical Legacy; The Last of the Sophis; Life of Oliver Cromwell.—Literary Notices; London and Provincial News; Births, Marriages, and Deaths; Prices of Canal Shares in Wales; Foreign and English Funds.

Newydd eu cyhoeddi, Rhifyn 1, a'r 2, o "Elfenau Rhifyddiaeth; yr hwn a gynnwys Sylfon pob peth rheidiol at wasanaeth dyn mewn Rhifyddiaeth, mewn egluràad helaeth ar gyfrif, rhifo, rhifiaeth swlliadau, degiadau, ad-ddegiadau, dauarddegiadau, dirprwynion, mesuriaeth, mesureg, trionglaeth, cynghrynaeth, mordwyaeth, ac alsoddeg. Cynnwys amryw dafleni newydd, ac un o ddirprwynion hyd yn 10,000. Amryw ddarlenau *(plates)* priodol i wahanol ranau o hono, a chanoedd o bethau ereill perthynol i'r rhanau enwedig." Gan John William Thomas, Arfon. Cynnwysir y Gwaith mewn 30 o Rifynau, Chwe Cheiniog yr un. Caerfyrddin; argraffwyd gan William Evans, yn Swyddfa Seren Gomer.

## URDDIADAU EGLWYSIG.

Y boneddigion canlynol a ordeiniwyd gan Arglwydd Esgob Bristol, drwy lythyrau cennadedig odiwrth Esgob Tŷ Ddewi, Meistriaid David Harris, New Church; John Lewis, Aberystwyth; William Bawcett, yn ddiweddar o Lanbedr, yn offeiriaid.

Dydd Sul, Rhagfyr 18fed, Mr. William James, o Lanbedr, a urddwyd yn Ddiacon, gan Esgob Llandaf, yn Eglwys St. Paul.

# Y GWYLIEDYDD.

LLYFR IX.] MAWRTH, 1832. [RHIF. 107.

## BYWGRAPHIAD

### Y DIWEDDAR BARCH. EDWARD DAVIES.

*(Parhâd o du dal. 35.)*

GAN ddarfod eisoes rhoddi olrheiniad byr o dreiglon boreuaf y gwr enwog hwn, hyd ei sefydliad yn Swydd Gaerloyw, deuwn ym mlaen i sylwi yn gynnwysfyr ar y rhelyw o'i ystod; ac yn fwyaf neillduol weithian ar ei orchestion llëenyddol.

Gadawsom ef yn cadw ysgol rammadegol Chipping Sodbury, lle y parhâodd ei lafur hyd y flwyddyn 1779. Y pryd hwn, trwy deimlo galwedigaethau ei sefyllfa yn gorthrechu ei ansawdd corphorol, a'i iechyd yn adfeilio, a'i olwg yn gwanychu yn feunyddiol, nes yr ofnai i'w ddefnyddioldeb gael ei gwbl attal cyn cyrhaedd o hono ddim nodded eglwysig i gynnal gweddill ei hoedl. Yn y cyfyngder hwn cyflwynai ei gŵyn i'w hen gyfaill Mr. Theophilus Jones, yr hwn, o dosturi wrtho, a'i diddanai oreu y gallai, gan ymegnïo yn ei achos hyd y dichonai, drwy eirioli drosto gyd âg esgobion Caerloyw a Thŷ Ddewi; ond yn seithug dros amser. Eithr caffai wrandawiad carueiddiach gan foneddwr dyngarawl a elwid George Hardinge, Yswain, yr hwn y pryd hwnw ydoedd brif ynad cylchdaith Brecheiniog. Ac yn y cyfamser dygwyddai curadiaeth Olveston fod yn rhydd, a'i gais am dani a fu lwyddiannus; a chaffai feddiant o honi yn y flwyddyn grybwylledig, yr hyn a wnai ei amgylchiadau yn llawer mwy cysurus, ac a roddai iddo fwy o hamdden i ddilyn ei ddewisol fyfyrdod.

Ac yn awr y mae 'n ddyledus dyfod i adrodd yn grynöaf ag y gellir, brif gampwriaethau Mr. Davies mewn llëenyddiaeth, drwy ba rai y gwnai efe ei hun yn enwog ym mysg dysgedigion, ac yn dra haeddiannol o barch a dïolchgarwch y byd llëenyddawl yn gyffredinol, a'i gydgenedl ei hun yn neillduol. Mor foreu a'r blynyddoedd 1773—4, dechreuai ysgrifenu. Cyfansoddai amrywiol Emynau Seis'nig, ac ambell un yn Gymraeg, fel y crybwyllwyd. Tu a'r un amser dechreuai gyfansoddi amrywiol draethodau prydyddol, ac yn eu plith rai cyfieithiadol. Ond yn y flwyddyn 1784, y daeth y gyfran gyntaf o'i waith yn gyhoedd mewn argraph. Hon ydoedd Ganiad Seis'nig, a alwai efe "*Britannia*," neu "*Aphtharte, the Genius of Britain*." Cyfansoddai hefyd Ddïendraith chwaryddol, a alwai "*Owen*." A'r rhai hyn, drwy gael cymmeradwyaeth ei gyfaill dysgedig, y Parch. Richard Graves, a'i calonogai i fyned ym mlaen yn ei athrylith. Ac yn yr un flwyddyn argraphai ei ail gyhoeddiad a alwai "*Vacunalia*," yn cynnwys traethodau prydyddol ar wahanol destynau; yr olaf o honynt yn gyfieithiad o lyfr cyntaf y *Temora* o'r eiddo Ossian.

Ynghylch y pryd hwn dygwyddai iddo ddamwain a fu yn dra ffodiawg tu ag at ei dueddu i ddwfn efrydiaw llëenyddiaeth Geltaeg. A hyny a fu gorug o drigolion Chipping Sodbury ei wawd-sènu, drwy haeru nad oedd y Gymraeg ond brygawtheg ddiffaeth. Ac i wrthsefyll y fath hònniad, efe a ymroddai yn ddyfalach fwy-fwy i chwilio i eithafion ei phercelloedd. Ac i'r perwyl hwnw, mynych gyrchai i Gaerodor i ymofyn am lyfrau o'r cyfryw ansoddau. Ac un tro cafodd y ffawd o daro wrth yr *Archæologia Britannica*, o waith y Parch. Edward Llwyd, am yr hwn lyfr ni wyddai ddim o'r blaen; a mawr oedd ei ddywenydd o'i gael, o herwydd ei fod yn cynnwys y fath ddefnyddiau ag oedd arno eu heisieu. Y gwaith hwnw hefyd a'i harweiniai i ddechreu chwilio i'r iaith Wyddelig yr un modd.

Yn y flwyddyn 1792, ymgyflwynai ei hun i sylw y Cymreigydd treiddgraff Mr. Wiliam Owain (yn awr y Dr. W. O. Pughe) a thrwy ddyfal ymohebiaeth â'r gwr hwnw, hogid ei awyddfryd yn awchlymach fyth i dreiddio i ddyfnderau y Gymreigiaith. Dechreuai adysgrifio gwaith y Cynfeirdd allan o gyfysgrifau

Mr. W. Owain, y Parch. John Walters, &c. nes llenwai lyfr unplyg o 745 o du dalenau. Ac allan o'i gyfysgrif ef yr argraphid y rhai hyny yn yr Archaiology a gyhoeddid yn 1801, fel yr ardystia y llythyrenau O. L. E. D. *(O Lyfr Edward Davies)* y rhai sydd uwchben y dosbarthiadau.

Yn y flwyddyn 1793, gorphenai gyfieithiad i'r Saesoneg o'r gân hynafaidd a elwir *Armes Prydain Fawr*, o gyfansoddiad y Brython boreuol a breswylient o bobtu gwàl Seferus gynt. Barnai iddi gael ei hysgrifenu tu a'r flwyddyn 630 gan Golyddan, Bardd Cadwaladr Fendigaid, brenin olaf y Prydeiniaid, er iddi gael yn gyffredin ei phrïodoli i Daliesin. Cyfrifid cyfieithiad Mr. Davies, ynghyd â'i nodiadau eglurhaol o enwau dynion a lleoedd crybwylledig ynddi, yn orchwyl tra gorchestfawr, fel y tystiolaethid drwy lythyrau gwŷr beirniadol. Argraphwyd rhan o'r gân hon yn yr ail Gyfrol o'r *Cambrian Register*.

Yn 1795, cyhoeddodd Mr. Davies draethawd athrylithaidd ar ddull chwedlëig, dan yr enw, "*Eliza Powel, or Trials of Sensibility.*" Amcan yr hwn waith ydoedd cynghori pobl ieuaingc i ochelyd priodasau annedwydd yn groes i gydsyniad eu rhïeni. Y gorchwyl hwn, trwy ganmoliaeth Mr. Graves, a ennillodd i'r awdwr elw o ugain *Guni*. Yr unig wobrwy uniongyrchol a gafodd oddiwrth holl ysgrifenwaith ei oes.—Yn y flwyddyn ganlynol cyfieithai amryw ddarnau o waith y gogynfeirdd Cymreig, megys Dafydd ab Gwilym, &c. y rhai a gyflwynai i Gymdeithas y Gwyneddigion; ac a argraphwyd yn y trydydd Cyfrol o'r *Cambrian Register*. Yn y rhagdraith i'r cyfieithiadau hyn (yr hwn ni chyhoeddwyd byth) amlygai Mr. D. awyddfryd neillduol am gynnydd llëenyddiaeth Gymreig. Meddai efe, "Mi a gynghorwn fod i gasgliad gael ei wneud ym mysg Cymry gwladgarol, i alluogi dynion medrus i gynnull cyfysgrifiau o waith y Beirdd hynaf, a'u diwygio oreu y gellid drwy eu cydmaru â'u gilydd, a nodi allan yr amryfal ddarlleniadau o bwys; a bod i nifer digonol o gyflyfrau gael eu hargraphu yn yr arddygraff gysefin, gyda chyfieithiad Lladinaidd neu Seis'nig," &c.

Yn y flwyddyn 1797, y'nghanol llawer o anhwyldeb corphorol, fe gynnorthwyai Mr. Chalmers, awdwr y "Caledonia," i gyfieithu ac egluro enwau mynyddoedd, afonydd, a dyffrynoedd yr Alban. Hyn a roddai iddo achlysur i chwilio yn ddyfnach i'r Gaelaeg: a mawr fu y boddlonrwydd a roddai i feirniaid yn y gorchwyl hwn.

Trwy yr holl orchwylion hyn a'r cyfryw, yr oedd Mr. Davies yn cael ei addasu i orchestion hynôtach fyth mewn dysgeidiaeth, ac yn casglu defnyddiau at waith a osodai enwogrwydd annilëadwy ar ei goffadwriaeth, sef ei "*Celtic Researches.*" Yn y flwyddyn 1801, ysgrifenai at ei gyfaill Mr. Theophilus Jones yn mynegi ei fwriad i anturio y fath orchwyl. Ac yn mis Medi y flwyddyn hòno cyhoeddai gynnygiadau o'r Gwaith, gan hysbysu y cynnwysai "Sylwadau ar ddechreuad y gelfyddyd o ysgrifenu yn nwyrain Ewrob, yn enwedig yn yr ynysoedd Brytanaidd—ar yr amrywiol ddyfeisiau a ddefnyddid gan gyn-drigolion y wlad hon tu ag at gadw a throsglwyddo eu meddyliau—ar natur a dechreuad y cangen-ieithoedd Celtic, gan eu cydmaru â gwreidd-eiriau Hebraeg, Groeg, a Lladin, &c. &c.

Mor gynted ag y gwybu Mr. Jones am y bwriad hwn, hysbysodd y peth yn ddioedi i'r Prif-ynad Hardinge, yr hwn a fu lawen o glywed am y fath anturiaeth; ac a roddai bob annogaeth a chynnorthwy i'r awdwr fyned rhagddo. Bu hefyd yn offerynol iawn i wneuthur y bwriad yn adnabyddus i ddysgedigion y deyrnas, a thrwy hyny ddwyn llawer o honynt i gydweithredu âg ef tu ag at gynnull enwau at y Gwaith; rhestr pa rai yn fuan a gynnyddai i 2257 o nifer! Yn eu plith yr oedd y rhan fwyaf o dywysogion, tywysogesau, archesgobion, esgobion, arglwyddi, a bonedd y deyrnas gyfunol; ac i goroni y cwbl, ceid caniatâd i gyflwyno y llyfr i'w Fawrhydi Sior III. ynghyd â deg *gini* o anrheg oddiwrth y Frenines Charlotte! Felly daeth y gwaith allan yn llyfr 8plyg helaeth yn y fl. 1804. A mawr foddlonrwydd a chymmeradwyaeth a dystiolaethid iddo gan ddysgedigion penaf yr oes; canmoliaeth pa rai fyddai yn llawer rhy helaeth i ni eu hadrodd yma.

Hyn a gefnogodd yr awdwr i fyned ym mlaen y'mhellach yn ei efrydiaeth Geltëig, ac felly i ddarparu Traethawd llafurfawr

arall o gyffelyb natur. A hwnw a ddaeth allan yn Ebrill 1809, dan yr enw, "*The Mythology and Rites of the British Druids, ascertained by national monuments, and compared with the general Traditions and Customs of Heathenism, as illustrated by the most eminent Antiquaries of our age; with an Appendix, containing ancient Poems, and Extracts, with some remarks on Ancient British Coins.*" O'r llyfr hwn yr argraffwyd mil; o ran maintioli yn gyffelyb i'r llall; ac wedi ei gyflwyno i Esgob Llandaff. Ond galarus yw mynegi na bu yr elw o'r llyfrau llafurfawr hyn ddim yn ddigon i ddigolledu eu hawdwr am ei draul a'i drafferth!

Yn y fl. 1811, cyhoeddai Mr. Davies lyfr o Bregethau Saesoneg ar y ddyledswydd o gynnal cymmundeb â'r Eglwys Apostolaidd; ac yn 1816, Draethawd ar ddwyfoldeb y Messïah, mewn atteb i lyfr o waith Iuddew o'r enw Solomon Bennett, yr hwn a geisiai wadu dyfodiad y Messïah. Yn 1817, cyhoeddai hefyd Bregeth yn erbyn "Annholl Fasnach" *(Smuggling)*. A'i gyhoeddiad olaf ydoedd Draethawd er gwrthbrofi gau-haeriadau Mr. Macpherson o berthynas i dadogaeth caniadau Ossian, Bardd breninol Caledonia, oedd yn byw yn y drydedd ganrif. Penderfyniad y ddadl lëenyddol hon a ystyrid yn gampwri o'r gorchestaf gan y dysgedigion; a'r modd y trinid hi gan Mr. D. a fawr gymmeradwyid ganddynt, fel y tystient drwy eu canmoliaethau iddo. Y llyfr hwn a ddaeth allan yn 1825. Yn y blynyddoedd canlynol hefyd yr Awdwr a gyflwynodd i'r Freninol Gymdeithas Lëenyddawl ei olygiadau ar gywirdeb llyfr Job; ac hefyd ar ffugiaeth Brut Tysilio. Y'mhob un o'r ysgrifiau hyn dangosai gywreindeb nid bychan.

Ar ol enwogi ei hun mor helaeth mewn llafur llëenyddawl, rhesymol ddisgwylid iddo gael ei ystyried yn wrthddrych tra haeddiannol o dderchafiad yn ei alwedigaeth. Felly yr ydym yn cael iddo yn y fl. 1802 ei bennodi i Guradaeth barhàol Llanbedr, yn ei swydd enedigol, Maesyfed, o nawdd-roddiad y Parch. Henry Thomas Payne; a thrwy eiriolaeth yr Ynad Hardinge, darfu y Dr. Watson, Esgob Llandaff, ei bennodi yn 1805 i fywioliaeth Bishopston, gerllaw Abertawy, i'r hwn le yr ymsymudodd Mr. Davies o Olveston yn y flwyddyn 1813, gan gymmeryd ei breswylfod ar y cyntaf yn y plwyf cymmydogaethol, Ilston, a chyflawni y dyledswyddau eglwysig yno, gyda rhai Bishopston, dros bum mlynedd. Yn y flwyddyn 1816, darfu y Dr. Burgess, Esgob Tŷ Ddewi, ei bennodi i ganghelloriaeth Coleg Crist yn Mrecheiniog, a phersonoliaeth Llanfair-oer-llwyn, yn Ngheredigion. Y rhai'n, hyd y gwyddom, oedd y cwbl o'i dderchafiadau eglwysig; oddieithr bod yn ddyledus crybwyll ddarfod iddo gael cynnygiad o ditl urddasol oddiwrth Archesgob Canterbury, yr hyn ni oddefai ei wyleidd-dra iddo ei dderbyn.

Yn y fl. 1814, bu farw ei wraig gyntaf, yr hyn, wrth ystyried palliadau ei iechyd, ydoedd anffawd o'r chwerwaf iddo. Ond yn 1816, ail brïodid ef â Susanna Jeffreys; yr hon ni bu fyw ond hyd 1822. Ac yn y flwyddyn ganlynol bu orfod iddo, o herwydd palldod ei olwg, roddi heibio ei ddyledswyddau eglwysig yn hollol, a chyflogi Curad i gadw ei le. Ac o hyn allan adfeiliai ei babell gorphorol o flwyddyn i flwyddyn; ei nerth a'i olwg, ac o ganlyniad, ei ddefnyddioldeb a'i gysur, a dreuliasant ymaith yn raddol, nes erbyn Hydref 1830, yr ydym yn cael ei fod yn analluog i fyned allan o'i dŷ, na nemawr o'i ystafell wely. A dydd Gwener, Ionawr 7, 1831, y gorphenai ei yrfa mewn tangnefedd; a'r Mercher canlynol, yn ngwydd torf fawr o'i blwyfolion, claddwyd ef yn monwent ei blwyf, Bishopston.

O ran corpholaeth nid ydoedd ond canolig o daldra; ac yn ei ddyddiau boreuaf, ond lled wachul o gnawd; eithr fel y cynnyddai mewn oedran, tewychasai i gryn raddau. Yr oedd mor ddirodres o'i ddawn a'i wybodaeth, nes bod ei wyleidd-dra yn niweidiol iddo; ac etto mor gadarn yn ei farn a'i dybiau, fel braidd y medrai oddef cael ei wrthddywedyd gan neb. Yr ydoedd o duedd dra haelionus a chyweithas; yn ofalus am wneuthur uniondeb â phawb, ac yn dra theimladawl o gymmwynasau pawb iddo. Yr oedd ei serch at ei genedl yn gref, er, o herwydd lleied a breswyliasai yn eu plith, nad hyawdl y medrai siarad eu hiaith.

*Dansoddiad o'r Saesoneg gan*

*C—ll—n.* POWYSYDD.

## PREGETHIAD CRIST I'R YSPRYDION YN NGHARCHAR.

*(Parhad o du dal. 37.)*

"Wedi ei farwolaethu yn y cnawd, eithr ei fywhau yn yr Yspryd: trwy yr hwn yr aeth efe hefyd ac a bregethodd i'r ysprydion yn ngharchar; y rhai a fu gynt anufudd, pan unwaith yr oedd hir-amynedd Duw yn aros yn nyddiau Noë." 1 *Petr* 3, 18—20.

Y MAE llawer o ymofyniadau yn cynnyg eu hunain yma i'n hystyriaeth ni, sef, yn

I. Pa fath ydyw 'r lle hwn yr aeth Crist iddo, yn y cyfamser, rhwng ei farwolaeth a'i adgyfodiad?

II. Paham y dywedir, fod "yr ysprydion," wrth y rhai y pregethodd efe yno, "*yn ngharchar?*"

III. Pa beth oedd testun ei bregethiad iddynt hwy?

IV. A phahm y pennodir y sawl "a fu anufudd yn nyddiau Noë," fel megys yn wrthddrychau neillduol o bregethiad Crist?

I. Pa fath ydyw 'r lle hwn yr aeth Crist iddo, yn y cyfamser, rhwng ei farwolaeth a'i adgyfodiad?

Nid uffern ydyw, *lle'r poenau.* Canys fe addawodd Crist i'r lleidr edifeiriol—"Heddyw y byddi gyda mi ym Mharadwys." Ac yn sicr, nis gallai uffern, lle'r poenau, fod *yr un,* i'r hwn, fel yn lle o lawenydd a gwobrwy, yr addawodd Crist roesawiad a derbyniad i mewn i'r lleidr edifeiriol ar y groes. Y mae paradwys yn arwyddocâu, lle o orphwysfa a gobaith, ac nid lle o gospedigaeth. Nid y nefoedd chwaith oedd y lle i'r hwn yr aeth Crist yn y cyfamser rhwng ei farwolaeth a'i adgyfodiad: nid y nefoedd, neu y lle o ddedwyddwch olaf y cyfiawn; oblegid nid esgynodd Crist i'r nef, ond "ar ol ei adgyfodiad," yn gytunol â'i hysbysiad ei hun i Mair Magdalen—"Na chyffwrdd â mi; canys ni ddyrchefais i etto at fy Nhad." Y gosodiad a'r cyfran diweddaf o wynfyd y'nghorph ac enaid i'r cyfiawn, ac o boenau y'nghorph ac enaid i'r drygionus, ni wneir cyn yr adgyfodiad a'r farn yn y dydd mawr olaf. Yn y cyfamser eu heneidiau a arosant, mewn rhyw le anweledig, naill ai mewn gobaith llawen o ddedwyddwch, neu mewn rhag-ddisgwyliad poenus o drueni annhraethol, pan ddel yr Arglwydd Iesu i farn.

Y lle anweledig hwn a elwir, yn ein cyfieithiad ni o'r Bibl, "Uffern;" ond, yn yr iaith wreiddiol, efe a bennodir allan tan air gwahanol oddiwrth yr hwn sydd yn arwyddocâu uffern, lle'r poenau. Y mae y gair Groegaidd "*hades*" yn dal allan le cuddiedig, dirgelaidd, ac anweledig: a dyma ydoedd meddwl y gair "*hell*" ym mhlith y Saeson gynt; er ei arferyd yn awr yn ei ystyr gwaethaf, i arwyddocâu lle 'r poenau. Y mae yr Apostol Pedr yn dywedyd yn bendant fod Dafydd gwedi llefaru am Grist—"Ni adewi fy enaid yn uffern." Yr oedd Crist gan hyny i fod yn y lle anweledig hwnw, a elwir uffern.* Eithr nid oedd efe yn uffern cyn ei farwolaeth, ac nis anturiai neb ddywedyd ei fod yn uffern ar ol ei adgyfodiad. Rhaid ei fod, ynte, yn y drigfa anweledig hon, y lle hwn o ysprydion, a'r ymadawsant yn y cyfamser rhwng ei angeu a'i adgyfodiad. Mewn rhyw ran o'r lle hwn, a elwir Paradwys, ym mha un y gorphwys eneidiau 'r cyfiawn, y dygwyd enaid y lleidr edifeiriol, yn gydunol âg addewid Crist. Ac yno yr aeth Crist, ac a bregethodd i'r ysprydion yn ngharchar. A chofiwch, fel na byddo i chwi gyfeiliorni, fod y gair *uffern,* yn ei ystyr goreu, megys yn y Credo, "Ac efe a ddisgynodd i uffern," yn arwyddocâu yr ystad ganolig rhwng angeu a'r adgyfodiad, neu, mewn geiriau ereill, *Paradwys.* Ond, yn ei ystyr gwaethaf, y mae'r gair yn dal allan *le'r poenau,* ym mha un, ar ol y farn, y cospir am byth yr annuwiol a'r drygionus.

II. Ond paham y gelwir y lle hwn yn garchar, yn yr hwn yr erys eneidiau y cyfiawn rhwng marwolaeth a'r adgyfodiad?

Nis geill fod yn garchar i eneidiau y seintiau, ac ystyried y gair hwn fel megys

* Bishop S———, in his sermon upon Christ's descent into hell, from *Acts* ii. 25, and following verses, hath these words: "I have understood (says he) the word 'HELL' as signifying a secret, invisible place, corresponding with the meaning of the Greek word '*hades.*' In this sense our Saxon ancestors used the word. But the modern English generally understand it in a bad sense, to signify the place of extreme torment, to which the incorrigibly wicked shall be doomed by the just judgment of God: yet, in some parts of England, particularly in the West, the expression, 'to hell,' is not unfrequently used, and it signifies 'to cover.' And the workman who covers the roof of a house, instead of a 'Thatcher, Tiler, or Slater,' is called a 'Hellier,' that is, a 'Coverer.'" Hell, therefore, as the Bishop proceeds to shew, does not necessarily mean the place of the damned, but also the place of departed souls, good and bad.

yn dal allan le o gospedigaeth; canys iddynt hwy y mae yn lle o wobrwy, yn y blaen olwg o'r dedwyddwch sydd yn aros iddynt ar yr adgyfodiad. Etto, gan eu bod yn y lle hwn mewn cyflwr o ymneillduad; gan fod hwn yn lle ag sydd yn eu cyfyngu rhag eu diwedd perffaith, a'u gwynfyd y'nghorph ac enaid yn nheyrnas dragywyddol Duw: gan ei fod yn lle ynte o wynfydedigrwydd ammherffaith, i'r hwn ddim llai nag i farwolaeth y bernir hwy, o herwydd pechod: ac oddiwrth yr hwn Crist yn unig sydd alluog i'w trosglwyddo i gyflwr o ddigrifwch perffaith; etto fe a elwir yn garchar. Ond nid yw y gair gwreiddiol, o anghenrhaid, yn arwyddocâu carchar. Gellir ei gyfieithu, "Lle o gadwraeth ddiogel." Ac yn yr ystyr hwn, y'nhrigfa y sawl a ymadawsant, fe gedwir eneidiau y cyfiawn "yn ddiogel," trwy allu yr hwn ag sydd "Arglwydd y byw a'r meirw," mewn gobaith duwiol a thangnefedd, hyd oni ddel efe i roddi cyflawn brynedigaeth i'w bobl, a gwaredigaeth perffaith i'w etholedig; gan eu dyrchafu hwynt i eisteddleoedd o ogoniant, a barotowyd iddynt er pan seiliwyd y byd. Yn y lle hwn hefyd y cedwir yn ddiogel eneidiau yr annuwiol; hyny yw, mewn rhyw ran o hono, gan ddisgwyl, gyda dychryn, wae anorphen yn y dydd ofnadwy hwnw pan ddatguddier yr Arglwydd Iesu o'r nef, i roddi dïal i'r sawl oeddynt wrthryfelgar, ac i'w taflu i'r llyn o'r hwn yr esgyn mŵg eu poenedigaeth yn oes oesoedd. Crist, gan hyny, ar ol ei groeshoeliad a'i farwolaeth, a aeth i le y sawl a ymadawsant, at ysprydion y cyfiawn, y rhai oeddynt mewn cadwraeth ddiogel, i bregethu iddynt.

III. Ond pa beth ydoedd testun ei bregethiad ef iddynt hwy?

Nid gwaredigaeth oddiwrth unrhyw fath o boen. Ac nis gallwn chwaith feddwl mai ei fwriad ef ydoedd pregethu iddynt edifeirwch a ffydd. Hwy oeddynt y sawl a'r a ennillasent, trwy edifeirwch a ffydd, hawl yn haeddedigaethau yr Arglwydd Iesu Grist; ac fel hyn a dderbyniwyd i'r lle dedwydd hwnw, sef Paradwys Duw. Ond efe a ddaeth i bregethu, neu, yr hyn sydd wir ystyr y gair, i gyhoeddi iddynt newyddion da—y newyddion da fod yr aberth am bechod, yr hwn o'r dechreuad a gafodd ei gysgodi trwy 'r ddefod o aberth gan y Patrieirch, ac yn y gyfraith wedi ei offrymu—yr aberth hwnw ag oedd, trwy 'r tywalltiad o'i waed ei hun, i "dynu ymaith bechodau y byd." Efe a ddaeth i gyhoeddi iddynt hwy, ei fod, trwy rinwedd y cyfryw aberth, wedi dyfod yn Ddadleuwr iddynt gyd â'r Tad; i sicrhau eu derbyniad gyd âg ef. Efe a ddaeth i gyhoeddi iddynt mai trwy angeu y darfu iddo ddinystrio yr hwn oedd â nerth marwolaeth ganddo, hyny yw diafol:—I gyhoeddi iddynt, iddo, ar ol boddloni cyfiawnder dwyfol, a gofyniadau 'r ddeddf nefol, "haeddu" iechydwriaeth dragywyddol i'w holl seintiau;—a thrwy ei adgyfodiad oddiwrth y meirw, iddo ysbeilio angeu o'i golyn, a'r bedd o'i fuddugoliaeth. Efe a ddaeth i fendithio, trwy ei bresennoldeb, y Paradwys hwnw ym mha un y gorphwys eneidiau ei etholedig bobl; ac i gyhoeddi iddynt fod ganddo ef agoriadau uffern, angeu, a'r bedd; ac yr agorai iddynt byrth marwolaeth, gan eu trosglwyddo i'r trigfanau hyny o oleuni a gogoniant, ym mha rai y gwisg eu llygredig anllygredigaeth, a'u marwol anfarwoldeb. Newyddion da, yn wir, a chysurus, i'r ysprydion a ymadawsant, yn deilwng o gael eu cyhoeddi iddynt, gan yr Iachawdwr hwnw, trwy allu pa un yn unig y gallant ddisgwyl y diwedd perffaith a gogoneddus hwn o wynfydedigrwydd.

IV. Ond paham, mewn cennadwri o'r fath bwys i'r holl seintiau a ymadawsant, i'r rhai tan holl oruchwyliaeth y Patrieirch a'r gyfraith, ynghyd â'r rhan neillduol hono ag oedd yn cynnwys y seintiau edifeiriol yn nyddiau Noë, y gwneir y cyhoeddiad o'r newyddion da hyn yn bennodol i'r edifeiriol o'r cynfyd o flaen y diluw?

Crist Iesu oedd yr Oen a'r a "laddwyd er seiliad y byd"—a'r a laddwyd yn y cyfryw ystyr ag a rydd hawl yn ei brynedigaeth i'r seintiau a fu byw *cyn*, yn gystal a'r rhai a ddaethant *ar ol* ei ddyfodiad grasusol ef? Ac i'r diben i osod tu hwnt i bob ammheuaeth a gwrthddadl, y gwirionedd pwysfawr o helaethrwydd cyffredinol prynedigaeth Crist, nid yn unig mewn perthynas i rifedi, eithr hefyd amser, y mae yr ysgrifenydd dwyfol gwedi dewis yr yspaid mwyaf tywyll o hanes y

Patrieirch; gan ddarlunio newyddion da y prynedigaeth fel megys yn cyfarch yn neillduol yr edifeiriol a fu byw ar yr amser hwnw pan y darfu yr holl ddaear lygru ei ffordd ger bron Duw, a'i ddigio ef, i'w gorchuddio hwynt â diluw o ddyfroedd mawrion.

Os cywir ydyw barn y dysgedig Esgob Horsley, y mae efe yn dywedyd fel hyn:— "Myfi a ganfyddais, mewn amryw ranau o'r Ysgrythyr, daer ddymuniad (*anxiety*) os caniateir y fath ymadrodd, o blaid yr ysgrifenwyr sanctaidd i osod allan nad oedd gwŷr y cynfyd yn hollol ddifater a diofal mewn perthynas i'r prynedigaeth, a'r taledigaeth diweddaf. Ac i'r cyfryw ddiben, fel yr wyf fi yn meddwl, fe hysbysir yn yr adroddiad o'r adgyfodiad cyffredinol yn ngweledigaethau 'r Datguddiad, gyda phwys hynodol: "A rhoddodd y môr i fynu y meirw oedd ynddo," yr hyn nid wyf fi yn foddlon i'w ddeall am yr ychydig wŷr—ychydig, yn wir, mewn cymmhariaeth â'r holl ddynolryw a'r a gollwyd ar rai prydiau trwy long-ddrylliad, neu y cyffelyb: amgylchiad gwan i gael lle y'nghanol y pethau mawrion sydd o'i amgylch; ond yn hytrach am y miloedd aneirif a gyfrgollwyd yn y diluw cyffredinol, y rhai a gawsant eu claddu yn nyfroedd diarbed y cefnfor terfysglyd hwnw."

Yn nhrydedd Erthygl yr Eglwys, a'r a osodwyd allan gynt yn amser Edward VI. fe hysbysir yno mai "megys y bu Crist farw, ac a gladdwyd trosom ni; felly hefyd y credir iddo ddisgyn i uffern; canys ei gorph a orweddodd yn y bedd hyd ei adgyfodiad; ond ei yspryd, yn ymadael oddi wrtho, oedd gyd â'r ysprydion yn ngharchar, neu yn uffern, megys y mae yr ymadrodd hwn o eiddo St. Pedr yn tystiolaethu."

Gyd â'r olwg, gan hyny, O Gristion! o'r cyfnewidiad sydd yn dy aros ar dy ymddatodiad, a chyd â'r holiad pryderus, *pa fath fydd* dy gyflwr yn yr hir gyfamser rhwng marwolaeth a'r adgyfodiad, cymmera di gysur. Cai aros yn y lle hwnw a fendithiodd dy Iachawdwr â'i bresennoldeb; i'r hwn yr aeth efe i gyhoeddi i'r seintiau a breswyliant ynddo y newyddion da o'i fuddugoliaeth ar angeu a'r bedd, ac o'r anfarwol ogoniant a barotôdd efe iddynt hwy.

Yno, fel mewn tŷ o garchar,* neu le o ddiogel gadwraeth, efe a wylia trosot; ac efe a ddaw yn fuan "i gyhoeddi rhyddid i'r caethion; i dori y pyrth pres, ac i ddryllio y barau heiyrn;" i ddywedyd wrth y carcharorion, "Ewch allan." Efe a ddaw i ddilladu dy anfarwol yspryd â chorph anllygredig; i'th drosglwyddo di o baradwys gobaith a thangnefedd i'r nefoedd o ddigrifwch cyflawn. "Yn wir, felly tyred ar frys, Arglwydd Iesu." Amen.

HILARIUS.

---

## SYLWEDD PREGETH.

### HEB. xi. 8.

"Trwy ffydd, Abraham, pan ei galwyd, a ufuddhaodd, gan fyned i'r man yr oedd efe i'w dderbyn yn etifeddiaeth; ac a aeth allan, heb wybod i ba le yr oedd yn myned."

Y GWRTHDDRYCH a osodir o'n blaen yn y testun hwn, ydoedd un o'r mwyaf nodedig o saint Duw, yr hwn y bydd ei enw mewn coffadwriaeth yn yr eglwys tra bo daear yn bod. Cymmwys iawn y dywed y Prydydd—

"Abram, dan y fawr wybren,
"Ei enw fydd tra bo nef wen."
*Dafydd Ionawr.*

Trwy gymmorth yr Yspryd Glân, ni a gymmerwn dan ein sylw y pethau canlynol:—

I. Crynöad o hanes Abram.

1. Ei enedigaeth. Mab ydoedd i Terah, ac efe a anwyd yn y flwyddyn o oed y byd 2008, yn Ur y Caldeaid, gwlad eilunod.

2. Galwad Abram, a'i ufudd-dod. Yr Arglwydd a ddywedodd wrtho, "Dos allan o'th wlad, ac oddiwrth dy genedl, ac o dŷ dy dad, i'r wlad a ddangoswyf i ti;" gan roddi iddo addewidion mawr. A chyd âg Abram a Sarai ei wraig yr aeth Terah ei dad, a Lot ei nai; ac wedi cychwyn, hwy a ddaethant hyd yn Haran, lle y trigasant enyd, hyd farwolaeth Terah. Wedi hyny Abram a'i deulu a ddaethant i wlad Canaan, i'r hon y cyfarwyddwyd ef gan Dduw, yr hwn a roddes addewid o honi iddo ef ac i'w had yn dragywydd.

3. Ei ymdaith. "Trwy ffydd yr ymdeithiodd efe yn nhir yr addewid, megys mewn tir dïeithr, gan drigo mewn lluestai

---

* House of custody, or safe keeping.

gyd âg Isaac a Jacob, cyd-etifeddion o'r un addewid." *Adn.* 9. Crybwyllwn rai o'r pethau a ddigwyddasant i Abram ar ei ymdaith.

(1.) Wedi i Abram fyned i Ganaan, yr oedd newyn yn y tir: ar hyny efe a giliodd i'r Aipht, lle y cafodd gryn brofedigaeth yn achos ei wraig, rhag i Pharaoh ei chymmeryd hi. Ond efe a ddaeth oddi yno yn gyfoethog iawn, ac a ddychwelodd i Ganaan, lle (yn ol ei arfer) y galwodd ar enw yr Arglwydd. Cafodd eilwaith addewid o'r wlad yn ei hŷd a'i llêd; ac y byddai ei had fel llwch y ddaear, fel ser y nefoedd, ac fel y tywod sydd ar lân y môr, yn aneirif.

(2.) O herwydd bod Abram a Lot wedi myned yn gyfoethog iawn, a'u bugeiliaid yn methu cytuno, o herwydd amlder yr anifeiliaid, hwy a gytunasant ymadael â'u gilydd yn heddychlawn. A Lot a ddewisodd drigo yn nyffryn ffrwythlawn Sodoma yn gyfagos i'r ddinas annuwiol hòno.

(3.) Digwyddodd ar ol hyn i bedwar brenin luniaethu rhyfel yn erbyn brenin Sodoma, a brenhinoedd dinasoedd ereill y gwastadedd: yn yr ymdrech hwn gorchfygwyd brenhinoedd Sodoma a Gomorra, a chaethgludwyd eu holl gyfoeth; Lot hefyd a aeth mewn caethiwed. Ond pan glybu Abraham gaethgludo ei gâr, efe a arfogodd ei weision, ac a erlidiodd y gelynion, ac a'u gorthrechodd, ac a waredodd yr holl yspail, a Lot hefyd. A phan ddychwelodd o daraw y brenhinoedd hyn, daeth brenin Sodoma allan i gyfarfod âg ef; a Melchisedec hefyd brenin Salem, ac offeiriad i Dduw Goruchaf, cysgod hynod o'r Cyfryngwr mawr.

(4.) " Wedi y pethau hyn, y daeth gair yr Arglwydd at Abram mewn gweledigaeth, gan ddywedyd, Nac ofna Abram; myfi ydyw dy darian, dy wobr mawr iawn." *Gen.* 15. 1. A phan gwynai Abram nad oedd ganddo etifedd, yr Arglwydd a addawodd amlhau ei had fel ser y nefoedd, ac y deuent i fynu o wlad eu caethiwed i feddiannu holl freniniaethau Canaan.

(5.) Gan fod Sarai yn hen ac yn ammhlantadwy, hi a roddes Agar ei morwyn yn wraig i Abram, a hithau a ymddug iddo Ismael, yr hwn yw tad yr Ismaeliaid hyd heddyw.

(6.) Pan oedd Abram o fewn blwydd i gant oed, yr Arglwydd a wnaeth âg ef gyfammod yr enwaediad, ac a newidiodd ei enw o Abram i fod yn Abraham, ac enw Sarai yn Sarah. Ac efe a enwaededd bob gwryw yn ei deulu o fewn corph y dydd hwnw. Yr oedd yr enwaediad yn arwydd y cyfiawnder sydd o ffydd.

(7.) Pan oedd Abraham yn ngwastadedd Mamre, yn eistedd wrth ddrws ei babell yn ngwres y dydd, wele dri ar ddull dynion yn sefyll ger ei fron: eithr angylion oeddynt, ac un oedd yr Arglwydd Iesu, angel mawr y cyfammod. Ac Abraham a'u derbyniodd yn groesawgar. A'r Arglwydd a fynegodd iddo y byddai mab i Sarah ei wraig, ac hefyd am ddinystr Sodoma a Gomorra. Yn y cyfamser, tra yr oedd Abraham yn eiriol tros y pechaduriaid hyny, y ddau angel a aethant i Sodoma, ac a rybuddiasant Lot, ac a'i gwaredasant o'r dinystr, pan ddifethodd yr Arglwydd ddinasoedd y gwastadedd â thân o'r nef.

(8.) A'r Arglwydd a gyflawnodd ei addewid i Sarah: canys hi a ymddug i Abraham fab, yr hwn a alwyd Isaac. Hwn a anwyd yn ol yr addewid, ac a etifeddodd yn lle Ismael, yr hwn a anwyd yn ol y cnawd.

(9.) Wedi y pethau hyn y bu i Dduw brofi ffydd Abraham, gan orchymyn iddo aberthu ei fab, ei unig Isaac, yr hwn a hoffai, ac am yr hwn yr oedd ei obaith am gyflawniad yr addewidion. Lladd hwn, a'i losgi yn boeth-offrwm, oedd orchymyn caled i gig a gwaed, eithr nid ammheuodd efe addewid Duw trwy anghrediniaeth, ond a ymbarotôdd yn ddïoed i ufuddhâu. A'r Arglwydd a'i hattaliodd rhag lladd Isaac, ac a ganmolodd gadernid ei ffydd.

(10.) "Ac oes Sarah ydoedd gan mlynedd a saith mlynedd ar hugain." A dyddiau Abraham oedd gan mlynedd a phymtheg mlynedd a thriugain; ac efe a fu farw mewn oed teg, yn hen ac yn gyflawn o ddyddiau, ac a gasglwyd at ei bobl. "Marw a wnelwyf o farwolaeth yr uniawn, a bydded fy niwedd fel yr eiddo yntau!"

II. Oddiwrth hanes Abraham cymmerwn yr addysgiadau canlynol:—

1. Ein bod ni oll wedi ein geni mewn gwlad bell oddiwrth Dduw, yn estroniaid

oddiwrth ammodau yr addewid, heb Grist, heb obaith, ac heb Dduw yn y byd. Yr ydym wrth natur yn gwasanaethu pechod, ac amryw chwantau, megys chwant y cnawd, chwant y llygad, a balchder y bywyd. "Y gwyr hyn, O fab dyn, a ddyrchafasant eu heilunod yn eu calonau."

2. Bod y duwiolion wedi eu galw allan o'r byd drygionus, ac yn ufuddhau. "Chwychwi, y rhai oeddych gynt ym mhell, a wnaethpwyd yn agos trwy waed Crist." *Eph.* 2. 13 "Yr hwn a'n hachubodd ni, ac a'n galwodd â galwedigaeth sanctaidd, nid yn ol ein gweithredoedd ni, ond yn ol ei arfaeth ei hun, a'i ras." 2 *Tim.* 1. 9. Y mae 'r efengyl yn caethiwo pob meddwl i ufudd-dod Crist. 2 *Cor.* 10. 5. Y mae holl bobl Dduw yn ewyllysgar yn nydd ei nerth ef, *Ps.* 110. 3. ac yn cyfrif pob peth yn golled er mwyn ardderchawgrwydd gwybodaeth Crist Iesu ein Harglwydd. *Phil.* 3. 8.

3. Y mae 'r duwiolion yn byw megys Abraham.

(1.) Mewn ffydd; gan bwyso ar yr Hollalluog fraich wrth ddyfod i fynu o'r anialwch.

(2.) Mewn hunan-ymwadiad; gan ymwadu âg annuwioldeb a chwantau bydol, a charu Crist yn fwy na'r perthynasau anwylaf ar y ddaear, ïe, na'r bywyd ei hun.

(3.) Mewn gobaith am y nefoedd; "Eithr yn awr gwlad well y maent hwy yn ei chwennych, hyny ydyw, un nefol." *adn.* 16. Y mae gobaith yr annuwiol yn gadael ei berchenog mor annuwiol ag erioed; ond gobaith y duwiol a bura yr enaid megys y mae Duw yn bur.

(4.) Y maent yn cael nerth yn ol y dydd yn y cyfyngderau mwyaf, a gras yn gymmorth cyfamserol, yn unol â'r addewid, "Megys dy ddyddiau y bydd dy nerth." *Deut.* 33. 25.

4. Os dymunwn etifeddu bendith Abraham, rhaid i ni ganlyn llwybrau ffydd Abraham, yr hwn yw tad y ffyddloniaid; megys y mae Sarah yn blaenori ym mysg y sanctaidd a'r duwiol wragedd. *Rhuf.* 4. 11, 12. 1 *Petr* 3. 5, 6. Dysgwn fyw mewn ffydd fel hwynt hwy; felly marw a wnawn yn yr Arglwydd, a chawn ein gogoneddu gyda hwy yn y nefoedd i dragywyddoldeb.

III. Golygwn y Patriarch duwiol hwn yn gysgod enwog o Iesu Grist.

1. Galwyd Abraham yn gyfaill Duw. *Iago* 2. 23. Yr oedd Crist felly mewn modd neillduol, "Y gwr sy gyfaill i mi, medd Arglwydd y lluoedd." *Zech.* 13. 7.

2. Abraham a gyfrifir yn Dad y ffyddloniaid. Y mae Iesu yn Dad yn gystal ag yn Frawd i'r saint. "Y neb a'm gwelodd i a welodd y Tad." *Ioan* 14. 9. Ië, efe yw y "Duw cadarn, tad tragywyddoldeb." *Esa.* 9. 6. Ac am hyny y mae 'n deilwng o'i addoli fel Duw, a'i gyfarch dan yr enw, "Ein Tad, yr hwn wyt yn y nefoedd."

3. Megys y gadawodd Abraham wlad ei enedigaeth; felly Crist a adawodd drigfanau gwynfyd, lle yr oedd yn cael ei addoli gan luoedd o angylion glân, ac yn ogoneddus er tragywyddoldeb.

4. Derbyniodd Abraham addewidion gan Dduw; sef, y byddai gwlad Canaan yn etifeddiaeth i'w eppil ef, &c. I Grist y rhoddwyd addewidion cyffelyb, ond o lawer helaethach ystyr, "Gofyn i mi, a rhoddaf y cenhedloedd yn etifeddiaeth i ti, a therfynau y ddaear i'th feddiant: ac efe a lywodraetha o fôr hyd fôr, ac o'r afon hyd derfynau y ddaear." *Ps.* 2. 8. a 72. 8.

5. "Trwy ffydd yr ymdeithiodd efe yn nhir yr addewid, megys mewn tir dieithr." *adn.* 9. Yr oedd Crist yn bererin ar y ddaear; ïe, ym mysg ei genedl, ac yn ei wlad ei hun. Yn ei enedigaeth nid oedd neb i'w gyhoeddi ond angylion y nef, a bugeiliaid Bethlehem. Preseb oedd ganddo yn lle crýd, a chadachau yn lle dillad. Er ei fod yn meddiannu nef a daear, nid oedd ganddo le i roi ei ben i lawr. Er ei fod yn awdwr yr holl gysuron, dioddefai yn fynych newyn, syched, a blinder. Er bod ganddo awdurdod ar bob rhyw drysorau, nid oedd ganddo ddim i dalu arian y deyrnged heb ei gael mewn modd gwyrthiol: ac er ei fod trwy farw wedi gorchfygu angeu, nid oedd ganddo fedd o'i eiddo ei hun i roddi ei gorph sanctaidd i orwedd am ddarn o dri diwrnod. "Canys chwi a adwaenoch ras ein Harglwydd Iesu Grist, iddo ef, ac yntau yn gyfoethog, fyned er eich mwyn chwi yn dlawd, fel y cyfoethogid chwi trwy ei dlodi ef." 2 *Cor.* 8. 9. Ei dlodi amserol ef a fyddo yn elw tragywyddol i ni!

6. Abraham a offrymodd aberth: bwr-

fadodd offrymu ei fab, ond cafodd hwrdd yn lle ei fab; canys efe a ddywedasai, "Duw a edrych iddo ei hun am oen y poeth-offrwm." Crist oedd yr oen hwnw o drefniad dwyfol. "Wele Oen Duw, yr hwn sydd yn tynu ymaith bechodau y byd." *Ioan* 1. 29. Dyma yr Oen difeius a difrycheulyd, yr hwn a ymddangosodd i ddileu pechod, trwy ei aberthu ei hun yn lle pechadur.

7. Abraham a orchfygodd y gelynion, ac a waredodd ei gyfeillion. Yr Iesu a â rhagddo yn amlder ei rym, gan orchfygu ac i orchfygu, ac a wared ei bobl o law eu holl elynion. Yr Arglwydd sydd Ryfelwr; a'i elynion a roddir fel llwch i'w gleddyf, ac fel sofl gwasgaredig i'w fwa ef: canys dydd dïal sydd yn ei galon, a blwyddyn ei waredigion sydd ar ddyfod.

8. Megys y ganed Ismael o'r forwyn gaeth yn ol y cnawd, ac Isaac o'r wraig rydd yn ol yr addewid, a'r ddau yn blant i Abraham; felly y mae yn awr. Y mae rhai o bobl *proffesedig* yr Arglwydd Iesu yn ymfoddloni ar yr enw yn unig, ac yn aros dan gaethiwed pechod a'r ddeddf: ond y mae y gwir dduwiolion wedi eu gwaredu o gaethiwed llygredigaeth, a'u dwyn i ryddid gogoneddus meibion Duw. Mawr yw y gwahaniaeth rhwng y ddwy fintai hyn, a dirfawr fydd y gwahaniaeth ryw ddydd. Canys er eu bod yn gyfranogion o'r un breintiau a moddion gras yn yr eglwys ar y ddaear, ni chant gyfarfod ym mhresennoldeb gwynfydedig Duw a'r Oen.

Am hyny, frodyr, nac ymfoddlonwn ar un rhith o grefydd heb ei grym hi. Ymofynwn am adnabod cymdeithas Ysbryd Crist, a rhan *barhaus* gyda phlant Duw. Felly, ar ol diweddu ein pererindod, cawn drigo mewn dinas ag iddi sylfeini; ar ol dattod ein daearol dŷ o'r babell hon, cawn adeilad well, sef tŷ, nid o waith llaw, tragywyddol yn y nefoedd.

CYNFELYN.

---

## ORIAU YSGRYTHYROL.

### IOAN.

PEN. ii. 9. "*Llywodraethwr y wledd.*"—Yr ydoedd yn arferiad ym mhlith yr henafiaid i ddewis brenin, neu lywodraethwr, i bob gwledd, pa un oedd i benu pa faint a yfai y gwahoddedigion.

ADN. 16. "*Tŷ marchnad.*"—Dywed Josephus, y byddai yr Iuddewon, ar wyl y Pasc, yn arfer aberthu oddeutu 256,500 o anifeiliaid o wahanol rywiau, sef yn nghylch 32,000 yn feunyddiol.

PEN. iii. 10. "*A wyt ti yn ddysgawdwr yn Israel, ac ni wyddost y pethau hyn?*"—Yr oedd gwahanol seremoniau yn cael eu cyflawni ym mhlith y Proselytiaid Iuddewig. Y seremoni gyntaf oedd enwaediad; yr ail, trochi, neu fedydd; a'r dryddedd, offrymu aberth. Yr oedd yn dyb cyffredinol y'mhlith yr Iuddewon, y dylid edrych ar y rhai oedd wedi myned trwy y seremoniau hyn megys babanod newydd eu geni.

PEN. iv. 6. "*Ac yno yr oedd ffynon Jacob.*"—Dywedir fod y ffynon hon mewn bod yn awr: ac y mae Mr. Maundrell yn dywedyd ei bod wedi ei chloddio mewn craig, ac oddeutu 36 o latheni o ddyfnder, a bod dwfr am bum llath ynddi; ond dywed Mr. Buckingham iddo *ef* ei chael yn sych.

ADN. 11. "*Nid oes genyt ti ddim i godi dwfr.*"—Rauwolf, wrth sôn am ffynon Bethlehem, a ddywed, y bydd y bobl a fydd yn arferol o fyned i godi dwfr o honi yn cymmeryd gyda hwynt lestr lledr, a rhaff, yn ol dull y wlad hòno.

PEN. v. 35. "*Efe oedd ganwyll yn llosgi ac yn goleuo.*"—Y mae y dull hwn o lefaru yn gydffurfiol â dywediadau yr Iuddewon. Yr oeddynt yn arferol o alw y rhai a fyddai yn nodedig am eu dysgeidiaeth yn ganwyllau. Galwant Rabbin yn ganwyll y gyfraith, a llusern o oleuni.

PEN. vi. 27. "*Llafuriwch nid am y bwyd a dderfydd.*"—Y mae y wers hon yn bur ddarostyngedig i gael ei gŵyr-droi gan bobl ddïog, fel yr ymddengys oddiwrth yr hanesyn canlynol:—"Daeth rhyw frawd dieithr i Fynachdŷ Mynydd Sinai, ac wrth weled fod yr holl Fynachod yn brysur yn gweithio, a ysgydwodd ei ben, ac a ddywedodd wrth yr Abad—'Llafuriwch nid am y bwyd a dderfydd. Dewisodd Mair y rhan dda.' 'Zachary,' medd yr Abad wrth ei was, 'dyro lyfr i'r brawd, a dangos iddo ei ystafell.' Yno yr eisteddai y Mynach trwy 'r dydd. Pan aeth yn nos, yr oedd yn rhyfeddu na ddaethai

neb i'w alw i'w giniaw, ac aeth at yr Abad, a gofynodd, 'Fy abad, onid ydyw y brodyr wedi bwyta heddyw?' 'O ydynt,' atebai yr Abad, 'y maent wedi cael eu gwala.' '*Paham*, ynte,' meddai y Mynach, 'na alwasent arnaf fi?' 'Oblegid,' meddai yr Abad, '*yr ydych chwi yn ddyn ysprydol*, ac nid oes arnoch eisieu bwyd cnawdol: o'n rhan ni, yr ydym ni yn gorfod bwyta, ac am hyny yr ydym yn gweithio.' 'Maddeuwch i mi, fy abad,' atebai y Mynach, 'yr ydwyf yn gweled fy nghamgymmeriad.' 'Yr ydwyt;' meddai yr hen ŵr; 'ond cofia fod Martha mor angenrheidiol yn Gristion ag oedd Mair.'"—*Claude's Essay*, Vol. II, p. 146.

PEN. viii. 36. "*Os y Mab gan hyny a'ch rhyddhâ chwi.*"—Fe allai fod yma gyfeiriad at ddefod oedd mewn rhai dinasoedd yn ngwlad Groeg, ac mewn manau ereill; sef, fod gan y mab hynaf ryddid i fabwysiadu brodyr, ac i roddi iddynt freintiau y teulu.

PEN. viii. 57. "*Nid wyt ti ddeng mlwydd a deugain etto.*"—Byddai yr Iuddewon yn tybied mai pan y byddai gwr yn ddeng mlwydd a deugain oed y byddai yn gymmwys i farnu; oblegid hyn y byddai y Lefiaid yn cael eu rhyddhau o wasanaethu yn y deml pan y byddent o'r oed hwnw, am y byddent yn fwy cymmwys i farnu y pryd hyny nag i ddwyn beichiau. A meddylient, os byddai i ryw un farw tan yr oed hwnw, mai barn oddiwrth Dduw ydoedd.

PEN. xi. 16. "*Thomas, yr hwn a elwir Didymus.*"—Byddai yn arferiad yn mhlith yr Iuddewon, pan yn teithio i wledydd dieithr, i gyfieithu eu henwau i'r iaith Roeg, neu Rufeinig, megys *Thomas* neu *Didymus*, un yn y Syriaeg, a'r llall yn y Groeg, ac ystyr y ddau yw *gefell*.

ADN. 44. "*A'r hwn fuasai farw a ddaeth allan, yn rhwym ei draed a'i ddwylaw mewn amdo.*"—Beddau Iuddewig oeddynt yn aml ogofeydd, neu ystafelloedd wedi eu naddu mewn craig. Ac am nad oedd yr Iuddewon yn gwneuthur defnydd o eirch, byddent arferol o ddodi eu meirw mewn gwahanol dyllau wedi eu naddu yn ochrau yr ystafelloedd. Y mae ffurf y beddau Iuddewig yn rhoddi i ni ddeongliad ar rai amgylchiadau yn hanes adgyfodiad Lazarus. Dywedir pan ddarfu i'r Iesu alw ar Lazarus i ddyfod allan, iddo ddyfod *yn rhwym ei draed a'i ddwylaw*. Ond y mae Deistiaid yn aml yn gofyn, gyda dirmyg, pa fodd y gallai ddyfod allan wedi ei rwymo yn y modd hwn? Nid yw yr Efengylwr yn meddwl i Lazarus gerdded allan o'r bedd; ond, gan ei fod yn gorwedd ar ei gefn, iddo ymgodi ar ei eistedd; yna, yn rhoddi ei draed dros ymyl y fan yr oedd yn gorwedd ynddo, iddo lithro i lawr nes yr oedd yn sefyll ar ei draed, yr hyn a allai wneuthur yn hawdd, er ei fod *yn rhwym ei draed a'i ddwylaw*. Am hyny pan ddaeth allan, dywedodd yr Iesu wrthynt am ei ollwng yn rhydd, a gadael iddo fyned ymaith; yr hyn sydd yn dangos yn eglur fod yr hanesydd yn gwybod nad allai gerdded ymaith nes yr oedd wedi ei ddadrwymo.

*(I'w barhau.)*

---

## HYNAFIAETH EGLWYSIG.

### Y COMMINASIWN.

Y MAE y rhagymadrodd priodol i'r gwasanaeth hwn yn dywedyd i ni yr achos a'r achlysur o'i gyfansoddiad. Dywed fod "yn y Brif Eglwys gynt ddisgyblaeth dduwiol, nid amgen na bod yn nechreu y Garawys (sef ar Ddydd Mercher y Lludw) roi y cyfryw ddynion ag oeddynt bechaduriaid cyhoedd, i benyd cyhoedd, a'u poeni yn y byd yma, modd y byddai eu heneidiau gadwedig yn nydd yr Arglwydd; ac megys y gallai ereill, wedi eu rhybuddio trwy eu siampl hwy, fod yn ofnusach i wneuthur ar gam." Ond y mae hyny yn Eglwys Rufain wedi troi er's talm yn seremoni gwag o daenellu lludw ar bawb a ddelo i gyffesu ar Ddydd Mercher y Lludw. Ac yn ein Heglwys ni, gan fod y ddefod hen ac addas hòno wedi cael ei gadael heibio, barnwyd fod yn dda yn lle hyny (hyd onid adnewydder y ddywededig ddisgyblaeth, yr hyn sydd i'w ddymuno, yn hytrach nag i'w ddisgwyl, yn y dyddiau hyn o benrhyddid mewn crefydd) barnwyd yn dda, meddaf, ceisio dwyn pob dyn i'w farnu a'i gondemnio ei hun, trwy osod ger ei fron y melldithion a haeddai ei holl bechodau, a'i ddodi mewn côf o frawdle ofnadwy Duw, yn mha le

y caiff yr anedifeiriol, er na cheryddir mo hono ef o gwbl yn y byd hwn, ei gondemnio yn sier yn y byd nesaf.

Dechreuad traethu yr ymadroddion bygythiol, yn y modd yr arferwn ni hwynt yn bresennol, oedd orchymyn pendant a roddwyd ddwywaith gan Moses (*Deut.* 11. 29. a xxvii.) a chanfyddwn fod Josua yn ei gyflawni yn ddifrifol. *Jos.* 8. 33, &c. Ac er fod yr amgylchiadau perthynasol i'r dull Iuddewig o adrodd y melldithion hyn yn hollol seremoniol, etto mae yn ddiammeu fod y diben, am ba un y gosodwyd y ddyledswydd hon, yn wir foesol, yn arwain i anrhydeddu Duw a'i gyfreithiau, ac i ychwanegu gwir dduwioldeb; oblegid cyhoeddi cyfiawnder a gwirionedd Duw, a phroffesu ein cred fod ei holl ddeddfau yn gyfiawn, a'i holl osodiadau yn sanctaidd, sydd ffordd ragorol i ogoneddu Duw, ac i droi pechaduriaid ato. Felly, nid all fod yn anaddas yn amseroedd yr efengyl, nac mewn addoliad Cristionogol, yn enwedig gan fod yr Eglwys yn gofyn i'r pechadur gael ei ryboddio, a'i arwain i edifeirwch. Gwir yw, fod Crist wedi tynu *ymaith felldith y ddeddf*, *Gal.* 3. 13. eithr nid yw hyny ond mewn perthynas i'r rhai sydd wir edifeiriol am eu pechodau; canys i bawb ereill y mae y felldith etto yn parhau mewn grym.

Y mae rhai yn petruso dywedyd *Amen* ar ol yr ymadroddion bygythiol, am eu bod o'r dyb eu bod trwy hyny yn melldithio eu hunain a'u cymmydogion. Er boddlonrwydd i'r cyfryw rai, sylwer yma na ddywedir "Melldigedig *fo* y dyn, neu bydded efe felldigedig," a wnelo y peth a'r peth; eithr, "Melldigedig *yw* efe:" hyny yw, y mae y dyn sydd yn euog o'r pechod a enwir yn felldigedig; felly nid yw yr *Amen* yn y fan hono yn arwyddo ein bod yn dymuno i'r peth a ddywedir *fod felly*, fel ag y gwna ar ol *gweddi*, eithr arferir ef yn yr un ystyr ag ar ol ein *Credo*, ym mha le yr arwydda ein cydsyniad â'r amrywiol byngciau a gynnwysir ynddo, neu fel y cymmerir ef yn yr amrywiol fanau hyny yn y Testament Newydd, ym mha rai y cyfieithir ef i'r Gymraeg, "yn wir;" felly yn y fan yma, nid arwydda ddim ychwaneg nag "y mae y *peth yn wir.*" *Dat.* 3. 14. 2 *Cor.* 1. 20.

Am hyny pan fynego yr offeiriad, fod eilun-addolwyr, a phechaduriaid ereill a enwir yn yr ymadroddion hyn, yn felldigedig, nid yw yr hwn a ddywedo *Amen* ond yn hysbysu ei fod ef *yn wir* yn credu hyny, megys ag y dywedodd Duw yn y Gyfraith ac yn yr Efengyl; a'i gred ef o hyny sydd yn ei arwain ef i edifeirwch, ac i ofyn maddeuant o'i bechodau, am ba rai y mae yn cyfaddef fod melldith Duw yn ddyladwy.

C. T.

---

## CYFLAWNIAD Y PROPHWYDOLIAETHAU.

### *YR AIPHT.*

Bu yr Aipht yn un o'r teyrnasoedd hynaf a chadarnaf yn y byd. Y prif, a bron yr unig arwyddion yn awr o'i gogoniant yn yr hen amser, yw y *Pyramidiau** anhyfeth, murddynod ei dinasoedd a'i themlau, a beddau mawrwych ei brenhinoedd. Mwy lliosog ac ardderchog oeddynt nag y gellir eu desgrifio; canys dywed Herodotus fod rhifedi ei dinasoedd a'i threfydd yn ugain mil, yr hyn sydd anghredadwy. Dywed yr un awdwr enwog, yr hwn a elwir yn dad hanesyddiaeth, fod yr Aipht yn fwy ffrwythlawn wrth natur, ac yn cynnwys mwy o ryfeddodau nag un wlad arall yn y byd. Hyd heddyw y mae hi yn llawn o ryfeddodau. Y temlau ardderchog hyny â'u huchel dyrau ydynt yn llawn o gysgodluniau (*hieroglyphics*) ac er iddynt gael eu hadeiladu gan ddynion "a newidiasant ogoniant yr anllygredig Dduw i gyffelybiaeth llun dyn llygredig, ac ehediaid, ac anifeiliaid pedwar carnol, ac ymlusgiaid," etto ymddangosant fel ped amcenid hwynt i anrhydeddu yr unig wir Dduw, Duw Israel, trwy ddangos gwirionedd hanesiol yn gystal a phrophwydoliaethol ei air ef.

Gallai yr Aipht yn gyflawn fostio o hil olynol o frenhinoedd, a hi a barhaodd yn ddidor yn deyrnas gadarn o oesoedd boreuaf y byd. Ond yn hyn, yn gystal ag mewn ystyriaethau ereill, y mae cyfnewidiad mawr er dyddiau y prophwydi, megys ag y rhagddywedasent hwy y byddai. Daeth Nebuchodonosor ac a darawodd

* Adeiliau onglog bonbrall brigfain, yn 500 troedfedd o uchder, ac yn sefyll ar 700 troedfedd o dir.

wlad yr Aipht, yn ol gair yr Arglwydd trwy Jeremiah (46. 13.) a thrwy Ezeciel (30. 10.) Darostyngwyd hi wedi hyny gan y Persiaid dan Cambyses, a chan y Macedoniaid dan Alecsander Fawr; ar ol ei farwolaeth ef llywodraethwyd hi am agos i 300 o flynyddoedd gan y Ptolemeaid, disgynyddion o un o'i dywysogion. Yr amser hwnw yr oedd hi yn deyrnas gyfoethog, nes y daeth hi dan iau Rhufain, oddeutu 30 mlynedd cyn Crist; ac er hyny y mae y Saraceniaid, y Mameluciaid, a'r Tyrciaid, wedi teyrnasu yn olynol arni. Dengys ei hanes gywirdeb y prophwydoliaethau am dani. Dywed Duw trwy Ezeciel (29. 14, 15. a 30. 12, 13.) "Bydd yn frenhiniaeth isel. Isaf fydd o'r brenhiniaethau, ac nid ymddyrchaif mwy oddiar y cenhedloedd. Gwerthaf y wlad i law y drygionus; ie, anrheithiaf y wlad a'i chyflawnder trwy law dieithriaid: myfi yr Arglwydd a'i dywedodd. Teyrnwialen yr Aipht a gilia ymaith." Dyna yw cyflwr yr Aipht er's cannoedd o flynyddoedd, wedi ei difrodi a'i gwneuthur yn anghyfannedd trwy law dieithriaid, a'i gwneuthur yn isaf o frenhiniaethau y ddaear.

### *YR ARABIAID, &c.*

Y MAE caethiwed parhaus yr Affricaniaid, disgynyddion Canaan, am yr hwn y dywedwyd, "Gwas gweision i'w frodyr fydd," a sefydliad trefedigion o Ewrop yn Asia, neu helaethiad Japheth, hiliogaeth yr hwn a boblodd Ewrop, a'u preswyliad y'mhebyll Sem, preswylfa yr hwn oedd o'r dwyrain, neu Asia (Gen. 10. 5, 6, 18, 19, 30.) yn tystiolaethu hyd heddyw wirionedd y geiriau a lefarwyd gan Noah—"Melldigedig fyddo Canaan, gwas gweision i'w frodyr fydd. Bendigedig fyddo Arglwydd Dduw Sem, a Chanaan fydd was iddo ef. Duw a helaetha ar Japheth, ac efe a breswylia y'mhebyll Sem, a Chanaan fydd was iddo ef." Gen. 9. 25–27. Am Ismael, o'r hwn yr hanoedd yr Arabiaid, dywedwyd gan angel yr Arglwydd, cyn ei eni, "Dyn gwyllt fydd efe, a'i law yn erbyn pawb, a llaw pawb yn ei erbyn yntau; ac efe a drig ger bron ei holl frodyr. Mi a'i ffrwythlonaf ef, ac a'i llïosogaf yn aml iawn, a mi a'i gwnaf ef yn genhedlaeth fawr." Gen. 16. 12. a 17. 20. Disgynyddion Ismael a llïosogwyd yn ddirfawr: nis gellir rhifo ei hâd ef o llïosawgrwydd. Hysbys yw i bawb am yr Arabiaid mai pobl wyllt ydynt, a'u llaw yn erbyn pawb, a llaw pawb yn eu herbyn hwythau. Y maent, fel y dywed un hanesydd, "Wedi ymarfogi yn erbyn dynolryw;" ac nis gellir gosod allan yr arwyddion eglur o wirionedd prophwydoliaeth a ddengys yr Arabiaid hyd heddyw yn well nag y'ngeiriau Syr R. K. Porter, yr hwn, wedi bod yn ymweled â'u gwersyll, ac ymofyn ynghylch nodweddiadau eu hiliogaeth, a'u desgrifia fel hyn, "Mae yn rhaid bod buchedd ac arferion yr Arabiaid felly er's 3000 o flynyddoedd o leiaf. Gwiriant y'mhob peth y brophwydoliaeth a draddodwyd am Ismael ar ei enedigaeth, y byddai ef yn ddyn gwyllt, a'i holl hiliogaeth, er iddynt breswylio yn wastad ger bron eu brodyr: a bod pobl fywiog a llym eu deall wedi eu hamgylchynu am oesoedd gan genhedloedd diwygus a moethus, etto eu bod yn parhâu yn bobl wyllt, heb eu gorchfygu, ac heb eu newid, sy'n wir yn wyrth barhâus, yn un o'r dirgelion hyny mewn duwioldeb ag sydd yn cadarnhau gwirionedd prophwydoliaeth."

Olrheiniadau diweddar a ddygasant i'r goleuni hanfodiad a chadwraeth rhyfeddol megys pobl neillduedig o hil hynod arall, ond nid mor llïosog a'r Arabiaid; "Planhigyn, yr hwn a dyfodd dan gedrwydden gadarn Israel, ac a arfaethwyd i flodeuo ar ol i'r pren uchelfrig hwnw gael ei gwympo i'r llawr. (Gwel *Quarterly Review*, Rhif. 75, tu dal. 142.) "Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd, Duw Israel; Ni phalla i Jonadab mab Rechab wr i sefyll ger fy mron i yn dragywydd." Jer. 35. 19. Y Beni Rechab, meibion Rechab, a hanfodant etto yn bobl hynod a neillduedig. Bostiant o'u disgyniad o Rechab, proffesant Iuddewaeth bur, a deallant, bawb o honynt, yr Hebraeg; etto preswyliant yn nghymmydogaeth Mecca, prif eisteddfa crefydd Mahomet, a'u nifer a gyfrifir yn driugain mil. Y mae yr hanes a roddwyd am danynt yn y deuddegfed canrif wedi ei gadarnhau yn ddiweddar gan Mr. Wolf; ac, fel y gwelodd efe, ac y clywodd gan un o honynt eu hunain, nid oes etto yn eisieu wr i sefyll yn fab i Rechab."

Wrth fwrw golwg dros y prophwydoliaethau perthynol i Ninifeh, Babilon, yr

Aipht, Judea, a'r holl wledydd cyfagos, ac wrth ystyried cyflyrau y dinasoedd a'r gwledydd hyny mewn oesoedd olynol hyd heddyw, onid yw gwirionedd y prophwydoliaethau hyny yn ymddangos yn anwadadwy? ac onid yw eu cyflawniad yn profi yn eglur fod y dynion sanctaidd hyny gynt, y rhai a dystiolaethasant am yr Iesu, yn llefaru megys y cynhyrfwyd hwy gan yr Yspryd Glân? Nid all un gair fod yn fwy sicr mewn perthynas i bethau presennol neu bethau wedi myned heibio, nag oedd yr eiddynt hwy mewn perthynas i bethau dyfodol. Yr anghyfanneddiadau oeddynt waith dynion, ïe, cyflawnwyd hwynt oll gan elynion y grefydd Gristionogol; eithr eu rhagddywediad manwl, yr hyn sydd y tu hwnt o lawer i ragwybodaeth dyn, sydd air Duw yn unig. Y mae dinystriad ymerodraethau, tra y bo yn profi gwirionedd pob iot o'r prophwydoliaethau hyn, y mae hefyd yn gadarnhad a phrawf rhyfeddol o ysprydoliaeth yr ysgrythyrau. Pa ynfydrwydd gan hyny yw, a chymmaint y mae yn dangos gwendid eu hachos, fod anffyddwyr wedi dewis y maes hwn i geisio gwrthbrofi gwirionedd yr ysgrythyrau, lle y gallasent, oddigerth iddynt ymofyn, megys ag y gwnaethant, âg yspryd celwyddog, o'r adfeiliau, ddarllen cyflawniad y prophwydoliaethau ar bob troedle! Y mae pob amgylchiad a enwir gan yr anffyddiwr *Volney* yn dystiolaeth yn erbyn ei holl ddychymmygion; ac allan o'i enau ei hun y condemnir ef. A ddichon i ddim twyll gwirfoddol fod yn fwy neu eglurach nag i ddyn gau ei lygaid yn erbyn y prophwydoliaethau hyn, a cheisio ymresymu yn erbyn gwirionedd y grefydd Gristionogol oddiar yr un amgylchiadau ag sydd, trwy ddangos eu cyflawniad, mor eglur yn ei chadarnhau? neu a all fod un dystiolaeth yn fwy eglur a diymwad na golygiad ar yr holl ragddywediadau rhyfeddol hyn, a'u cyflawniad perffaith?

C. Ll.

---

## Y PINWYDD *(PINE.)*

*(Parhad o du dal. 48.)*

Yn nghorsydd mawnoglyd ac oerllyd yr Alban y mae gweddillion coed Pinwydd yn dra llïosog. Tra mae 'r dderwen yn hollti 'r ddellt, o herwydd grym gwres y dydd a'r sychder—y fedwen yn cael ei throi yn fwydionllyd—y mae parhad y Binwydden, o herwydd y *turpentine* a gynnwys, yn berffaith ddilwgr, megys y mae y brodorion yn ei defnyddio yn lle canwyllau.

Yn Lloegr hefyd y mae amryw o welyau tan-ddaearol o Binwydd wedi eu darganfod: ond o herwydd gwahaniaeth yr hin-gylch, nid yw y rhai hyn yn cynnwys cymmaint o *durpentine;* ac y maent hefyd yn fwy braenllyd: y mae llestr yr hadau yn profi eu bod yn deilliaw o'r un llwyth.

Un o'r cyfnewidiadau mwyaf neillduol y mae unrhyw wlad yn ddarostyngedig iddo, yw yr hwn a ddigwydd iddynt yn ffurfiad corsydd mawnoglyd. Canfyddir hwy yn gyffredin ym mharthau mwyaf oerllyd y byd; ac a adnabyddir yn yr Iwerddon (lle maent yn toi y ddegfed ran o wyneb yr ynys) wrth yr enw *Corsydd*, ac yn yr Alban wrth yr enw *Mawnog*. Y mae y cludeiriau neillduol hyn o blanhigion yn cael eu trosi, er côf, o'r naill genedl i'r llall, megys un o'r pethau rhyfeddaf a ddigwyddodd yn eu plith. Yn ngogleddbarth Ynys Prydain, ac mewn amryw barthau o'r Iwerddon, yn enwedig yn ei chanol-barth, rhwng y môr Werydd a'r afon *Shannon*, y maent yn dynodi fod yr hin-gylch, a'r tir, wedi bod yn rhagori unwaith ar yr hyn y mae efe yn awr yn ei fwynhau.

Nid yw yr amser y ffurfiwyd y corsydd hyn yn hysbys: ond darganfuwyd mewn llawer o honynt gyrn a phenglogau anifeiliaid nad oes gymmaint ag un o honynt yn awr yn hanfodi yn y wlad. Gan hyny y mae yn rhaid fod eu ffurfiad wedi cymmeryd lle cyn i hanesyddiaeth fod ar gylch.

Etto ymddengys nad yw ffurfiad corsydd mawnoglyd o un trefniad boreuol, fel ag i'r cwbl oll o honynt gael eu creu pan grewyd y byd, ond i ryw ddamwain neillduol beri bod i amryw; canys crybwylla George, Iarll Cromarty,* fod, gerllaw *Loack Broaw*, ar du gorllewinol Swydd Ross, rhwng 1651 a 1699, darn o dir helaeth wedi ei droi o fod yn goedwigfa Pin-

---

* Gwel *Philosophical Transactions*, No. 330.

wydd i fod yn fawnog, o'r hon y mae 'r brodorion yn cluddio eu tanwydd.

Yr hanes a rydd yr Iarll am ffurfiad corsydd sydd fel y canlyn:—"Y Pinwydd, wedi sefyll am beth amser wedi eu dinoethi o'u rhisgl, gan gael eu curo gan y gwlawogydd, y rhai ydynt drymion ac aml yn yr Alban, yn raddol a bydrant yn agos i'r gwreiddyn; ac yna chwythiadau cyffrowyllt y de-orllewin-wynt, yr hwn sydd fwyaf angerddol yn yr ynysoedd Brytanaidd, a'u cwympant y naill ar ol y llall i'r llawr. Gwedi iddynt syrthio, a'u mwydo gan y gwlaw, hwy a hilir yn fuan gan amryw fath o gèu *(fungi.)* Pan ddechreuont wywo, y mae y gwlaw yn golchi y cèn ymaith, ac a syrth rhwng y pren pydredig a'r ddaear; ac fel hyn y mae argae yn cael ei ffurfio, yr hon a ddeil yr holl ddwfr yn llyn llonydd yn ei un-fan. Pan gymmero hyn le, y mae gwyneb y llyn, neu 'r ddaear wlybaidd, yn dyfod yn las a mwsoglyd; ac felly, rhwng gwlybaniaeth, sychder, coed o amryw rywiau, a mwswgl, fe ffurfir mawnog. Hyn a gymmer le yn y parthau uchelaf o'r byd yn ol gorchymyn y Creawdwr doeth, er lles ei greaduriaid rhesymol a breswyliant y parthau hyny."

Syr Walter Scott a rydd yr hanes dilynol o goedwigfaoedd yn cael eu troi yn fawnogydd:—"Mewn rhan o'r Iwerddon, sef o Swydd Cavan o hyd i Swydd Kildare, y mae cors wedi meddiannu gwastadedd copa uchaf mynydd, yr hon sydd o gylch 15 troedfedd o drwch; ac er y dichon fod daear gadarn yn ei hamgylchynu, etto y parthau uchaf sydd wedi eu cyfansoddi o fawnogydd. Y mae yn amryw barthau o'r Alban hefyd gorsydd wedi gosod eu gorseddau ar gopa uchaf mynyddoedd, ac afon yn llifo o'r naill ben iddynt i'r môr dwyreiniol, ac un o'r pen arall i'r an gorllewinol.—Pan y mae 'r corsydd hyn â'u gorseddau ar ucheldir, a'u harwynebau yn ogwyddedig, y maent yn hynod o'r trefnus, er eu bod bob amser, ychydig islaw 'r wyneb, yn cynnwys llawer iawn o leithder. Ond pan y maent yn lled wastad, a'u harwynebau yn cael eu toi â glaswellt, y maent yn gyffredin o natur feddalaidd islaw, pan y mae 'r wyneb yn fath o groen gwydn. Yn yr Iwerddon fe elwir y rhai hyn yn gorsydd symudol, ac yn yr Alban yn gorsydd crynedig. Y maent yn hynod o'r enbydus i ymdeithwyr, ac ni ddygant ychwaith borfa yn yr haf."

Ni raid ychwanegu ar y pen hwn; canys y mae y Cymry yn ddigon hysbys o natur mawnogydd, ynghyd â'u cynnwysiadau. Af rhagof yn awr i ddangos fod mawnogydd a chorsydd ar rai prydiau yn llifo tros eu glanau. Sylwaf yn awr ar y modd dychrynllyd y bu i gors *Solway Moss*, Iwerddon, orlifo tros ei glanau, Rhagfyr 16, 1772. Solway Moss sydd o gylch 300 erw o dir. Ei wyneb sydd hynod o'r gwydn; ond yn hynod o'r meddal islaw, ac a sigla megys un corph crynedig pan ei sethrir. Yr oedd ei arwyneb mor enbydus, fel y collodd nifer o fyddin *Sinclair*, yn amser Harri VIII. eu bywydau ynddo. Dywedir i yngerbwd marchog, ei farch, a'i arfogaeth gael eu cloddio o hono ychydig cyn ei ddinystriad. Solway Moss a ymestyn rhagddo yn hynod o'r ardderchog tua therfynau yr afon *Esk*, gan amrywio yn ei uchder o 40 i 80 troedfedd goruwch gwyneb y gwastadedd. Yr oedd canol y gors yn lled wastad, ac yn sigienllyd, a chrawcwellt yn tyfu ynddi. Yn fasnorol i'r 16eg o Ragfyr, disgynodd gwlawogydd trymion, yn gymmaint fel nad oedd yno le i gynnwys y dyfroedd. Arwyneb y gors a gyfodwyd gan y dyfroedd; ac o herwydd eu grym, torasant dros ei glanau gyda thwrf dychrynllyd, gan gludo ymaith y gors fawnoglyd, ynghyd â phob peth a safai yn eu ffordd. Y pryd yr ymollyngodd y gors, oedd ynghylch 11eg o'r gloch nos y 15fed dydd. Yr amaethwyr, a phreswylwyr y maenor-dai agosaf i'r *dylif du*, tra yn eu gwelyau, ni allasent lai na rhyfeddu at ddyfodiad disymmwth ac annisgwyliadwy eu hymwelydd anwrthwynebadwy.

Yr oedd gorlifiad cenhod y gors hon yn lled debyg yn ei effeithiau i eiddo *Etna* a *Vesuvius*, ond bod yr elfenau yn wahanol. Efe a daenodd ei edyn caddugawl dros yr holl wastadedd, er colled annhraethol i'r brodorion. O herwydd bod ei symudiad yn arafaidd, ni chollwyd neb bywydau. Y mae yn hawddach dychymmygu nac adrodd y braw a feddiannodd breswylwyr tlodaidd *Eskdale*, o herwydd yr ymweliad rhyfedd hwn. Y bobl yma oeddynt o'r radd gyffredin, a thra choel-grefyddol: gan

hyny, pan ddechreuodd y pentwr pyg-ddu hwn ymledaenu dros eu dyffryn, hwy a ddeffrowyd o'u cwsg mewn dychryn dirfawr. Pan ymdrechasant ffoi o'u bythod am eu bywydau, hwy a lanwyd â dychryn eilwaith; canys pan gyanygient agor eu dorau i ffoi, yr oedd y cenllif ëofn yn barod i ruthro i mewn, heb gymmaint a gofyn cennad neb o'r meddiannwyr dychrynedig. Pan ddisgynodd y cenllif at y rhai oedd yn preswylio agosaf i'w ffynhonell; a'u hanwybodaeth o'r achos cynhyrfiol o hono a barodd iddynt daenu eu gwaedd-lef o'u blaenau, gan yru eu gwartheg, cario eu plant, a phob peth gwerthfawr o'u heiddo ymaith; ac hefyd rybuddio eu cymmydogion, ar eu ffordd, i ymofyn noddfa. Digwyddodd fod y brodorion yn wasgaredig ar hyd y dyffryn; ond pe buasent yn byw oll yn yr un pentref, diau y buasai 'r digwyddiad yn fwy dychrynllyd o lawer, a rhifedi o fywydau wedi eu colli. Ond er i'r trigolion, a'u diadelloedd, gael eu hachub oll; etto, gorfu iddynt adael i'w llafur toreithiog gael ei gloi am byth ym mynwes angharedig y dylif du. Pan wawriodd y boreu dranoeth, gwelent, er eu galar, fod eu hen breswylfeydd wedi eu hollol gyfnewid. Yn lle meusydd prydferth, amgaeau têg, a gerddi gorlawn, ynghyd â phethau ereill hanfodol i wlad ffrwythlawn, yr oedd mawndir diwerth gwedi llwyr dôi y cyfan oll.

Yr oedd llawer o'r tai gwedi eu hollol gladdu, ac ereill heb ddim ond y cronglwydydd yn unig i'w gweled. Yr oedd amryw hefyd a'u bondo o gylch 8 troedfedd oddiwrth y llawr. Nid oedd y llafur-dir, a foddwyd gan y dylif anghyffredin hwn, ddim llai na 200 erw. Ffrydiau chwanegol o wlawogydd a ddisgynasant eilwaith, a chwanegasant y difrod erchyll; a'r canlyniad fu iddi dôi wyneb yr holl ddyffryn yn gyfan-gwbl, yr hwn a fesurai o gylch 400 erw o dir llafur.

Dywed y Dr. Clerke, fod coedwigfa Binwydd ar dân yn Lapland, yn lled agos i afon, a'i bod felly er's dyddiau lawer. "Mr. Tipping a'n hysbysa," meddai y Dr. "mai yr achos o'r tân oedd diofalwch y Laplandiaid a'r badwyr ar yr afon, y rhai a arferent y gosgymmon *(tinder)* Ellmynaidd i danio eu pibellau, ac a oddefent iddo syrthio i blith y mwswgl a'r dail sychion, cyn ei ddiffodd. Gadawent hefyd dânau mawrion y'nghanol y goedwigfa, heb eu diffodd, y rhai a enynent i gadw ymaith y *mosquitoes* (math o drychfiled mawrion) oddi wrthynt hwy a'u hanifeiliaid. Gan hyny gellir dirnad y difrod a wna fflamau angerddawl mewn coedwigfa, pan y mae ei deiliaid yn llawn o nodd olewaidd mewn ychydig amser. Etto Linnæus, trwy ei wybodaeth gyflawn o ansawdd y wlad, ac arferion y brodorion, a briodola losgiad coedwigfa y'ngogledd Sweden i enyniad mellt. Tra parhaodd y tânau ofnadwy hyn, gyrwyd yr eirth, y bleiddiaid, a'r llwynogod, oll o'u llochesau, ac nid bychan a fu 'r galanastra a wnaethant y'mhlith yr anifeiliaid. Bu i arth groesi yr afon o gylch pythefnos cyn ein dyfodiad i'r lle, yr hon a laddodd, i'r un amaethydd, chwech o wartheg, a deuddeg o ddefaid, a'r cwbl yn yr un noswaith. Gwelsom yr amaethydd, a'r llannerch lle digwyddodd i'w anifeiliaid syrthio yn ysglyfaeth i'r arth ddidrugaredd. Nyni a diriasom yno i'r diben i gerdded glanau 'r afon, tra bu ein badwyr yn ymdrechu rhwyfo eu cychod yn erbyn y ffrwd. Yr amaethydd galarus a briodolai ei golled i'r goedwigfa gyferbyniol danio, yr hyn a barodd i'r arth groesi 'r afon am ymborth.

*(I'w barhau.)*

---

## DIWYGIAD.

Tra y dywedir cymmaint ynghylch Diwygiad Seneddol, goddef i un sydd yn teimlo dwys ofal am lwyddiant a dedwyddwch ei gydwladwyr, ddwyn ar gôf i ti DDIWYGIAD *arall*, yr hwn ni ddylid colli golwg arno, a'r hwn sydd yn perthyn i bob un o honom yn fwy nag un peth arall ar y ddaear:—sef, DIWYGIAD PERSONOL; yr hwn sydd gynnwysedig mewn newidiad calon a buchedd ym mhob un ag sydd yn proffesu yr enw Cristionogol, ond yn ei ymarweddiad beunyddiol heb ymagweddu yn gysson â'r Bibl, unig reol bywyd pob gwir Gristion.

Goddef i mi ofyn i ti, *A wyt ti yn byw yn ddïofal ynghylch iachawdwriaeth dy enaid, ac yn anystyriol o dragywyddoldeb?*

DIWYGIA: canys y mae Gair Duw yn dywedyd, "Bydd barod i gyfarfod â'th Dduw." "Pa lesâd i ddyn os ennill efe yr holl fyd, a cholli ei enaid ei hun? neu pa beth a rydd dyn yn gyfnewid am ei enaid?"

A wyt ti yn *Dorwr Sabbeth*? DIWYGIA: canys y mae Gair Duw yn dywedyd, "Cofia y dydd Sabboth i'w sancteiddio ef."

A wyt ti yn *Dyngwr*? DIWYGIA: canys y mae Gair Duw yn dywedyd, "Na thwng ddim." "Na chymmer enw yr Arglwydd dy Dduw yn ofer."

A wyt ti yn *Feddwyn?* DIWYGIA: canys y mae Gair Duw yn dywedyd "Ni chaiff meddwon etifeddu teyrnas Dduw."

A wyt ti yn *arferol o dori dy air*? DIWYGIA: canys y mae Gair Duw yn dywedyd, "I'r holl gelwyddwyr y bydd eu rhan yn y llyn sydd yn llosgi â thân a brwmstan; yr hwn yw yr ail farwolaeth."

A wyt ti yn *byw trwy foddion anonest*? DIWYGIA: canys y mae Gair Duw yn dywedyd, "Yr hwn a ladratàodd na ladratâed mwyach: eithr, yn hytrach, cymmered boen, gan weithio â'i ddwylaw yr hyn sy dda; fel y byddo ganddo beth i'w gyfranu i'r hwn y mae angen arno."

A wyt ti yn *ceisio twyllo ereill mewn bargenion*? DIWYGIA: canys y mae Gair Duw yn dywedyd, "Na fydded i neb orthrymu na thwyllo ei frawd mewn dim; canys dïalydd yw yr Arglwydd ar y rhai hyn oll." A wyt ti yn un *sydd yn myned i ddyled heb fwriadu talu*? DIWYGIA: canys y mae gair Duw yn dywedyd, "Na fydd yn nyled neb o ddim." "Pa bethau bynag oll a ewyllysioch eu gwneuthur o ddynion i chwi, felly gwnewch chwithau iddynt hwy."

A wyt ti yn *ariangar*? DIWYGIA: canys y mae Gair Duw yn dywedyd, "Gwreiddyn pob drwg yw ariangarwch." "Y cybydd sydd ddelw-addolwr."

A wyt ti yn ddyn o *dymher ffyrnig, balch, maleisus, a dïalgar*? DIWYGIA: canys rhoddodd Crist y gorchymyn hwn i'w ddisgyblion: "Cerwch eich gilydd." Ac y mae Gair Duw yn dywedyd, "Pob un a'r sydd yn casâu ei frawd lleiddiad dyn yw: a chwi a wyddoch nad oes i un lleiddiad dyn fywyd tragywyddol yn aros ynddo."

A wyt ti yn *esgeulus o weddi*? DIWYGIA: canys y mae Gair Duw yn dywedyd, "Gweddïwch yn ddibaid." "Ym mhob peth mewn gweddi ac ymbil, gyda diolchgarwch, gwneler eich deisyfiadau chwi yn hysbys ger bron Duw."

A wyt ti yn *esgeulus o ddarllen y Bibl*? DIWYGIA: canys yn y llyfr sanctaidd hwnw y mae yn ysgrifenedig, "Chwiliwch yr ysgrythyrau."

A wyt ti yn *un o yspryd grwgnachlyd ac anfoddlawn*? DIWYGIA: canys y mae Gair Duw yn dywedyd, "Byddwch foddlawn i'r hyn sydd genych."

A wyt ti wedi *llwyr ymroddi i'r byd hwn, gan anghofio Duw*? DIWYGIA: canys y mae Gair Duw yn dywedyd, "Na cherwch y byd na'r pethau sydd yn y byd." "O châr neb y byd, nid yw cariad y Tad ynddo ef." "Y rhai drygionus a ymchwelant i uffern, a'r holl genhedloedd a *anghofiant* Dduw."

A wyt ti yn *dilyn ffolineb a gwag ddifyrwch*? DIWYGIA: canys y mae Gair Duw yn dywedyd, "Fod yr hwn sydd drythyll yn farw, er ei fod yn fyw." "Diwedd y llawenydd hwn yw tristwch."

A wyt ti yn *byw mewn ymarferiad o un pechod cyhoeddus, neu mewn esgeulusdra o un ddyledswydd*? DIWYGIA: canys y mae Gair Duw yn dywedyd, "Onid edifarhewch chwi a ddifethir oll." "Os chwi ni wnewch fel hyn, wele, pechu yr ydych yn erbyn yr Arglwydd; a gwybyddwch y goddiwedda eich pechod chwi." "Gosodwyd i ddynion farw unwaith; ac wedi hyny bod barn."

A wyt ti yn *arferol o ddirmygu Efengyl Crist*? DIWYGIA: canys y mae Gair Duw yn dywedyd, "Pa fodd y dïangwn ni, os esgeuluswn iachawdwriaeth gymmaint." "Nid oes iachawdwriaeth yn neb arall; canys nid oes enw arall dan y nef, wedi ei roddi ym mhlith dynion, trwy yr hwn y mae yn rhaid i ni fod yn gadwedig," ond enw yr Arglwydd Iesu Grist yn unig. "A gwaed Iesu Grist sydd yn glanhau oddiwrth bob pechod."

Bydded i bob dyn gofio fod ganddo *Fwrdeisdref lygredig* yn ei fynwes ei hun, sef, calon lygredig: canys y mae gair Duw yn dywedyd, "*Oddi mewn*, allan o *galon* dynion, y daw drwg-feddyliau, puteindra, llofruddiaeth, lladradau, cybydd-

dod, drygioni, twyll, anlladrwydd, anniweirdeb, cabledd, balchder, ynfydrwydd." Bydded i bob dyn geisio *oddi uchod* DDIWYGIAD i'w galon: canys y mae Gair Duw yn hysbysu, "Oddieithr eich troi chwi, a'ch gwneuthur fel plant bychain, nid ewch chwi ddim i mewn i deyrnas nefoedd."

Bydded pob dyn yn ofalus am ddiwygio ei, a bydded yr un hwnw *ef ei hun*: yna, trwy fendith Duw, y caem weled y'mhob lle Rïeni mwyn, Gwyr caredig, Plant ufudd, Meistri uniawn, Gweision didwyll, Dinasyddion da, a Deiliaid ffyddlawn. Hyn a wna DDIWYGIAD gogoneddus yn wir, bendithion yr hwn a gyrhaedd o oes i oes; canys y mae Gair Duw yn dywedyd, "Cyfiawnder a ddyrchafa genedl; ond cywilydd pobloedd yw pechod."

CYFAILL I GYFOETHOG A THLAWD.

---

## TRADDODIADAU GWYDDELIG.

WEDI treulio llawer o flynyddau maith mewn gwledydd tramor, dychwelais i'r Iwerddon, ac ymwelais â'r dref yn yr hon y'm ganwyd. Nid oedd genyf na pherthynas na chyfaill ynddi; a'r unig beth a'm tueddodd i gyrchu tu ag ati, oedd dymuniad i ail syllu ar y lleoedd yn y rhai y treuliaswn gymmaint o amser, ac y mwynhaswn gymmaint o hyfrydedd. O'r lleoedd hyn, y mwyaf nodedig oedd dyffryn mawr a elwid Kilbarry. Yn y gauaf byddai dwfr yn ei orchuddio; yn yr haf yr oedd gwelyau o bêrlysiau yn wasgaredig ar hyd-ddo. Yma yr arferaswn hela dyfrgwn, pysgota, ymdrochi a nofio, pan oeddwn yn derbyn elfenau dysgeidiaeth mewn ysgol gerllaw. Golwg ar y dyffryn a'm hadgofiodd o ddifyriadau a champau yr hen amser gynt; a pharodd i mi ocheneidio fwy nag unwaith wrth feddwl am y rhai oeddynt fy hoff gymdeithion yn y dyddiau hyny. Yr oeddwn yn llwyr anwybodus o sefyllfa ac amgylchiadau llawer o honynt: gwyddwn fod rhai wedi gorfod dilyn eu galwad yn ardaloedd poethion y dwyrain; a gwyddwn fod ereill wedi ymadael â'r byd a'i wagedd, ac wedi eu rhifo y'mysg preswylwyr ystafelloedd oerion y bedd. Rhodiais y'mlaen o gam i gam, gan ddwys fyfyrio ar y pethau a "ddeffrôdd alarnadau," ac a barodd i "argofion hiraeth dreiddio drwy fy mynwes." O'r diwedd cyrhaeddais bont ym mhen uchaf y dyffryn, ar yr hon yr eisteddai dyn. "*Baul o yeerith*," ebe fi, yn ol yr arfer cyffredin yn y parthau hyny. "*O Dhias Murrìas Phadrig*," atebai y dyn, gyd â'r parodrwydd mwyaf. Tybiais fod ei lais yn adnabyddus i mi, a dywedais, "Yr wyf yn meddwl i mi glywed eich llais chwi o'r blaen; beth yw eich enw?" "Digon tebyg, Syr," atebai yntau. "Yn wir, onid myfi yw Pierce Butler, y Gwehydd, sydd yn byw yn Ballytruckle: ac onid wyf fi a'm teulu yn cyfanneddu yno er's 40 mlynedd pan ddelo Gwylmihangel." Un o'm cyfeillion hynaf oedd Pierce Butler; a chofiais yn ebrwydd mai un diwyd iawn oedd Pierce gyd â'i alwad, a'i fod yn fwy diwyd fyth gyd â'r difyrwch o bysgota. Rhwng yr oriau a dreuliai gyd â'i orchwyl cyfreithlon, a chyd â'i hoff ddifyrwch, byddai yn eistedd 11 mis o bob blwyddyn. Cyn gynted ag y gadawai ei wydd, wrth yr hwn yr eisteddai bron drwy y dydd, cyrchai yn ebrwydd tu ag at yr aber oedd yn gyfagos i'w fwthyn, lle yr arosai agos drwy y nos. Yn ei dŷ ef yr arferwn i a'm cymdeithion roddi ein holl gelfi hela a physgota, lle y cyrchem yn fynych pan y gallem daflu heibio ein llyfrau, a phan oeddym ym mhell o olwg ein hathraw. Yr oedd Pierce wedi dangos yr hoffder mwyaf tu ag ataf fi; a'r unig achos o hyn oedd fy serch i tu ag at ei brif ddifyrwch ef. Yr oedd ganddo wïalen bysgota, yr hon, er nad oedd yn gref, oedd yn dra llwyddiannus; ac yr oedd hi bob amser at fy ngwasanaeth. "Efe a'i caiff hi," eb efe, "oblegid hi a ddeil bysgod o honi ei hun, ac ni rydd ddim trafferth iddo ef." Ac i ddweud y gwir, yr oeddwn i yn fwy dyledus i ragoroldeb y wïalen nag i'm cywreinrwydd fy hun am y pysg a ddeliais.

Wedi i mi wneud fy hun yn adnabyddus iddo, yr oedd yn dra llawen. "O Syr, yr ydych chwi wedi gweled llawer o'r byd er yr amser y buoch yn pysgota yn llynau Kilbarry. Da genyf weled eich bod heb anghofio yr hen wlad, na'r hen bobl—a pheth sydd yn well na'r cwbl, yr hen iaith. Mor dda y cofiasoch *Baul o*

*yeerith!*" "Ië," ebe finnau, "ond nis gwn beth yw ei ystyr." "Os gwelwch chwi yn dda eistedd ar y mur yma, mi a fynegaf i chwi." Eisteddais wrth ochr fy hen gyfaill, a dechreuasom ymddiddan ynghylch traddodiadau yr Iwerddon. "Gwybyddwch, Syr," meddai Pierce, "pan y daeth y Sant bendigedig Patrick i'r Iwerddon, yr oedd yr holl drigolion yn Baganiaid. Nid oedd ganddynt wybodaeth am Dduw, a'i seintiau; ond addolent bob math o bethau, ac yn enwedig y duw a elwid Baal, yr hwn, fel yr arferai fy Offeiriad, dyn tra dysgedig (Duw a gadwo ei enaid) ddywedyd wrthyf, a arwyddocâi *tân:* ac arferent daflu eu plant i'r tân (yr Arglwydd a'n harbedo) er mwyn ei foddhau ef. Yr ydych yn cofio tyddyn Dan Cormick, yn agos i Tramore, yr hwn a elwir *Beltony*, ystyr yr hyn ydyw *Baal tinne*, sef tân Baal: ac yno yr arferent aberthu iddo. Ac onid ydynt yn haeru mai i hyn y gwneid y tanau yn yr amser gynt—y coelcerthi a wneir yn awr ar Noswyl Ieuan, o amgylch y rhai y dawnsia y llangciau a'r merched? Wel, Syr, pan ddaeth St. Patrick i'r wlad, rhoddodd derfyn ar yr holl bethau hyn; eithr methodd gyflawni hyny ar unwaith. Rhai a berthynent i'w blaid ef, a rhai i Baal: ac er mwyn gwahaniaethu ei gefnogwyr ef oddiwrth y lleill, efe a roddodd orchymyn iddynt i ddefnyddio y cyfarchiad hwn. Pan y cyfarfyddai dau ddyn dieithr, dywedent, *Baal o yeerith?*—Ai dyn Baal ydych chwi? Ac os nad oedd, hyfforddodd hwynt i ateb, *Dhias Murrias Phadrig*—Duw, a'r Forwyn Fair, a St. Patrick—gan arwyddo, trwy y tri pherson sanctaidd hyn, mai Cristionogion oeddynt. Mewn amser, Syr, gwyddoch i bawb ddyfod yn Gristionogion. Ond defnyddir cyfarchiad St. Patrick yn awr pan y cyfarfydd dau ddyn: a da genyf eich bod chwi heb ei anghofio."

Yr oedd Pierce yn eistedd, gyd â'i hugan ar draws ei ysgwyddau, a'r llewys yn hongian i lawr, fel y mae arfer y werinos yn yr Iwerddon. Gan fy mod yn tybied mai eu —— a'u rhwystra rhag gwisgo eu hugan fel pobl ereill, neu, am ei fod yn llai trafferth iddynt, gofynais, "Paham na ddefnyddiwch lai o frethyn, a cheisio eich hugan heb lewys, y rhai nid ydych yn eu gwisgo?" Oni fyddai hyny yn ammharchus iawn ar ol y wyrth? Efallai na chlywsoch erioed paham yr ydych yn gwisgo llewys heb eu harfer?" "Naddo: hyny oedd yr arfer gyffredin pan oeddwn i yn fachgen; ond ni wyddwn paham." "Mi a fynegaf i chwi, Syr. Pan gymmerodd St. Patrick arno y gorchwyl o droi y Gwyddelod at y Grefydd Gristionogol, efe a gychwynodd o Ffrainge i'r perwyl hwnw; ond y diafol, yr hwn a wyddai beth oedd efe ar fedr ei wneuthur, a'i dilynodd yn ebrwydd; ond methodd gael hyd iddo, am ei fod yn teithio mor gyflym ar achos mor dda. Ar hyn y diafol a afaelodd mewn craig fawr, a thaflodd hi ar ei ol; eithr methodd ei daro ef, a hi a syrthiodd i'r afon Forth. Gafaelodd mewn un arall—taflodd hi ato; ond methodd ei daro, a hi a syrthiodd i'r afon Clyde. Erbyn hyn yr oedd y diafol wedi ymgynddeiriogi: a chan ymaflyd mewn craig arall, fwy o lawer na'r ddwy gyntaf, taflodd hi â'i holl egni, a bu agos iawn iddo ei daro; ïe, mor agos ag i beri i'r tonau ymdaflu dros y sant wrth gwympo y graig i'r môr. Wel, daeth y sant bendigaid ar dir yr Iwerddon, yn oer ac yn wlyb: a phan gyrhaeddodd at y tŷ nesaf i'r traeth, gofynodd gennad i sychu ei hun. Y pryd hyny yr oedd y Gwyddelod heb eu gwareiddio, fel y maent yn y dyddiau hyn: ac ni ddarfu iddynt ofalu dim dros y dyn dieithr, [illegible] chymmaint a gofyn iddo, 'A fwytêwch chwi gyda ni?' er fod y cloron yn boethion ar y bwrdd. Wel, Syr, tra y safai yn rhynllyd wrth y drws, llewyrchodd yr haul yn ddisglaer: a pheth a wnaeth efe ond diosg ei hugan, a'i thaflu ar draws un o belydrau yr haul i'w sychu. Y mynyd o'r blaen disgleiriai yr haul yn wyneb gwraig y tŷ: a phan yr edrychodd beth oedd yn gorchuddio yr haul, canfyddodd yr hugan yn yr awyr rhyngddi hi a'r haul, a'r llewys yn hongian i lawr, heb ddim yn ei chynnal. Y pryd hyny gwyddai nad allai neb ond dyn sanctaidd wneud y fath beth: a hi, ynghyd â'i holl deulu, a argyhoeddwyd. Ac er hyny hyd yn awr nid yw Gwyddel yn gwisgo ei hugan fel Sais, ond gyd â'i llewys yn hongian i lawr, fel y taflodd St. Patrick hi ar belydryn yr haul."

Erbyn hyn yr oedd y tywyllwch wedi

ein goddiweddyd: a gwelwyd goleuni yn llewyrchu ar yr ochr arall i'r dyffryn. Y llewyrchiadau hyn ydynt yn dra mynych yn siglenydd yr Iwerddon; a rhoddasant achos i lawer o chwedlau am *Jack y Lantern*, a *Wil y Wisp*. "Dacw Jack," ebe fi, "cymmerwch ofal, Pierce, rhag iddo eich cam-arwain heno." "O, Syr, nid oes dim ofn o hyny. Nid Jack oedd hwn acw; o herwydd yr wyf fi yn ei adnabod ef yn dda. Un noswaith yr oeddwn wedi bod yn pysgota; ac wrth ddychwelyd adref dros *Knock* a *Bristhai*, beth a welwn o fy mlaen yn y tywyllwch ond Jack, ond fod ganddo oleuni yn ei law. Rhyw beth bychan iawn oedd, â gwyneb digrif; a daliai y ganwyll yn ymyl fy llygaid, nes oeddynt yn serenu: ac nis gwn yn y byd mawr yma pa fodd yr oedd; ond ni allwn beidio ei ganlyn i ba le bynag yr elai: ac o'r diwedd beth a wnaeth y creadur ond fy arwain at ddibyn y graig o'r hon y cafodd Mr. Kennedy feini i adeiladu ei dŷ. Pan wybum fy mod mewn sefyllfa mor beryglus, yr oedd arnaf eisieu aros; ond methais, er fy holl ymdrech. A phan deimlais fy hun yn myned i lawr, rhoddais naid, a disgynais ar fy nhraed mewn swp o eithin: ac yn y boreu y creigiwr a'm gwelodd yno yn iach, ac yn cysgu yn dawel. Ond nid bai Jack oedd hyn; oblegid yr oedd efe yn bwriadu fy nghorphen i."

Y pryd hyn llewyrchodd y goleuni drachefn, a Pierce a ymgroesodd, ac mewn llais isel dywedodd, "Duw a fyddo yn dda wrth eu heneidiau." "Eneidiau pwy?" ebe fi. "Y rhai oeddynt yn y tân acw," meddai efe. "A phwy oeddynt, Pierce?" "Ond eneidiau y tlodion, Syr, a losgwyd gan Cromwell yn Nghapel Kilbarry?" Wedi treulio mynyd mewn gweddi ddirgel, aeth Pierce ym mlaen. "Ni ddaeth Cromwel yn agosach i Waterford na'r graig sydd ar làn arall yr afon Suire, yr hon sydd gyferbyn a'r tŵr a elwir Tŵr Cromwel. Ond rhai o'i ddilynwyr a aethant dros yr afon mewn cychod, ac a anrheithiasant y wlad oedd yn agos i'r dref. Nifer o honynt a ddaethant at Gapel Kilbarry, ar foreu Dydd Gwyl, pan oedd yr Offeiriad yn prysur ddarllen yr Offeren wrth yr allor, a'r capel yn llawn o bobl. Un o'r milwyr a ddywedodd, 'Y mae holl addolwyr Baal yn awr yn ymgynnulledig yn ei dŷ, gadewch i ni ei losgi.' Nid cynt y dywedwyd y geiriau nag y cyflawnwyd y gorchwyl. Cauasant y drysau, a'r ffenestri; a'r Offeiriad a'i gynnulleidfa, a losgwyd yn y Capel. Rhai o'r hen furiau ydynt etto yn sefyll, gyda nodau y tân arnynt; ac ni thyf dim o'u hamgylch. Ac ar noswyl y sant hwnw, llewyrchiadau o dân a ddeuant allan o honynt, fel pe baent etto yn goddeithio: a mynych y canfyddaf hwynt o'r lle hwn."

"Wel, Pierce, ymddengys oddiwrth eich chwedl chwi mai nid Scullabògue oedd y lle cyntaf yn yr hwn y darfu i'r trigolion losgi eu gilydd mewn amseroedd terfysglyd yn yr Iwerddon."

"Digon gwir, Syr; ond gobeithio mai hwnw fydd y lle diweddaf. Y maent yn dywedyd na fydd dim ychwaneg o anghydfod yn ein plith; ac, yn wir, y mae yn llawn bryd iddo ddarfod."

*(I'w barhau.)*

---

## AFON ANGEU.—*BREUDDWYD.*

TREULIASWN y prydnawn gyda chyfaill gwerthfawr, gan ddadleu, gyda mwy gwres nag adeiladaeth, yr wyf yn ofni, ynghylch tair o wyrthiau newydd, dros ba rai y safai fy nghyfaill yn gadarn, nes y galwyd ni at fyfyrdodau uwch, a theimladau santeiddiach, gan ddyfodiad yr amser at ddyledswydd, neu weddi deuluaidd: a'n hymddiddanion wrth ymadael oeddynt y cyfryw, gobeithiaf, ag a fuasent addas pe buasem ar derfyn y byd tragywyddol. Yn wir, nid oeddym yn ein meddwl ym mhell oddiwrth y fro nefol. Y testun oedd proffad Dafydd, yr hwn ni feddai ac ni ewyllysiai, yn un o'r ddau fyd, neb ond Duw; a'r apostol, yr hwn oedd barod i'w offrymu; ac hefyd seintiau a merthyron diweddarach; ac, yn olaf, ddesgrifiad seraphaidd Bunyan, yn Nhaith y Pererin, o fynediad y Cristion dros yr afon, at byrth y nefol ddinas.

Wrth ymadael, dywedodd fy nghyfaill dan wenu, "Wele, nyni a gawn ddeall y pethau hyn yn well wedi myned dros yr afon, cewch adael ar ol eich hammheuaeth presennol ynghylch y gwyrthiau newyddion;" "A chwithau, ond odid (ebe

fi) eich cred ynddynt." Yma y terfynodd ein hymddiddanion; eithr desgrifiad Bunyan o'r afon a wnaeth argraph ar fy meddwl nes myned i gysgu, yr hyn, mae yn debyg, a wnaeth i mi freuddwydio fel y canlyn:—

Yn fy mreuddwyd tybiais fy mod yn sefyll ar lan afon angeu, a ddesgrifir gan Bunyan, ac yn canfod o'm blaen ar y bryn tu arall i'r afon y ddinas sanctaidd. Mor ardderchog a phrydferth yr olwg arni! Ond buan y tynwyd fy sylw at y teithwyr llïosog oedd yn dynesu at yr afon, rhai yn croesi 'r dwfr yn wirfoddol, ïe, yn llawen, ereill o'u hanfodd yn cael eu gyru ymaith yn eu drygioni; ac heb obaith pan fyddont yn marw. Canfum rai o'r fath olaf yn dyfod at borth y ddinas, lle y gwelais hwy yn glasu ac yn crynu, wrth ddarllen mewn llythyrenau o dân y ddedfryd ofnadwy oedd yn erbyn eu dyfodiad i mewn, "Oddi allan y mae y cwn, a'r swyn-gyfareddwyr, a'r puteinwyr, a'r llofruddion, a phob un a'r sydd yn caru ac yn gwneuthur celwydd." Diddelwais pan welais y dyrfa lïosog wedi eu cau allan, ac yn gorfod troi, gyd âg wylofain a rhingcian dannedd, ar yr aswy, lle y collais yn fuan yr olwg arnynt—yr oeddynt yn y "llyn sydd yn llosgi â thân a brwmstan." Nid yw yn fy mryd geisio darlunio y liuoedd annedwydd hyn. Llïosocach oeddynt nag a gauid allan gan yr adnod uchod yn eu hystyr lythyrenol; ïe, yn cynnwys y rhai oll oeddynt heb y wisg brïodas, yr hon yw cyfiawnder y saint, er uched llais eu hawl o ran pethau ereill. Troais fy ngolwg oddiwrth y rhai hyn, er mwyn ystyried y llu dedwydd oedd yn myned trwy 'r porth i'r ddinas; ac mor hyfryd oedd yr olwg, fel na fedrwn am beth amser feddwl am ddim ond eu llawenydd, a cheisio o hirbell ail adrodd y gân fuddugoliaethus a ddeuai o'u genau.

Eithr wedi sylwi o honof o'm hamgylch, canfum o ddau tu y ffordd, ac ar fin yr afon, amryw dyrau, neu gryglwythi, na fedrwn ar y cyntaf ddeall eu natur. O'r diwedd, wedi sylwi yn fanwl, deallais mai gan y fforddolion y gwnaethid hwynt, trwy daflu ymaith yn awr ac eilwaith ryw bwys neu rwystr, nes o'r diwedd yr oeddynt heb fawr ddim ond y wisg brïodas; hòno ni theflid gan neb, na wnaid, yn ymchwydd yr afon. Hyd yr ymdrech olaf yn y llif, yr oedd braidd bob un wedi glynu wrth ryw beth oedd werthfawr yn ei farn, ond bwrid y cwbl yn llawen i'r dwfr cyn cyrhaedd y lan arall. Sylwais eisoes fod glan yr afon, megys y ffordd, yn llawn o'r tyrau hyn.

Ni allais lai na sylwi, mai ar ddechreu yr yrfa yr oedd y cryglwythi mwyaf o lawer, lle y taflai yr holl fforddolion rywbeth atynt. Yn nechreu yr yrfa yr oedd y pethau ffieiddiaf i'w canfod. Yma y gadawsai y drygionus ei ddrygioni, a'r pechodau mwyaf gwaradwyddus; ond ar unwaith y canfyddais yr holl bethau ni chant fyned i mewn. Fel yr oedd eu gwybodaeth yn cynnyddu, yr oeddynt yn barod i fwrw heibio bethau na welsent ar y cyntaf eu bod yn groes i natur y lle y cyrchent ato. Bob cam o'r ffordd y teflid rhywbeth heibio; ïe, ar lân yr afon, nid pawb oedd foddlon i ddïosg y cwbl ond y wisg brïodas.

Gwelais lu llawen o fabanod, y rhai nad oedd raid iddynt fwrw ymaith ond baich y cnawd a'r llwgr gwreiddiol; ac yna, wedi eu gwisgo yn y wisg angenrheidiol i bawb, parod oeddynt ar unwaith i fyned i mewn i lawenydd eu Harglwydd. Tyrfa o ieuengctid oedd yn canlyn, y rhai, ar y golwg cyntaf, a ellid farnu mor rhydd oddiwrth feichiau damweiniol a'r babanod; ond, a sylwi yn fanylach, yr oeddynt wedi casglu rhai pethau yr oedd raid eu taflu at y tyrau crybwylledig—balchder, hunan, a chreulonder, oeddynt rai o honynt.

Ond heb olrhain pob pwys, a'r pechod parod i amgylchu y pererinion, af at y tyrau ar fin yr afon, ac hefyd, fel y dywedais, rai yn nofio yn y llif, y rhai a'm synasant fwyaf oll. Canfum fod y rhan fwyaf o'r teithwyr, y rhai a wnaethid yn ewyllysgar trwy ras i ymwadu âg annuwioldeb a chwantau bydol, yn dal eu gafael yn dŷn mewn rhyw farnau neu ddaliadau neillduol, perthynol i'r enw a broffesent, hyd y fynyd olaf, gan dybied yn sicr y cai y rhai hyn groesaw yn y ddinas; ïe, eu bod yn anhepgorol y tu arall i'r afon. Y beichiau hyn, yn wir, nid oeddynt mor bwysig a'r pethau a daflasid i'r tyrau ar y daith. Nid oeddynt yn ddigon o angenrheidrwydd i'w suddo yn y llif,

neu i beri eu gwrthod fel llofruddion a lladron wrth y porth; etto, yr oeddynt o natur anaddas i'r wlad perffeithrwydd. Edrychais yn graff ar rai o'r tyrau hyn, ac yr oeddynt yn cynnwys rhai pethau a allasent wneuthur i un wenu ar achlysur llai sobr. "Pa beth," ebe fi, wrth bererin oedd yn dynesu, "ydyw y celfi hyn sy'n llenwi y traeth a'r afon?" "Gwendidau, culfarnau, hynod dybiau, camsyniadau, a phartïol byngciau dynion duwiol," eb efe. "Gwel mor dŷn y maent wedi eu rhwymo am danynt hyd y mynyd olaf: ond wele, dacw hwy yn myned, y naill ar ol y llall—nid oes ronyn o honynt ti weli, yn cyrhaedd y lan arall. Craffa ar y pererin digynnwrf acw." "Mi a'i hadwaen yn dda," ebe finnau, "cyfaill anwyl i mi oedd, a drwg genyf ddweud mai Crynwr yw; ond yr ydwyf o'r farn ei fedyddio â'r Yspryd Glân, er na fedyddiwyd ef â dwfr." "Ië," ebe fy nghydymaith, "efe ydyw: ond edrych efe a farnodd yn anhepgorol fyned â'r *het* a'r cantel llydan drosodd i'r ddinas—na chai yno neb fyned i mewn hebddi; ond ni wna 'r tro—dacw hi wedi ei thaflu, ac yn myned gyd â'r ffrwd at y cruglwyth mawr o berwigau Esgobion, cwcyllau athrofâau, gwen-wisgoedd Offeiriaid, croesau Pabyddion, a bon-hetau Wesleyaid." "Sut yr â y gwr acw drosodd," ebe fi ynof fy hun, "ac ar ei gefn anferth lyfr o gorph difinyddiaeth, heb fawr ddim ond testynau o'r Ysgrythyr o wirionedd ynddo." Dacw gyfaill i mi, yr hwn oedd wrthwynebwr gwresog i fedydd plant, ac ar ei gefn gafn o ddyfais newydd, digon helaeth i fedyddio dynion llawn oed, wedi ei rwymo yn dŷn; ac hefyd Eglwyswr trwyddo, wedi cortynu am dano ddarlun anferthol o glochdŷ newydd, o'i ddyfais ei hun: ond wele y ddau yn llawen yn eu taflu ynghanol yr afon, ac yn gafaelu yn yr un ystyllen, ac arni dacw 'r ddau yn gyfeillgar yn nofio drosodd. Gwelais Mr. Fletcher a Mr. Hervey yn tirio, law yn llaw: a Mr. Wesley a Toplady yr un modd. Dacw Jones a Davies, dau Gymro, yn myned i fynu o'r dwfr, gan ysgwyd dwylaw: ond Och, y cruglwyth o bapurau ymrysongar sydd yn ymledu hyd yr afon ar eu hol! ond y mae 'r cwbl ag ydoedd dda, ac o Dduw, wedi myned drosodd gyda hwy. Tybiodd yr Arch-esgob Fenelon y gallai gario ychydig arladenau *(wafers)* a llonaid costrel fechan o ddwfr cyssegredig drosodd; nid oeddynt ond ysgafn: ond dacw 'r cwbl yn cael eu lluchio i'r ffrwd, a da cael myned drosodd ei hun! Tra yn syllu ar y pethau hyn, wele fy nghyfaill y treuliaswn y prydnawn gyd âg ef, yn dyfod yn hoyw at yr afon, a'r tair gwyrth newydd mewn cwd, a sypynau anferthol o areithiau a phregethau o blaid gwyrthiau, a thafodau dieithr, a'r mil blynyddoedd, wedi eu rhwymo yn nghyd ar ei gefn: eithr awel o wynt a chwythodd yr holl ysgrifeniadau, ddalen oddiwrth ddalen, megys pethau ysgafnach na gwegi. Briwodd hyn ef yn fawr; ond dacw ef yn cymmeryd y dwfr, a'r cwd a'r gwyrthiau ar ei gefn: a llawer gwaith y tybiais y buasai yn darfod am dano. Yr oedd weithiau i lawr dan y dôn, weithiau â'i ben o'r dwfr, nes o'r diwedd y bwriodd y cwd i'r llif. Erbyn cyrhaedd y lân arall, nid oedd ganddo ddim ond Bibl heb yr Apochrypha, a'r wisg brïodas. Ac O, fel y llawenheais ei weled yn fyw, er colli y pethau a farnai ef mor werthfawr!

Y peth a'm synodd fwyaf, a'r hyn a barodd y llawenydd penaf im', oedd gweled a chlywed y duwiolion, o bob enw, mor llawn o serch a chariad, yn cofleidio eu gilydd tu draw i'r afon; a'r Dr. Watts a Doddridge yn uno i ganu yr un Anthem gyd âg Offeiriaid ac Esgobion, &c.

Yma daeth galwad arnaf fy hun i fyned trosodd; a mwy, ïe, llawer mwy nag a feddyliaswn oedd y pethau yr oedd raid i mi eu taflu ymaith. Mwy, yn wir, oedd fy maich na baich fy nghyfaill a aethai drosodd o'm blaen. Teflais gymmaint ag a fedrais ymaith, a neidiais i'r afon, a ias y dwfr oedd yr hyn a'm deffrôdd.

R. Ll.

---

## RHAGRITH.

Rhaid i ragrithiwr fod yn wastad ar ei wyliadwriaeth, rhag iddo fradychu ei hòniadau ei hun. Mae rhagrith gan hyny yn dra helbulus i'w pherchenog, mae ei holl fywyd yn benbleth a blinder iddo. Ond y dyn cywir sydd a'i yrfa yn esmwyth; canys y gwirionedd sydd yn wastad yn gysson âg ef ei hun, ac nid rhaid

i'w benchenog mo'r trafferthu ynghylch ei eiriau na'i ymddygiadau, mae efe megys yn teithio ffordd eglur a hygyrch, yr hon a'i harwain i ben ei daith yn ddïogel, yn llawer amgenach na chroes-ffyrdd, y rhai sydd yn tywys llawer ar grwydr.—ARCH-ESGOB TILLOTSON.

---

## LLOFFION.

YCHYDIG sydd yn gofalu am fyw yn dda, ond llawer am fyw yn hir: er ei bod yn ngallu pawb wneuthur y naill, ac nad yw yn ngallu neb wneuthur y llall.

Enllibwyr ydynt debyg i wybed, y maent yn myned heibio i fanau iach dyn, ac yn dal ar ei friwiau.

Geiriau ydynt debyg i saethau, y rhai ni ddylid eu saethu ar amcan.

Y mae y tlodion yn anamlach yn glaf o eisieu ymborth, na'r cyfoethogion ar ol gormodedd o hono.

Y neb a feddylio y gwna arian pob peth, gellir yn gyfiawn ammeu y gwnant bob peth am arian.

C. T.

---

## "Y BIBL, YR HOLL FIBL, A DIM OND Y BIBL."

### AT Y CYMRY.

ER amser y Diwygiad Protestanaidd bu Cymru yn noddfa egwyddorion Protestaniaeth hyd yn hyn: ni lechodd rhwng ei bryniau llwydion ond ychydig o olion Pabyddiaeth, a llai o'i hyspryd. Dynodiad crefydd Protestaniaeth ydyw, "Y BIBL, YR HOLL FIBL, A DIM OND Y BIBL." Os gwyra crefyddwyr CYMRU oddiwrth yr egwyddor hon, nid ydynt mwyach yn Brotestaniaid; a phob ymgais a wneir yn ei herbyn sydd yn cloddio dan ryddid a gogoniant crefyddol ein gwlad. Yn yr Iwerddon y mae yr ymgais hwn eisoes wedi dechreu. Yn awr y mae yr udgorn yn seinio i'r frwydr—Pabyddion ydynt yn ymrestru o dan eu hen faner, ar yr hon y gwelir, mewn llythyrenau duon, "GWRTHWYNEBIAD I AIR DUW." Yn ddiweddar yr oedd y Bibl yn nwylaw 432,000 o blant Ysgolion yr Iwerddon. Gwelodd Pabyddion nad oedd gobaith i'w teyrnas sefyll o flaen hwn. Cododd terfysg yn eu gwersyll; a lluoedd y tywyllwch yn gynnorthwy i'w byddin, rhuthrasant i'r gâd. Llwyddasant yn y Senedd i dynu ymaith *holl* air Duw o'r Ysgolion, gan adael yn ei le ddarnau o hono gwedi eu gwyro at eu harchwaeth, a gadael allan y rhanau a wrthwynebant eu daliadau cyfeiliornus hwy. Rhoddir miloedd o arian y deyrnas i gynnal Prif-ysgol y Pabyddion yn Maynooth, a thynir ymaith yr hyn a roddid er cynnal yr Ysgolion Protestanaidd. Nid yw hyn ond rhan o ymddygiad Pabyddion yr Iwerddon. Y mae Protestaniaeth yn wasarn yno: llofruddir Gweinidogion yr Efengyl yn ngoleu dydd: ereill a yrir o fro eu tadau i ymofyn am noddfa ym mangre yr estron: a naceir i'r gweddill eu hiawnderau cyfreithlon.

Gymry, dyna ddarluniad gwir o gyflwr eich brodyr yn y Chwaer Ynys. Os ydych yn parchu eich breintiau eich hunain—os ydych yn ymffrostio yn eich enw fel Protestaniaid—os ydych yn gweled gwerth mewn meddiannu gair Duw yn ei burdeb a'i gyflawnder—deffrowch at eich dyledswydd: na adewch i Brotestaniaid gael eu llofruddio yn ngwydd yr haul, heb i chwi godi eich llef yn erbyn yr alanas—na adewch iddynt gael eu hymddifadu o air y JEHOFAH, heb ddywedyd yn erbyn "pwys plaid orthrech"—heb ddywedyd mai genedigaeth-fraint pob Protestant a phob Cristion ydyw y Bibl—ac mai RHYFYG PENAF dyn ydyw darnio yr hyn a roddodd Duw fel datguddiad cyfan o'i ewyllys, er mwyn esgusodi a boddio cyfeiliornad. Y mae "yr HOLL Ysgrythgrythyr wedi ei rhoddi gan ysprydoliaeth Duw," &c.

Gymry, pan yr ymrestra *gêlynion* y Bibl yn *ei erbyn*, dyledswydd ei *gyfeillion* yw ymrestru *o'i blaid*. Y mae ergyd ar gael ei gyfeirio at eich rhyddid crefyddol chwithau. Os llwydda yr ymgais i ddarnio gair Duw yn yr Iwerddon, nid hir y bydd cyn y gwneir ymgais cyffelyb yn Nghymru. *Deffrowch—gelwch Gyfarfodydd yn eich Plwyfau a'ch Siroedd: anfonwch Erfyniadau at y brenin, a dau Dŷ y Senedd o blaid eich brodyr Protestanaidd: a chyhoeddwch i'r holl fyd, mai gwers gyntaf a gwers olaf eich egwyddor ydyw*—"Y BIBL, YR HOLL FIBL, A DIM OND Y BIBL."

## COFRESTR O'R HOLL LYFRAU PRINTIEDIG, GAN MWYAF A GYFANSODDWYD YN YR IAITH GYMRAEG, NEU A GYFIEITHWYD IDDI HYD Y FLWYDDYN 1717.

PAUPERIS EST NUMERARE PECUS.

Printiedig yn Llundain, gan Brintwyr y Brenin, 1717.

### Y CYFLWYNIAD.

*At yr Anrhydeddus* RICHARD MOSTYN, *o Benbedw, yn Sir Ddinbych, Ysgwier.*

SYR,

Ni ryfygaswn i gyflwyno erthyl mor afluniaidd ac amherffaith a hwn i'ch ffafr chwi a'ch nodded, oni bai fod yn ddiammau gennyf fod eich cariad chwi at y Cymry mor fawr, nad oes le i betruso na chaiff y meredig hwn hefyd, er dielwed yw, ac yntau yn Gymro, ei gynnwys, a'i gyflawn groesawu, ym mhlas Penbedw.

Mi wn yn rhy dda fod gormod, ysywaeth, o'm Cydwladwyr wedi gorffwyllo cymhelled yn ddiweddar, nad yw 'n gywilydd yn y byd ganddynt gablu a dibrisio hynny y mae pawb eraill agos o holl drigolion Ewropa yn cynfigennu wrthym o'i achos; ac odid mawr nad edrych y cyfryw ddynionach ar y gorchwyl bychanigyn ymma megis Gwrthwaith ac Anoberi: eithr nid wyfi 'n ammau na bydd eich esampl haelionus chwi a'ch tylwyth, ynghyd â'r eiddo eraill o Gymmwynaswyr ac Amgeleddwyr yr amcanion Cymreig sy'n awr ar droed, yn fodd y'w denu hwynt, heb o hûr, nid yn unig i faddau i mi fy mhoen hwn, eithr hefyd i roddi ei dyledus barch i'r hynaf a'r odidocaf o'r ieithoedd yn y cwr ymma i'r ddaear, a'i chadw a'i choleddu hi yn dra gwrolwych, drwy annog gwyr da poenus a chyfarwydd i grynhoi, a threfnu, a phrintio Gweddillion Ysgrifeniadau ein Hynafiaid sy a'r gyfeiliorn, cyn o'i myned yn llwyrgwbl ar gyfrgoll.

Mae Sais cynhwynol, gwr dysgedig dros ben, ac Athraw Difinyddiaeth, wedi myned yn gystal Cymreigydd, o fewn i'r ddwy flynedd ymma, a'i fod mor hyfedr a chymmeryd *coppi* o Gyfraith Hywel Dda yn llaw eisioes, yr hwn y mae yn addaw ei osod allan yn Gymraeg a Lladin ar fyr amser. Mae cynnifer o'r Cymry hwythau mor brysur yr awron ar waith, rhai yn taclu hen lyfrau Brythoneg, eraill yn cyfieithu rhai Seisnig newydd; a'm bod i yn gobeithio 'ch anrhegu chwi etto ar fyrder âg Argraphiad arall o'r Traethawd ymma, a chymmaint o anchwanegiadau ynddo ag a wnelo iawn am wallau hwn a luniaethwyd ar ffrwst gan, Syr, eich rhwymedicaf, a'ch gostyngeiddiaf wasanaethwr, MOSES WILIAMS.

### AT Y CYMRY.

LLYMMA i chwi, fy Nghydwladwyr addfwyn, Gofrestr o'r holl Lyfrau Printiedig, gan mwyaf a Gyfansoddwyd yn y Iaith Gymraeg, neu a Gyfieithwyd iddi hyd y flwyddyn hon, a hysbysrwydd hefyd pa sawl gwaith y printiwyd hwynt. Mi a wn fod bagad yn ychwaneg ar gerdded yn y byd, ni ellais i ddyfod o hyd iddynt; ac mi a welais lawer o rai candryll, heb na dechreu na diwedd iddynt, yn ddiymgeledd ar draws tai yng Nghymru, a diammau fod rhai hefyd ni chlywais i etto son am danynt. Eithr os byddwch chwi mor fwyn a rhoddi i mi hanes neb Llyfrau neu Argraphiadau ni chrybwyllir ymma, ond antur chwi gewch Gofrestr a fo perffeithiach a chyflawnach amser arall, gan eich Gwasanaethwr gostyngeiddiaf yn y Iaith Gymraeg. MOSES WILIAMS.

LLUNDAIN, *y 7fed o Fehefin*, 1717.

*D. S.* Yn y Cofrestr hwn dilynir yr orgraph a arferir gan yr Awdwr, ynghyd â'r drefn y'mha un y dododd efe y llyfrau i lawr o barth y blynyddoedd y cyhoeddwyd hwynt.

## COFFRESTR O'R HOLL LYFRAU PRINTIEDIG, &c.

1. A. B. C.—Yr A. B. C. neu lyfr i ddysgu Darllain Cymraeg, at yr hwn y chwanegwyd Catecism yr Eglwys. 8°. Mwythig ·············· ——
2. Artemidorus—Gwir ddeongliad Breuddwydion. O Gyfieithiad Thomas Jones. 8°. Mwythig ·········· 1698
3. Hyfforddwr Cyfarwydd i'r Nefoedd, neu wahawdd difrifol i Bechaduriaid i droi at Dduw er iechydwriaeth, gan ddangos i'r Pechadur ystyriol beth sydd raid iddo wneuthur i fod yn gadwedig. Gan Joseph Alleine, Gweinidog yr Efengyl gynt yn Taunton yng Ngwlad yr Hâf. 8°. Llundain ·········· 1693
4. Allwydd.—Allwydd neu Agoriad Paradwys i'r Cymru, h. y. Gweddiau, Devotionau, Cynghorion ac Athrawiaethau tra Duwiol ac Angenrheidiol i bob Cristion yn mynnu agoryd y porth, a myned i mewn i'r Nef, wedi eu cynnull o amryw lyfrau Duwiol, a'u Cyfieithu yn Gymraeg, neu wedi eu Cyfansoddi gan J. H. 24°. yn LVYCK imprintiwyd yn y flwyddyn ·········· 1670
5. Articlau.—Y Namyn un deugain Articlau Grefydd. O Gyfieithiad J. D. SS. T. D. 4°. ·········· 1664
——— ——— ac o Anffurfiad Thomas Jones. 8°. ·········· ——
——— ——— ——— ac o adgyweiriad S. ac M. Williams. F°. Llundain 1710
6. Annogaeth fer i'r Cymmun Sanctaidd, gyda natur a mesur y Paratoad i'w dderbyn. O Gyfieithiad Thomas Williams. 24°. Llundain ···· 1710
7. Trefn o ddefosion beunyddiol. O Gyfieithiad N. R. A M. 24°. Llundain 1700
Duwiolder am Ddydd yr Arglwydd. 8°. ·········· ——
8. Atcofiad.—Atcofiad o'r Scrythyr, neu Holiadau ac Attebion, ynghyd â'u profiadau allan o'r Scrythyr Lân. 8°. Mwythig ·········· 1704
9. Attebion.—Attebion i'r holl wag Esgusion a wnae llawer o bobl yn erbyn dyfod i dderbyn y Cymmun Bendigedig; a cholledig gyflwr y rhai a Esgeulusant ddyfod i Swpper yr Arglwydd O Gyfieithiad Michael Jones, Deacon, mab Michael Jones, Ficar o Eastyn, yn Sir Fflint. 8°. 1696
10. Hymnau Sacramentaidd 'Scrythyrol. Gan T. B. s. y. Thomas Baddy. 8°. Llundain ·········· 1703
11. Esponiad ar Gatecism yr Eglwys, neu Ymarfer o Gariad Dwyfol. Gan Thomas, Esgob Baddon. O Gyfieithiad William Foulkes, A. M. 8°. Rhydychen. Thomas Baddy, & Wadsworth, & Doolittel, & T. B. 1688
12. Yr Ymarfer o Dduwioldeb. Gan Lewis Baily, Esgob Bangor. 8°. Mwythig, a 12°. Llundain ·········· 1630
13. Bara i Blant, neu Wyddorion Cyntaf y Grefydd Gristnogawl. O Gyfieithiad R. P. Pregethwr yr Efengyl. 12°. Llundain ·········· 1695
14. Galwad i'r Annychweledig. Gan Richard Baxter. 8°. Llundain ···· 1677
Bellach neu Byth. O Gyfieithiad Mr. Richard Jones, o Ddinbech, 8°. Llundain ·········· 1677
15. Amdo i Babyddiaeth. 8°. Llundain ··· 1672
16. Dattodiad y Cwestiwn mawr. 12°. Llundain ·········· 1693
17. Catecism byr. 12°. Llundain ·········· 1693
18. Pregeth ynghylch Godidawgrwydd a Defnyddiaeth neu lesioldeb Llyfer y Gweddiau Cyffredin. Gan William Beveridge, D. D. Esgob Llanelwy. 12°. Llundain ·········· 1693
19. Eglurhad o Gatechism yr Eglwys. O Gyfieithiad Thomas Williams, M. A. 8°. Llundain ·········· 1708
20. Meddyliau neillduol ar Grefydd. O Gyfieithiad Iago ab Dewi. 12°. Llundain ·········· 1717
21. BIBL.—Yn y Llyvyr hwnn y Traethyr Gwyddor Kymraeg. Kalendyr. Y Gredo neu bynkey yr ffydd Gatholig. Y Pader neu Weddi yr Arglwydd. Y deng air Deddyf. Saith rinwedd yr Eglwys. Y Kampay arveradwy, a'r Gweddiau Gocheladwy ac Keingeu 4°. ·········· 1546
Kynniver llŷth a ban o'r Ysgrythyr ac a Ddarlleir yr Eccleis pryd Cymmun, Sulieu, a'r Gwilieu trwy 'r Vlwyddyn. O Gambereiciat William Salesbury. 4°. Llundain ·········· 1551
22. Testament Newydd ein Arglwydd Iesu Grist, gwedi ei dynnu, yd y Gadai yr angcyfiaeth air yn ei Gylydd or Groec ar Llatin, gan newydio ffŷrf llythyrau a Gairiae-dodi. Eb law hynny y mae pob Gair a dybiwyd y vod yn andeallus, ai a ran Llediaith y wlâd, ai o ancynnefinder y

y devnydd, wedi ei noti ai Eglurhau ar ledymyl y tu dalen Gydrychiol. O Gyfieithiad William Salesbury, D. R. D. M. a T. H. C. M. 4°. Llundain ........................................ 1567

23. Yr Hen Destament, a'r Apocrypha, a'r Testament Newydd. O Gyfieithiad William Morgan, Esgob Llanelwy. F°. Llundain ........ 1588

¶ ——————— A chwedi eu Gwellhau gan Richard Davies, Esgob Llan Elwy. F°. Llundain ........................................ 1620

¶ ——————— Ac ynghyd â Llyfr Gweddi Gyffredin, a'r Salmau darllen a'r Salmau Cân. 8°. Llundain ........................................ 1630

¶ Y Testament Newydd. 12°. Llundain ........................................ 1647

¶ Y Ddau Destament, a'r Salmau Cân yn unig. 8°. Llundain ........ 1654

¶ Llyfr y Psalmau [Cân a Darllen] ynghyd â'r Testament Newydd ein Harglwydd a'n Hiachawdwr Iesu Grist. 8°. Llundain ........... 1672

A Sheet in F°. containing some Omissions and Mistakes in the British Translation and Edition of the Bible, appointed to be had and read in the Churches in Wales, to be Supplied and Rectified ............ ——

¶ Y ddau Destament, ynghyd â'r Apocrypha .. ........................ ——

24. Llyfr Gweddi Cyffredin, a'r Salmau Cân. 8°. Lundain ............ 1677-78

¶ Y ddau Destament a'r Salmau Cân yn unig. 8°. Llundain ........ 1689

Y Ddau Destament a'r Apocrypha yn unig. F°. Rhydychen ........... 1690

25. Prif-fannau Sanctaidd, neu Law-lyfr o Weddiau, &c. Gan William Brough, D. D. O Gyfieithiad Row. Vaughan. 8°. Llundain ...... 1658

26. Ymddiffyniad rhag pla o Schism. Cyfieithiad R. V. Ibid ............ ——

27. Taith y Pererin. Gan John Bunyan. O Gyfieithiad Cymmysg Ddwylaw. 8°. Llundain ........................................ 1688

——————— ac o Gyfieithiad Thomas Jones. 8°. Mwythig .... 1699

28. Cymmorth i'r Cristion, &c. Gan William Burkitt, M. A. 8°. Mwythig 1704

29. Cadwyn euraidd, &c. neu ystyriaeth byr o'r pedwar peth olaf, sef Marwolaeth, Barn, Uffern, y Nef. 8°. Llundain ........................ 1707

30. Carolau a Dyriau Duwiol. 8°. ........................................ 1696

Catecism & Bibl. T. Lewis, & Beveridge, & Baddon ..................... ——

31. Y Catecism a osodwyd allan yn Llyfr Gweddi Gyffredin, wedi ei egluro ar fyrr eiriau. 8°. Rhydychen ........................................ 1682

32. Catecism y Cymanfa, &c. 8°. Llundain ........................................ 1701

33. Amddiffyniad byrr dros y bobl (mewn gwawd) a elwir Quakers. Gan W. Chandler, A. Pyott, John Hodges, ac eraill. 8°. Llundain .... 1704

34. Yr Athrawiaeth y sydd yn ol Duwioldeb, &c. at yr hyn y chwanegwyd byr hanes o drefn Eglwys 'r Efengyl yn ol y Scrythyrau. Gan Isaac Chauncy, M. A. 8°. Llundain ........................................ 1711

35. Traethawd ymarferol am Gyfiawn-awdŷrdod Duw a'i Gyfiawnder ef, ynghyd â'r Pethau pwysfawr ereill, y rhai sydd yn tarddu oddiwrth ei awdyrdod ef, sef, Etholedigaeth, Prynedigaeth, Galwedigaeth Effeithiol, a Pharhaad mewn Gras. Gan Eliseus Cole. O Gyfieithiad H. Powel, o Faesclettwr, yn Sir Frecheiniog. Llundain ........... 1711

36. Naturiaeth Conffirmasion wedi ei hegluro drwy holi ac atteb. 8°. .... 1706

37. Cordiad yr Scrythyrau. 8°. Llundain ........................................ 1653

38. Sail Crefydd Gristnogawl. 8°. ........................................ ——

39. Gwyddorion y Gwirionedd, neu y pethau hynny ynghylch athrawiaeth ac addoliad y sicr Gredir ac a dderbynnir gan y bobl a enwir Qwakers, &c. Gan Jo. Crook. 8°. ........................................ 1704

Ynghylch Anogaethau yn Achosion Crefydd. Ibid. ........................ ——

40. Cowir a ffyddlawn atteb i Lyfr a enwir, Ychydig Gyfarwyddiad i'r Cymru yn erbyn y Cyfeiliorni sydd ym mysg y bobl a elwir Cwacers, yn yr hwn y mae yr awdwr di henw yn dangos ei yspryd maleusus a chenfigennus yn erbyn pobl Dduw. Gida gwahoddiad i'r Cymru truain fel y byddo yddynt uno goleini Crist oddimewn uddynt a rhodio yntho. Oddiwrthim ni, y rhai y mae y byd drygionus mewn gwawd yn ei galw Cwacer. Chandler, & Crook, & Rondl Davies, & Evans. 12°. Llundain ........................................ 1660

41. Drych Cydwybod, sef modd cymmwys a ffrwythlawn i ddwyn pob math ar ddyn i gael Gwybodaeth o'i bechodau, a megis ei gweled gar bron ei lygaid, gan ddangos iddo pa fodd y gwneiff ei Cyffes iw Dadenaid, ar modd i gael meddiginieth am danynt. 12° ........................ ——

*(I'w barhau.)*

# BARDDONIAETH.

## COFION BARDDONOL.

### DIAREBION SOLOMON.

Gwraig gall yn ddi ball dda bwyllwawr——gofus,
A gyfyd dŷ gwerthfawr;
Gwraig arall annealfawr,
Taer lun, a fwrw 'r tŷ lawr.

Gwraig ddoeth addfeingoeth fwyngu,——synwyrol,
Hon sy'n euraw lletty;
Fel coron foddion feddu,
Ar ben ei gwr cyflwr cu.

Gwraig ffol ddi reol ddi ras,——a'i meddwl
Ar bob moddion atgas,
Sy bwdr llwgr fodd lliwgas,
Yn esgyrn ei gwr ysgoru gas.

A gaffo wraig heb ddig affeth——cnawd,
Un burffawd yn berffeth;
Mae 'n cael gafael ar gyfeth,
O ffafr Duw byw iawn beth.

Ein tai o'r hyna' fe'u rhanwyd——tadawl,
O'r teidiau appwyntiwyd;
Gwraig hawddgar a ddarparwyd,
Radd da les o rodd Duw lwyd.

Cyfraith Duw yw rhyw oreu rhaid——trythyll,
Traetha ein hanwyl-blaid;
Mwy gwerthfawr yw 'r wawr euraid,
Na'r tlysau gorau a gaid.

Gwell tamaid o chaid heddychol——llonydd,
O'r lluniaeth corphorol,
Na llonaid plas urddasol
A dig gwenwynig yn ol.

Gwell draw yw ciniaw mewn cu unedd——lŷs,
O leision ddail peredd,
Nag ŷch pasgedig wych wedd,
Ddiwyg llawn trwy ddigllonedd.

HUMPHREY DAFYDD AB IFAN.

Y gwr uchod oedd yn Glochydd Llanbrynmair, ac a flodenawdd (medd ein haneswyr) o'r flwyddyn 1620 hyd 1660.

---

## CWYNFANIAD Y CAETHION.

Mae clywed am gyflwr y Caethion
Dan ormes y creulon hen *grew*,
Yn ddigon i rwygaw y teimlad,
A dryllaw y galon yn friw;
Mae 'n aethus i feddwl fath foddau,
'Hed drwy y meddyliau fel saeth;
Truenus, echrydus, Och! adrodd
Y llymder a oddef y caeth!

Yn gyntaf fe'u prynir yn anfad,
Gan ddynion dideimlad yn wir;
Ac yna fe'u rhwymir â chadwyn,
I'w dwyn hwynt yn sydyn o'u tir;
Mae hyny 'n dòr calon o herwydd
Ymadael a'u gilydd am byth,
Heb obaith un amser dychwelyd
I wel'd eu hanwylyd tra chwyth.

Mae dynion â chalon iach helaeth
Yn gwneuthur marsiandiaeth o hyd,
Trwy brynu a gwerthu yn warthus
Drigolion anffodus y byd:
Mawr wylo a lleisio mewn llesmair,
Mae 'r truain heb gellwair un awr;
Danfonir a dygir hwy 'n ddegau
I ddieithr gornelau y llawr.

Ac wedi'n mewn cadwyn fe'u cedwir
I oddef y llafur a'r llid,
Cànt weithio heb gilio yn galed,
Dal ati 'n ddiarbed o hyd;
Nid hawddwaith ysywaeth is awyr,
Ond gorchest a gyrchir bob dydd;
Ow druain! maent felly mewn lludded
Heb obaith cael myned yn rhydd.

Os byddant yn methu rai gweithiau,
Gan gwyno gofidiau yn dost,
Ceir clywed y ffrewyll yn chwyfio
O'u deutu i'w chwipio wrth bost;
Cànt wed'yn orchymyn a chamwedd,
Gan ddyn di drugaredd a drwg,
I weithio, gan fwgwth yn greulon,
Fel un o ellyllon y mwg.

Fe ddaw y gormeswr bob borea,
A'i lygaid fel fflamau o dân,
Gan drystiaw ei ffrewyll yn ffyrnig
A golwg ddieflig a ddaw:
Gorchymyn bob un at ei orchwyl,
Gan regi yn rhigyl y rhai
Na neidient mewn eillad i fynu
Pan glywent y mawrgri 'n nesau.

Benywod beichiogion yn trengu
Trwy gael eu ffiangellu mor drwm,
Ow druain! plant bychain di bechod
Yn marw gan ddyrnod y plwm!
Eu cnawd yn archollion anafus,
Rhwygiadau dolurus i gyd,
Rhyw fywyd anhyfryd sy ganddynt,
Yn nghanol drwg helynt o hyd!

Mae calon ofnadwy o galed,
Cydwybod serledig a chas,
Yn meddiant y creulon ddyhirwyr,
Gweithredoedd mileinig di ras;
Mae 'r bechgyn a'r merched un ffunud,
Mewn moddau dychrynllyd yn wir,
Tan boenus arteithiau gormesawl,
Gelynawl arswydawl a sur.

Mae cannoedd o honynt i'w gweled
Yn gaeth gan farsiandwyr y byd,
Ym mharthau gorllewin y ddaear
Yn gweithio y *siwgr* o hyd:
Ond cofiwn gydwladwyr 'r ym ninnau
Yn achos o'u poenau yn siwr,
Trwy arfer a phrynu y *siwgr*
A liwir â'u gwaed, clywch y stwr.

ISAAC.

*Minrheidiol.*

---

## ENGLYNION I'R CYBYDD.

Ti Gybydd annedwydd nod,——dwys ystyr
Y toster a'r trallod,
A ddaw arnat ryw ddiwrnod,
Swydd oer ddu wyw sydd ar ddod.

Pan ddel atad y cenad cas,——angeu,
Ni ddiengi Grinwas;
Dy holl lwydd nid all luddias
Ei saethau na'i gleddau glas.

Dy drysor o'th anfad drawsedd,——sy'n awr
'N darswyno dy duedd;
O'u hol, ffol-ddyn, colyn cledd,
Adawant yn y diwedd.

DERWEN.

## EMYN

### AR DDAROSTYNGIAD, DIODDEFAINT, A DYRCHAFIAD CRIST.

On'a destyn wrth fy modd,
I foli Duw ar g'oedd,
Am farwol glwy';
Cydganwn oll ynghyd
Yr Anthem faith ei hŷd,
Am gariad Prynwr byd,
Hosanna mwy.

Wrth gofio Bethle'm dref,
Lle ganwyd Tywysog nef,
A'i dlodi drwy;
Mae 'n enyn nefol dân,
Nes seinio newydd gân,
O glod i'r Iesu glân,
Hosanna mwy.

Bu 'n ymdaith lawer awr,
Heb le i roi 'i ben i lawr,
A than ei glwy';
Ond ar Galfaria fryn,
Y ca'dd ei boeni 'n syn,
Bydd canu byth am hyn,
Hosanna mwy.

Y nefoedd fawr a'r byd,
Ac uffern lawn o lid,
Ro'dd iddo glwy';
Goddefodd lid ei Dad,
O'i wirfodd rhoes ei waed,
Ca'dd Satan tan ei draed,
Hosanna mwy.

Gorchfygodd uffern lu,
Gelynion o bob tu,
A maeddodd hwy;
Mae 'n awr ar orsedd nef,
Lle cenir anthem gref,
O foliant iddo Ef,
Hosanna mwy.

Daw tyrfa rif y gwlith,
O'r anial etto i'w plith,
A'u cwmni hwy;
Dadseiniant Iddo Ef,
A llafar hyfryd lef,
Dros fyth yn nheyrnas nef,
Hosanna mwy.

I'r Tad a'r Mab yn un,
A'r Yspryd yn gytun,
Cydseiniant hwy;
Down ninnau yn y man,
O'r anial dir i'r lân,
A sefwn yn ein rhan;
Hosanna mwy. E. AB R. *Conwy.*

## DOS, CLODDIA DY FEDD.

Dos, cloddia dy feddrod—difianu ar fyrder
Wna pob rhyw ddigrifwch adwaenir gan ddyn;
'Dyw ie'ngctyd ond chwidredd, a chanol oed pryder,
A henaint sy gyflwr alaethus a blin.

Byr, byr, er melused yw mwyniant ein hie'ngctyd,
Y byd a'i helbulon yspeiliant ein hedd;
A'r diwedd o'r oll eilw 'r ddaear yn hyfryd
Yw prudd-der penwyni—Dos, cloddia dy fedd!

Dos, cloddia dy feddrod—er profi hyfrydwch
Wrth roddi dy feddwl ar forwyn wiw lon;
Er treulio mynydau yn llawn o ddedwyddwch,
Rhyw adeg a dderfydd yn fuan yw hon.

Er cystal y fonwes-wyt 'nawr yn gofleidio,
Hoff wrthddrych dy gariad, er glaned ei gwedd;
Y fonwes mor gynnes a wnawd i adfeilio,
A'r harddwedd i wywo—Dos, cloddia dy fedd!

Dos, cloddia dy feddrod, er maint dy ddysgeidiaeth,
Er cryfed dy ddeall, er gwyched dy ddawn;
Tros enyd yn unig y pàr pob rhagoriaeth,
'Does unrhyw wahaniaeth yn bod tan y mawn.

Ped elai dy enw yn fawr trwy 'r holl fröydd,
Yn gymmwys i'th ganmol, pe gwnaed iti wledd;
Mae 'r awr yn dynesu, er cuwch fyddo 'r clodydd,
Ni chlywi mo honynt, ti gysgi mewn bedd!

Dos, cloddia dy feddrod, er tyru meddiannau,
Er ennill goludoedd yn llonaid dy gôl;
Yn fuan ti syrthi 'n ysglyfaeth i angau,
Wael adyn! rhaid gadael dy eilun ar ol.

Och! breuddwyd yw ie'ngctyd, a chariad daearol,
A dysg, dawn, a golud, i'r cyfryw a'n medd;
'Dyw bywyd ei hun ond arosfa amserol
Ar dy fin Dragwyddoldeb!—Dos, cloddia dy fedd!
D. C. IEU.

## ENGLYNION

*A fwriadwyd i'w rhoddi ar Fedd hen ŵr, yn 104 mlwydd oed.*

Ei rodiad fu 'n ddiw'radwydd——yn y byd,
Yn bedair a chanmlwydd,
Dan gêl fe'i rhoddwyd o'n gŵydd;
Obry 'r awn ninnau 'n ebrwydd.
GWILYM PADARN.

Yn ddigoll deg o ddegau, ——a phedair,
O ffodus flynyddau,
A dreuliais; gwelais ffyrdd gau,
A daearol flinderau.
G. AB GWILYM PADARN.

# HANESION GWLADWRIAETHOL.

## NEWYDDION TRAMOR.

NID oes ond ychydig o hanesion o barth helyntion Tramor er ein Rhifyn diweddaf, a'r ychydig hyny nid ydynt o fawr bwys.

PORTUGAL.—Dywedir fod llywodraeth yr Hispaen yn brysur iawn yn ei pharotoadau i gynnorthwyo Don Miguel i wrthwynebu ymosodiadau Don Pedro yn ei ymdrechiadau i adferu coron Portugal i'w chyfiawn etifedd, sef ei Ferch, y Dywysoges Donna Maria.

GWLAD GROEG.—Y mae cyflwr tufewnol Gwlad Groeg yn llawn mor helbulus a gwlad Portugal, a hyny o achos yr un achlysur, sef natur ansefydlog y ffurf o lywodraeth.

FFRAINGC.—Y mae cyflwr y deyrnas hon ym mhell o fod yn dangnefeddus. Cafwyd brad-fwriad allan yn ddiweddar i ddwyn ymaith yr holl deulu breninol, tra ar eu ffordd yn dychwelyd adref o wledd rwysgfawr a gynnelid gan bendefigion a goreuon Ffraingc, i'r diben naill ai

i'w llofruddio, neu eu halltudio tros y môr. Daliwyd amrai o flaenoriaid y brad-fwriad, a bwriwyd hwynt i garchar.

Y mae'n arswydus adrodd fod Ysgrif wedi cael ei dwyn i mewn i Senedd-dŷ Ffrainge, o fewn ychydig ddyddiau yn ol, i "Ddiddymu y neillduad o'r Seithfed Dydd fel Dydd yr Arglwydd, neu Sabbath; ac i droi rhai o'r Eglwysi yn lleoedd o chwareuyddiaeth." Derbyniwyd yr Ysgrif, a'i bod i gael ei chymmeryd dan ystyriaeth manylach y Senedd-dŷ y'mhen ychydig ddyddiau. "Oni ymwel yr Arglwydd am y peth hwn? oni ddial efe ar y gyfryw genedl a hon."

## NEWYDDION CARTREFOL.

Yr Iwerddon.—Dywenydd mawr oedd genym glywed fod Cyfarfod o Offeiriaid Esgobaeth Dublin a Glandelogh wedi cael ei gynnal yn ddiweddar mewn ystafell yn perthyn i Eglwys St. Patrick. Galwasid y Cyfarfod ynghyd gan Archdiacon Dublin, yr hwn a gymmerodd y gadair. Penderfynwyd i Gyfarchiad gael ei gyflwyno i'r Archesgob, yn cynnwys gwrthdystiad yr Offeiriaid yn erbyn y drefn o Ddysgeidiaeth Wladol.

---

## Y SENEDD.

### YMPRYD CYFFREDINOL.

Ty y Cyffredin.—Dydd Iau, Ion. 26.

Mr. *Perceval* a gynnygiodd fod i Ympryd Cyffredinol gael ei bennodi. Dywedai nad allai neb wadu nad oedd cyflwr y wlad yn wir alarus. Safai ar fin distryw; annhrefn ac anesmwythdra sydd yn ymddangos ym mhob rhan o honi. Tai gwyr mawr yn cael eu tori a'u hyspeilio; ac un o'i dinasoedd, rhan fawr o honi, wedi cael ei dinystrio a'i gwneuthur yn anghyfannedd. Oni ddylem ystyried ein ffyrdd, a'u gwellhau? Oni ddylem ymostwng ger bron Duw, llaw geryddol yr hwn sydd arnom, a thaer erfyn am ei drugaredd. Chwennychai ddarllen allan o lyfr a ddaliai yn ei law (y Bibl) wir sail ffyniant gwladol. Dywedai fod y deyrnas hon yn gyffelyb i Jerusalem gynt o ran ei breintiau a'i hanwiredd, ac am hyny fod yn rhaid i'w chospedigaeth fod yn gyffelyb. "Gwae di Chorazin, gwae di Bethsaida, &c. ti a dynir i lawr hyd yn uffern." Yna darllenodd ym mhellach, "Os gwrandewi ar lais yr Arglwydd, bendigedig fyddi di yn y ddinas, a bendigedig yn y maes, &c. Ond oni wrandewi ar lais yr Arglwydd dy Dduw, gan gadw a gwneuthur ei holl orchymynion ef a'i ddeddfau, melldigedig fyddi di yn y ddinas, a melldigedig yn y maes. Melldigedig fydd ffrwyth dy fry, a ffrwyth dy dir. Yr Arglwydd a wna i haint lynu wrthyt ti, nes iddo dy ddifa oddiar y tir." Mae yr haint hwnw yn awr yn ein gwlad, a dylem gyfarch yr orsedd i gyhoeddi Ympryd Cyffredinol. Dyma lle y mae yr achos o'n trueni, Ni chadwasom orchymynion yr Arglwydd ein Duw: ac os na fydd i'r deyrnas hon ymostwng, y mae dinystr gerllaw: ond os trown at yr Arglwydd, y mae maddeuant gyd âg ef. Llawer o engreifftiau sydd genym o'i drugaredd; megys pan aeth y prophwyd yn erbyn Ahab, etto pan ymostyngodd efe, Duw a attaliodd y farn. Angraifft arall sydd genym yn achos Ninifeh: "Deugain niwrnod fydd etto, a Ninifeh a gwympir;" etto ar eu hymddarostyngiad, "edifarhaodd Duw am y drwg a ddywedasai." Felly y gwna efe â ninnau, os edifarhawn yn ostyngedig a gwirioneddol. Yna aeth y'mlaen i ddangos rhai o bechodau ein gwlad. Yn gyntaf, medd efe, y mae cynnydd troseddau yn dangos diffyg o grefydd a duwioldeb. Yn ail, y mae gorthrymiad y tlodion y tu hwnt i bob amgyffred. Heb son am ddinystr Caerodor, a'r haint echryslon, y mae cyflwr y tlodion yn ddigon i beri i'r Tŷ hwn annog y Brenin i bennodi dydd o Ympryd. Yn nesaf, mae y wasg yn darddell ffrwythlawn o egwyddorion eilun-addolgar ac o anffyddiaeth. Dywedir mai "oddiwrth y bobl y mae nerth a gallu," yr hyn sydd gabledd ysgeler, canys pob awdurdod sydd oddiwrth Dduw, a dyledswydd deiliaid yw ymostwng ac ufuddhau: "Ymddarostynged pob enaid i'r awdurdodau goruchel; canys nid oes awdurdod ond oddiwrth Dduw." Llawer un sydd yn awr â'i fryd ar roddi heibio frenhinoedd ac offeiriaid, a gosod y *bobl* i fynu yn *Ben*; ar ddadymchwelyd pob trefn yn y llywodraeth, a'i gosod yn wasarn i haerllugrwydd a therfysg. Chwennychai alw ar y genedl i ymostwng, fel y gochelont y fath ddrygau. Os gwrthodent wrando ar ei alwad, cai holl Ewrop weled eu bod yn gwrthod awdurdod Duw. Taer erfyniai arnynt i barchu yr awdurdod hòno, a rhybuddiai hwynt i ochelyd yr anghrediniaeth oedd yn eu meddiannu yn ddiarwybod iddynt. Yn awr, meddai, gwnaethum i fy nyledswydd tu ag at ochelyd yr haint, a'r holl ddrygau sydd yn dyfod ar y byd Cristionogol. A'm gweddi ddyfal fydd ar i Dduw droi ymaith ei ddigofaint oddi wrthym, a llewyrchu ei wyneb arnom pan ymostyngom ger ei fron. Wrth ddiweddu, cynnygiai fod i erfyniad gael ei gyflwyno i'r Brenin ar iddo bennodi Diwrnod o Ympryd ac ymddarostyngiad cyffredinol.

*Arglwydd Althorp* a ddywedai, nad oedd y fath ddadleuon yn addas yn y fan hòno.

Mr. *Hunt* a ddywedodd y darllenai yntau ychydig adnodau o'r Bibl. Yna darllenodd *Esa.* 58. 5, 6, 7. "Ai dyma yr ympryd a ddewisais?" *&c.* A dywedai mai nid hyny oedd gwir ympryd: eithr porthi y newynog, dilladu y noeth, &c.

Mr. *Goulburn* a gynghorai ei gyfaill i alw yn ol ei gynnygiad; oblegid ei fod yn deall y byddai i Ddydd o Ympryd gael ei bennodi yn y ffordd arferol.

Mr. *Baring* a ofynai, a oedd y Llywodraeth yn bwriadu rhoddi allan y cyfryw orchymyn?

*Arglwydd Althorp* a atebai ei bod.

Yna Mr. *Perceval*, ar ol ychydig eiriau, a ganiatâodd i'w gynnygiad gael ei alw yn ol.

### CYLLIDAU Y DEYRNAS.

Ty y Cyffredin.—Dydd Llun, Chwefror 6. *Mr. Goulbourn* a achwynai oblegid ymddygiad Canghellydd y Trysorlys, yr hwn a hysbysodd y Senedd ychydig yn ol y byddai derbyniadau y deyrnas am 1831 yn fwy na'r draul o £500,000; ond yn lle hyny y mae'r draul yn £700,000 mwy na'r derbyniadau! Gofynai am eglurhad o'r fath anghywirdeb y'nghyfrifon y Canghellydd. Nid allai y wlad roddi hyder y'nghymmwysderau y Canghellydd i gyflawni gorchwylion ei swydd.

*Canghellydd y Trysorlys* a gydnabyddai na chyflawnwyd mo'i ddisgwyliadau o barthed cyllidau y deyrnas. Cyfaddefai iddo gyfeiliorni yn ei gyfrifon ynghylch yr ardreth ar y cwrw, yr hon oedd yn llai o £35,000 nag a ddisgwyliodd. Camgymmerodd hefyd am yr ardreth oddiar wirod. Yn lle cynnyddu, lleihaodd oddeutu £100,000. Heblaw hyn, bu masnach y

wlad dan lawer o orthrymderau, yr hyn a leihaodd gyllidau y deyrnas i raddau mawr. Gofalai rhagllaw y rheolid traul y deyrnas yn ol ei derbyniadau.

*Mr. Attwood* a dybiai nad ellid ymddiried yn Ngweinidogion ei Fawrhydi. Pan oedd y Dug Wellington yn Brif Weinidog, nid ydoedd traul ein byddinoedd ond £6,990,000, eithr yn awr y mae dros £7,200,000.

*Mr. Dawson* a haerai fod traul y deyrnas wedi lleihau £2,096,000 o'r flwyddyn 1828 hyd 1830; a bod y ddyled deyrnasol wedi lleihau agos i £1,000,000, ac er hyn i gyd, fod derbyniadau 1830 yn fwy na'r draul o £1,800,000.

*Mr. P. Thompson* a gyhuddai Weinidogion diweddar y Brenin o wastraffu arian y deyrnas, yr hyn oedd brif achos y tlodi presennol.

*Mr. S. Rice* a amddiffynai drefniadau y Gweinidogion presennol. Haerodd iddynt leihau traul y llyngesau, llysoedd barn yr Iwerddon, ac amryw bethau ereill.

### Y DEGWM YN YR IWERDDON.

TY YR ARGLWYDDI.—Dydd Mawrth, Chwef. 7. *Iarll Grey* a gyflwynodd erfyniad o dref Cork yn erbyn y Degwm, ac o blaid cyfraniad tecach o'r meddiannau eglwysig. Afreidiol oedd iddo ef hysbysu na chydsyniai a gweddi yr eirchiaid. Credai fod angen am ryw drefniadau a dueddent i ymchwelyd yr anfoddlonrwydd ag sydd yn awr yn yr Iwerddon, ac i wellhau cyflwr yr offeiriaid yno. Ond ni chydsyniai efe byth â'r cyfryw drefniadau, oni tharddent oddiar egwyddor o sicrhau i'r eglwys ei holl iawnderau cyfreithlon; y rhai, yn ei dyb ef, ydynt hylwyr gysson â llwyddiant y deyrnas. Adroddai hyn oblegid fod llawer o gamsyniadau wedi myned ar led o barth amcanion y llywodraeth ynghylch y Degwm. Yr oedd yn llwyr angenrheidiol i awdurdod y gyfraith gael ei gynnal yn y wlad hono; ac ni phetrusai haeru, os oedd awdurdod y gyfraith yn rhy fychan, y deuai i'r Senedd i ofyn iddynt gynnysgaeddu y Rhaglaw âg awdurdod ychwanegol i weinyddu y cyfreithiau yn eu grym. Penderfynai i gymmell dynion gwrthryfelgar i ymostwng i orchymynion y llywodraeth.

*Iarll Wicklow* a lawenychai wrth glywed haeriadau Iarll Grey: ond gofidiai na buasai ei Arglwyddiaeth wedi eu datgan cyn hyn, yna ni ffynasai gymmaint y terfysg ag sydd yn awr yn cyffroi y Chwaer Ynys.

TY Y CYFFREDIN.—Dydd Gwener, Chwef. 10. Mr. *Hunt* a gyflwynai erfyniad oddiwrth ddau ddyn a garcharwyd am ymgynnull gyda thyrfa fawr ar y dydd Sabboth i'r diben o anfon eirchiad i'r Senedd. Gan fod uwchafion ein gwlad yn arfer ymgynnull i ddilyn eu hachosion bydol ar y Suliau—gan fod hyd yn nod Gweinidogion ei Fawrhydi yn ymgyfarfod ar y dydd hwnw i ystyried achosion y deyrnas, ni wyddai efe (Mr. Hunt) pa fodd y gellid barnu ymgynnulliad y dynion hyn yn Manchester yn drosedd o'r gyfraith wladol.

### Y CHOLERA MORBUS.

Dydd Llun, Chwef. 13. *Mr. Croker* a ddymunai gael hysbysiad gan un o Weinidogion y Brenin mewn perthynas i'r haint gofidus, Clwy'r Geri. Clywsai fod yr haint wedi ymddangos ar yr afon *Thames*, ac ym mharthau uchaf y Brif ddinas. Dymunai wybod a ddanfonwyd hysbysiad awdurdodol i'r llywodraeth. Barnai mai y ffordd oreu i rwystro ofnau gormodol godi yn meddyliau dynion, oedd peidio cadw yn ddirgel yr hysbysiadau ynghylch lledaeniad yr haint.

Mr. *P. Thompson* a ddywedai ddarfod i'r llywodraeth, cyn gynted ag y clywsant am y pla, ddanfon meddygon i olrhain yr achos. Penderfyna y llywodraeth ddefnyddio pob moddion er gweinyddu cymmorth cyfamserol i'r tlodion, ac er rhwystro lledaeniad y pla. Dywedai mai un o'r dynion a darawyd gyntaf gan yr haint, oedd llafurwr a fuasai yn gweithio am ddau ddiwrnod ar fwrdd llong o Sunderland. Bu y llong dan *gwarantine* am ddeng niwrnod, ac ni bu y gwr yn cymdeithasu â'r llongwyr, oblegid iddynt gael eu newid cyn dyfod yno.

*Canghellydd y Trysorlys* a ofynai am ganiatâd i ddwyn Ysgrif i mewn i'r diben o roddi awdurdod ychwanegol i Gyfrin-gyngor ei Fawrhydi, ac i'w galluogi hwynt i ddefnyddio moddion addas i attal lledaeniad yr haint, ac i weinyddu ymborth, cyfferi, ac ystafelloedd cyfaddas i'r cleifion. Byddai pob gorchymyn a roddai tri o Arglwyddi y Cyfrin-gyngor o barthed amgeledd cymmwys i'r claf, diwalliad o'u hangenrheidiau, a chladdedigaeth y marw, yn gyfreithlon ac yn rhwymedig ar bawb i ufuddhau iddo. Pwy bynag a anufuddhao i'r gorchymynion hyn, a fydd yn euog o drosedd, ac a gospir, naill ai trwy ddirwy neu garchariad. Cynnygid fod i'r draul gael ei thalu, yn y lle cyntaf, o ardreth y tlodion; ac wedi hyny, o dreth y Sir, am na fyddai yn iawn i un plwyf dalu am yr hyn a drefnwyd er lles llawer o blwyfydd.

Llawer o'r Seneddwyr a wrthwynebasant y cynnygiad i dalu y draul o dreth y tlodion; a haerent, gan fod y trefniadau er lles y wlad yn gyffredin, y byddai yn well o lawer i Drysorlys y deyrnas dalu y draul, nag ychwanegu ardreth y tlodion, yr hon sydd eisoes yn hynod o orthrymus.

Mewn atebiad i hyn, Canghellydd y Trysorlys a ddywedodd, pe telid y draul o gyllid y deyrnas, na byddai dim terfyn ar y draul, ac yr achosai lawer o wastraff.

Mr. *Stanley* a dybiai mai y ffordd oreu fyddai gadael i'r plwyfydd dalu y draul yn y lle cyntaf; ac wedi i'r haint ddarfod, os byddai angen ar y plwyfydd am gymmorth, ni thybiai y rhusai y Senedd i ad-dalu i'r plwyfydd a'r Siroedd tlotaf yr arian a dreuliwyd o achos yr haint.

*Arglwydd Sandon* a dybiai mai addas iawn fyddai rhoddi awdurdod chwanegol i'r Swyddogion Heddwch i symud ymaith bob budreddi. Canghellydd y Trysorlys a haerai fod gan y Cyfrin-gyngor ddigon o awdurdod i wneud hyny.

Mr. *Briscoe* a gynnygiai fod i'r geiriau hyn gael eu rhoddi yn yr Ysgrif, "Mai cosp oddiwrth Dduw yw yr haint."

*Arglwydd Althorp* a ddywedai na wrthwynebai y cynnygiad; ond tybiai mai gwell fuasai pe na soniasid dim am dano.

Mr. *Hume* a wrthwynebai y cynnygiad. Paham y dywedent mai cosp oddiwrth Dduw oedd yr haint? Ni fyddai waeth iddynt haeru mai *bendith* oedd. Dylai dynion ymfoddloni ar yr Ympryd a osodwyd.

Mr. *Lepry* a ofidiai weled Mr. Briscoe yn cydsynio â chais Mr. Hume.

Mr. *Shaw* a dybiai mai cymmwys iawn oedd y cynnygiad.

*Mr. Hume* a deimlai gymmaint o wrthwynebiad i'r Ympryd ag erioed. Galarai fod Gweinidogion y Brenin wedi bod mor ffol a phennodi Ympryd.

*Mr. Briscoe* a ryfeddai wrth ganfod cynnifer o honynt yn erbyn ei gynnygiad. Er nad oedd ei farn wedi newid, etto cydsyniai â chais Canghellydd y Trysorlys i alw yn ol ei gynnygiad.

### Y DEGWM YN YR IWERDDON.

TY Y CYFFREDIN.—Dydd Mawrth, Chwef. 14. *Mr. Lambeth* a gyflwynai erfyniad o Ross yn erbyn talu y Degwm. Yr oedd Iarll Grey wedi tystio y cymmellai efe bawb i dalu y Degwm. Yr ymgais hwn a orlanwai yr Iwerddon â gwaed.

Pleidiaeth oedd tybied y cymmellid y werin i dalu y Degwm yn groes i'w hewyllys. Gwrthwynebent y cyfryw ymgais â'u holl egni.

*Canghellydd y Trysorlys* a ryfeddai wrth glywed y cyfryw syniadau yn cael eu priodoli i'w gyfaill Iarll Grey. Parod ydwyf bob amser i roddi y gyfraith mewn grym pan y troseddir hi: ond egwyddor fy ymddygiad i ydyw, y dylai trefniadau er symud achosion achwyniadau y deiliaid gydfyned â chaniatâd i'r llywodraeth feddu awdurdod ychwanegol, er sicrhau ufudd-dod i'r gyfraith.

## YSGRIF Y DIWYGIAD.

Y mae yr Ysgrif hon wedi bod yn arafach yn ei mynediad drwy Dŷ y Cyffredin nag y disgwylid, o herwydd amryw fatterion pwysfawr ereill a fu dan sylw y Senedd. Y mae pleidwyr yr Ysgrif yn dra hyderus yn eu disgwyliadau o barth ei gymmeradwyaeth yn Nhŷ yr Arglwyddi.

---

## CYMMREIGYDDION CAERLUDD.

Nos Iau, Ionawr 12ved, cyvarvu aelodau y Gymdeithas uchod, yn nghyd â lliaws o Leenogion Cymmreig, gwladgarawl, ac aiddgar dros eu Gwlad a'u Cenel, yn ei hystavell vygyr, *Ustyl Owain Glyndwr, Heol y Perthgwern*, i gynnal eu Gwledd Vlynyddawl (y 35ain er sevydliad y Gymdeithas.)

Eisteddasant, am saith o'r gloch, wrth vyrddau goriwythawg o wahanawl ddysgleidiau danteithiawl, a seigiau perthynawl i'r tymmor. Wedi govyn bendith Iou ar yr achlysur, dadseiniwyd tónau y Delyn Gymmreig, er mawr ddywenydd i'r cyveillion tra yr ymborthent. Wedi iddynt gael eu digonedd rhoddwyd diolch i'r Cynnaliawdwr am ei holl drugareddau; yna symudwyd y llieiniau, a gwisgodd y Swyddogion eu tlysau, nes i bawb gymmeryd eu heisteddle. Yna cyvododd *Mr. John Griffiths Jones* (yr hwn a weinyddodd y rhan vwyav o'r vlwyddyn ddiweddav dros y Llywydd, o herwydd ei vod yn glav) a hysbysodd vod yr amser wedi dyvod i vynu, iddo ev drosglwyddaw ei swydd i Voneddig arall, eang ei gynneddvau, ac aiddgar yn yr achos; a chan ddiosg y tlws eve a'i gwisgodd am *Mr. Evan Griffiths*, y Llywydd etholedig, yr hwn a esgynodd i'r Gadair ynghanol twrv croesawus y presenolion. Yna cyvododd *Mr. John Evans* (Ieuan ab Gruffydd) gan hysbysu ei vod yntau, o herwydd aviechyd, &c. yn gorvod rhoddi ei swydd i vynu, ei vod wedi ymegniaw idd ei llenwi er's tair blynedd, er lles cyfredinawl y Gymdeithas a'u gydgenel; a diosgodd y tlws, gan ei drosglwyddaw i *Mr. Richard Thomas*, yr hwn a etholasid yn Goviadur. Yna addurnwyd *Mr. John Reece* yn Rhaglywydd; a hysbyswyd vod *Mr. John Thomas*, y Trysorydd, a *Mr. William Pryce*, yr Is-drysorydd, yn aros yn eu swyddau; vod yr haeddbarch *Mr. Robert Davies*, o Nantglyn, wedi ei ethol yn Vardd; a *Mr. Robert D. Morgans* yn Llyvrgellydd. Ar ol hyny, rhoddwyd y ciblion canlynawl gan y Llywydd:—sev, 1. "Y Brenin." 2. "Oes y Byd i'r Iaith Gymmreig." 3. "Cymdeithasau Cymmreigyddawl trwy Gymmru a Lloegr." 4. "Undeb a Brawdgarwch." Yna hysbyswyd y galar a deimlai y cyveillion oll o herwydd marwolaeth eu Llywydd am y vlwyddyn ddiweddav; ac nad oedd modd, o herwydd byrdra yr amser, onidê y buasid yn gohiriaw y cyvarvod. Wedi hyny cyvododd Mr. Hugh Hughes, a chynnygiodd yn gibli, "Anvarwol gofadwriaeth y diweddar Lywydd, Richard Evans, Yswain, mewn distawrwydd." Hysbysodd ei nodweddiad cyfredinawl; enwodd rai o'i weithredoedd haelionus; dangosodd ei gariad gwladgarawl, ei vrwdvrydedd, ei aiddgarwch, a'i barodrwydd gwastadawl i leshau ei gydgenel y Cymmry, &c. Yna cyvododd pob cyvaill ar ei bedion, gan ymavlyd yn ei gib, a phrovi ei ddiod, yna savasant yn *vud* am vynyd wrth yr awron, gan ddangos galarnwyv gyfredinawl; yr oedd yr ystavell yn ddistaw val y bedd, galarusrwydd a lanwodd y lle, a galarloes a ymddangosai ym mhob gwynebpryd. Wedi hyn, pan y ciliodd yr alaeth ychydig, rhoddwyd yn gibli, "Y rhelyw o'r hen Swyddogion." Yna cyvododd Ieuan ab Gruffydd, a thalodd ei ddiolchgarwch gwresocav, mewn araeth hyawdyl a chynnwysvawr, gan anog pawb oedd bresennawl i ddal at ei orchwyl yn ymdrechgar, gan evelychu meibion *Gleisiar* y Tywysog. Ar ol hyny rhoddwyd "Y Swyddogion newyddion;" a chyvododd Mr. Evan Griffiths, y Llywydd, gan dalu ei ddiolchgarwch penav mewn araeth vywiawg, ddwysgall, a chynnwysvawr. Yna rhoddwyd "Y Darlithwyr," gan ddamunaw iddynt bob llwyddiant, a throsglwyddaw diolchgarwch penav y Gymdeithas iddynt oll; a chyvododd Griffith Davies, Yswain, F. A. S. a Mr. J. J. Owens, o Vrawdoliaeth Stepney, gan roddi diolchgarwch, mewn areithiau hyawdyl, fraeth, a chynnwysvawr. Wedi hyny rhoddwyd yn gibli, "Y Parch. John Jones o Rydychen (*Ioan Tegid*), a holl Ddysgedigion Gwladgarawl Cymmreig; a chyvododd D. Jones, Yswain, o Gaervyrddin, brawd *Ioan Tegid* (yr hwn oedd yn y Brivddinas ar ddamwain) a diolchodd mewn dull hynaws a boneddigaidd. Yna cyvododd T. Edwards, Ysw. (*Caervallwch*) ar ei bedion, a chynnygiodd yn gibli, "Y Doethawr W. O. Pughe, LL. D. F. A. S." gan ddywedyd:—

> "Idrison, tirion wyt ti,——pur dy waith,
> Prid ieithydd diwrni;
> Bardd rhagorawl, vreiniawl vri,
> A Doethawr dwvn dy deithi."

Derbyniwyd hyn gyd â'r awyddvryd a'r caredigrwydd penav. Ac wedi hyny rhoddwyd "Tad y Gymdeithas, sev Mr. Thomas Roberts, Llwynrhedol;" ac eve a ddiolchodd mewn araeth hyawdyl ac efeithiawl. Cavwyd llawer o ddywenydd oddiwrth y cyveillion Mr. Hugh Jones, a Mr. John Lewis, pa rai a adroddasant amryw Bennillion, ac Englynion, ar yr achlysur. Ac yna wedi iddi hwyrhau, ymadawodd y Cyveillion yn garuaidd a gweddus, wedi cael llawn voddlonrwydd.

Cynghor y Gymdeithas am y vlwyddyn bresennawl yw y Boneddigion canlynawl:—Mr. Thomas Roberts, Mr. Hugh Jones, Mr. Isaac Simon, Mr. John Lewis, Mr. John Jones, Mr. David Jones, a Mr. Evan Jones.

*O. Y.* Gan amlder Gohebwyr y Gymdeithas, gwelwyd yn angenrheidiol i ail ethol *Ieuan ab Gruffydd*, i'r swydd ysgrivenyddawl, sev yn *Gydysgrivenydd* â Mr. Richard Thomas.

---

## YSGOLION YSGRYTHYROL YR IWERDDON.

Cynnaliwyd Cyfarfod yn *Exeter Hall*, yn Llundain, ar y 9fed o Chwefror, i'r diben i anfon Erfyniad at y Senedd i beidio cefnogi yr ymgais a wneir gan y Llywodraeth i dynu ymaith yr Ysgrythyrau o'r Ysgolion yn yr Iwerddon. Arglwydd Lorton oedd yn y Gadair. Wedi i'r Parch. Dr. Holloway erfyn am fendith yr Hollallnog ar y Cyfarfod, y Cadeirydd a alwodd ar Mr. Gordon i eglurhau ansawdd presennol yr Ysgolion yn y Chwaer Ynys.

Mr. Gordon.—Oddeutu ugain mlynedd yn ol pennodwyd Cenhadon, gan y Llywodraeth, i ymweled â'r holl Ysgolion yn yr Iwerddon. Wedi iddynt gyflawni eu gorchwyl, cyflwynasant Adroddiad i'r Rhaglaw, mai nifer yr Ysgolheigion oedd 200,000. Yn 1825, pennodwyd Cenhadon ereill, i'r un diben, ac yn eu Hadroddiad mynegasent fod 568,964 o blant yn yr Ysgolion. Yn 1812, o'r 200,000 o Ysgolheigion, yr oedd y degwm o hyny, sef 20,000, yn derbyn addysg mewn Ysgolion lle yr oedd yr holl Ysgrythyr yn cael ei darllen. Yn 1825, o'r 568,964 o Ysgolheigion yr oedd oddeutu 300,000 yn cael eu hyfforddi mewn Ysgolion Ysgrythyrol. Felly, mewn 12 mlynedd, nifer y plant a addysgwyd yn yr Ysgolion a gynnyddodd 280,000. Er 1825 y

mae nifer y plant, yn y gwahanol Ysgolion, wedi lluosogi yn gyflym. Nifer presennol yr Ysgolheigion ydyw 700,000; ac o hyn y mae oddeutu 450,000 o blant yn derbyn addysg Ysgrythyrol. Diffyg moddion yw yr achos na byddai y nifer yn fwy. Yn 1826 cymmerwyd £5000 oddiar y Gymdeithas yn Heol Kildare; ac oblegid hyn rhaid oedd iddi gyfyngu ei gweithrediadau. Pob cymdeithas yn yr Iwerddon sydd yn achwyn yn erbyn bychander eu cyllidau; a bod yn orfod iddynt nacau gweini cymmorth i lawer a ofynant am dano. Un o reolau y Gymdeithasau hyn ydyw, fod i'r Ysgrythyrau gael eu darllen ynddynt. Ond yr oedd yr Offeiriaid Pabaidd yn anfoddlon i hyn, er fod eu praidd yn ddigon boddlon i'w plant gael eu hyfforddi yn ngwirioneddau yr Efengyl. Er iddynt gael eu melldithio gan yr Offeiriaid yn eu Capelydd—er gorfod iddynt ddiangc am ymguddfa ym mysg y creigiau, a threulio eu nosweithiau yn y coedydd; etto parhaent i ddanfon eu plant i'r Ysgolion Ysgrythyrol. Ië, er i'r Offeiriaid Pabaidd sefydlu Ysgolion Rhad, gwell oedd ganddynt anfon eu plant i'r Ysgolion Protestanaidd. Ond o'r diwedd llwyddodd ymdrechiadau yr Offeiriaid Pabaidd i ddarbwyllo Gweinidogion presennol ei Fawrhydi i'w cynnorthwyo hwynt i ymlid y Bibl allan o'r Ysgolion, ac i sefydlu rhai ereill, y rhai a fyddant dan eu rheolaeth hwy. Yr ydym yn achwyn fod y Llywodraeth wedi ymddifadu y Gymdeithas Ysgrythyrol o £30,000 yn y flwyddyn—ac wedi eu trosglwyddo i ddwylaw gelynion penaf addysg Ysgrythyrol. Diben ein hymgynnulliad heddyw ydyw gwrthwynebu yr ymgais i ddarnio gair Duw. Yn fy llaw y mae genyf brawflen o'r darnau a roddir i'r plant i ddarllen o hyn allan. Nid y cyfieithiad awduredig a ddefnyddir, ond y cyfieithiad Pabaidd!! Yn Gen. 3. 15. nodir mai y Forwyn Fair sydd yn ysigo pen y sarph, drwy ei had hi. Dyma gynllun o'r dyfyniadau a ddefnyddir yn lle y Bibl cyfan, a rhaid i blant Protestaniaid ddarllen y rhai hyn. Haera Mr. Stanley, Prif-ysgrifenydd yr Iwerddon, na lwyddodd ymdrechiadau Cymdeithas Heol Kildare i ateb y dibenion a amcanwyd. Er mwyn dangos mor ddisail yw yr haeriad hwn mynegaf nifer yr Ysgolion dan nawdd y Gymdeithas, a'r plant oedd ynddynt.

| *Bl.* | *Ysgolion.* | *Ysgolheigion.* |
|---|---|---|
| 1817 | 8 | 555 |
| 1818 | 65 | 4,527 |
| 1819 | 133 | 9,263 |
| 1820 | 240 | 16,786 |
| 1821 | 381 | 26,476 |
| 1822 | 513 | 36,657 |
| 1823 | 727 | 51,637 |
| 1824 | 1122 | 79,287 |
| 1825 | 1490 | 100,000 |
| 1826 | 1500 | 102,380 |
| 1828 | 1467 | 98,145 |
| 1829 | 1407 | 106,839 |
| 1830 | 1553 | 124,499 |
| 1831 | 1634 | 137,530 |

A hon yw y Gymdeithas sydd wedi methu ateb y diben!

Arglwydd Kenyon a gyfodai i gynnyg y penderfyniad cyntaf, Fod hyfforddiad yr ieuengctid yn egwyddorion yr *holl* Fibl yn orchymynedig gan Dduw, ac yn llwyr angenrheidiol er llwyddiant a dedwyddwch dynolryw. Wrth ganfod yr effeithiau cysurlawn a gafodd hyfforddiad ysgrythyrol ar fy nghydwladwyr tlodion yn y deyrnas hon, hiraethwyf am weled fy mrodyr Gwyddelig, pa un bynag ai Pabyddion ai Protestaniaid, yn mwynhau y cyffelyb fendithion.

Y Parch. H. Melville, mewn araith ardderchog, a ddangosodd nad oedd yn gyfreithlon i neb roddi *darnau* o'r Ysgrythyr yn lle y *cyfan*. Amlygodd anghymmwysderau y boneddion a ddewiswyd gan y llywodraeth i wneud y dyfyniadau. Yr oedd dan Eglwyswr, mewn enw, un Sociniad, a dau o Babyddion. Yn awr, pa beth fyddai y dyfyniadau? Efallai y ceir rhanau hanesiol o bum Llyfr Moses, pregeth Crist ar y mynydd, hanes ei fywyd, ei ddamhegion a'i wyrthiau, ychydig o'r Psalmau, darnau ymarferol o'r Epistolau, ac ychydig o'r prophwydoliaethau. Onid yw y dyfyniadau yma yn dda? Diammeu eu bod, cyn belled ag y maent yn myned, ond nid yn lle yr *holl* Fibl. Llawer o bethau tywyll yn yr Efengylwyr a amlygir yn yr Epistolau. Os bydd y Pabyddion yn ffyddlon i'w Heglwys, ni sonir gair am yr athrawiaeth sylfaenol am gyfiawnhad trwy ffydd; ni ddywedir gair am erchylldra pechod; ni fynegir dim ynghylch y drwg o eilun-addoliaeth; oblegid pa beth a ddaw y pryd hyny o'r holl seintiau a'r delwau? Ni welir dim o'r Datguddiad ynddynt, rhag ofn i blant yr ysgol ddeall pa eglwys sydd yn ateb i'r darluniad a roddir yndd o o'r "dyn pechod." Y cyfryw fydd y dyfyniadau a roddir yn nwylaw plant yr Iwerddon. Dyledswydd pob Cristion yw deffro, a gwrthwynebu hyd eithaf ei allu yr ymgais a wneir i gadw yr ieuengctid mewn anwybodaeth, ac i feithrin y grefydd Babaidd.

Llawer o foneddigion ereill a gyfarchasant y gwyddfodolion: a chan nad oedd amser i gynnyg yr holl benderfyniadau i ystyriaeth y cyfarfod,

Y Parch. Mr. Noel a ddywedai mai gwell fyddai iddynt gyfarfod yno drachefn, yn hytrach na gadael i'r penderfyniadau fod heb eu cynnyg. Cydsyniodd y Cadeirydd â'r cais, a chyhoeddwyd y cynnelid ail-gyfarfod yno ar y 15fed o Chwefror. Ar yr amser pennodedig, yr oedd yr ystafell fawr, yr hon a gynnwys dros bum mil, wedi ei gorlenwi, a gorfu i gannoedd droi adref o ddiffyg lle.

Arglwydd Lorton a gymmerodd y Gadair. Wedi gweddio, fel o'r blaen, areithiodd Mr. Gordon drachefn, gan roddi yr un hanesion ag o'r blaen. Dilynwyd ef gan Arglwydd Radstock, Arglwydd Bexley, y Parch. Noel, Benson, Brandram, Mac Neile, ac amryw o Seneddwyr, y rhai a ddangosasant y gwahaniaeth oedd rhwng yr Iwerddon a Scotland. Yn yr olaf yr oedd Ysgol y'mhob plwyf, yr oedd yr ieuengctid yn cael eu haddysgu yn egwyddorion yr efengyl. Yr oeddynt yn ddiwyd, yn otalus, yn foesol, ac yn grefyddol. Cyn terfynu, darllenwyd Erfyniad a ddanfonwyd at ddau Dŷ y Senedd yn erbyn y drefn newydd a gefnogir gan y llywodraeth, felly rhoddir cyfleusdra i filoedd o'r rhai na chawsant le yn yr ystafell i gyhoeddi i'r byd mai nid ofer fu galwad eu brodyr Protestanaidd yn y Chwaer Ynys.

Yr oeddym yn bwriadu gosod ger bron ein darllenwyr ddyfyniadau o lythyr ardderchog y Parch. Mr. M'Ghee at Archesgob Dublin; ond rhaid i ni adael hyny dan ein Rhifyn nesaf. Yn y cyfamser dywenydd genym fynegi i'n cydwladwyr fod cyfarfod i gael ei gynnal yn Llysdy Tref y Wyddgrug, i'r un diben a'r cyfarfod uchod yn Llundain. Cynnelir ef ar y 6ed o'r mis hwn. Disgwylir y bydd pob un yn Sir Fflint ag sydd yn caru ei Fibl yn wyddfodol ar yr achlysur, ac y llaw-arwyddont yr Erfyniad a ddanfonir at y Brenin a'r Senedd. Oni fydd i'n brodyr yn Siroedd ereill Cymru ganlyn esiampl Swydd Fflint? Oni fydd i drigolion Môn ac Arfon, Meirionydd, Trefaldwyn, a Dinbych, alw cyfarfodydd yn ddioed? Nid amser i gysgu ydyw yr amser presennol; nid amser i frodyr augbytuno ydyw hi yn awr; nid achos un enw o Gristionogion, ond achos y Bibl sydd yn galw arnom; am hyny bydded i'n darllenwyr ddwys fyfyrio ar yr anerchiad yn tu dalen 86. o'r Rhifyn hwn, nes y byddo rhyw fflam angerddol o eiddigedd dros air Duw yn enyn yn eu mynwesau.

Y mae y duwiol a'r gwladgarol Iarll Roden wedi cyflwyno Erfyniad at ei Fawrhydi, yr hwn a arwyddwyd gan ddau can mil o Brotestaniaid yr Iwerddon.

---

## Y CHOLERA MORBUS.

Nifer y rhai a glafychasant er y dechreuad yn *Newcastle*, 945; y rhai a fuant feirw, 296.——Yn *North Shields, Merton Township, &c.* cleifion, 290;

meirw, 77.——*South Shields*, cleifion, 8; meirw, 4.——*Hetton, &c.* cleifion 432; meirw, 87.——*Haddington*, cleifion, 126; meirw, 57.——*Tranent*, cleifion, 266; meirw, 73.——*Preston Pans*, cleifion, 104; meirw, 18.——*North Berwick*, cleifion, 16; meirw, 7.——*West Barns*, cleifion, 12; meirw, 8.——*Musselburgh*, cleifion, 426; meirw, 185.——*Edinburgh*, cleifion, 18; meirw, 8.——*Kir-Kintilloch*, cleifion, 72; meirw, 26.——*Glasgow*, cleifion, 9; meirw, 5.——*Mary Hill*, cleifion, 9; meirw, 1.——*Paisley*, cleifion, 6; meirw, 2.——Y cyfan er y dechreuad, cleifion, 4570; meirw, 1371.

## Y CHOLERA YN LLUNDAIN.

Drwg genym ddywedyd fod yr haint echryslon hwn o'r diwedd wedi cyrhaeddyd Llundain: ac er fod y Llywodraeth yn arferyd pob ymdrechiadau tu ag at attal ei ledaeniad; etto y mae wedi cynnyddu yn fawr o fewn amser mor fyr. Mewn parthau o honi, a elwir *Lime-house, Lambeth, Rotherhithe, a Southwark*, ar yr 21fed o Chwefror, yr oedd y nifer fel y canlyn:—cleifion, 43; meirw, 25.

---

*Terfysg yn Jamaica.*—Derbyniwyd hanesion, ychydig ddyddiau yn ol, am derfysg mawr a dorodd allan yn yr Ynys hon, yn mis Rhagfyr diweddaf, ym mysg y Caeth-weision. Rhoddasant ar dân yr holl balasau heirdd, ynghyd â'r planfeydd, a'r gweithfeydd siwgr yn St. Iago. Nid oes ond pump o'r sefydliadau hyn heb eu dinystrio. Galwyd y milwyr cartrefol allan, ac aeth Syr W. Cotton, y Llywydd Milwraidd, ynghyd âg oddeutu 400 o filwyr. Ond cyn cyrhaeddyd y fan lle yr oedd y terfysg, ymladdwyd dwy frwydr rhwng y milwyr cartrefol a'r terfysgwyr, a lladdwyd oddeutu 30 o'r caethweision, a chlwyfwyd 25. Lladdwyd dau o'r dynion gwynion. Bu dyfodiad y Llywydd, Syr W. Cotton, yn foddion i ostegu y terfysg. Dienyddwyd dau o'r Negroes, yn ganlynol i ddedfryd llŷs-milwraidd. Cyhoeddwyd maddeuant i bawb a ddychwelant at eu gwaith, oddieithr y rhai a flaenorasant yn y terfysg, a daeth nifer mawr o'r Negroes yn ol. Ar y 5ed o Ionawr, y llythyr diweddaf a ddaeth oddiwrth Syr W. Cotton, yr oedd yr ardal yn lled dawel.

---

*Treth ar Siopwyr.*—Mewn cyfarfod o'r *Gommissioners*, a gynnaliwyd yn Wellesbourne, ychydig ddyddiau yn ol, appeliodd un Mr. Baily, Fferyllydd, o Warwick, yn erbyn y trethiad ar *brentisiaid*, megys *siopwyr*, tan yr *Act* 52 o Geo. III. c. 95, Sch. c. No. 3. pan y penderfynwyd nas gellid dirgymmell y trethiad.

---

Ychydig ddyddiau yn ol, fel yr oedd dau Swyddog Milwraidd, perthynol i'r 98 Gatrawd y rhai sydd yn awr gerllaw Dowlas, yn dychwelyd i'w lletty, cyfarfuasant â phedwar o ddynion, wedi eu harfogi â llaw-ddrylliau, ac â ffyn, a gofynasant i'r Swyddogion am eu harian, neu eu bywyd: atebodd un o honynt, "Yr hyn sydd genyf yr wyf yn ei roddi i ti;" ac ar hyny, efe a roddodd i un o'r dynion ergyd ofnadwy ar ei ben. Y Swyddog arall a drodd ei geffyl, a gwaeddodd ar ei gyfaill, "Byddwch wrol, y mae cynnorthwy gerllaw." Hyn a ddychrynodd y dynion gymmaint fel y diangasant ymaith wedi saethu dwy ergyd. Y mae lle i ofni y bydd i geffyl un o'r Swyddogion golli ei lygad trwy yr ymgyrch hwn.

---

Ymddengys oddiwrth y cyfrif a roddwyd o'r Bathdŷ (*Mint*) fod £438,046 17*s*. 6*c*. wedi cael eu bathu o Awst 6, 1831, hyd Chwefror 9, 1832; a'r draul am eu bathu oedd £3134 15*s*. 3*c*.

---

Yn ddiweddar, bu farw yn Garmouth, tref yn yr Alban, gwraig o'r enw Jane Grey, yn 113 mlwydd oed. Yr oedd mewn llawn feddiant o'l holl gynneddfau, ac yr oedd yn myned oddiamgylch hyd o fewn chwech wythnos i'w farwolaeth.

Y mae yn deilwng o sylw fod tanau wedi tori allan yn Lloegr yn y blynyddoedd 1730, a 1830; a thorodd pla allan yn y flwyddyn 1731; ac yn y flwyddyn 1831 y torodd Clwy 'r Geri allan.

---

## YMPRYD CYFFREDINOL.

Dywenydd genym hysbysu ein darllenwyr fod y Brenin wedi cyhoeddi Ympryd i gael ei gadw drwy y deyrnas ar yr 21ain o Fawrth. Ym mhlith holl arwyddion dychrynllyd yr amseroedd presennol, cysurus gweled ein Llywodraethwyr yn cydsynied â chais crefyddwyr y deyrnas i ymostwng dan law geryddol Duw.

---

## SIRYDDION CYMRU, 1832.

### GWYNEDD.

*Trefaldwyn.*—Syr Charles Thos. Jones, Broadway.
*Meirion.*—William Turner, Ysw. Croesor.
*Arfon.*—John Rowlands, Ysw. Plastirion.
*Mon.*—Syr John Williams, Barwnig, Tŷfry.
*Dinbych.*—Edward Lloyd, Ysw. Cefn.
*Fflint.*—Syr John Hanmer, Barwn. Bettisfield Park.

### DEHAU.

*Morganwg.*—Frederick Fredericks, Ysw. Dyffryn.
*Caerfyrddin.*—John Lavelin Purley, Ysw. Lethllestri.
*Penfro.*—David Davies, Ysw. Caernachenwen.
*Ceredigion.*—Henry Lewis Edwards Gwynne, Ysw. Glanlery,
*Brycheiniog.*—James Price Gwynne Holford, Ysw. Buckland.
*Maesyfed.*—Thomas Evans, Ysw. Llwynbarried.

---

## HYSBYSIADAU LLEENYDDAWL.

Y mae Pregethau y Parch. M. Llwyd, Yspytty Ifan, Swydd Ddinbych, wedi cael eu cyfieithu i'r Saesoneg, yn ddiweddar, gan y Parch. Thomas Jones, Periglor Creaton, Swydd Northampton. Y mae ychydig nifer o'r rhai Cymraeg yn aros etto heb eu gwerthu, a gellir eu cael yn Swyddfa y Gwyliedydd.

---

## DYRCHAFIADAU EGLWYSIG.

Ar y 9fed o Chwefror etholwyd Mr. Brisco Owen, A. C. Ail Feistr Ysgol Rammadegol Beaumaris, yn Gyfaill o Goleg Iesu, Rhydychain.

Yn ddiweddar dyrchafwyd y Parch. John Brigstocke, A. C. i Bersoniaeth Barton, yn Sir Benfro—rhydd trwy farwolaeth y Parch. D. B. Allen.

Y Parch. Llewelyn Lewelyn, D. C. G. Penaeth Coleg Dewi Sant, i Ficeriaeth Penbryn, yn Sir Aberteifi, gyda Chapeliaeth Bronllys a Brongwyn—rhyddion trwy farwolaeth y Parch. Maurice Evans.

Y Parch. A. Ollivant, A. C. Is-benaeth Coleg Dewi Sant, i Ficeriaeth Llangeler, Sir Aberteifi—rhydd trwy farwolaeth y rhag-grybwylledig M. Evans.

Y Parch. Hugh Williams i Ficeriaeth Llanarth, yn Sir Fynwy—Tadog, y Brenin.

Y Parch. Joseph Jones i Bersoniaeth Rhosilly, yn Sir Forganwg—rhydd trwy ymadawiad y Parch. Hugh Williams.

Y Parch. William Williams i fod yn Gurad Parhaus Yspytty Ystwyth, ac Ystrad Meurig—rhyddion trwy farwolaeth Parch. John Griffiths.—Tadog, Iarll Lisburne.

# Y GWYLIEDYDD.

LLYFR IX.] EBRILL, 1832. [RHIF. 108.

## COFIANT Y PARCH. CHRISTIAN FREDERIC SCHWARTZ.

IAWN yr ystyrid y gwr hynod hwn fel Apostol Cristionogol y dwyrain yn yr amseroedd diweddaf hyn. Cyrhaeddodd Madras, yn 24 oed, ar yr 17eg o Orphenaf, 1750, i bregethu y'mhlith cenhedloedd yr India anchwiliadwy olud Crist; a pharhaodd yn y gwaith cysegredig hwn gyda chywirdeb diargyhoedd, gyda zel ddiflin, a llwyddiant helaeth, hyd y 13eg o Chwefror, 1798, pryd y gorphenodd ei yrfa yn fuddugoliaethus, wedi treulio yn agos i hanner cant o flynyddoedd y'ngwasanaeth ei Feistr yn yr India. Perchid ef gan Gristionogion, Paganiaid, a Mahometaniaid; a gadawodd esiampl dda i bawb a'i canlynodd, a'i canlyn etto, trwy gyhoeddi newyddion da iachawdwriaeth i'r byd dwyreiniol. *Christian Frederic Schwartz* a anwyd yn yr Almaen, yn y flwyddyn 1726. Ymrwymodd i fod yn Genhadwr yn yr India dan nawdd y Coleg Cenhadol yn Denmark. Gwedi llafurio rhai blynyddau yn Tranquebar, cyfarwyddwyd ef gan y Coleg i ymsefydlu yn Tritchinapoly, dan y Gymdeithas er Taenu Gwybodaeth Gristionogol. Yr oedd amryw Sefydliadau Cenhadol Protestanaidd gan y Gymdeithas yn y parthau hyny o'r wlad; ac ar y Sefydliad newydd hwn yn Tritchinapoly gosodwyd Mr. Schwartz yn Arolygwr. Buan y daeth ei lafur yno mor helaeth fel ag y gorfu arno osod wyth neu naw o frodorion y wlad a ddychwelwyd at Gristionogaeth yn Gateciswyr. Urddwyd un o honynt wedi hyny, o'r enw Sattianden, i waith y weinidogaeth, ym mha un y llafuriai gyda mawr hyawdledd a llwyddiant. Ar y 14eg o Ionawr, 1786, cafodd Mr. Schwartz brawf o ofal neillduol ei Dad nefol am dano. Ar y dydd hwnw y chwythwyd ystordy powdr yr amddiffynfa i fynu, pryd yr archollwyd ac y lladdwyd llawer o Ewropiaid a brodorion. Drylliwyd ffenestri ei dŷ ef, a daeth amryw belenau i'w ystafell, ond ni chafodd efe un niweid personol. Yn y flwyddyn 1772, ymwelodd â Tanjore amryw weithiau, gan obeithio y gwelai Duw fod yn dda, trwy fynych bregethiad o'r gair yn y ddinas boblog hòno, wneud rhyw argraph ar y trigolion. Cymmerodd gyd âg ef dri o'i Gateciswyr, y rhai a aent o amgylch y bobl fore a hwyr, gan osod o'u blaen wirioneddau gogoneddus yr efengyl, a'u hannog i *ufudd-dod ffydd*. Dywedir iddynt gyfarfod â mwy o wrthwynebiadau oddiwrth y Pabyddion nag oddiwrth y Brahminiaid ac eilun-addolwyr. Dangosent eu gelyniaeth trwy annog y werin i gyfodi terfysg. Unwaith, pan ymddangosodd trigolion un dref yn awyddus am gael eu dysgu (ac yr oedd golwg obeithlawn am gynhauaf toreithiog) yn absenoldeb Mr. Schwartz, bygythiodd yr Offeiriad Pabaidd na wnai fedyddio, priodi, na chladdu neb o'i gynnulleidfa, nes iddynt fyned mewn cyngrair â'u gilydd i yrru ymaith y Cenhadwr Protestanaidd a'i Gateciswyr. O ganlyniad cawsant y fath driniaeth arw, nes gorfu arnynt ymadael â'r lle. Ymddiddanai y gwr enwog hwn yn rhydd â Phaganiaid o bob gradd. Lliaws a'i gwrandawai yn eglurhau Cristionogrwydd gyda gradd o hyfrydwch; ac nid anfynych yr atebent, "Gwir! pa lesbad a wna ein delwau a'n seremoniau lliosog? Nid oes ond un Penaeth, sef Gwneuthurwr a Chynnaliwr pob peth." Ond nid aethai eu hargyhoeddiad, yn rhy gyffredin, ddim pellach.

"Yn un o'm teithiau," medd Mr. Schwartz, "cyrhaeddais le helaeth, lle y cadwai y Paganiaid wledd. Synais wrth y dyrfa fawr a welwn o'm blaen, a sefais ryw bellder oddi wrthynt; ond buan y'm hamgylchynwyd gan nifer fawr o bobl, wrth ba rai y traethais am briodoliaethau gogoneddus Duw, ac y sylwais mor afres-

ymol a gwrthun ydoedd addoli delwau, a chymmaint o ddianrhydedd a ddangosent i'r unig wir Dduw trwy eu heilun-addoliaeth, ac y chwanegent trwy hyny eu trueni eu hunain. Dywedais wrthynt hefyd pa drugaredd anfeidrol a ddangosodd Duw i bechaduriaid colledig, trwy anfon Gwaredwr iddynt; a pha fodd y gallent ddyfod yn gyfrannogion o'r waredigaeth hon. Dangosai pawb eu bod yn cael eu boddloni, gan gydnabod eu ffolineb eu hunain, a rhagoroldeb yr athrawiaeth Gristionogol. Yr oedd torfeydd newydd yn agoshau y bore a'r prydnawn. Lleferais wrthynt nes cwbl dreulio fy nerth." Ni bu y llafur hwn yn ofer: dygwyd amryw bersonau a theuluoedd lawer, er gwrthwynebiadau eu perthynasau a'u cyfeillion, i gofleidio y gwirionedd.

Diflin y llafuriai Mr. Schwartz gyd â'i Gateciswyr cynnorthwyol. Pregethent yr efengyl yn feunyddiol mewn amryw barthau o'r wlad; "gan geisio," medd efe, "bod mor ddedwydd a dwyn rhyw rai o'n cydgreaduriaid crwydredig i ffordd y gwirionedd." Cynnullai yr holl Gateciswyr bob dydd i'w dŷ, y rhai nid oeddynt mewn sefydliadau rhy bell, ac a'u haddysgai pa fodd i eglurhau gwirioneddau yr efengyl, ac i gyfarch y brodorion mewn dull mwynaidd ac ennillgar, gan edrych dros yr atebion digofus a thrahaus a gaent weithiau am eu cariad. Yn y bore y Cateciswyr a unent âg ef mewn gweddi a myfyrdod ar air Duw, ac yna pob un a gyfarwyddid i ba le i fyned y diwrnod hwnw. Yn yr hwyr rhoddent gyfrif o'u llafur, gan adrodd yr amgylchiadau annogaethol a gwan-galonus; a'r diwrnod a ddiweddid megys ag y dechreuid ef, trwy fyfyrdod a gweddi. Bu ei weinidogaeth yn llwyddiannus ym mysg y milwyr yn y gwersyll, i ba rai y gweinidogaethai fel Capelydd. Y gweddwon tlodion hefyd a gawsant ran o sylw y gwr haelionus hwn. Llwyddodd ar eu rhan i gael swm o arian gan Rajah ieuangc Tanjore, ac ereill: rhoddodd hwynt allan i adeiladu rhês o dai bychain er derbyniad cysurus y gwragedd amddifad hyn. Ond ni chyfyngwyd ei ymdrechiadau at ddwyn ym mlaen happusrwydd presennol a dyfodol rhai mewn oedran, ond llafuriai yn zelog a diflin i feithrin y genedl ieuangc ag oedd yn codi yn "addysg ac athrawiaeth yr Arglwydd," gan agoryd ysgolion iddynt mewn amryw fanau. Y llythyr canlynol, a ysgrifenodd at blant amddifad y *Colonel Wood*, pa rai oeddynt o chwech i un ar ddeg oed, a rydd ddesgrifiad hynod o'i nodweddiad rhagorol yn yr ystyr yma:

"*At yr anwyl Blant*—Gras, trugaredd, a thangnefedd, oddiwrth Dduw ein Tad, a'r Arglwydd Iesu Grist.

"*Anwyl Blant*,

"Gan fod yr amser yn agos i chwi ymadael â'r wlad hon, tybiais yn ddyledswydd arnaf ysgrifenu atoch gyngor byr, yr hwn yr ydych mor barod i'w dderbyn oddiwrth eich hen gyfaill. Dymunaf arnoch, pan ymadawoch â'r wlad hon, na ddygoch gyda chwi yr un o'r pechodau ag sydd mor amlwg ynddi. Erfyniwch ar eich Prynwr am faddeu i chwi eich holl bechodau, a chaniatâu i chwi gymmorth ei Yspryd i'ch galluogi i garu, ofni, anrhydeddu, ac ufuddhau i Dduw. Dysgwch ewyllys Duw, a gwnewch ef yn feunyddiol, megys ag y rhoisoch i mi sail i obeithio am danoch. Gan nad yw eich oedran yn ddarostyngedig iawn i dristwch, arferwch eich sirioldeb diniweid i lawenhau calon eich mam. Nis gellwch ei boddhau hi yn well na thrwy ufudd-dod, a bod yn ewyllysgar i ddysgu gweddio, ac ofni Duw. Ymdrechwch ei boddhau hi a'ch Tad nefol yn hyn oll. Darllenwch bob dydd eich Bibl anwyl: gweddiwch yn ddiragrith, ac nac anghofiwch ganu hymn o fawl i'ch Prynwr. Pa bryd bynag y gwaharddo eich mam i chwi unrhyw beth, byddwch barod i ufuddhau: na roddwch le i ystyfnigrwydd. Gan eich bod yn gwybod y boddlonir Duw yn fawr â gostyngeiddrwydd, dysgwch fod felly. Bendith Duw, y Tad, y Mab, a'r Yspryd Glân, a fyddo gyda chwi. Amen.

"Cofiwch am danaf, a gweddiwch drosof, ar i mi rodio yn deilwng i efengyl ein Harglwydd Iesu Grist; ac ar i eneidiau lawer, trwy fy ngweinidogaeth wael, gael eu dychwelyd mewn gwirionedd ato ef.—Ydwyf, fy anwyl blant, a'm cyfeillion ieuaingc, eich cyfaill hoff, a'ch gwasanaethwr gostyngedig."

"CHRISTIAN FREDERIC SCHWARTZ.

"*Tritchinapoly*,
"Ionawr 16eg, 1775."

Ysgrifenai Mr. Schwartz, yn 1779, fod miloedd lawer yn Tritchinapoly a Tanjore, hyd yn nod y'mhlith y Brahminiaid, a gyfaddefent mai peth ofer a phechadurus ydoedd eu heilun-addoliaeth, ac nad oedd dim ond ofn yn eu cadw rhag cofleidio y grefydd Gristionogol. Ymwelai llawer o'r Brahminiaid âg ef yn Tanjore, gan wrando yn astud ar yr hyn a ddywedai wrthynt; ond ystyrient yn beth rhy beryglus gwneuthur proffes gyhoeddus o athrawiaeth y Bibl, o herwydd nifer mawr proffeswyr eilun-addoliaeth. Edrychai Mr. Schwartz am amser gwell i ddyfod, a dywedai ei fod yn hyderus o weled dyddiau gwell; a'i fod yn llawenhau yn y cyfleusdra oedd ganddo i bregethu yr efengyl, gan gofio fod amser hau yn rhagflaenu amser medi. Diystyrai hunan elw yn fawr: o herwydd pan gynnygiodd y llywodraethwr Rumbold ei anrhegu â rhodd hardd, erfyniodd ganiatâd i'w gwrthod, gan arwyddocâu yr un pryd ei fawr ddymuniad i gyflog ei gyd-weinidog yn Tritchinapoly, sef y Parch. Mr. Pohle, gael ei chwanegu gan punt, yr hyn yr oedd efe ei hun yn ei dderbyn, yr hyn a'i galluogai i gynnal Ysgolfeistriaid a Chateciswyr fel yntau; a'i ddymuniad hwn a ganiatawyd. Drachefn, pan gynnygiodd Hyder Ally ei anrhegu â swm o arian, dymunodd iddynt gael eu rhoddi at sefydlu Ysgol Rad yn Tanjore. O ganlyniad, y rhai ni wyddent werth ei egwyddorion, a hoffent yn fawr ei nodweddiad. Ei ymddygiadau rhinweddol a ennillent y fath barch ac ymddiried iddo oddiwrth Benaethiaid y dwyrain, fel ag yr oedd y ffordd i hunanddyrchafiad, pe d ewyllysiai, yn rhydd o'i flaen. Ond yr unig ddefnydd a wnai efe o'r cymmeriad cyffredinol oedd iddo, ydoedd adeiladu Eglwysydd, a sefydlu Ysgolion drwy 'r wlad. Gydag llygad syml yr efengyl, edrychai yn unig at daeniad y dwyfol wirionedd, a newyddion da iachawdwriaeth trwy ffydd y'Nghrist Iesu.

Yn y blynyddau 1781, 1782, a 1783, y rhai oeddynt hynod am y newyn a'r caledi a ddigwyddodd ynddynt, bu yn offerynol, trwy gynnorthwy ei gyfeillion elusengar, i gadw lliaweroedd rhag marw o eisieu ymborth angenrheidiol i gynnal eu natur. Addefai bod ffyrdd Duw yn uniawn pan yn ymweled â'r wlad â'i farnedigaethau, sef cleddyf, newyn, a haint. "Och!" medd efe, "y fath ymraniadau annedwydd sydd yn ein plith! gymmaint o ddrygioni ac anghof o Dduw sydd yn ffynu y'mhob lle. Pan edrychwyf ar bawb, uchel ac isel, tarewir fi â syndod ac â galar! y fath dywyllwch, annheimladrwydd, gwrthnysigrwydd, trachwant, a thrais y sydd! Mil o weithiau y dywedwn ynof fy hun, 'O, fy Nuw, a raid i'r bobl hyn oll farw? a raid iddynt oll ymddangos o flaen brawdle Iesu, y Cyfryngwr a'r Barnwr? Mor lleied y meddyliant am eu diwedd, a chanlyniadau eu bucheddau!'"

Yn Ebrill, 1784, ysgrifenai, "Yr ydym yn mawrhau y daioni Dwyfol a gynnaliodd fy nghydweithwyr a minnau y'nghanol gorthrymderau. Tra yr ydoedd y cleddyf, y newyn, a'r haint, yn ysgubo ymaith filoedd lawer, yr oeddym ni yn mwynhau iechyd, ac yn cael ein diwallu â phob angenrheidiau. Na fydded i ni byth anghofio yr amrywiol drugareddau a gyfranodd Duw yn hael i ni!"

Ysgrifenodd y 10fed o Orphenaf yr un flwyddyn, ei fod yn teimlo llesgedd a methiant henaint yn ei natur; ac wrth fyfyrio ar ei ymddatodiad, nad oedd ganddo ddim cyfiawnder o'i eiddo ei hun i ymddibynu arno am happusrwydd tragywyddol; ond mai iawn Iesu Grist oedd sylfaen ei obaith, ei heddwch, ei fywyd, a'i happusrwydd. "Hawl yn iawn Crist (medd efe) a chyfranogiad o rasusau yr Yspryd, a wna i fynu wir Gristion. Dyma sydd yn sirioli ac yn cadarnhâu y galon, yn gogoneddu Duw, yn rhoddi hawl ac yn cymmwyso i'r nef."

Rhan o lythyr a ysgrifenodd o Tanjore yr un flwyddyn sydd fel y canlyn:

"*Tanjore, Rhag.* 30, 1784.

"*Fy anwyl Gyfeillion,*

"Yr ydwyf gwedi cael fy adferyd i'm hiechyd gymmaint, nes yw fy llafur yn hytrach yn hyfryd nag yn boenus. Bydded i Dduw, yr hwn a gyfranodd gynnifer o fendithion i mi bechadur tlawd, ganiatâu i ddyddiau diweddaf fy oes gael eu hiawn dreulio, fel y gallwyf orphen fy ngyrfa mewn tangnefedd, os nid gyda llawenydd. Nid yn unig fe ganiatêir i ni orfoleddu yn yr Arglwydd, ond fe orchymynir i ni wneuthur felly. Nid oes un

llawenydd â chystal sail iddo, a'r hwn a geir yn yr Arglwydd, yr hwn a'n prynodd, ac ym mha un y bendithir ni â phob bendith ysprydol. Ond rhaid i bwy bynag a orfoleddo yn y bendithion a bwrcaswyd i ni trwy Iesu Grist, fod ynddo ef, wedi ei uno âg ef trwy ffydd, gan ymwrthod â phechod, a holl gan bleserau y byd. Yr undeb a'r cymmundeb gwirioneddol yma â Christ ydyw ffynon gorfoledd, a'r unig ffynon. Oddi yma y tardd dymuniad gwastadol i'w garu, ac i ufuddhau iddo, a'i ogoneddu. Ond os, yn lle ymddiried y'Nghrist a'i berffaith iawn, y gorphwyswn ar ein rhinweddau ein hunain, ac o ganlyniad ceisio sefyll ar ein sail ein hunain, nis cawn fwynhau un mynyd o wir heddwch cydwybod. Ein rhinweddau a'n sancteiddrwydd ydynt, ac a fyddant, yn ammherffaith. Cawn achos, ynte, bob amser i gyfaddef o flaen Duw, "Os creffi ar anwireddau, Arglwydd, O Arglwydd pwy a saif?" Ceisiwn, gan hyny, faddeuant, tangnefedd, a llawenydd yn yr Iesu; ac wedi eu cael, byddwn ddiolchgar ac ufudd. Ond pe byddem mor sanctaidd ag un o'r apostolion, ymogelwn rhag gosod ein hyder mewn dim ond haeddiant dioddefiadau a marwolaeth Crist. Ar yr erthygl sylfaenol hon, nid hoffaf neb yn fwy na'r Esgob duwiol Beveridge. Nid anghofia godi yr oruwchadeilad o fuchedd sanctaidd, ond gesyd yn gyntaf y sylfaen, yn ol esiampl Paul, mewn hyder gwirioneddol a bywiol yn Nghrist. Darllenwch y 3edd bennod at y Philipiaid. Y mae sancteiddrwydd yn cael ei eglurhau yn rhagorol gan yr Archesgob Tillotson, ond nid yw yn gosod y sylfaen cystal, ac mor amlwg a Beveridge, ac yn enwedig a'r Diwygwyr cyntaf. Credu yr ydwyf yr adeilada Duw ddiffaethleoedd y wlad hon. Ac os wedi ein gosod ni yn y bedd y gwneir hyny, pa niweid? Y wlad hon a orchuddir â drain; bydded i ni aredig a hau, ac erfyn ar yr Arglwydd beri iddo dyfu i fynu, Ni bydd ein llafur yn yr Arglwydd, yn ei achos ac er ei glod, yn ofer.

"Ydwyf, yn wastadol, fy anwyl gyfeillion, eich gwasanaethwr ufudd a gostyngedig,

"C. F. SCHWARTZ."

*(I'w barhau.)*

## CYFADDEFIADAU EI GELYNION YN BRAWF O WIRIONEDD YR EFENGYL.

*(Parhâd o Rhif. Tach. 1831, tu dal. 339.)*

2. AT *nifer* y gwyrthiau a weithredwyd gan yr Iachawdwr, gallwn chwanegu priodoledd arall, eu *hamrywiaeth;* yr hyn sydd arwydd arall o allu dwyfol ac annherfynol. Wrth fwrw golwg yn ol ar wyrthiau neu arwyddion yr Efengyl, y gwrthddrych cyntaf sydd yn ei gynnyg ei hun i'n hystyriaeth, yw afiechyd a chlefydau dynion, y ffrewyllau naturiol hyny a ddanfonir gan ragluniaeth megys cospedigaeth ein pechod, ac nid yn anfynych y moddion i'n cadw ni rhagddo.

At y rhai hyn, ynte, yn gyntaf y cyfeiriodd yr Iachawdwr ei ddwyfol allu. Yr holl blâau amrywiol hyny, o ba ryw bynag yr oeddynt—ymddangosasant oll ger ei fron, a diflanasant wrth ei orchymyn. Oni chydnabyddwn ni yma yr had hwnw o'r wraig, yr hwn a ysigai ben y sarph? Oni chydnabyddwn ni wrth y nôd yma y Cenhad dwyfol yr hwn a grëa hawddfyd ac adfyd—yr hwn a glwyfa ac a iachâ—yr hwn sydd yn dwyn i waered i'r bedd, ac yn codi i fynu drachefn? Gyd â'r rhagoriaeth hynod hwn yn wir, na ddarfu i'r Iachawdwr na chlwyfo na niweidio neb erioed: ac nad oedd clwyf naturiol neu oruwch-naturiol na ddarfu iddo ei iachâu.

Rhy dda, ysywaeth, yr adwaenir terfynau y gelfyddyd physygwriaethol. Y mae gwendidau a chlefydau naturiol nad all eithaf cyfrwysdra y meddygon gorea eu hiachâu. Ond y Physygwr nefol yw yr hwn sydd yn cynnal colofnau natur, yr hon a adnabu ei lais, ac a roddodd iddo barod ufudd-dod. Iachawyd parlys o ddeunaw mlynedd ar hugain mewn moment—yn y cyffelyb fodd y sychwyd i fynu ddiferlif gwaed o hir barhâd—llygaid nas gwelsent erioed a dderbyniasant y goleuni. Y gwyrthiau a weithredwyd gan yr Iachawdwr oeddynt gynnifer o greadigaethau—cynnifer o adgyfodiadau. Rhoddodd fywyd i gymalau, neu ranau ereill o'r corph, oeddynt wedi ei golli, neu oeddynt heb fod erioed mewn meddiant o hono; ac efe a'i rhoddodd trwy ei air, "Bydded"—trwy rinwedd ei orchymyn yn unig. Hyd yn nod y *meirw* a

glywsant lais Mab Duw: o herwydd pe rhoddai efe y gair yn unig, wele, "y dorau pres a dorasant, a'r barau heiyrn a ddrylliasant." Pan y rhoddai ef y gair, derbyniai merch Jairus ystâd newydd o hanfodiad; mab trangcedig y weddw a neidiai yn fyw oddiar yr elor; a Lazarus, wedi ei adferyd oddiar wely llygredigaeth i'w chwiorydd cystuddiedig, a gyfaddefai ei ddwyfol allu.

Bellach, soniwn ychydig am *effechyd ysprydol*, neu *oruwch-naturiol*—am wendidau y rhai yr oedd ysprydion drwg yn awdwyr o honynt. Mae llawer yn gwadu hanfodiad y fath ysprydion drwg; ond y mae yr ysgrythyr yn ein sicrhau ni o hono: a pha dystiolaeth a allwn ni ei dwyn ym mlaen i wrthbrofi gwirionedd yr hanes? Addefai y lleng o gythreuliaid ei Dduwdod, trwy syrthio i lawr ger ei fron ef, a deisyfu arno, na orchymynai iddynt fyned i'r dyfnder; gan gyfaddef wrth hyny y buasai yn rhaid iddynt ufuddhâu i ba orchymyn bynag a roddai efe iddynt: a thrwy atolygu arno adael iddynt fyned i mewn i'r genfaint foch, dangosasant nad oedd iddynt ryddid i newid eu sefyllfa, nac i niweidio rhai ereill, heb ei genhad a'i awdurdod ef.

Ond er rhyfedded yw gweled *cythreuliaid*, y rhai oeddynt wedi eu cynnysgaeddu â synwyr a dealltwriaeth, yn ufuddhâu i orchymyn yr Iachawdwr, etto rhyfeddach fyth oedd gweled pethau *amddifad* o ddealltwriaeth, olefydau, tymhestloedd, ac angeu ei hun, yn gorfod ymostwng i'w lywodraeth. Rhyfeddod oedd gweled yr Iachawdwr y'nghanol y dymhestl yn cyfodi o'i gwsg tawel, yn ceryddu y gwynt ystormus, ac yn dywedyd wrth y môr cynddeiriog, "Gostega, distawa," a thawelwch mawr mewn moment yn canlyn y gair! Mor ardderchog oedd ei glywed ef yn rhoddi gorchymyn i frenin y dychryniadau, a'i weled yn dryllio 'r cadwynau, â pha rai y delir yn gaeth ei ddeiliaid annedwydd!

Hoff yw gan y Cristion fyfyrio ar amrywiaeth y gwyrthiau dwyfol a wnaeth yr Iesu. Hoff yw ganddo weled pob glin yn plygu yn ei ŵydd, o "nefolion, daearolion, a than ddaearolion bethau." Hoff yw ganddo weled hollalluogrwydd yn nwylaw ei Brynwr—ei weled yn gweithio ar bob gwrthddrych, heb ddim attalfa yn cael ei roddi ar ei weithrediadau. A hyn a'm tywys i ddangos,

3. Os oedd gwyrthiau rhyfeddol Crist yn anfeidrol mewn *rhifedi* ac *amrywiaeth*, yr oeddynt felly mewn *mawredd* hefyd. Fe allai rhai ofyn, ym mha beth y mae *mawredd* y gwyrthiau hyn yn sefyll? Atebaf, ar y naill law, yn nerth neu rym y rhwystrau oedd i'w gorchfygu; ac, ar y llaw arall, yn ngwendid y moddion a ddefnyddiwyd *er eu* gorchfygu. Nid rhyfedd ped fai *cant* mil o wyr yn gorchfygu *deng mil*; nid rhyfedd ped fai ychydig o wyr grymus a dewrion yn cael eu gorchfygu gan liaws aneirif—mae hyn yn naturiol—mae hyn yn nhrefn pethau; mae yn agos mor rhesymol ag ydyw i ddyn mawr fod yn drech na phlentyn. Ond pe gwelid rhwystrau sydd yn ymddangos yn anorchfygol, en hyny yn cael eu gorchfygu gan yr hyn a ymddengys yn wendid ei hun—yn hyn ymae mawredd gwyrthiol a dwyfol yn gynnwysedig.

Yn awr, y nodweddiad yma o'r Duwdod sydd gan holl wyrthiau yr Iachawdwr. Yn wir, yr un gallu creadigawl yn hwn a roddwyd ar waith pan alwodd efe fydoedd o ddiddim defnydd, a'r hwn sydd etto ar waith, pan, trwy fath o greadigaeth barhaus, y mae yn cadw y bydoedd hyny mewn hanfodiad: y gallu annherfynol hwnw, meddaf, a ddygodd i ben y gweithredoedd gwyrthiol hyny sydd yn enwogi ei hanes, ac yn cyhoeddi uwch ben y byd ddwyfoldeb eu Gweithredwr. Gan eistedd ar ei orsedd-fainge, y mae efe yn gweled, yn ewyllysio, yn gorchymyn; a'r hyn oll y mae yn ei orchymyn a gwblheir mewn moment. Yn ansymudol ei hun, y mae yn rhoddi holl olwynion natur ar waith. Mewn ystâd o *orphwysdra llafurus*, mewn ystâd o *fywiogrwydd tawel*, mae yn trefnu pob peth, er hyny ymddengys fel pe na bai yn gwneuthur dim.

Fel hyn y llafuria y Cenhad dwyfol—"Mae fy Nhad yn gweithio hyd yn hyn; (meddai ef) ac yr wyf finnau yn gweithio." Ei waith ef sydd waith parhâus, cyffelyb i hwnw o eiddo y Tad. Efe a lefara, a'i air a gwblheir. Efe a rydd ei orchymyn, a chyflawnir ef yn ebrwydd. Efe a ddywed, "Bydded goleuni yn y llygaid hyny a fuont dywyll o'u genedigaeth," a gol-

euni a ddaw iddynt. Efe a ddywed, "Treiddied bywyd trwy y rhanau hyny o'r corph, y rhai yr oedd attaliadau hen ac anorfodol wedi eu cadw yn feirwon a diffrwyth, ac yn ebrwydd y bywioceir hwynt—symudant o honynt eu hunain, a chyflawnant eu gorchwylion priodol. Efe a ddywed, "Dattoder rhwymau y tafod ammhlygadwy hwnw, ac yn y fan y gwelir y cyflawniad yn dilyn y gorchymyn; efe a ddattodir—efe a rydd eiriau eglur, er yn anghynnefin â'r gwaith; efe a ddatgan ei ddiolchgarwch, gan lefain, "Hosannah." Hyd yn nod y meirw a glywsant ei leferydd, ac a gyfodasant o'u beddau i'w addoli ef, yr hwn yw yr adgyfodiad a'r bywyd;-ie, yn hytrach, megys y cawsant achos gwirioneddol, i'w addoli Ef, yr hwn a *fuasai* yn adgyfodiad ac yn fywyd iddynt yn wir.

*(I'w barhau.)*

---

## CRIST SYDD BOB PETH.

Mae pob peth sydd yn eisieu ar y credadyn yn gryno yn yr un man; "Crist sydd bob peth." "Rhyngodd bodd i'r Tad drigo o bob cyflawnder ynddo ef." Mae ynddo gyflawnder digonol i guddio eu holl bechodau—llawnder digonol i ddiwallu eu holl anghenion—gras digonol i ddarostwng eu holl chwantau—doethineb digonol i benderfynu eu holl achosion—gallu digonol i ddistrywio eu holl elynion—rhinwedd digonol i'w hiachâu o'u holl glefydau; y mae ynddo bob cyflawnder er eu cwbl waredu, a hyny hyd yr eithaf. Mae yn Nghrist bob peth ag sydd yn cyfateb i angenion a dymuniadau ei bobl; y mae yn fara, gwin, llaeth, a dyfroedd bywiol iddynt; y mae yn wisg o gyfiawnder, er eu harddu a'u diogelu; yn feddyg i'w hiachâu, *Mat.* 9. 12.; yn gynghorwr iddynt, *Esa.* 9. 6.; yn arweinydd drwy yr anial dyrys; yn brophwyd i'w dysgu, yn offeiriad i wneuthur iawn drostynt; y mae yn dad tyner a gofalus, yn frawd serchog, teimladwy, a charuaidd, galluog ac ewyllysgar i'w cymmorth yn eu cyfyngderau; yn sylfaen i'w cynnal dan eu holl feichiau, yn drysor i'w cyfoethogi, yn haul i'w goleuo, ac yn ffynon i'w glanhâu. Fel megys ag y cynnwysa un môr fwy o ddyfroedd na holl afonydd y byd, ac un haul fwy o oleuni na holl oleuadau y nefoedd; felly, un Crist sydd fwy i enaid tlawd na phe byddai iddo berchenogi yr holl fyd filoedd o weithiau drosodd.

NEST.

---

## AT Y GWYLIEDYDD.

SYR—Os derbyn y traethawd canlynol nodded a chroesawiad genyt ti, a'th amrywiol ddarllenwyr, yr wyf yn bwriadu i un arall ei ganlyn, ryw bryd neu gilydd, ynghylch y "wraig o berchen dewiniaeth, yn Endor." 1 *Sam.* 28. 7, &c.——Ydwyf, Mr. Gwyliedydd, dy ffyddlonaf was, a'th ewyllysiwr da bob amser,

HILARIUS.

## BYR DRAETHAWD

### AR "Y RHAI CYTHREULIG," NEU LYWODRAETH DIAFOL DROS GYRPH DYNOLRYW, YN AMSER CRIST.*

FE gyfrifir y testun gan y rhan fwyaf o bobl yn bur dywyll, ac yn anhawdd i'w ddeall: ac i'r diben o'i ddeongli yn iawn, y mae yn rhaid i ni edrych yn ol ar yr hanes a'r ymadrodd sydd o'r blaen. Fe gafodd dyn mud, a'r hwn oedd dan lywodraeth yspryd aflan, ei ddwyn at Grist, modd y gallasai dderbyn rhyddhad oddiwrth y fath gyflwr truenus trwy ei allu ef. Crist yn ddioed a drugarhaodd wrth y dyn, ac a'i rhyddhaodd oddiwrth allu y cythraul, ac a wnaeth i'r *mudan* lefaru. A'r bobloedd, ger bron pa rai y gwnaethpwyd yr arwydd hwn, a ryfeddasant yn ddirfawr. Eithr rhai o honynt, o sect y Phariseaid, heb fedru ammeu sicrwydd yr iachâd gwyrthiol hwn, ac ar yr un pryd yn ofni i'r bobloedd barchu Crist yn fwy o'i blegid, a ymdrechasant i beri iddynt gredu ei fod ef mewn cyfeillach â'r diafol, ac yn gweithredu trwy 'r gallu a dderbyniasai oddi wrtho: ac mai diben a bwriad y cydymgyssylltiad hwn oedd, i sefydlu llywodraeth y cythraul, trwy ddinystrio crefydd ac eglwys Dduw, a thrwy eu dwyn hwynt i goel-grefydd y Rhufeiniaid, i ymerodraeth pa rai yr oeddynt y pryd hyny yn ddarostyngedig. Ac, ym mhellach, i'r diben i gwblhau y

* Gwel St. Matthew, pen. xii. 43. a'r Efengylwyr ereill.

weithred bechadurus hon, yr oedd yn angenrheidiol i fawrhau enw a chlod yr Iesu, modd y byddai ei awdurdod dros y bobl yn ddigonol i ateb ei fwriad yn yr hyn beth: o herwydd hyn, Beelzebub, pennaeth a thywysog y cythreuliaid, a wnaethai gyduno âg ef, ac a roddasai allu iddo i iachâu y rhai cythreulig, fel y gallasai ei enw a'i awdurdod, beri i'r bobl oedd ei ganlyn i ba le bynag yr aethai. "Trwy Beelzebub (y dywedasant hwy) y mae hwn yn bwrw allan gythreuliaid." Ein Hiachawdwr a welodd yn dda i ddadbrofi yr enllib celwyddog yma. Ac y mae tri o resymau yn cael eu rhoddi ganddo i ddangos y ffolineb afresymol o'r fath dyb.

1. Fod yn rhaid i bob teyrnas, dinas, neu dŷ, wedi ymranu yn ei erbyn ei hun, fod yn anghyfannedd, a dyfod i ddinystr: canys, pe buasai i ddwy blaid weithredu ar wahanol gyngor, a chanlyn amryw ddibenion, rhaid i un o'r ddwy weithredu yn erbyn y llall, a diddymu yr hyn a wnaethai: a thrwy hyn hwy a fyddent ar golled; eu gallu hwynt a fyddai yn myned o hyd yn llai llai, ac o'r diwedd a ddaethai yn ddiddym. Cyfaddaswch yr ymresymiad hwn at gyfeillach a chymdeithas y cythreuliaid, teyrnas Satan; a thybiwch am fynyd fod eu penaeth yn rhoddi gallu drostynt i un arall, sef i'r Iesu, i'w difeddiannu hwynt, a'u herlid oddiwrth y dynion annedwydd, i ba rai y darfu iddynt fyned i mewn; yna, yn sicr, eu gallu a ymranir, a'r canlyniad fydd gwendid a dinystr eu teyrnas. Ac felly, yn ol tyb a rhyfyg y Phariseaid eu hunain, fod Crist yn bwrw allan gythreuliaid trwy Beelzebub penaeth y cythreuliaid, a fyddai yr hyn beth yn wirioneddol? Yn hytrach, ar y llaw arall, yn lle cadarnhau a sefydlu teyrnas y diafol, fe wnai hyn wanhau a dinystrio ei lywodraeth.

2. Yr ail reswm sydd wedi ei dynu oddiwrth eu hymarferiad hwy eu hunain. Yr oedd yn eu mysg hwynt gonsurwyr, y rhai a gymmerasant arnynt fwrw allan gythreuliaid; ond, ar yr un pryd, yr oeddynt yn cyfaddef eu bod yn derbyn eu gallu oddiwrth Dduw. Yn awr, ynte, paham nas gellir dywedyd fod llwyddiant Crist, yn y gorchwyl o fwrw allan gythreuliaid, yn deilliaw oddiwrth Dduw, yn gystal a llwyddiant eu consurwyr hwy eu hunain. Pa mor ffol, gan hyny, yw priodoli gallu un i Dduw, ac eiddo y llall i'r diafol, er fod y ddau yn troi allan yn gogymmaint llwyddiannus. Y mae rhai yn ammeu y gwirionedd fod y'mysg yr Iuddewon gynt gonsurwyr, ac yn tybied fod Crist, pan y dywedodd, "trwy bwy y mae eich plant chwi yn eu bwrw hwynt allan," yn cyfeirio at y deg disgybl a thriugain, a ddanfonodd efe i bregethu, ac i wneud gwyrthiau yn ei enw. Yr oeddynt hwy yn feibion yn ol ystyr y gair yn y lle yma, hyny yw, Iuddewon oeddynt wrth enedigaeth. Yn ol y tyb hwn, yr ymresymiad a fydd fel y canlyn:—Y deg a thriugain hyny, y rhai ydynt i gyd oll yn Iuddewon, plant Abraham, ac mewn cyfammod â Duw, y rhai yn ddiweddar a fuasent yn pregethu ac yn bwrw allan gythreuliaid, ac yn gwneuthur llawer o weithredoedd gwyrthiol ereill, yn eich trefydd a'ch dinasoedd, "trwy bwy y maent hwy yn bwrw allan gythreuliaid?" A ellwch chwi feddwl iddynt oll weithredu mewn cymdeithas â'r diafol, a thrwy ei allu? Os naddo, paham y teflwch yn fy erbyn i y fath gyhuddiad? Am hyny byddant hwy yn farnwyr arnoch chwi: a thrwy eu barn hwynt i'ch condemnier chwi, y rhai ydych yn cyfrif eu llwyddiant hwy i Dduw, a'm heiddo, dan yr un fath amgylchiadau, i allu 'r diafol.

3. Y trydydd rheswm yw hyn—"Na ddichon neb fyned i mewn i dŷ un cadarn, a llwyr yspeilio ei ddodrefn ef, oddieithr iddo yn gyntaf rwymo y cadarn, ac yna yr yspeilia efe ei dŷ ef." Crist, gan hyny, gan ei fod yn alluog i orchfygu Satan, ac i fwrw allan y rhai cythreulig, oedd yn meddu, yn ddiammheuol, fwy o allu na Satan; ac o herwydd hyny nis gallasai byth dderbyn ei allu oddiwrth Satan. Mae y rheswm diweddaf hwn yn cael ei arwain i mewn gyda chynghorion prysur, a rhybuddion tra difrifol, ynghylch y pechod a'r enbydrwydd arswydus o'u hymddygiad rhagrithiol hwy yn y perwyl hyn. Yr oedd yn dra amlwg nad oedd Crist yn bwrw allan gythreuliaid trwy un math o cytundeb â Satan; ac yn ganlynol, ei fod yn eu bwrw hwynt allan drwy allu Duw; ac am hyny yr oedd teyrnas Dduw wedi dyfod yn eu plith hwynt, sef yr addew-

edig Fessiah, yr hwn oedd i sefydlu y deyrnas hono yn y byd, ac i ddinystrio ac i ddiddymu teyrnas Satan. Yna y mae efe yn eu rhybuddio hwynt o'u perygl am wrthwynebu yr hyn ag oedd efe yn wneuthur tu ag at ddistrywio teyrnas y diafol. "Y neb nid yw gyda mi, sydd yn fy erbyn; a'r neb nid yw yn casglu gyda mi, sydd yn gwasgaru." Hyny yw, y sawl nid ydynt yn rhoddi cynnorthwy i mi i sefydlu teyrnas Dduw, a chasglu pobl ati; ond, ar yr ochr arall, ydynt yn gwrthsefyll fy ymdrechiadau i, ac a'u gwasgarant hwynt, ac a'u bwriant ymaith, gan ymladd yn erbyn llwydd teyrnas Dduw. Ac yma y canlyn y ddammeg o eiddo y testun:—"A phan êl yr yspryd aflan allan o ddyn," &c. Fel pe dywedasai Crist wrthynt, Mewn perthynas i chwi, y rhai ydych yn gweled Satan yn cael ei fwrw allan genyf fi o gyrph cythreulig, ac etto ydych yn sefyll gyd âg ef yn fy erbyn, gan gyfrif yr hyn yr wyf yn ei wneuthur drwy allu Duw, yn effaith o gytundeb a chyfeillach â'r diafol, yr wyf yn galw arnoch chwi i sylwi ar y gyffelybiaeth a osodaf ger eich bronau yn awr, a'r hon a gyflawnir mewn amser cyfaddas. Yr yspryd a welwch yn awr yn ddarostyngedig i'm gallu i, ac wedi ei fwrw allan o'ch cyd-wladwyr chwi, a â i wlad y cenhedloedd, y rhai a addolant eilunod a delwau, y *lleoedd sychion*, heb gael etto eu dyfrhau gan yr efengyl a gras Duw. Yna efe a geisia iddo ei hun orphwysdra, ond ni bydd yn ei gael; yna yr efengyl a'i canlyn ef: a thrwy bregethiad a galluoedd gwyrthiol fy nisgyblion i, efe a fwrir allan o'u temlau a'u horaclau, ac o gyrph ac eneidiau y cenhedloedd hyny, y rhai a dröir at Dduw. Ac heb gaffael neb yn fwy addas i'w groesawu na chwi, oddiwrth ba rai y taflwyd ef allan yn awr, efe a ddychwel atoch drachefn, wedi ei galedu yn fwy mewn pechod; ac efe a'ch caiff chwi fel tŷ yn wag, wedi ei ysgubo a'i drwsio, i dderbyn ei breswylwyr. Yna yr â efe i mewn i chwi, gyda chanwaith mwy o allu nag o'r blaen; a gymmer feddiant mwy parhaus o honoch nag erioed, ac a'ch gwna yn seithwaith mwy ei blant, ac a ddug arnoch y barnedigaethau mwyaf enbyd o eiddo Duw. Och! y brophwydoliaeth ofnadwy o effeithiau dinystriol calon-galedwch ac anghrediniaeth y genedl Iuddewig. Fe gyflawnwyd hyn iddynt yn gyflan-gwbl! Duw a roddo ras i ni i lesâu ein hunain, trwy eu siampl hwynt, fel, gan ochelyd eu calongaledwch, a'u dirmyg o air Duw, yr arosom byth ei bobl ef, ac y bo'm gadwedig ym mhlith gweddillion y gwir Israeliaid, trwy ein Harglwydd Iesu Grist.

(*I'w barhâu.*)

---

## ORIAU YSGRYTHYROL.

### IOAN.

(*Parhad o du dal. 74.*)

Pen. xiii. 10. "*Yr hwn a olchwyd.*"—Y mae Campbell a Doddridge yn cyfieithu y geiriau fel hyn: "Yr hwn sydd wedi bod yn ymdrochi." Er hyny gellid dywyno y traed wrth fyned o'r ymdrochfa, a bod arnynt eisieu eu golchi.

Adn. 23. "*Yn pwyso at fynwes yr Iesu.*"—Ioan ydoedd y disgybl hwn; oblegid byddai yn arferol o eistedd yn nesaf ato; ond y mae yn y fan hon, fel mewn amryw o fanau ereill, yn wylaidd yn gadael ei enw allan.

Pen. xiv. 5. "*Ni wyddom ni i ba le yr wyt ti yn myned.*"—Ymddengys oddiwrth ateb Thomas, ei fod yn tybied fod ein Harglwydd am ddiangc i ryw le pell yn y wlad rhag ei elynion; neu, fel y mae Doddridge yn dywedyd, ei fod yn meddwl fod Iesu am fyned i ryw wlad arall i osod i fynu ei deyrnas.

Pen. xvii. 2. "*Hwy a'ch bwriant chwi allan o'r synagogau.*"—Yr oedd tair gradd o ysgymmundeb ym mhlith yr Iuddewon. Y gyntaf oedd yr hyn a elwir yn y Testament Newydd, "*Bwrw allan o'r synagogau;*" ac y mae yn arwyddo neillduad oddiwrth bob cymdeithas a masnach: yr ydoedd i fod mewn grym am 30 niwrnod, ond gellid byrhau yr amser trwy edifeirwch. Os byddai y dyn yn parhâu yn ei galedrwydd, byddent yn ei ail ysgymmuno, ac yn ychwanegu melldith at hyny. Tybia rhai mai hyn ydoedd ei *draddodi i Satan*. Byddent yn cyhoeddi ei fai yn y synagog, a byddai ganddynt ganwyllau yn oleu, a phan orphenid y cyhoeddiad, byddent yn diffodd y canwyllau, i arwyddo fod y person ysgymmunedig yn cael ei

amddifadu o oleuni y nefoedd. Byddai ei eiddo yn cael ei ddirwyo, ac ni byddai ei feibion yn cael enwaedu arnynt; ac os byddai farw heb edifeirwch, byddent trwy orchymyn y barnwr yn taflu careg ar ei elor, i ddangos ei fod yn haeddu cael ei labyddio. Ni alarent ar ei ol fel ar ol rhai ereill. Yr ysgymmundod olaf oedd yr *anathema*, yr hyn a wnelid âg un a fyddai wedi troseddu yn aml, a byddent weithiau yn eu barnu i gael eu halltudio, neu i farw.

PEN. xviii. 1. "*Afon Cedron.*"—Nid oedd yr afon hon ond nant fechan, yr hon oedd yn rhedeg rhwng Jerusalem a mynydd yr Olewydd, ac y mae yn diweddu yn y Môr Marw. Nid yw y ffrwd ond bechan, oddigerth yn amser y gwlaw, pan y mae yn ymchwyddo ac yn cludo ymaith holl faw a budreddi y ddinas a'r deml i'r Môr Marw.

ADN. 16. "*Y drysores.*"—Byddai merched yn aml yn cadw y drysau y'mysg yr hynafiaid, ac fe allai y'mhlith yr Iuddewon hefyd.

PEN. xix. 29. "*Llestr wedi ei osod yn llawn o winegr.*"—Y mae yn wybyddus mai dwfr a gwinegr (yr hyn a alwent *posca*) oedd diod gyffredinol y milwyr Rhufeinaidd; gan hyny fe allai fod y ddiod hon wedi ei gosod yma er eu hangenion hwy, neu er mwyn y rhai croeshoeliedig, gan y byddai eu loesau yn sicr o'u gwneuthur yn sychedig.

ADN. 31. "*Fel nad arhoai y cyrph ar y groes ar y sabboth.*"—Yn ol y gyfraith Iuddewig, *Deut.* 21. 22, 23. nid oedd i gorph un ag oedd wedi cael ei grogi ar bren i aros dros nos, ond i gael ei gymmeryd i lawr y dydd hwnw, a'i gladdu, er na fyddent yn wastad yn gwneuthur hyn, 2 *Sam.* 21. 9, 10. Nid ydym yn gwybod yn sicr beth oedd arferiad yr Iuddewon yr amser hwn; ond yn ol cyfreithiau y Rhufeiniaid, yr oedd y cyrph i grogi nes y pydrent, neu eu bwyta gan adar ysglyfaethus; am hyny, fel na halogent y wlad, ac yn enwedig y sabboth, trwy eu harosiad ar y groes, dymunent gael eu tynu i lawr.

ADN. 39. "*Myrr ac alöes y'nghymmysg, tua chan-pwys.*"—Y mae rhai yn meddwl fod camsynied yn y fan hon; ond dywed y *Talmud*, iddynt ddefnyddio 80 pwys yn nghladdedigaeth Rabbi Gamaliel yr hynaf. Dywed Josephus fod 500 o weinidogion yn dilyn claddedigaeth Herod, pob un yn dwyn pêr-aroglau.

SIGMA.

---

## SAITH EGLWYS ASIA.

---

**Ephesus—Smyrna—Pergamus.**

ER byred ac ammherffeithied a fu y golygiad a gymmerasom mewn dalenau blaenorol ar GYFLAWNIAD Y PROPHWYDOLIAETHAU; etto, oni fu yn ddigon i brofi yn amlwg, mai trwy ysprydoliaeth Duw y llefarwyd y prophwydoliaethau hyny. Y mae sicr air prophwydoliaeth yn wir yn datguddio llawer anghyfanneddiad a ddaeth ar y ddaear: ond tra y bo yn amlygu "dirgelwch yr anwiredd," mewn rhai o'i weithrediadau, y mae hefyd yn gwneuthur i fynu ei hun ran o "ddirgelwch duwioldeb;" ac er ei fod yn dangos, cyn belled ag y medr adfeiliau daearol ddangos, yr awdurdod oedd gan "arglwyddi ereill" ar galonau plant dynion, etto nid yw oblegid hyny yn llai yn dystiolaeth yr Iesu. Pechodau dynion a achosasant, a'u creulondeb a gyflawnasant, yr anghyfanneddiadau echryslon a ragddywedasai gair Duw. Bu yn ddïau lawer o arwyddion o'i ddigofaint ef, etto nid amlygwyd hwynt ond yn y lle yr oedd anwiredd yn amlhau. Ac er pallu o bob rhybuddion ereill, dylai yr olwg ar ei farnedigaethau a aethant heibio, a chyhoeddiad o'r rhai sydd etto i ddyfod, ddysgu y pechadur anedifeiriol ac annychweledig i ystyried yn ddifrifol fygythiadau ei air, a dychrynfäau Duw, ac i brofi ei ffyrdd, a dychwelyd at yr Arglwydd, tra bo ganddo amser i edifeirwch, cyn i'r farn ei orddiwes. Ac oni ddylai yr anghyfanneddiadau a wnaeth Duw ar y ddaear, ag sydd yn profi gwirionedd ei air, yn yr hwn y dygwyd bywyd ac anfarwoldeb i'r goleuni, ddysgu y dyn, yr hwn sydd yn cymmeryd y byd yn dduw iddo, i beidio meddwl mwyach ei fod yn deilwng o'i addoliad a'i gariad, ac i ymwrthod â "chybydd-dod, yr hwn sydd eilun-addoliaeth," hyd oni chwympo delw mammon yn y deml dufewnol, fel y cwympodd delw dagon o flaen arch yr

sydd yn gorwedd yn nyffryn ffrwythlawn yr afon hòno, a dyffryn cywarch a llîn y *Dwina*, ac a ymestynant yn ol i ganolbarth Rwssia. Y mae 'r tir lle tyf y coedwigoedd hyn, o'r bron, yn dywodlyd oll; ac o ganlyniad, y mae ei arwyneb, o'r braidd, yn gydwastad â gwyneb y môr. Yr afon Memel yw y prif gamlas a ddefnyddir i ddwyn y Pinwydd hyn at y môr; a Memel yw y prif borth o'r hwn y trosglwyddir i wledydd tramor. Trosglwyddir amryw o goed Memel yn foncyffion heb i un arf fod arnynt, ond bwyall yn unig; ac y mae hwylbrenau, &c. Memel i'w diarhebu. Yn yr Iseldiroedd, ar lanau 'r *Baltic*, y ceir y gwefr rhagoraf trwy 'r holl fyd; a hwn, meddylir, yw *Turpentine* y Pinwydd pydredig wedi ei draws-sylweddoli, trwy ei gladdu yn y ddaear, gan amser. Ochrau gogleddol yr Alps, a mynyddoedd deheuol Germany, ydynt doreithiawg o Binwydd, a'r afonydd Rhine a Danube ydynt hynod o'r defnyddiol i'w cludo i barthau isaf y wlad, lle y maent yn dra gwerthfawr.

Y modd y dygir y coed yn gludeiriau mawrion ar hyd yr afon Rhine sydd dra rhyfedd. Fe'i darlunir gan awdwr yr "*Autumn near the Rhine*," fel y canlyn: "Ychydig islaw Andernach y saif trefan fechan o'r enw Namedy, ar ochr môrglawdd, o dan fynydd coediog. Y Rhine, yn y fan hon, sydd fath o hafan, lle bydd y morwyr yn ymgynnull i gadwyno y cludeiriau bychain a ddychwelant gyd â'r afonydd trethedig i'r Rhine yn gludeiriau mawrion, y rhai a arweinir i Dortrecht i'w gwerthu. Ymddengys y cludeiriau megys pentref nofiadwy wedi ei gyfansoddi o ddeuddeg i bymtheg o fythod bychain o goed ar dafiod o Dderw a Phinwydd. Y cludeiriau yn gyffredin ydynt o wyth i naw cant o droedfeddi o hyd, ac o driugain i ddeg a thriugain o led. Llywir hwy yn gyffredin gan fôrlywwyr priodol, a pherchenog, annedd yr hwn sydd yn rhagori ar y lleill mewn maintioli a harddwch. Cynnwys cludair amryw dai o goed, y naill goruwch y llall, wedi eu cylymu ynghyd. Cludair lled fawr a rwyfa o gylch saith troedfedd o ddwfr. Amryw gludeiriau llai, trwy eu cadwyno wrth y rhai mawrion, a'u dilynant, er eu gwarchod, heblaw llu o fadau llwythog o angorau a rhaffau i brofi dyfnder yr afon, ac i lanio wrth achos. Ieir, moch, ynghyd â chreaduriaid gwâr ereill, a ganfyddir ar y bwrdd, a chigyddion, &c. i'w parotôi. Y mae crochan llawn o ddanteithion ar waith yn y gegin ddydd a nos. Arwyddir yr awr giniaw trwy ddyrchafu basged ar ben pawl, pryd y rhydd y llywydd orchymyn i'r gweithwyr fyned ac ymborthi. Yr ymborth a dreulir ar yr ymdaith i *Holland* sydd braidd yn anghredadwy. Ar rai amserau, treulir o gylch 40,000 neu 50,000 pwys o fara, ac o 18,000 i 20,000 pwys o gig croyw, heblaw llawer o gig hallt, ymenyn, llysiau, &c. yn gyfartal. Gofynir o gylch £35,000 i ddwyn traul y daith hon. Y mae mordwyo yr afon hon yn gofyn llawer o fedrusrwydd a deall, o herwydd yr amryw ddolenau, creigiau, a basdir, a berthyn iddi. Ychydig flynyddau yn ol ymddiriedwyd gofal yr holl gludeiriau a nofiant ar yr afon hon i fadwr o Rudesheim, a'i fab."

Nid yw dwyn coed yn gludeiriau o ddyfais ddiweddar, nac wedi ei chyfyngu i Ewrop yn unig; eithr Evelyn, ar dystiolaeth Le Comte, a ddywed fod masnachwyr coed China yn eu trosglwyddo yn y modd yma, ar y rhai yr adeiladant fythod, lle y preswyliant hwy a'u teuluoedd. Yr hyn a ganlyn a roddir i ni gan Plarochès yn ei hanes o "Ddiagynfa 'r Danube," ynghyd â'r modd y nofir coed ar gaingc o honi, a meddylir fod yr arfer yn gyffredin yn Germany;

"Y'ngenau 'r afon Erlaf y mae math o glwyd (*grate*) ar ei thraws, er attal y coed a ddychwelant gyd â'r ffrwd o goedwigfa y'nghymmydogaeth *Maria-zell* fyned ym mhellach. Y mae yn ddefod yn Germany o osod un o'r clwydi hyn ar draws genau pob ffrwd neu afon a fo'n terfynu dwy deyrnas, dwy dalaeth, neu ddau blwyf, fel na byddo i ganghenau a boncyffion y coed a chwythir i lawr gan y gwynt, ac a ysgubir ymaith gan y llifeiriant, gael eu dwyn tu hwnt i derfynau y dalaeth y perthynont iddi, y rhai sydd yn peri elw mawr i'r perchenogion. Y coed a gwympir fel hyn gan ddynion i'r perwyl, a fwrir ganddynt yn esgeulus i ffrydiau mynyddoedd Germany. Nofiant at y clwydi, ac a gesglir gan eu perchenogion yn dra gofalus.

Y dull hwn a arbed iddynt y draul o'u cludo ar hyd y tir, a'u hyspeilio gan y gyfraith lemdost a roddir ar y cyfryw yn y parthau hyny."

Y mae Pinwydd mewn amryw barthau o Ewrop yn hollol ddifudd, gyda golwg ar eu trefnidio, oblegid sefylifa'r tir lle maent yn tyfu, i'w cludo i unrhyw ffrwd neu borthladd. Cymmerer ystlysau gelrwon creigiau, a cheunentydd dyfnion mynydd Pilatus, yn Switzerland, er engraifft, yr hwn a fu yn cael ei guddio gan goedwigfa o Binwydd am oesau lawer, hyd nes dychymmygwyd modd i'w dwyn o gopa uchaf y mynydd i gul-fôr Lucerne, am o gylch naw milltir ar fath o wastadedd gogwyddedig ar hyd yr holl ffordd. Y ddyfais ryfedd yma a orphenwyd yn y fl. 1812, ac a ddaeth yn un o ryfeddodau holl Ewrop, ac a gyfenwyd Llithrigfa Alpnach. Y llithrigfa oedd fath o gafn wedi ei gyfansoddi o 25,000 o goed Pinwydd, chwe troedfedd o led, ac o dair i chwech o ddyfnder. Cedwid y cafn bob amser yn llaith. Ei hŷd oedd 44,000 o droedfeddi Saesonig. Dygwyd y gorchestwaith hwn yn uniawn-syth dros benau clogwyni, ar hyd eu hochrau, tan y ddaear, a thros nentydd dyfnion dros yr holl ffordd. Y dychymmygydd, M. Rupp, a ddygodd ei holl amcanion y'mlaen trwy bob anhawsderau, ac a'u cwblhaodd mewn deunaw mis. Disgynai'r coed gyd â'r cyflymdra mwyaf at yr hafan. Pinwydd mawrion o gylch 100 troedfedd o hŷd a redent dros wyth milltir o ffordd mewn chwe mynyd.

Un boneddig, yr hwn a fu yn gweled y rhyfeddwaith hwn, a ddywed, fod y fath goed anferth yn myned heibio gyd â'r fath fuander, fel nad allai ef ond ei daro unwaith â'i ffon, er mor gyflym y cyfodai hi i gynnyg ei daro eilwaith.

Terfyniad y rhyfel a agorodd farchnadoedd y *Baltic*, ac felly rhoddwyd terfyn ar gelfyddwaith Alpnach, a phob peth a berthynai iddo a aeth yn ddiwerth.

(*I'w barhâu.*)

---

## Y DYN GONEST DIDDICHELL.

Nid yw efe yn edrych ar yr hyn a allai wneuthur, ond ar yr hyn a ddylai wneuthur. Cyfiawnder yw ei arweinydd cyntaf; ac ail gyfraith ei arferiadau yw buddioldeb; gwell ganddo achwyn na thramgwyddo: ac y mae yn casâu pechod yn fwy ar gyfrif ei anurddas, na'r perygl a'i canlyn. Y mae ei uniondeb diaddurn yn gweithio ynddo y fath hyder mewn ereill, yr hyn yn fynych a'i colleda ef hun, ac a rydd fantais i'r cyfryw, pryd y tosturia efe wrth eu hanffyddlondeb yn hytrach nag edifarhâu am ei hygoeledd. Nid oes ganddo ond un galon, a hòno yn agored i bawb; ac oni byddai callineb, nid yw efe byth yn meddwl am ddim ag y ciliai oddiwrth dyst wrth ei feddwl; ei air yw ei femrwn, a'i ie yw ei lw, yr hwn ni thyr efe rhag ofn, nac yn achos colled. Dichon anhap digwyddiadau beri iddo feio ar ei ragbarotöadau, ond ni ddichon dim beri iddo dori ei addewid, ac ni ddywed efe, "hyn ni welais," ond "hyn a ddywedais." Pan wneir ef yn gyflawnydd ewyllys ei gyfaill, efe a dâl y dyledion a'r ewyllysroddion, gan fod yn chwith ganddo yspeilio yr amddifad, neu anrheithio beddau; ac am hyny ffyddlon fydd efe i gyfaill, o herwydd nad yw yn ei weled. Yn ei holl fasnach y mae efe yn talu ei eiddo; efe a ddatguddia fai yr hyn a fyddo yn werthu, ac a ddychwel yr elw a ddigwyddodd iddo gael trwy gyfrifon. Efe a ystyria lwgr-wobr yn wenwynllyd, er ei fod wedi ei oreuro drosto â'r lliw o anrheg. Nid yw ei fochau yn cael ei llychwino gan wrid gwrth-broffes, ac nid yw ei dafod yn bloesgi wrth gadarnhau celwydd trwy egluriadau neu esponiadau dau ystyr; a phan ddrwgliwir ei enw, ei ddiniweidrwydd a'i dwg allan gyda gwroldeb; ac wele, efe a â rhagddo yn ffordd eglur y gwirionedd, ac a fuddugoliaetha ynddo, neu a ddïoddefa gyd âg ef. Ei gydwybod a oruwch-lywodraetha ei ragddarpariadau, ac felly ym mhob peth, pa un bynag ai drwg ai da; efe a ystyria natur y weithred, ac nid ei chanlyniad. Os dichon efe weled pa beth a raid iddo wneuthur, boed i Dduw weled pa beth a ganlyn. Nid yw efe fyth yn llwytho ei hun â baich a fyddo yn fwy na'i nerth, a'r tu hwnt i'w ewyllys, a phan ei rhwyma unwaith yr hyn a ddichon ei wneuthur, efe a'i gwna. Ei glust yw cyssegr enw ei gyfaill anwyddfodol, a chyfrinach ei gyfaill yr hwn sydd yn ei ŵydd—ni ddichon

yr un o honynt gael cam yn ei gadwraeth ef. Efe a gofia feiau ei ieuengctid, ac a'i tâl yn ol a'r llôg, yr hwn ni chymmerai efe ei hun. Gwell ganddo fod mewn diffyg na benthyca, a chardota na pheidio talu. Ei ammodau têg ydynt heb gyfrwysdra, ac efe a gâr weithredoedd yn hytrach na geiriau. Yn olaf, y mae efe yn casâu twyll yn fwy nag angeu: nawdd-ddyn ffyddlon i'r gwirionedd yw efe; nid yw elyn i neb, ac y mae yn ammheus pa un ai iddo ei hun neu i arall y mae efe yn gyfaill penaf: a phe na byddai nefoedd, etto efe a fyddai rinweddol. H.

---

## DARLITH

### AR AWSAFIAETH *(HYDROSTATICS.)*

*A draddodwyd yn Nghymdeithas Cymreigyddion Caerludd, Nos Iau, Ebrill 7fed,* 1831.—*Gan* GRIFFITH DAVIES.

FY HOFFUS GYDWLADWYR—Mae yn adnabyddus i'r rhan fwyaf o honoch ddarfod i'n Llywydd gwladgarawl, er ys rhai misoedd yn ol, addaw traddodi Darlith ger eich gwydd heno, ac mai ei afiechyd ef a fu yn achos i mi gael fy ngalw ar fyr rybydd i gyflawni y swydd yn ei le. O herwydd hyn, heb sôn am lesgedd corph, ac amrywiol drafferthion ereill, chwi a wyddoch na chefais nemawr o amser i ymbarotôi, ac am hyny erfyniaf arnoch edrych ar fy ymgais yn ol fy ewyllys i'ch gwasanaethu, yn hytrach nag yn ol trefn fy Narlith.

Ond cyn dechreu, chwennychwn ddywedyd ychydig eiriau am y Cymdeithasau Cymreigyddol a glywn eu bod yn cael eu sefydlu yn y Dywysogaeth. Fy marn gydwybodol i am y Gymdeithas hon yw, ei bod er lles ac addysg i'r rhai ydynt yn arferyd ymgyfarfod ynddi, ac mewn gradd er budd i'r Dywysogaeth hefyd; ac nis gallwn gael gwell prawf bod ereill o'r un farn, na gweled bod rhai o drigolion Cymru yn rhestru eu henwau yn ein plith, ac yn cyfranogi eu harian at ein hamcanion. Ond rhag y dichon rhai anturio ail godi yr hen nosweithiau llawen dan ffug enw Cymdeithasau Cymreigyddol, chwennychwn gyhoeddi nad ydym ni yn rhoddi un math o gefnogiad i'r cyfryw, er ein bod yn caru gweled Cymdeithasau Cymreigyddol yn cael eu sefydlu, lle bynag y byddo dynion sobr awyddus am wybodaeth yn blaenori ac yn rheoli eu cyfarfodydd.

Er byred yr amser a gefais i ymbarotôi, gallaf ddywedyd yn ddiragrith, i mi dreulio llawer o hono i ystyried pa destun a ddewiswn i ddarlithio arno. Meddyliwn weithiau am ddywedyd ychydig mewn modd o hyfforddiant i Gymro i ddysgu yr Iaith Saesonaeg: brydiau ereill, amcenais roddi Darlith ar rai o brif ddeddfau y Greadigaeth, ac i ymdrechu dangos mai diben gwybodaeth gyffredinol yw galluogi dynion i ddefnyddio y cyfryw ddeddfau er eu lles eu hunain; ond canfyddais bod y testynau yma yn gofyn gormod o amser i mi y tro hwn ymyraeth â hwynt, ac yr wyf yn gobeithio y bydd i rywun arall mwy galluog i wneuthur cyfiawnder â hwynt ein difyru, trwy roddi Darlithiau yma arnynt. Ar ol hyn, bwriedais ddywedyd ychydig am darddiad, natur, ac effeithiau Dyled Wladol; ond ofnais y rhoddai Darlith o'r fath gefnogiad gormodol i'r rhai ydynt eisoes, yn fy marn i, yn rhy dueddol i greu anfoddlonrwydd ac anesmwythder ym mysg ein cydwladwyr.

Ni charwn, wrth ddywedyd hyn, dadu dim yn gas at neb o fy nghyd-genedl, am nad wyf yn meddwl bod un o honynt yn wirfoddol yn amcanu drygu hil Gomer, ac ni fynwn chwaith i neb gasglu fy mod yn ystyried cywir wybodaeth am natur llywodraeth a'i chyfreithiau, ynghyd â'i hamrywiol sefydliadau, yn anfuddiol i'r cyffredin i ymdrechu gwneuthur eu hunain yn gyfarwydd am danynt; etto, wrth edrych ar waith rhai ysgrifenwyr yn y Cyhoeddiadau Cymreig, nis gallaf lai nag ofni eu bod yn tueddu yn ormodol at lwybrau COBBETT, ac yn fwy tebyg o arwain gwerin ein gwlad i ddiystyru llywodraeth, ac i gablu y pethau ni wyddant oddi wrthynt, nag i greu awydd ynddynt am ehangu eu meddyliau â gwybodaeth ddefnyddiol.

Wrth ystyried pa destun a gymmerwn, nid oeddwn yn anghofio fod rhai o'r cyfeillion a glywsant fy Narlith hanner blwyddyn i heno, yn disgwyl yr esgynwn oddiwrth yr awyrgylch at y bydoedd wybrenol, ac ni ragrithiaf, trwy ddywedyd nas gallwn i ryw raddau eich difyru trwy roddi Darlith ar Seryddiaeth, ac

amlygu rhai o gylchdroadau y bydoedd wybrenol gyd âg offerynau nad ynt o fewn cyrhaedd pawb o honoch; ond meddyliwn fod yn angenrheidiol i fy nghydwladwyr wneuthur eu hunain yn fwy hyddysg mewn meintoniaeth (*mathematics*) wrth yr hyn y meddylir egwyddorion rhif a mesur, cyn y gallont amgyffred ond ychydig o'r gangen ddyrys hòno; ac nis gallwn anghofio yr hyn a ddarllenais am hen wraig, yr hon, pan welai Serydd yn edrych trwy ei ddrych ar y lleuad, a ddywedodd, "Tremied ef a fyno ar y lleuad, nid yw fymryn agosach ati nag wyf finnau."

Wedi cael fy nwyn i fynu ym mysg cloddféydd Arfon, a meddwl bod llawer mwy o gyfoeth y Dywysogaeth yn cael ei gloddio o grombil ei chreigiau nag sydd yn cael ei godi oddiar wyneb ei maesydd, nis gallwn lai na barnu fod yn llawer mwy angenrheidiol i fy nghyd-genedl gael hyfforddiant am ddeddfau dwfr nag am gylch-rodféydd y bydoedd uwch ben, nac chwaith anghofio i mi weled Ermigau gwynt a dwfr o waith Cymry uniaith, a fuasent yn anrhydedd i Ermygyddion mwy dysgedig, ac i mi, pan yn fachgen, yfed o gwpan arian a roddasid fel gwobr i un o fy nghymmydogion, ar yr hon yr oedd yn ysgrifenedig—

"Cwpan dlws arian i Sion,—Ermigydd,
"Gwr fagwyd yn Arfon;
"Am ei ddyfais gais gyson,
"Yn rhwydda tal y rhoddwyd hon."

Ond nid oes ammheuaeth yn fy meddwl na buasai y gwr hwn, a llawer ereill o'm cyd-genedl fel yntau, y rhai a fuont, ac a ydynt, ar bendroni wrth lunio peiriannau er codi dwfr, sorod, cerig, glo, a mwnau, o waelodion cloddféydd y Dywysogaeth, yn llawer mwy galluog i gyflawni eu hamcanion pe buasent yn fwy adnabyddus o ddeddfau y greadigaeth, ac yn fwy cyfarwydd âg elfenau gwybodaeth wyddorawl; ac er mai eu lles eu hunain yw cynhyrfiol achos eu hymdrechiadau hwy, a bod anwybodaeth y werin yn peri iddynt weithiau wenwyno o herwydd eu llwyddiant, dylem ystyried fod llwydd ein cenedl yn ymddibynu ar eu dyfeisiadau, o herwydd bod cloddféydd yn cael eu gweithio am flynyddau, a miloedd o'r werin yn cael moddion i ennill eu bywioliaeth, y rhai nas gallent gael tyddynod i godi eu lluniaeth oddiar wyneb y maes, ac nas gallent chwaith orchfygu yr anhawsderau a'u lluddient i godi yr hyn sydd gyfnewidiol am luniaeth o ddyfnderau eu cloddféydd, oni bai fod peiriannau ofyddawl yn cael eu dyfeisio o flwyddyn i flwyddyn. Ac am fy mod o'r farn mai cynnyddiad gwybodaeth, cyfartal a chwanegiad dysg ym mhlith cenedlaethau cymmydogaethol, yw y modd tebycaf i gadw hil Gomer rhag suddo i dlodi a thrueni, edrychaf, gyda gresyndod, ar y rhai a ymdrechant wrthwynebu ein hamcanion, gan alw yr hyn yr ydym yn ymegnio ato, mewn dirmyg, wch, *Golen Pen*, neu enwau o'r cyffelyb, ac ymdrechaf roddi rhyw fath o Ddarlith ger eich gwydd ar *Awenfaeth*.

(*I'w barhau.*)

---

GOLWG GYFFREDINOL AR DDYNOLIAETH YN NEILLDUOL.

"Hwy a chwiliasant allan lawer o ddychymmygion."—*Preg.* 7. 29.

Hybarch Wyliedydd—Hyd ag yr wyf fi wedi deall, a darllen, y mae ym mysg pob cenedl ar wyneb yr holl ddaear ryw ddrychfeddwl am fyd ar ol hwn. Nid yw y cenhedlaethau mwyaf Paganaidd sydd yn y byd heb ryw raddau o'r dybiaeth yma yn orphwysedig ar eu cydwybodau: ïe, y mae rhywbeth o hyn i'w ganfod yn yr holl brif lyfrau sydd gan brif grefyddau y byd. Ond nid yw wedi cael ei ddwyn i eglurdeb boddlonawl yn yr un o honynt, ond yn llyfr y Cristionogion, sef y Bibl. Ond etto, fel ag y mae ganddynt ryw ddychymmyg am fyd ar ol hwn, y maent hefyd yn haeru yn ëon bod yn rhaid gwneuthur llawer o bethau tu ag at fwynhau dedwyddwch yn y byd hwnw. Dywed Eglwys Rhufain bod eisieu dwyn y corph yn gaeth i ddioddef eu penydiau llymdost hwy. Hefyd, dwyn eu calon i gredu ddarfod i'w pen hwy, sef y Pab, gael ei awdurdodi gan Dduw i fugeilio ei eglwys: ac oddiwrth hyny y maent yn ei alw, "Ficer Crist ar y ddaear." Hefyd, gwirioneddol gredu eu herthyglau hwy; a chredu yn y Saith Sacrament y maent yn dywedyd sydd yn hanfodol i iechydwriaeth; sef, penyd, bedydd, swpper yr Arglwydd, eneiniad yr offeren, conffirmas-

hwn, a phriodas. Ac hefyd, credu bod gan y Pab awdurdod i faddeu pechodau; ac nas gall eu Heglwys hwy gyfeiliorni. Maent yn dywedyd bod yn rhaid cael llythyrau oddiwrth y Pab, neu rai o'i brif Gardinaliaid—darnau o brenau wedi eu gwneuthur ar lun croes—ychydig o lwch ac esgyrn eu prif seintiau, wedi eu gwneuthur i fynu mewn memrynau hardd, i fod fel trwyddedi i fyned i'r dedwyddwch sydd yn y byd ar ol hwn. Onid yw yn resynus meddwl fod oddeutu 110,000,000 o ddynion yn cofleidio y cyfeiliornadau dychrynllyd uchod!

Beth pe baem yn troi ein golwg at Fahometaniaeth, yr hon grefydd sydd yn gwneud i fynu y rhan liosocaf o drigolion Hindostan, Arabia, Siberia, Persia, Twrci yn Asia, &c. O, y fath liaws o ddychymmygion disail sydd yn gwneud eu Halcoran hwy i fynu! Ac etto, er cymmaint yw y dychymmygion a'r cyfeiliornadau sydd ynddo, ceir fod oddeutu 176,000,000 o ddynion, y rhai sydd ganddynt eneidiau i bara byth, yn ei gofleidio yn wirfoddol! Ac ym mysg eu holl ddychymmygion, y mae ganddynt ryw ddrychfeddwl am fyd ar ol hwn. Ië, hefyd, pa faint o honynt sydd yn goddef penydiau creulawn, ac yn cymmeryd pererindodau blynyddol i Mecca, yn Arabia; a llawer o honynt, rhai gan henaint, rhai gan newyn, a rhai gan oerfel, yn gorfod wynebu y tragywyddolfyd mawr cyn cyrhaedd eu cartrefleoedd yn ol. A phe baid yn gofyn iddynt pa ddiben sydd ganddynt mewn golwg wrth gyflawni y pererindodau pellenig hyn, yr ateb a fyddai, mai cyrhaedd dedwyddwch yn y byd ar ol hwn ydyw. Ac ond iddynt hwy gyflawni yn gydwybodol eu holl arferion crefyddol, a'u pererindodau, &c. y cymmer Mahomet ofal am danynt yn yr adgyfodiad am eu dwyn i ddedwyddwch. Y maent yn dywedyd y bydd camelod gwynion, wedi eu cyfrwyo â chyfrwyau aur, yn ymyl y beddau, i dderbyn y rhai da i ddedwyddwch:—ac wrth fyned yno y bydd raid myned dros bont gul, megys min cleddyf, neu drwch blewyn:—bod y bont hono dros ganol uffern, ac etto rhaid myned drosti mor gyflym a'r gwynt:—ac ar ol i'r rhai da fyned dros y bont gul uchod, y cânt eu hadfywio trwy yfed o lyn Mahomet, yr hwn sydd mor fawr fel ag y mae yn waith mis ei amgylchynu:—a bod cynnifer o lestri yn ymyl y llyn hwn ag sydd o sêr yn y ffurfafen; a hyny fel y gallo y rhai da eu cael yn gyfleus i yfed o hono. Y maent hefyd yn dywedyd fod saith o nefoedd—bod palas Mahomet y'nghanol yr arddercheocaf o'r saith—a bod pren y bywyd y'nghanol hwnw, yr hwn sydd mor eang fel ag y bydd dyn saith mlynedd yn ei amgylchynu ar anifail buan. Y maent yn dywedyd fod yn y dedwyddwch hwn fenywod, a grewyd o rywbeth llawer arddercheocach na benywod cyffredin; a'u bod yn cael eu cadw mewn math o berlau tua thri ugain milltir bob ffordd, a'r rhai hyny mor danllyd fel nas gall llygad noeth ddal yr olwg arnynt:—a bod gan Gabriel glorian yn ei law, yr hon sydd ddigon o faint i gynnwys y nefoedd a'r ddaear. Ond rhag eich blino â meithder ar y pen yma, ymattaliaf gyda dywedyd fel hyn:—Er bod yr Alcoran yn llawn o ddychymmygion o'r fath ag a adroddwyd uchod; etto y mae gan ganlynwyr Mahomet y fath barch iddo fel nad anturiant un amser ymafiyd ynddo heb yn gyntaf olchi eu dwylaw; ac y maent hefyd yn rhoi adnodau o hono ar eu banerau rhyfel. Yn awr, onid yw yn bryd dywedyd, "Hwy a chwiliasant allan lawer o ddychymmygion."

Gadewch i ni etto droi ein golwg am ychydig at genhedloedd Paganaidd y ddaear, y rhai sydd yn byw mewn tywyllwch, ac yn methu o eisieu gwybodaeth. Ond er hyn oll, y mae ganddynt ryw dybiaeth am fyd ar ol hwn: ac hefyd y maent o'r bron yn gwneuthur rhyw beth, neu bethau, tu ag at gael mwynhau dedwyddwch ynddo. O! pa faint o ddynion sydd yn addoli yr afon Ganges, ac yn gwirfoddol aberthu eu plant iddi; ac yna yn dywedyd, "O afon sanctaidd! tydi a roddaist i ni y plant neu y plentyn hwn, yn awr yr ydym ninnau yn ei roddi ef i tithau: yna bwriant ef i'r afon yn ewyllysgar, gan dybied wrth hyny eu bod yn pwrcasu iddynt eu hunain ddedwyddwch yn y byd ar ol hwn. Ië, pa faint o wragedd fydd yn gwirfoddol aberthu eu hunain i gael eu llosgi yn ulw gyda chyrph meirwon eu gwyr! Yr ydys yn barnu nad oes fawr lai na dwy fil yn myned i'r byd tragywyddol fel hyn yn flynyddol, gan sicrhau iddynt eu hunain mai dyna y ffordd

i gyrhaedd dedwyddwch! O! pwy a all beidio ag wylo wrth ddarllen llythyr y Parch. Samuel Trawin, yr hwn a ddyddiwyd Ebrill 13, 1826, yn yr hwn y mae yn rhoddi hanes gwyl flynyddol yr eilunddnw *Sheeb*. O! y fath olwg echryslon y mae yn ei ddarlunio. "Y dydd cyntaf o'r wyl," eb efe, "dechreuodd miloedd o addolwyr Sheeb ymgasglu, ac yna dechreuasant arteithio eu hunain, trwy wneud gwelyau o ddrain pigog, ac ymdaflu eu hunain agos yn noeth arnynt, nes byddai y gwaed yn ffrydio. Wedi hyny gollwng eu hunain oddiar daflodau 18 neu 20 troedfedd o uchder ar hoelion blaenllym a wnaed i'r perwyl. Tranoeth wedi hyny yr oeddynt yn myned i mewn i'r deml. Y mae yn dywedyd fod yr heolydd oedd yn arwain i'r deml wedi eu llenwi am filltiroedd â thyrfaoedd o bob cwr o'r wlad, rhai yn dwyn tabyrddau a gwahanol offerynau cerdd—ac ereill yn dwyn cleddyfau, gwaywffyn, ac amryw fath o offerynau at eu brathu eu hunain, y rhai a ddefnyddir ganddynt yn eu gwyliau blynyddol. Ac wedi myned i deml yr eilun, dyna lle yr oeddynt yn eu poenydio eu hunain. Yr oedd rhai o'r trueiniaid â hoelion, ereill â nadroedd bywion trwy eu tafodau—rhai â gwiail a rheffynau wedi eu rhoi trwy eu hochrau—ac ereill â phinnau wedi eu rhoddi yn eu talcenau, eu dwyfron, a'u breichiau: ac oll yn dawnsio o flaen y ddelw, dan y gwag obaith o fod eu duw yn cael ei foddloni ganddynt, ac y byddai yn agoryd y ffordd iddynt i gael mwynhau dedwyddwch yn y byd ar ol hwn. Yn awr, onid yw yn bryd dywedyd, "Hwy a chwiliasant allan lawer o ddychymmygion."

DEWI AP GWILYM.

*Glan Afon Rhythelld.*

---

## Y PLA.

*Fy anwyl Gydwladwyr,*

Y MAE llawer o sôn yn awr ynghylch y Pla ag sydd wedi bod yn cynniwair trwy amrywiol barthau o'r ddaear, a'r hwn sydd wedi cyrhaedd ein gwlad ninnau. Ond tra y mae cymmaint o sôn am y pla hwn, y mae lle i ofni fod llawer yn anghofio am bla gwaeth; ac nis gwn i nad ydych chwithau yn glaf o hwn. Ki fuaswn yn eich dychrynu, oni bai fy mod yn gwybod am Feddyg a ddichon yn gwbl eich iachâu. Nid ydwyf yn meddwl am afiechyd y corph, ond yr enaid. Yr wyf yn meddwl am bechod; dyma bla ag sydd wedi lladd miloedd. Yn awr, gan eich bod mewn gwlad Gristionogol, y mae yn dra thebygol, pe gofynai rhywun i chwi, "A wyddoch chwi pwy yw Meddyg yr enaid?" yr atebech, "Yr Arglwydd Iesu Grist." Pe gofynai rhywun, "Pa beth sydd yn glanhâu oddiwrth bechod?" fe ddywedech yn ngeiriau yr ysgrythyr, "Gwaed Iesu Grist sydd yn glanhâu oddiwrth bob pechod." Yr ydwyf yn dywedyd y byddech yn alluog i ateb, ac etto fe allai nad ydych yn teimlo gwirionedd eich geiriau eich hun; oblegid yr ydwyf yn gwybod am lawer yn alluog i ateb, heb ddyfod yn wirioneddol at Grist fel eu meddyg hwy, ac heb gael eu golchi yn ei waed. Y mae arnom eisieu gwybod rhyw beth yn ychwaneg nag i Iesu Grist, Mab Duw, ddyfod i lawr o'r nefoedd, cymmeryd agwedd dyn, a marw ar y groes, i achub pechaduriaid—y mae yn rhaid i ni deimlo ein bod yn bechaduriaid, a gweddïo arno ef â'n holl galon, "Bydd drugarog wrthyf fi, bechadur." Y rhai sydd wedi eu hiachâu o'r pla, ni iachawyd hwynt oblegid fod yno feddygon cywrain, nac am fod yno gyffyriau defnyddiol, ond oblegid iddynt anfon am y meddyg mewn pryd, a chymmeryd ei gyffyriau. Felly y mae yn rhaid ei bod gyda chwi. Y mae yn rhaid i chwi weddïo ar Dduw i'ch darostwng tan ddwys-deimlad o'ch pechod, a pheri i chwi wylo o'i blegid; yna chwi a ddeuwch yn ostyngedig ac yn ddifrifol at Grist, ac a weddïwch arno, "Arglwydd, bydd drugarog wrthyf fi, bechadur."

Pwy bynag ydych sydd yn darllen hwn yn awr, yr ydych wedi cael eich geni mewn pechod. Duw yn unig a ŵyr a ydych chwi yn ei gasâu, ac yn gweddïo ar yr Arglwydd Iesu Grist am eich glanhâu oddiwrtho. Ond gan nad ydwyf fi yn gwybod hyn, myfi a'ch cyfarchaf yn gyntaf dan dybied eich bod heb wneuthur; yn ail, dan feddwl eich bod wedi gwneuthur hyn. Os na ddarfu i chwi weddïo ar yr Arglwydd Iesu Grist am faddeuant o'ch

pechodau, ac i achub eich eneidiau, nid ydyw yn rhy ddiweddar etto. Yr ydych yn fyw, nid ydych yn codi eich golwg mewn poenau yn uffern. Yr ydych yn yr un byd ag y daeth Mab Duw iddo o nefoedd y gogoniant; yn yr un byd ag y treuliodd dros 30 o flynyddoedd, ac y'mha un (O, gariad rhyfeddol!) yr hoeliwyd ef ar y groes, ar yr hon y bu efe farw. A glywsoch chwi am hyn o'r blaen? a ydych chwi yn ei gredu? Nis gallaf braidd feddwl eich bod yn ammeu y pethau hyn. Wel, ynte, nid ydyw yn rhy hwyr i weddïo ar Grist, ac i gredu y'Nghrist er achubiaeth eich eneidiau. Y mae eich bod yn fyw yn prof hyn. Y mae eich Bibl yn dywedyd, "Wele yn awr yr amser cymmeradwy, wele yn awr ddydd yr iachawdwriaeth." Tra y galloch ddarllen y geiriau hyn yn eich Bibl, gellwch gredu ei fod yn wirionedd mewn perthynas i chwi. Mae Duw yn ei ragluniaeth yn dywedyd nad ydyw hi etto yn rhy ddiweddar; oblegid er i fil gwympo wrth eich ystlys, a deng mil wrth eich deheulaw, nid ydyw etto wedi dyfod yn agos atoch chwi. Ac er nad yw yn awr yn rhy ddiweddar i lefain am drugaredd, nis gwyddoch pa cyn gynted y bydd felly: am hyny nac oedwch; ond "Ceisiwch yr Arglwydd tra y galler ei gael ef; gelwch arno, tra fyddo yn agos." *Esa.* 55. 6. Peidiwch a chwareu ar fin tragywyddoldeb, rhag i chwi farw yn eich pechodau, yna byddwch yn golledig am byth.

Ond, fy anwyl gydwladwyr, a ydych chwi eisoes yn caru yr Arglwydd Iesu Grist? A ydyw efe wedi dywedyd wrthych, "Byddwch lân;" "Ewch, ac na phechwch mwyach." O! ynte, gorfoleddwch ynddo. O! casêwch bechod fwy-fwy, a gweddïwch ar Dduw â'ch holl enaid na fyddo i chwi waradwyddo ei achos trwy syrthio etto i'r "pydew erchyll, a'r pridd tomlyd," o ba un y cododd chwi i fynu. A ellwch chwi ddywedyd, "Yr hwn a'm cofiodd yn fy isel radd; oblegid ei drugaredd a bery yn dragywydd." O! ynte, meddyliwch am yr iselder i ba un yr ymostyngodd efe, fel y gallai wneuthur hyn; a meddyliwch hefyd am y gradd uchel i ba un y cyfodwyd ef, ac yn mha un y mae yn darparu lle i chwi.

Pan iachâer rhywun o'r pla, onid ydych chwi yn tybied y byddai yn wresog am ddywedyd wrth ereill pa beth fyddai raid iddynt hwythau ei wneuthur i gael eu hiachâu yr un modd. Felly, os ydych wedi eich argyhoeddi, O, cryfhewch eich brodyr: os ydych wedi eich iachâu, dywedwch wrth ereill am y Meddyg da, ac am y ffynon sydd wedi ei hagor i bechod ac aflendid.

PERYDDON.

---

## MEDDWDOD.

UN o ddrwg effeithiau cyntaf meddwdod, ag sydd yn debyg o gyd-fyned â'r meddwyn mewn sefyllfa uchel yn y byd, yw esgeulusdod o'i negesau, ac anghymmwysder i gyflawni ei ddyledswyddau; canys y mae efe yr un mor atebol i Dduw am yr amser ag y mae yn ofer dreulio, a'r talentau y mae yn eu claddu, a dyn arall. Am hyny tra gwrthun fyddai iddo ef hòni hawl i fod yn rhydd oddiwrth gyfrifiad ei fai o herwydd ei fod yn feddiannol ar lawer o feddiannau. Geilw diffygion cymdeithas dynoliaeth am ymdrechiadau pob dyn: pa fodd, gan hyny, y gellir hebgor un? Os perthyn y meddwyn i radd ganolig dynolryw, ni ddichon efe, o herwydd esgeuluso ei orchwylion, a'i ddull afradlon o dreulio ei fywyd, gynnal ei deulu dros lawer o amser yn y modd cyfrifol ag yr arferent fyw: ei achosion a waethygant yn ebrwydd, ac a derfynant mewn dinystr: yn ebrwydd tlodi a dremia yn ei lygaid; ïe, tlodi o'r fath waethaf, a mwyaf gwarthus, o herwydd iddo gael ei ddwyn arno o achos ei fai ei hun. Ond pan fyddo yr hwn nad oes ganddo ond prin digon i'w gynnal, ar yr amser hwn yn ymfwynhâu yn y fath ddrwg a hwn, efe a dreulia yr ychydig sydd ganddo yn dra buan, ac a ddwg ei deulu i'r cyfyngder mwyaf. Ymosodir arno yn fuan gan newyn, syched, noethni, ac oerfel. Oddi cartref fe'i haflonyddir gan ddirmyg parhaus ei gymmydogion, a'i gydnabod; a chartref y mae yn agored i achwyniadau gwraig â'i chalon wedi ei thori, ac a amgylchir gan blant yn llefain am fara a gwisgoedd. Ac i foddhâu blys dirywiedig yn unig y mae efe yn fyddar i alwadau natur dyledswydd. Yn wir, fe ddichon ei gyfeillion, wrth y

cwpan neu y gostrel, ei ganmol am ei natur dda, a'i alw yn ddyn calon-rwydd, ac yn gyfaill llawen; eithr pa beth a ddywed synwyr cyffredin, pa beth a ddywed cydwybod effro, a pheth a ddywed gair y Duw byw, ond mai anghenfil mewn drygioni a chreulondeb yw, yr hwn a farna Duw?

Drwg arall, ag sydd yn glynu wrth y meddwyn, yw y dirmyg cyffredin a deflir arno gan bob dyn bucheddol a sobr. Y mae yn rhy wir fod y dyn tlawd yn cael ei ddibrisio yn fynych gan y cyfoethog pan na fyddo un camymddygiad o'i eiddo ei hun wedi ei ddwyn i amgylchiadau cyfyng. Pa faint mwy fydd ei ammharch pan fyddys yn hyspys y gallasai efe fod mewn amgylchiadau da, oni buasai ei oferedd ei hun! Yr hwn oedd gynt yn anyinddibynol sydd yn gorfod gwenieithio am y bara y mae yn ei fwyta; ac weithiau i ymostwng am ychydig gwrw, i fod yn wawd i bob cymdeithas a'i derbynio. Oni buasai fod ei feddwl wedi ei ddirywio, a'i ysbryd wedi ei golli, buasai yn edrych ar eu cynnygion ar y fath delerau gyda dirmyg, a buasai gwawd ei gyfeillion fel mil o saethau yn ei fynwes.

Nis gellir ymarfer yn hir â'r hunanfwynhâd hwn heb anrheithio llawer ar iechyd gwr. Y mae galluoedd bywyd yn myned yn raddol yn wanach, a natur yn gorfod rhoddi ffordd i anghymmedrolder. Llawer o anhwylderau a ysglyfaethant ar y meddwyn, oddiwrth y rhai y mae y dyn sobr yn rhydd. "I bwy y mae gwae? i bwy y mae ochain? i bwy y mae cynen? i bwy y mae dadwrdd? ac i bwy y mae gwelïau (clwyfau) heb achos?" Ateb. "I'r neb sydd yn aros wrth y gwin (y gwirod, neu y cwrw). I'r neb sydd yn myned i ymofyn am y gwin cymmysgedig. Nac edrych ar y gwin pan fyddo coch, pan ddangoso ei liw yn y cwpan, pan ymgynhyrfo yn iawn. Yn y diwedd efe a frath fel sarph, ac a biga fel neidr." *Diar.* 23. 29—32. Dichon y clefydau hyn beidio ymosod arno ar y cyntaf; ond po fwyaf y gohiriant, mwyaf ffyrnig fydd eu hymosodiad yn y diwedd. Naill ai bwy a'i tywysant yn raddol, neu a'i brysiant ar unwaith i'r bedd. Weithiau y maent yn dwyn gwendidau hen oedran yn anamserol; ac y mae y dyn yn rhodio oddi amgylch fel cyhoeaeth i'r hyn a fu, â'i lygaid yn gyffelyb i eiddo dylluan y diffaethwch; ac yntau wedi ei ddifuddio o nerth ei gorph, neu ei feddwl, os nid y ddau; yn egwan, ac yn crynu ar ei draed; yn olygfa gresynoldeb, ac yn rhybydd brawychus i bawb o'i amgylch i ochelyd ei lwybrau angeuol.

Y drwg tymhorol olaf, a'r mwyaf dychrynllyd, yw gwallgofrwydd, neu hollol ddiffyg rheswm. Mae dyn yn ddyledus am ragoroldeb ei natur i reswm, trwy yr hwn y gwahaniaethir ef oddiwrth anifeiliaid: y mae yn perthyn i angylion, ac yn alluog i adnabod Duw a'i eiriau yma, ac i fwynhâu ei wyddfolder dros fyth wedi myned oddi yma. Mae pob dyn yn fwy dedwydd a chysurus ynddo ei hun, ac yn fwy defnyddiol i ereill, po mwyaf o ras, rheswm, a synwyr da, a ymddangoso yn ei ymadroddion, a'i ymddygiadau. Gan hyny gallwn anturio dywedyd, na ddichon dim gwaeth, dim mwy annedwyddwch ddigwydd i ddyn yn y byd hwn na cholli ei reswm. Beth gan hyny a ddywedwn am y dyn a adeilado ei ddedwyddwch ar wallgofrwydd; yr hwn a anturia ei iechyd, ei feddiant, a'i fywyd; yr hwn a ymwad â'i gymmeriad a'i gydwybod er mwyn gwallgofrwydd? Hyn a wneir gan y meddwyn yn wirfoddol; y mae yn ei ddewis: gan hyny y mae efe yn orphwyllog o'i wirfodd; ac am hyny yn atebol i gyfreithiau Duw, a dynion, am yr holl ddrwg a gyflawno, a'r beiau a ddichon fod yn euog o honynt.

Fe ddichon perffaith wallgofrwydd ymddangos yn fwy dychrynllyd i ddynion yn y meddiant o'u synwyrau nag i'r gorphwyllog gresynol ei hun; ac nis dichon fod mor boenus iddo ef a'r hyn a roddo weithiau le i reswm weithredu, trwy yr hyn y mae yr adyn o bryd i bryd yn deimladwy i raddau mwy neu lai o'i anhwylder dychrynllyd. Pan ddifrwysgo efe, nid yw yn deffroi ond i deimlo ei afiechyd, a'i gyfyngder ei hun a'i deulu; ac os na ellir tycio gyd âg ef i ddiwygio, efe a frysia drachefn at y cwpan, neu'r costrel, fel y gallo yno foddi y gelyn hwnw, ei gydwybod, a chyda hyny ei deimlad annioddefol o resynoldeb.

Pe byddai gofidiau'r meddwyn wedi eu terfynu oddifewn i'r bywyd hwn, gallasai un dybied fod hyny yn ddigon i'w gadw

rhag y fath fai echrydus: ond beth yw y rhai hyn wrth eu cydmaru â'r gresynoldeb ysprydol, yr hwn yw ffrwyth a chospedigaeth ei erchyll fai.

Onid yw efe yn dra beius, a afradlona ar ei fiys ei hun yr hyn, pe'i rhanesid, a allasai gynnal yspryd llawer o'r rhai ag ydynt yn gorfod byw ar ymborth tra gwael, ac yn methu cael digon o hwnw, er treulio eu nerth mewn caletach gwaith, ysgatfydd, nag y darostyngwyd ef iddo erioed? Oni raid fod yr hwn a dreulio ei gyfoeth i ddifetha ei iechyd, ei synwyrau, ei fywyd naturiol, a i enaid ei hun, yn dra phechadurus? Wrth ddinystrio ei iechyd y mae cyn belled a hyny yn byrhâu ei einioes, ac i'r un graddau yn euog o hunanladdiad, gan adael y byd cyn y byddo ei Farnwr yn galw am dano. Ac wrth ddinystrio ei synwyrau, y mae yn gwneuthur ei fywyd yn ddiddefnydd iddo ei hun, ac yn flinder i'r byd; ac o ran dibenion bywyd, yr unig wahaniaeth rhyngddo ef ac hunan-leiddiad yw hyn:—yr hunan-leiddiad a symud ei hun trwy wenwyn buan, a'r meddwyn trwy un araf yn ei effeithiau: y cyntaf a âd y byd mewn mynydyn, pan mai ei ddyledswydd yw aros ynddo; y llall a ddihiria ychydig i'r diben i greu gofidiau newyddion, a gwneuthur mwy o ddrygioni. Y fath yw 'r drwg hwn, a'i ystyried ynddo ei hun, a chyn ddued yw y gofres o ddrygau a darddant o hono, fel y byddai cynnyg i'w darlunio oll yn ddigon i flino amynedd, a maeddu dychymmyg, a dychrynu y meddwl difrwysg mwyaf cadarn. Pan y mae yn boddi rheswm, y mae yr un mynyd yn alltudio cywirydd, a phob teimlad o foesgarwch a lledneisrwydd, gan anadlu ar eu nwydau nes y torant allan yn dân dinystriol, a'i yru i gyflawni pob math o ddrygioni. Priodolir yn gyfiawn iddo ymrysonau, ymladdau, esgyrn briw, penau gwaedlyd, halogi diweirdeb, yspeilio yr amddifad, llofruddio'r diniweid, a dirmygu llywodraeth y Brenin tragywyddol, gan roddi hèr i Dduw a dynion. Mewn gair, y mae yn ei yru allan fel bwystfil cynddeiriog o'r goedwig, yr hwn nas dichon rhesymau ei ddofi, nac hynawsedd ei ennill, gan gyflawni y fath echryslonderau nas gellir eu traethu. Bid i hyn wasanaethu yn lle ychwaneg. Y mae 'r bwystfil hwn, ar lun dyn, yn atgas yn ei olwg ei hun pan ddadebro. Y mae yn synu wrth feddwl am ei ymddygiad. Prin y dichon oddef meddwl am y nos a aeth heibio; etto efe a ymdrecha foddi ei adgofiad mewn gordraflwngc o'r newydd.

Yn y meddwyn gallwn ganfod camddefnydd o bob egwyddor dda, a gwyrdroad perffaith o holl roddion Rhagluniaeth haelionus; ac am hyny gellir dywedyd, gyd â'r cymmwysder mwyaf, wrtho ef—rhoddodd y Duw Hollalluog i chwi iechyd, fel y gallai eich galluogi i'w wasanaethu ef, a bod o gysur i chwi a'ch teulu, a'ch cydnabod—chwithau a'i haberthwch i flys anniwalladwy, ac i'r diafol. Cynnysgaeddodd yr Arglwydd chwi â modd i ddarparu i'ch teulu, a chyfranu i'r anghenus—chwithau a'i treuliasoch ar felus chwant. Ai tebygol yw y goddef y Meistr holl-ddoeth hwn i chwi fyned yn ddigosp, tra fyddoch yn defnyddio un dalent, a roddwyd i'ch gofal, i ddinystrio yr holl dalentau ereill, iechyd, amser, synwyr, a bywyd; ac, mewn gair, i droi eich hun o fod yn greadur rhesymol i fod yn is a gwaelach na bwystfilod y maes?

Ond gwrandawn beth sydd ganddo i ddywedyd drosto ei hun; canys dichon hyd yn nôd y meddwyn ffurfio rhyw esgusodion dros ei fai anwylaf. Dichon ddadleu ei fod wedi bod yn aflwyddiannus yn y byd, yn annedwydd yn ei deulu, ac wedi gwneuthur rhyw ddrwg arall ag y chwennychai ei anghofio, neu fod rhyw gyfeillion wedi ei ddenu, â'i fod yn chwennych dilëu coffadwriaeth ei holl anhap trwy gwrw cadarn, a chyfeillach lawen. Ys truan o ddyn! wedi soddi yn nyfnderoedd gresynoldeb, onid ydyw mynyd o adfyfyrdod yn ddigon i ddangos i ti ffolineb dy ymddygiad a dinoethi gwendid yr egwyddorion, yn ol y rhai yr wyt yn myned ar gyfeiliorn? A ddichon meddwdod dy alluogi i anghofio dy flinderau byth? Oni ddychwelant yn ebrwydd gyda grym chwanegol? Beth yw meddwdod ond adgyfnerthiadau i'th drallodion? Anghofio dy gyfyngder yw 'r ffordd i ddinystr, ac nid y llwybr i ddyfod allan o hono. Ai gweddus yw prynu y fath ebargofiad byr o flinder ar draul iechyd, deall, a bywyd ei hun? Os ydych eisoes mewn cyfyngder, ac nas gellwch oddef meddwl am dano, beth fydd eich

amgylchiad pan ddygo eich afradlondeb chwi i'r cyfyngder eithaf? Eich gwyneb mor llwyted, o ddiffyg cynnaliaeth, ag eiddo eich gwraig a'ch plant yn awr; neu, fe allai, yn terfynu eich dyddiau mewn carchar, neu wallgofdŷ! A pha fodd y meddyliwch sefyll ger bron eich Barnwr âg euogrwydd eich cydwybod yn enyn fel tân annioddadwy yn eich mynwes, heb gymmaint a dafn o ddwfr oer i'ch syched anniwalladwy? Ai boddlon ydych i ddinystrio pob peth gwerthfawr yn eich meddiant, er mwyn boddio eich cyfeillion teilwng? Neu, ai addas yw i chwi alw y dynion hyny yn gyfeillion ag ydynt yn ymroddi i ddinystrio eu hunain, a chwithau?

A ydych yn tybied y gellwch fygu llais cydwybod yn hir trwy y mesurau hyn? ac un trosedd yn iawn am ereill, gallem gyda rhyw ymddangosiad o reswm ymesgusodi am ein holl feiau? ond os yw chwanegu bai at fai yn dyfnhâu y clwyf dechreuol, gallewch heibio, ac ar frys hefyd, lonogi eich drygioni, os ydych yn meddwl ymiachâu byth. Dylech gofio fod teimlad o euogrwydd, ac ofn cosp a ddêl, wedi eu trefnu i fod yn rhybuddion yn erbyn pechu, ac fel galwadau i edifeirwch: gan hyny, nid yw ceisio boddi llais cydwybod ond cynnyg i ladd y meddyg yn y fynwes; i ddirmygu yr Hollalluog, trwy ddistewi llais ei oruchwyliwr yn yr enaid; ac i soddi eich hunain i ddyfnderoedd gresynoldeb, mewn cydmariaeth i'r hwn y mae enofeydd mwyaf ffyrnig cydwybod yn berffaith esmwythder.

Mae un esgus arall ag y mae y byd, yn nghyfiawnder ei hynawsedd, yn barod i'w wneuthur dros feddwyn, trwy ddywedyd ei fod yn ddyn diddichell, o dymherau da, ac heb niweidio neb ond efe ei hun; ac am arall, ei fod yn ddyn tra rhinweddol, oddieithr pan fyddo mewn diod. Ond, ai gwir yw hyn? neu, yn hytrach, onid gwir yw yr hyn sydd hollol wrthwyneb? A ydyw y cyfryw ddyn byth yn esgeuluso ei deulu, na'r dyledswyddau sydd ddyledus arno i ddynolryw yn gyffredinol, fel gwas i'w feistr, a deiliad da i'w frenin? A ydyw efe allan o ddyled bob amser? A ydyw efe bob amser yn ddiddichell wrth geisio ffordd i gael diod heb arian? A ydyw ei dafod bloesg bob amser yn rhydd oddiwrth ddrwgliwio ei gymmydogion diniweid? Ai rhydd yw efe yn wastadol oddiwrth gynen ac ymladdau diachos? Os ymrysongar yw efe mewn cwrw, ac yn dawel mewn sobrwydd, onid yw hyny yn brawf y dylai fod yn sobr bob amser? Os amgen, onid eglur yw mai dyn ymrysongar o gynneddfau yw efe, ond ei fod, o herwydd hynawsedd y byd at feddwdod, yn rhoddi y bai hwn yn orchudd ar ei anian ddieflig? Ac yn olaf, a yw efe yn sicr nad yw yr engraifft a rydd efe i ereill yn drygu pawb a fyddont mor ddisynwyr ag ymgyfeillachu âg ef? Hyd oni atebir y gofyniadau hyn o'i du ef, ofer fydd i'r byd, a'i natur dda, haeru fod ei ddrygioni yn terfynu ynddo ei hun. "Oni wyddoch chwi na chaiff yr anghyfiawn etifeddu teyrnas Dduw? Na thwyller chwi, ni chaiff na godinebwyr, na chybyddion, na MEDDWON, etifeddu teyrnas Duw." Gwel 1 Cor. 5. 9, 10. ac amryw leoedd ereill o'r Ysgrythyrau.

M.

---

## SYLW AR LYTHYR M. R. LL.

*Rhif.* 103, *tu dal.* 332.

MR. GWYLIEDYDD—I mi dywenydd nid bychan yw gweled hyspysiadau yn eich Cyhoeddiad defnyddiol am argraffiad newydd o'r Bibl Cymreig: a da genyf ganfod yr awydd a'r egni sydd yn rhai o'ch Gohebwyr dysgedig i ddiwygio y gwallau sydd yn yr argraffiadau presennol, ac i ymestyn at berffeithrwydd yn y newydd. Dymunol fyddai i'r Llyfr fod yn dalben i'r iaith, cystal ag yn brawf-reol athrawiaeth; eithr hyderaf na chymmeradwyir pob cyfnewidiad yn yr orgraff, a gamenwir yn *ddiwygiad*, a gynnygir i sylw y dyddiau hyn. Y mae y gorchwyl pwysig o ddiwygio yr Ysgrythyrau yn gofyn y pwyll a'r gofal mwyaf: ac ni ddylid anturio newid dim yn y Bibl, heb yn gyntaf brofi yn ddiwrthddadleuadwy fod yr hyn a newidier yn wallus, ac y byddai y cyfnewidiad er gwell.

Yn Rhifyn Tachwedd y llynedd, y tu dalen a nodwyd, y mae eich Gohebydd M. R. LL. yn nodi dau air fel gwallau yn y Bibl Cymreig. Os gwallau ydynt, nid gwallau Cymreig mo honynt, mwy na Saesonig, ond yn wir a geir hefyd yn yr ieithoedd gwreiddiol. A meddwl yr wyf

a mai gwell fyddai peidio a newid dim yn y Bibl Cymreig, ond gwallau Cymreig yn unig.

Y gwall cyntaf a noda eich Gohebydd yn *Jer.* xxvii. 1. sef, "*Jehoiacim* yn lle *Sedecïah.*" Ac os addefir fod gwall yn y lle, dylid gwneuthur hyny yma, medd y Parchedig *Matthew Henry;* oblegid y brophwydoliaeth nesaf a amserir yr un flwyddyn, ac a ddywedir ei bod *yn nechreuad teyrnasiad* SEDECIAH.

Eithr y Dr. *Lightfoot* a'r Dr. *Gill* a'i deongliant yn debyg i hyn: Fod Jeremïah i wneuthur y rhwymau a'r gefynau yn nechreuad teyrnasiad *Jehoiacim*, ac i'w dodi ei wddf ei hun, yn arwydd o ddarostyngiad Judah i frenin Babilon, yr hyn a ddechreuodd gymmeryd lle y pryd hyny; ond ei fod i'w danfon i'r brenhinoedd cymmydogaethol wedi hyny yn nheyrnasiad *Sedecïah.*

Yr Esgob *Hall*, ac ereill, a farnant i'r prophwyd gael y weledigaeth yn nheyrnasiad *Jehoiacim*, eithr nad oedd wedi cael gorchymyn i wneuthur y rhwymau a'r gefynau yn ol hyny hyd deyrnasiad *Sedecïah.*

Eithr wedi'r cwbl, mwy tebygol yw mai gwall ydyw yn y diwedd: a *Houbigant*, *Lowth*, *Blayney*, *Dahler*, y Parchedig Mr. *Scott*, a'r Dr. *Adam Clarke*, a safant yn gadarn dros hyny, yn erbyn y darlleniad yn y testyn: ond er hyny nid yw y Dr. wedi gweled yn iawn newid yr enw yn y Bibiau a gyhoeddwyd ganddo ef ei hun.

Y gwall arall a nodir yn *Mat.* xxvii. 9. sef, "*Jeremïah* yn lle *Zecharïah.*" Gan nad yw y geiriau a ddyfynir i'w cael yn *Jeremïah*, ond yn *Zecharïah*, pen. xi. 13. rhai beirniaid, fel eich Gohebydd, a farnant fod gwall wedi ymlusgo i gopi St. Matthew, a bod *Jeremïah* wedi ei ysgrifenu gan yr adysgrifenwyr yn lle *Zecharïah*, neu fod yr enw wedi ei ddodi i mewn; ond y mae yn anhawdd meddwl i neb wneud y fath wall amlwg wrth geisio gwneuthur y testyn yn fwy cyflawn a pherffaith. Ysgrif-lyfr *Griesbach* o'r unfed canrif ar ddeg a ddarllyn *Zecharïah*, yr hwn air a geir hefyd ar ymyl y ddalen yn y cyfieithiad Syriaeg diweddaraf, ac mewn cynllun Arabaeg dyfynedig gan *Bengel* yn ei argraffiad beirniadol o'r Testament Newydd. *Origen*, ac ar ei ol ef *Eusebius*, a farnent mai dyna oedd yr iawn ddarlleniad. Ond mwy tebygol, medd y Parch. T. HARTWELL HORNE, mai darlleniad gwreiddiol *Matthew* xxvii. 9. oedd yn fyr, *yr hyn a ddywedwyd* TRWY Y PROPHWYD, heb enwi unrhyw brophwyd: a chadarnheir y tyb hwn trwy fod St. Matthew yn fynych yn gadael allan enw y prophwyd yn ei ddyfyniadau. (Gwel *Mat.* i. 22. a ii. 5. a xiii. 35. a xxi. 4.) A dylid sylwi, fod y gair wedi ei adael allan mewn dau o Ysgrif-lyfrau *Griesbach*, yn y cyfieithiadau Syriaeg a Phersiaeg diweddaraf, ac yn y cyfieithiadau Groeg diweddar, mewn un neu ddau Ysgrif-lyfr o'r hen Italaeg, rhai Ysgrif-lyfrau dyfynedig gan *Augustine*, ac un Ysgrif-lyfr Lladin, dyfynedig gan *Lucas Brugensis.*

Beirniaid enwog ereill a farnent fod y nawfed, y ddegfed, a'r unfed bennod ar ddeg o'r hyn a elwir yn Brophwydoliaeth *Zecharïah*, mewn gwirionedd wedi eu hysgrifenu gan *Jeremïah;* ac yn wir y maent wedi rhoddi rhesymau nid anhygoelus dros y cyfryw dyb oddiwrth y matter a'r dull.

Ond, arferiad yr Iuddewon oedd dosparthu yr Hen Destament yn dair rhan. Y *gyntaf*, yn dechreu gyd â'r Gyfraith, a elwid, Y GYFRAITH; yr *ail*, yn dechreu gyd â'r Psalmau, a elwid, Y PSALMAU; y *drydedd*, yn dechreu gyda Jeremïah, a elwid, JEREMIAH; felly, gan fod ysgrifeniadau Zecharïah, a'r prophwydi ereill, yn gynnwysedig yn y dosparthiad ag oedd yn dechreu gyda *Jeremïah*, o ganlyniad yr oedd yr holl ddyfyniadau o hono yn myned dan enw y prophwyd hwn. Y Dr. *Lightfoot* (yr hwn a ddyfyna y *Baba Bathra*, a Rhagymadrodd y *Rabbi David Kimchi* i'r prophwyd Jeremïah, fel ei awdurdod) a haera yn gadarn fod y gair JEREMIAH yn berffaith gywir megys yn sefyll wrth ben y dosparthiad hwnw o ba un y dyfynai yr Efengylwr, a'r hwn a roddodd enwad i'r lleill oll: yn erbyn y cyfryw awdurdod, dybygid, nis gall un wrthddadl fod yn dderbyniol.

J.

O. Y. Caniatêwch i mi Syr, nodi un gwall ag sydd wedi dïangc trwy bob argraffiad o'r Bibl Cymreig, y cefais i gyfleusdra i'w chwilio, oddigerth un argraffiad o Fibl Teuluaidd y Parchedig Peter Williams, sef, *Baalam* yn lle *Balaam*, *Neh.* xiii. 2.

## HYNAFIAETH.

YR HYBARCH WYLIEDYDD,—Gan nad yw y Gwaith gorchestawl a gyhoeddwyd trwy lafur a thraul yr enwog a'r anfarwol ei goffadwriaeth OWAIN MYFYR, ac a elwir y "*MYFYRIAN ARCHAIOLOGY*," y meddiant y rhan fwyaf o'm cydwladwyr, caniatêwch i mi gael cyfle, yn eich Cylchgrawn difyr, i'w hanrhegu, yn awr ac eilwaith, âg ychydig ddyfyniadau o hono dan y pen uchod. Os boddhaol fydd hyn genych, rhoddwch le i'r hyn a ganlyn yn eich Rhifyn nesaf; a thrwy hyny y'm calonogwch i ddanfon y rhelyw i chwi y cyfle cyntaf.—Ydwyf, un o'ch cyssonaf ddarllenwyr,

R. A.

## TRIOEDD YNYS PRYDAIN;*

*Sef ydynt Trioedd Côf a Chadw, a Gwybodaeth am hynodion o Ddynion, ac o Bethau, a fuant yn Ynys Prydain, ac ar ddamwain a damcwydd i Genedl y Cymry er yn oes oesoedd.*

1. TRI enw a ddoded ar Ynys Prydain o'r dechreuad; cyn ei chyfanneddu y doded arni Clas Merddin, a gwedi ei chyfanneddu y doded arni y Fel Ynys, a gwedi gyrru Gwledigaeth arni y gan Prydain ab Aedd Mawr y doded arni Ynys Prydain. Ac nid oes dylyed i neb arni namyn i Genedl y Cymry, can ys hwy ai goresgynasant gyntaf, a chynn no hynny nid oedd neb o ddynion yn byw ynddi, eithr llawn Eirth, a Bleiddiau ac Efeinc, ac Ychain bannog ydoedd.

2. Tair Prif Ardal Ynys Prydain: Cymru, Lloegr, a'r Alban, a Braint Teyrnedd a ddylid i bob un o'r Tair. A than Unbennaeth a Rhaith Gwlad ai gwladolder herwydd Dosparth Prydain ab Aedd Mawr, ac ar Genedl y Cymry y mae dodi yr Unbennaeth wrth Raith Gwlad a Chenedl, herwydd Braint a Dyled gyssefin; ac yn nawdd hynn o ddosparth y dylid Teyrnedd ymhob Gwlad yn Ynys Prydain, ac yn nawdd Rhaith Gwlad pob Teyrnedd; sef achaws hynny y dywedir ar ddiarheb, Trech Gwlad nag Arglwydd.

3. Tair Colofn Gwladoldeb Ynys Prydain: Rhaith Gwlad, Teyrnedd, ac Yngneidiaeth, herwydd Dosparth Prydain ab Aedd Mawr.

*(I'w barhâu.)*

---

## GOFYNIAD.

MR. GWYLIEDYDD—Mawr hyfrydwch sydd yn llifo i fy mynwes pan yn darllen eich Cylchgrawn y naill fis ar ol y llall. Y mae y Pregethau yn dda ac adeiladol; y Bywgraffiadau yn sobr, ac yn teilyngu sylw ac ystyriaethau manylaf pob dyn a'u darlleno: rhagor o'r cyfryw, megys eiddo y diweddar hybarch *Ifor Ceri*, a fyddai yn dra derbyniol. Y mae hanes y Dderwen yn rhagorol, ac yn teilyngu sylw pob amaethydd yn y dywysogaeth. Rhwydd hynt i'ch Gohebydd i fyned rhagddo gyd â'i orchwyl, megys yr addawodd; ac nid ei adael âg un pen yn y Gwyliedydd, a'r pen arall yn ei lyfr-gell gartref, megys yr un hwnw gyda "*Hanes Brwydr Fawr Waterloo.*" Y mae'r cwbl uchod yn dda, ond y mae un peth *da* arall, a ddechreuodd ymddangos ar eich dalenau, wedi ei adael mewn cyflwr anorphenedig, sef y *Milddruethodydd*. Byddai'n ddymenydd mawr genyf fi a'm cymmydogion pe chwanegid yn fisol at y pen da hwnw; canys yr oedd yn foddion i eangu fy ngwybodaeth, ac i beri i mi ryfeddu llawer ar drefn yr Hollalluog yn creu creaduriaid o wahanol rywogaethau i ddibenion anhysbys i mi. Gobeithiaf fod eich Gohebydd ar y pen hwnw heb syrthio i grafangc yr *Arth*, nac i balf y *Llew*, ond ei fod etto ar dir y byw, ac yn cofio ei le yn eich Swyddfa, yn hytrach yn eich dalenau; ond y bydd iddo cyn dechreu mis Mai nesaf ddeffroi o'i drymgwsg, llyfnhau ei ysgrifell, lledu ei bapur, ac ymosod at ei hen orchwyl eilwaith, a mynegu i mi yn

1. I ba lwyth o greaduriaid y perthyn y *Draenog*?

2. Pa beth yw ei brif ymborth?

3. Y'mha le y mae efe yn gauafu?

4. Paham y rhoddwyd y fath arfogaeth i'r creadur hwn, tra y mae creaduriaid ereill, sydd lai a gwaelach, yn amddifad o'r cyffelyb arfogaeth?

Y Draenogod a frithant fy meusydd i bob haf, ond nid oes gymmaint ag un o honynt i'w gweled yn y gauaf.

ARDDWR O BOWYS.

---

* Y Trioedd hyn a gymmerwyd allan o Lyfr ysgrifenedig y diweddar Barchedig Mr. Richards o Lanegwad yn Ystrad Tywi, a fu ym menthyg gyda'r Parchedig Mr. T. Walters o Landocha ym Morganwg, gennyf fi Iolo Morganwg.

## COFRESTR O'R LYFRAU CYMREIG.

*(Parhâd o du dal. 89.)*

42. Cyfarwyddid i'r Cymru. 12°. Llundain ........................ 1657
Cymmun, & Attebion. Gan Fleetwood, & Tillotson, & W. V. ........ ——
43. Cyngor y Bugail i'w Braidd, &c. 8°. Llundain .................. 1700
44. Cynghorion Tad i'w Fab ........................................ ——
45. Llythyr at y Merthyron yngharchar. Gan St. Cyprian. O Gyfieithiad J. Morgan. 12°. Llundain .............................. 1716
46. Ioan Davies, S. T. P. Resolution & Articlau ...................... ——
47. Linguae Britannicae Sive Wallicae Grammatica. 8°. Llundain ........ 1621
48. Dictionarium Britannico-latinum, &c. Latino-Britannicum. Accesserunt Adagia Britannica. F°. Llundain ............................ 1632
49. Yr Hen Lyfr Plygain ar Gwir Gatechism, &c. 24°. Llundain ........ 1633
——————— Llundain ................................ 1684
50. Flores Poetarum Britannicorum, sef Blodeuog waith y Prydyddion Brytannaidd. 12°. Mwythig ......................................... 1710
51. John Davies of Llansilin, in Denbighshire, Antiquary ............... ——
52. A Display of Herauldry of most particular Coat Armours, now at use in the Six Counties of North-Wales, viz. of the 15 tribes, &c. 12°. Salop. 1616
53. Bibl. Epistol at y Cymru. Gan Richard Davies, Esgob Mynyw. 4°. Llundain ...................................................... 1567
——————— 8°. Rhydychen ................................ 1671
54. Profiad yr Ysbrydion, neu Ddatguddiad gan Athrawon, a Rhybydd i'w Gochelyd, neu draethawd byrr ar 1 *Ioan* 4. 1. ym mha un y Datcuddir drwy oleuni Gair Duw, Esbonedig gan hynafiaeth, fod amryw athrawiaethau y Papistiaid, y Prespeteriaid, yr Independentiaid, a'r Cwacceriaid, yn anghysson â'r Ysgrythur Lân, ac o herwydd hynny i'w Gochelyd yn ofalus gan bob Dyn sydd yn caru Iechydwriaeth ei Enaid. Gan Rondl Davies, A. M. Ficar Meifod. 12°. Rhydychen ...... 1675
55. Pregeth yngbylch Edifeirwch. Gan Arthur Dent. O Gyfieithiad Mr. Robert Llwyd, Gynt Ficar y Waun, yn Sir Ddinbych. 8°. Llundain. 1629
——————— Llundain ................................ 1677
56. Llwybr hyffordd i'r Nefoedd. 12°. Llundain ...................... 1682
57. Yr arfer o Weddi yr Arglwydd a ymddiffynnir yn erbyn Dadleuon y newyddiad o'r amseroedd ymma. Gan Ioan Despagne. Cyfieithiad R. V. Esqr. 12°. Llundain. Iago ab Dewi, & Beveridge, & Ffleetwood, & Nicolas, & Wells ................................. 1658
58. Cywydd i'r Iesu, yn niwedd Blodeuog waith y Prydyddion Brytannaidd y mae Ed. Jo. Davies, S. T. P. ................................ ——
59. Llythyr at y Cyfryw o'r byd, ac sydd raid eu deffroi a'u cyfarwyddo, er lleshad a budd tragwyddol eu heneidiau i feddwl ac i ystyriad pa beth ydynt, &c. O Gyfieithiad Iago ab Dewi. 12°. Mwythig .... 1716
60. Diarhebion Cymraeg wedi eu Cyfieithu yn Saisoneg. Gan James Howel. F° Llundain ................................................ 1659
61. Diarhebion Cymraeg a Gasclwyd allan o Ddictionary Dr. Davies. 8°. Llundain ................................................. 1672
62. Dictionary. Gan Davies, & Jones, & Salesbury ................... ——
63. Ymadroddion hen Mr. Dodd. 8°. Llundain ....................... 1693
64. Pasc y Cristion, &c. Gan Tho. Doolittel, M. A. O Gyfieithiad T. B. h y. Thomas Baddy. 8°. Llundain ........................... 1703
65. Arweiniwr Cartrefol i'r iawn a'r buddiol Dderbyniad o Swpper yr Arglwydd, ym mha un hefyd y mae 'r ffordd a'r modd o iechydwriaeth wedi eu gosod allan yn fyrr, ac fel y bo hawdd eu deall. Gan Theophilos Dorrington. O Gyfieithiad David Maurice, D. D. 8°. Llundain ..................................................... 1700
66. Ystyriaethau ar Dragwyddoldeb Gan Jer. Drexelius. O Gyfieithiad Ellis Lewis, o'r Llwyn Gwern, yn Sir Feirion, Wr bonheddig. 12°. Rhydychen .................................................. 1661
67. Drych Cydwybod ................................................ ——
68. Cyfoeth i'r Cymru, neu Dryssor y Ffyddloniaid wedi ei egoryd mewn amryw o Bregethau er mwyn gwneuthur Gwerthfawrogrwydd hawddgarwch a Godidawgrwydd Crist yn fwy adnabyddus, dymunol, a

chymeradwy. A'r Nefoedd yn agored, a'r uniawn ffordd iddi, mewn dwy Bregeth. Gyda Galwad i Bechaduriaid gan Grist ei hun: a Rhybydd o'r Nefoedd i Wilio a Gweddio, ac i ymbaratoi erbyn marwolaeth a'r farn. Gan William Dyer. Argraphwyd (12°.) .... 1701

69. Holl-ddyledswydd Dyn. O Gyfieithiad Jo. Langford, A. M. 8°. Llundain 1672

——— T. E. & E. P. 8°. Llundain ........ 1711

70. Y Ffydd Ddiffuant, sef Hanes y Ffydd Gristionogol, a'i rhinwedd, &c. Gan Charles Edwardes. 8°. Llundain ........ 1671

——— Ac 8°. Rhydychen ........ 1677

Gwyddorion ysprydol a naturiol (ac Almanaccau am y Blynyddoedd 1683-84.) 12°. ........ ——

71. Egwyddorion y Grefydd Gristionogawl, &c. O Gyfieithiad William Evans. 8°. Mwythig ........ 1707

72. Cristionogrwydd yn gynnwys, &c. Gan C. Ellis. 8°. ........ 1703

73. Gweledigaeth. David Evans, o'r Plas Du, yn Sir Drefaldwyn. 8°. Mwythig ........ 1716

Llyfr Evan Evans ........ ——

Lewis Evans, & Wells ........ ——

74. Drych y Prif Oesoedd, yn ddwy ran. Gan Theophilus Evans, & Wall. 12°. Mwythig ........ 1716

75. Galwedigaeth ddifrifol i'r Crynwyr, i'w gwahawdd hwy ddychwelyd i Gristnogaeth. O Gyfieithiad Theophilus Evans. 8°. Mwythig .. ——

76. Madruddyn y Difinyddiaeth diweddaraf. Gan E. F. O Gyfieithiad T. E. h. y. Sion Treredyn. 8°. Llundain ........ 1651

77. Y Cymmunwr ystyriol, neu Eglurhad Athrawiaeth Sacrament Swpper yr Arglwydd, &c. Gan William Fleetwood, D. D. Esgob Llan Elwy, yn awr Esgob Eli. 12°. Llundain ........ 1716

78. Pregeth a Bregethwyd yn Nghapel Tŷ Ely, yn Holborn, yn Llundain, ar Ddydd Mercher, yn Mehefin y 7, 1716, sef Dydd y diolchgarwch Cyhoeddus am fendith Duw ar Gynghorion a'r arfau ei Fawrhydi yn llonyddu y Gwrthryfel annaturiol diweddar. O Gyfieithiad Iago ab Dewi. 12°. Mwythig ........ 1716

79. Yr un Bregeth, o Gyfieithiad un o ffyddlon ddeiliaid Brenhin George. 8°. Mwythig ........ 1717

80. Amser a Diwedd Amser. Gan John Fox. O Gyfieithiad Samuel Williams. 8°. Llundain ........ 1707

81. Ufudd-dod Eglwys Loegr i'r Brenin George, &c. 12°. Llundain ...... 1716

82. Boreuol a Phrydnhawnol Weddiau, i'w harfer mewn Teuluoedd, a chan un Dyn ar ei ben ei hun o'r neilldu. O Gyfieithiad Gwr Bonheddig o Sir Gaerfyrddin. 12°. Mwythig ........ 1717

Gorsedd & Theater ........ ——

83. Hyfforddiadau Gristianogawl. Gan Thomas Gouge. O Gyfieithiad Richard Jones, o Ddinbech. 8°. Llundain ........ 1675

84. Tracthawd Byrr yn erbyn meddwdod, aflendid, ofer-dyngu a chelwydd. *Ibid.*

Gair i Bechaduriaid, a Gair i'r Saint. O Gyfieithiad William Jones, Gweinidog yr Efengyl. 8°. Llundain ........ 1676

85. Principlau, neu Bennau y Grefydd Gristianogawl, a Gweddi i'w harfer mewn Teuluoedd Boreu a Hwyr. O Gyfieithiad William Jones. 8°. Llundain ........ 1676

86. Gwyddorion y Grefydd Gristianogawl, &c. 8°. Llundain ........ 1679

87. Tracthawd ynghylch Gweithredoedd da ac Elusenau. 12°. Llundain .. 1690

88. Rhesymmau Ysgrythurawl yn profi mai Dyledswydd pob math o Wrandawyr (oddieithr y rhai sydd yn byw ar Elusenau) yw Cyfrannu yn ol eu gallu o bethau da y byd hwn tu ac at Gynhaliaeth Cysurus eu Gweinidogion a'u Athrawon. 12°. Llundain ........ 1693

89. Grammadeg Davies, & Rhaesus, & Robertius, & Salesbury ........ ——

90. Gweddi yr Arglwydd wedi eu heglaro mewn amryw ymadroddion, neu Bregethau byrion. Gan Griffith, D. D. Esgob Llan Elwy. Gan Groaw & Tudur. 8°. Rhydychen ........ 1685

91. Gwirionedd y Grefydd Gristnogol. Gan Hugo Grotius. A Gyfieithwyd gan Edward Samuel. 12°. Mwythig ........ 1716

92. Cywydd yr Iesu, o gynhilded wrnch yn wrthwynch, yn niwedd y Meddyliau neillduol ar y Grefydd Gristnogol y maa, gan Beveridge. Gan Ieuan Gruffydd ........ ——

93. Y Gwir er gwaethed yw; ac amryw o hen Gywyddau. 12°. Llundain ........ 1684
94. Gwyddorion y Grefydd Gristnogawl. 8°. ........ —
Allwydd J. H. ........ —
95. Catecism byrr i Blant; at yr hwn y chwanegwyd un arall, er addysc i'r rhai sydd i'w derbyn a'u cymmeryd i Swpper yr Arglwydd. Gan M. H. 8°. Mwythig ........ 1708
96. The Genealogy of the High and Mighty Monarch James, by the Grace of God King of Great Brittayne, &c. with his lineall Descent from North, by divers direct lines to Brutus, first Inhabiter of this Ile of Brittayne; and from him to Cadwalader, the Last King of the Brittist bloud; and from thence Sundry wayes to his Majesty; wherein is playnly shewed his rightfull Title, by lawfull Descent from the said Cadwalader, as well to the Kingdome of Brittaine, as to the Principalities of North-wales and South-wales; together with a briefe Cronologie of the memorable Acts of the Famouse men touched in this Genealogy, & what time they were. Where also is handled the worthy descent of his Majestices ancestour Owen Tudyr, and his Affinity with most of the Greatest Princes of Christenedome. With many other maters worthy of Note. By George Owen Hari, Parson of Whit Church, in Kemeis. 4°. London. J. Hodges & Chandler, ........ 1604
97. Darmerth, neu Arlwyd Gweddi, a ddychymygwyd er mawr dderchafiad Duwioldeb, ac i chwanegu Gwybodaeth ac Awydd yr annysgedig ewyllysgar i iawn wasanaethu 'r Gwir Dduw. Gan Robert Holland, Gweinidog Gair Duw, a Pherson Llan Ddeferowg, yn Sir Gaerfyrddin, & Perkins. 4°. Oxfford ........ 1600
98. Homiliau a Pregethau ........ —
Diarhebion. Gan James Howel ........ —
Stephen Hughes & Peraud ........ —
99. Hynodeb Eglwysydd, &c. O Gyfieithiad W. Rowlands, A. B. 12°. Llundain ........ 1712
——— G. J. h. y. Griffith Jones & Wells ........ —
Pregethau, gan Edward Jones ........ —
Independentiad. Gan Rondl Davies ........ —
100. Holl Ddyledswydd Cristion. Gan John Jones, D. D. Chancelor Llandaff. O Gyfieithiad Rees Lewys. 8°. Mwythig ........ 1714
Attebion, gan Michael Jones ........ —
101. Perl y Cymro, neu Gofiadur y Beibl. Gan Richard Jones, M. A. 8°. Llundain ........ 1655
102. Testun y Testament Newydd, &c. (s. y. h. yr Ail ran o Berl y Cymro) 8°. Llundain ........ 1655
103. Artemidorus, Articlau, Almanacau am 32 o flynyddoedd, gan ddiweddi ar 1711. Gan Thomas Jones ........ —
104. Geirlyfr Cymraeg a Saesnaeg. 12°. Llundain ........ 1688
105. Atteb i Lyfr Mr. James Owen, yr hwn a elwir Bedydd Plant o'r Nefoedd, &c. Gan Benjamin Keach, & Owen. 8°. Llundain ........ 1696
106. Dylyniad Crist, a elwir yn gyffredin Thomas a Kempis. Gan Thomas a Kempis. O Gyfieithiad Huw Owen, Gwenynoe, yn Mon, Esqr. 24°. Llundain ........ 1684
W. L. M. A. & Velendine ........ —
Jo. Langford, & Dyledswydd ........ —
Ellis Lewis & Drexelius ........ —
107. Cyngor Difrifol i Geidwad Tai, &c. Gan George Lewis, Ficar Aber Gwili. 12°. Llundain ........ 1704
108. Pregeth ar Galar. vi. 10. a Bregethwyd yn Llundain ar Ddydd Gwyl St. David, 1714. Gan George Lewis, M. A. Person Dolgellau. 8°. Llundain ........ 1715
109. Catechism yr Eglwys wedi ei egluro trwy holion ac attebion, a'i Profi o'r Ysgrythyr yn bum rhan, a deuddeg Dosparth, yn cynnwys Byrr ac eglur hanes, 1. Cyfammod Gristianogawl; 2. Y Ffydd Gristianogogawl; 3. Ufudd dod Gristianogawl; 4. Y Weddi Gristianogawl; 5. Sacramentau Gristianogawl. Gan John Lewis, Gweinidog Margate, yn Nghent. 8°. Mwythig. Rees Lewis, & Jones ........ 1713

*(I'w barhau.)*

# BARDDONIAETH.

## Cofion Barddonol.

### CYWYDD

MARWNAD SYR JOHN OWEN, MARCHOG, O'R CYLNENNAU, SIR GAERYNARFON.

O DDAIONUS Dduw unig,
I'n bro na ddalio dy ddig:
Dig aruthr yw dy gerydd;
Briw dan sêr hyd Brydain sydd,
Ysywaeth drwy dy saeth droin,
Daeth oerni adwyth arnom:
Oer gwynion, awr ac enyd,
Cwynion ac wylion i gyd.
Llwyr bruddaidd mewn chwerwaidd chwys,
Yw gwyr enwog yr Ynys.
Och! ganfod afiach gwynfan
Am Farchog calonog glân.
Wyladwy fodd ei wlad faeth,
Gwall a phoen golli 'i phenaeth:
Nawoes am Syr John Owen,
Wylo sydd beunydd hyd ben.
Och! y saeth a ddaeth i'w ddwyn,
Lwyr roddfawr filwr addfwyn,
Dan ddaear garchar oedd gau,
Clo 'n hynys o'r C'lynennau.
Galarus oedd gloi ar Sion
Mewn ceufedd, ŵr mwyn cyfion:
Arfon dir a'i rhandir hen
A rewodd am ŵyr Owen;
Gorŵyr Robert, loywbert lin,
Dewis hael-waed Bodsilin;
A siwr oresgynydd Sion
Ab Meurig eurfrig irfron;
Ab Llywelyn Goedfryn, gwaed
Ab Hwlkin hoywlin haelwaed:
Gwyr o achau gwir wychion,
Pen bonedd a mawredd Môn:
Llin Cynedda, gwycha gwr,
Wledig, a fu lywiawdwr:
Am Syr John mae 'r llin hono,
Yn llwyr brudd mewn llawer bro.
Gwae i'r byd i gyd ar goedd;
Eisieu Eryr y siroedd.
Gorŵyr Syr Wiliam gwyraidd,
Morys ryw dymherus wraidd;
Oedd Farchog calonog clau,
Coeliwn, yn y Cylnennau;
Ac o D'wysog dewisawl
Owen Gwynedd fwynwedd fawl.
Pan aeth gloes i'r Penaeth glân,
Gwae âch hollwaed Cochwillan;
Rhyw Ednyfed, rhyd nefoedd,
Fychan a gwynfan ar goedd:
Prysaddfed waed pur swyddfawr,
Goreu ym Môn â gair mawr;
A'r holl fonedd breisgwedd brau,
Pur fawl iaith o'r Prif lwythau;
Yn deall roi mewn daear
Yr anwyl gu freiniol gâr;
Breiniol oedd ar goedd heb gêl,
Ac achau enwog uchel:
Henwi 'i fawrhydi nid rhaid,
Na'i fonedd, nef i'w enaid.
Gwlad a ŵyr ei glod wrol;
Byd oer yw bod ar ei ol.
Ni bu ar ol neb erioed,
Fwy 'n cwynaw o fewn canoed:
Croyw a maith fu 'r cri mawr
Pan welwyd pen ei elawr.
Haws yw rhifo 'r sêr hefyd,
Ar ben drwy hanner y byd,
Na dweyd faint, diwyd fodd,
Ar ei ol a hir wylodd.

Ei gywely bur galon,
Sioned hael, syn ydyw hon,
Duw ro 'mynedd lawnwedd les
I'r glan weddol Arglwyddes,
Gwawr deg fu gyd â'i gwr da,
Gysurus megys Sara.
Och! daro brig uchder bron
At foddau etifeddion;
Yn Llanddyn mae dychryn du
I lâd Wiliam a'i deulu;
Penaeth duwioliaeth dwywlad,
Un llew doeth, yn lle 'i dad:
Duw ro i hwn, waed dewr hônir,
Ddaionus hŷdd, einioes hir.
Ac eilwaith wrth ymgalyn,
Poenus amharus am hyn,
Ydyw 'i egin bendigaid,
Yn ol dwyn eu hanwyl daid.
Ac yn y Parc gan y pwys
Wylodd ei lân ferch wiwlwys,
Sydd wraig dda, wâr, hawddgar hwyl,
Iawn, enwog, Catrin anwyl;
A'i dau fab, mewn diau fodd,
Anwyliaid yno wylodd.
Ac felly drwy Gymry i gyd,
Mae gwaed oru am gadernyd.
O priddwyd gwaed pereiddwawr
Eilwaith mae yn alaeth mawr
I'w frawd Wiliam fryd wiwlon,
Brig enw teg o Borkinton.
Marged glaer, ei chwaer wych hâd,
Bert enw o Abertanad:
A'i chwaer ben, Och oera byd,
Tyn ei phoen tan ei phenyd.
Pob nai, pob nith, gwenith gwâr,
Ni a'i gwelwn mewn galar:
Pob câr sad, pob cares sydd
Wyladwy drwy 'r holl wledydd:
A'i bur weision heb ruso,
Yn llwyr brudd mewn llawer bro.
Duwiol oedd, ŵr diwael iach,
Ni aned ei gyfiawnach.
Cyfiawnder a phurder ffydd,
Benaf a fynodd beunydd.
  Pan fu 'r cledd oer wedd o'r wain,
A d'rawai frwydr drwy Frydain,
Anturiodd, treiodd mewn trin,
Waed ei fron gyd â'i Frenin.
Milwr oedd, Melie o'i rych,
All nai Arthur, lew nerthwych.
Gwnaeth ei ran er difenwu
Gelynion y goron gu.
Troediai 'n deg trwy dân a dur,
I blygu rhai'n fel blagur.
Iawn bur swydd, ni bu 'r oes hon
Wr gywirach i'r Goron.
Pe buasai 'r mil heb gilio,
Mor ffyddlon foddlon fel fo,
Ni b'asai, gwybuasem,
Y Llew byth yn colli ei ben.
Ni fynodd ef yn ei ddydd,
I'w elynion fawr lonydd,
Nes cael i'r wlad ta adail
SIARLAS wir aiddus yr AIL.
  Bu lawer gwaith, Biler gwych,
Mewn perygl ŵr mwyn patwych.
Llunio arch yn ei garchar*
A wnaed, a gwisg i'w gnawd gwâr;
A'i gaswyr a ddygesynt
Na chai ef mwy ddim hwy hynt.

---

* *Pan fradychwyd Syr* John Owen *i ddwylaw gwyr Cromwel, ar Draeth y Lafan, yn y Dalar Hir*, 1649, *y bu "lunio ei arch" fe allai. Boneddigion yr ardal er mwyn achub eu tai a'u medd-*

Yno d'wedai, oen dedwydd,
Mewn calon a ffyddlon ffydd,
"Taer weddion dynion da,
"Trwy Ddaw, a'm try odd yma."
O'n dwylaw 'n fyw, Duw lân fodd,
Gariadns a'i gwaredodd.
Rhif y gwlith o fendithion
A gai, bob dydd, dedwydd dôn;
A'i bur aur, a'i bêr arian,
Ni phrisiai mwy na phres mân.
Trueiniaid gweiniaid Gwynedd,
A'r tlodion gwirion eu gwedd,
O'r achos sy'n oer ochain,
Eisieu 'r hael fe lâs y rhai'n:
A Beirddion cryfion eu cred,
A wylant eisiau 'i weled:
"Trwy 'r byd ar hyd," medd y rhai'n,
"Ifor ydoedd o Frydain,
"Er haeled fu 'n rheoli,
"Ni bu 'r un wedd i'n bro ni,
"Elfyddau am hael foddion
"Y Marchog lwys enwog Sion."
A'i ddifyrwch dda fwriad,
Oedd foli Duw ddeddfol Dad.
A Duw Iesu dewisol
I radd nef yrodd i'w nol.
E ga'dd einioes gwedd iawnwr,
At oedran iawn gyfran gwr.
Gwae ni ganfod diwrnod du,
Iawn nodasom oed Iesu,
Dau wythgant rhifant y rhai'n,
Aeth rhagor chwech a thrugain,
Pan aeth yn awr, wawr ei wên,
I'r ddurol, oer ddaearen.
Pwy all o'n gwlad safadwy,
A i gladdfa Penmorfa mwy?
Ei enaid o drueni
A aeth o ras Un a Thri,
I landeg nefol wadwn,
I'r bywyd hir o'r byd hwn.
I degwch un Duw Iago,
Gogoniant fyth fyth a fo.

MATHEW OWEN,
*Llangarwgwyn, Swydd Feirionydd, a'i cânt.*

## BEDDROD Y CRISTION.

DYMA'r oer annedd lle 'n dawel yr huna,
Gwr fu â'i hardd fuchedd yn addurn i'w oes;
Wrth weled ei fedd y galarus na wyla,
Diangodd o fainfyd, gadawodd bob croes.

Un argraff ni welir er côf am ei enw,
Y llysiau orchuddiant arwyneb ei gell:
Mae pob peth mewn natur un drefn er ei farw,
Ac yntau heb wybod; ond gŵyr beth sydd well.

Yr adar a ganant uwch ben ei orweddfan,
Y pryfaid faluriant ei gorph yn y llawr!
Cenedl'n ol cenedl i fynu a gyfodan',
Ac yntau yn dawel a fydd lle mae 'n awr.

Ond amser yn araf ym mlaen a ymdreigla,
Daw 'r pryd y cyfoda o gell oer y bedd;
Pan trwy yr holl nwyfre yr udgorn a seinia,
Nes cyfyd marwolion, gan newid eu gwedd.

Y Barnwr a ddisgyn yn ngherbyd y cwmwl,
A merchyg yn gyflym ar esgyll y gwynt!
Ac hefyd cyhoedda y ddedfryd yn fanwl,
Yn ol y gweithredoedd a wnaethai pawb gynt.

---

*iannau, a droisant yn dwyllodrus iddo, fel y tystia yr hen bennill a ganlyn:—*

Melldith fawr a fo i'r Penrhyn,
A Gwig fawr, a phawb sy ynddyn',
Ac i'r Dalar Hir anniben,
Lle bradychwyd Syr John Owen.

JOHN ROGERS,
*Pant y Ffrydlas, Llanllechyd, a'i cânt.*

A'r Cristion a welwyd yn morio tros donau
Y byd a'i helbulon, yn waelaidd ei wedd;
A gludir trwy 'r entrych gan ddisglaer gerbydau,
I fyw yn mro 'r gwynfyd mewn hyfryd lân hedd.

G. AB GWILYM PADARN.

## EMYN PASC.

### *Yn ol cynllun y 114 Salm.*

PAN guddiwyd pechod, trymlwyth dyn,
Yn llif gwaed Iesu ein Meichiau;
Pan laddwyd Crist ein Pasc, Oen gwâr,
Y ddaear ymddatodai.

O fynyddoedd, creigiau Duw,
Feddau di fyw, pa'm rhwygwch?
O Haul, pa loesion marw oedd it'
Pan wisgit nef â th'wyllwch.

Duw-ddyn sy'n yfed gwaeawl dân,
Holl grythau 'r Duwdod digllon;
"Gorphenwyd" ffordd i'r nefoedd lân,
Ceir nefoedd o fendithion.

Er yfed gwaddod cwpan Duw
Ac er hyd angeu y gwaedodd,
Er disgyn i grafangau 'r bedd,
Nid am oferedd poenodd,
Ond ffrwyth ei angeu gwaedlyd ef
A leinw nef y nefoedd.

Ond ni âd Duw i'r llygrawl bant
Orfwyta ei Sant canaid;
Ac yn uffern, O Ddaw 'n RHI,
Byth ni adewi 'i enaid.

O nefoedd, nefoedd, bloeddia gân!
O ddaear, dyrcha 'th foliant!
Iesu, ein Duw, ein Brenin glân,
A gododd mewn gogoniant.

O moliant, moliant! dorau 'r bedd,
Y bedd didòri a dòrwyd;
Uffern ysigwyd, miniawg gledd
Angeu, â'i blant heddychwyd.

Bu angeu i angeu a'r du fedd,
Dryllìodd uffernawl nerthoedd;
Mae 'th golyn, Angeu, mae dy gledd?
Fedd safnrŵth mae 'th ennilloedd?

Crist a gyfododd—ac o'r bedd
Down ninnau yn dorf ganaid;
E lifa o'r ddaear ar ei wedd
Holl lafur trwm ei enaid.

Gogoniant fyth a fo i'r Tad,
Ein Crëwr a'n glân Rhaglunydd;
I'r Mab a'n prynodd â'i brid waed;
I'r Yspryd ein Sancteiddydd;
I'r Trindod pur yn un Duw mâd,
Bo'n moliad yn dragywydd.

J. DYD.

## CRIST Y CYFAILL GOREU.

CYFAILL gwerthfawr yw Crist Iesu
I bechadur gwael a thlawd;
Cyfaill yw yn afon angeu,
Yn y farn fe fydd yn Frawd:
Cyfaill fydd yn nhragwyddoldeb,
I ryw oesoedd rif y gwlith:
O am fod mewn gwir gymmundeb
A Christ Iesu heb ddim rhith!

O fath Gyfaill gwiwlon, hawddgar,
Ydyw Iesu, Brenin nef:
Nid yw Cyfaill goreu 'r ddaear
Mewn cymhariaeth iddo Ef:
Pan bo brodyr a chwiorydd,
Hoff rieni 'n cilio draw;
Iesu ffyddlon y pryd hyny
Trwy 'r Iorddonen lâs a ddaw.

T. GL——R.

# HANESION GWLADWRIAETHOL.

## NEWYDDION TRAMOR.

Nid oes dim hanesion o bwys o barth helyntion tramor wedi cyrhaedd y wlad hon er ein Rhifyn diweddaf. Yr hyn oll a deilynga sylw yw, fod Ymerawdwr Rwssia, yn ol yr hanes diweddaf o'r wlad hòno, yn ymddangos yn fwy tueddol nag yr oedd i gytuno â'r cynghrair ynghylch Belgium; a'i fod yn cynghori Brenin Holland i beidio a gadael i ddim manteision bychain beri aflonyddu heddwch Ewrop.

Y Terfysg yn Jamaica.—Derbyniwyd llythyrau o'r wlad hon, wedi eu dyddio yr 22ain o Chwefror, yn hysbysu fod y Cadflaenor Crawford, a'i fyddin, yn ymlid ar ol y terfysgwyr yn ddibaid, gan gospi rhai o'r caeth-weision penaf, trwy eu fflangellu. Bwriadodd y Cadflaenor hwn fyned i Goshen, ac oddi yno i Alligator Pond, a'r etifeddiaethau cymmydogaethol. Parhaodd amrai o'r bobl dduon yn dra aflonydd. Dedfrydwyd un o'r caethion, o'r enw Allick, gan lŷs milwraidd, i ddioddef marwolaeth, a dienyddwyd ef ar y 26ain o Ionawr.

O barth arall o'r Ynys dywedir fod yr hanesion yn dra boddhaol. Teithiodd y Cadflaenor, a'i fyddin, gyd â'r cyflymder mwyaf, trwy Eldersley, Cowpark, Chesterfield, O'Connor's Mountains, Greenwich, &c. gan ymlid y terfysgwyr, y rhai oeddynt yn ffoi o'u blaen trwy y coedwigoedd, heb wynebu unwaith ar eu herlynwyr.

Daeth oddeutu 900 o honynt ym mlaen i roddi eu hunain i fynu i'r swyddogion yn Cadatupa; ac a ddywedasant fod cannoedd ereill yn barod i ddilyn eu siampl hwy oni bai eu bod yn ofni y canlyniad, sef cael eu cospi. Tybir y byddai cyhoeddiad o faddeuant ammodol o leshad mawr. Dywedir fod llawer iawn o'r Negroes eisoes wedi roddi eu hunain i fynu i'r Milwriad Farquharson yn nghymmydogaeth Greenwich, sef 181 yn Belvidere; 91 yn Hazelnymph; ac 111 yn Greenwich; a disgwylid am lawer ychwaneg y dyddiau canlynol.

## NEWYDDION CARTREFOL.

### Y SENEDD.

Ty y Cyffredin.—Dydd Llun, Mawrth 10fed. Cynnygiodd Arglwydd J. Russell fod i Ysgrif y Diwygiad gael ei darllen y drydedd waith.

*Arglwydd Mahon* a gynnygiai fod i'r Ysgrif gael ei darllen y drydedd waith ym mhen y chwe mis. Cefnogai *Syr J. Malcolm* y cynnygiad hwn, a chafodd ei gynnorthwyo gan *Syr R. Inglis*, *Mr. Pemberton*, *Mr. Croker*, ac *Arglwydd Valletort*. Ond gwrthwynebwyd ef gan *Mr. Wilbraham*, *Mr. Slaney*, *Mr. Macauley*, ac *Arglwydd Althorpe*. Ac ar ol dadl hir o bob ochr, oedwyd y ddadleuaeth.

*Dydd Mawrth yr 20fed.*—Dechreuwyd y ddadleuaeth gan *Mr. Trevor*, yr hwn a achwynai yn erbyn yr Ysgrif. Dilynwyd ef gan *Mr. Sehonswar*, yr hwn a bleidiai yr Ysgrif yn fawr.

*Syr J. Bridges* a wrthwynebai yr Ysgrif. Areithiodd amrai ereill o'i phlaid, ac yn ei herbyn, pan y cododd *Mr. Perceval*, i annerch y tŷ o barth yr Ympryd, &c. Yna oedwyd y ddadleuaeth hyd ddydd Iau.

### YSGRIF Y DIWYGIAD.

*Dydd Iau*, yr 22ain, darllenwyd Ysgrif y Diwygiad y drydedd waith; ond o achos amrai o gyfnewidiadau bychain a wnawd ynddi ni ddaeth i benderfyniad hyd drannoeth, pan ymranodd y tŷ, pryd yr oedd nifer y pleid-leisiau fel y canlyn:—

| | |
|---|---|
| Tros yr Ysgrif .................... | 355 |
| Yn ei herbyn ...................... | [illegible] |
| Mwy dros yr Ysgrif ...... | 116 |

Disgwylid i'r Ysgrif gael ei chyflwyno o flaen Tŷ yr Arglwyddi yn ddioed.

### YSGOLION YR IWERDDON.

Ty yr Arglwyddi. *Dydd Mercher*, yr 22ain o Fawrth, daeth yr Arglwydd *Wicklow* â'i gynnygiad ym mlaen yn erbyn y drefn newydd o roddi addysg yn Ysgolion yr Iwerddon. Ond ar ol i amrai o Arglwyddi areithio yn hyawdl o blaid y cynnygiad, ac ereill yn ei erbyn, ac ymranu o'r tŷ, cafwyd

| | |
|---|---|
| Yn erbyn y Cynnygiad ...... | 125 |
| Trosto ...................... | 67 |
| Mwy yn erbyn o ...... | [illegible] |

## SESSIWNAU GWYNEDD.

Trefaldwyn.—Ar y 10fed o Fawrth, aeth Syr C. T. Jones y Sirydd, ynghyd â lliaws o'i gyfeillion i gyfarfod y Barnydd Syr J. B. Bosanquet, a gosgorddasant ef i dref y Trallwm. Ar y Sabboth aeth ei arglwyddiaeth i'r Eglwys, lle y traddodwyd Pregeth gan Gapelydd y Sirydd. Dydd Llun agorwyd y Llys: Arglwydd Clive oedd Blaenor yr Uchel-Reithwyr, y rhai a gyfarchwyd gan y Barnydd fel y canlyn: "Hysbysir fi fod nifer y carcharorion yn fwy ar yr achlysur presennol nag arferol, yr hyn sydd i'w ofidio yn fawr: er hyny ni allaf beidio cyd-

lawenhau â thrigolion y Swydd hon, ei bod mor rhydd oddiwrth droseddau mawrion, ac yn enwedig oddiwrth y trosedd o losgi meddiannau, yr hyn a ffynnodd mewn rhai parthau o'r deyrnas. Y mae hyn yn achos o ddiolch i chwi, foneddion, ac i'r trigolion hefyd. Ni ymwelwyd â'r swydd hon a'r clefyd sy, mewn mannau eraill, wedi ymosod ar y rhai anghenus ac anghymmedrol: anfynych y gofwya breswylfeydd diwydrwydd a glendid. Diau y cymmeila hyn i foneddion ac uwchafion ein gwlad i weinyddu ymborth i'r tlodion—i'w diwallu hwynt â dillad glân a chynnes—ac i'w hannog hwynt i ymarfer â chymmedroldeb a rhinwedd."

**Lladrata Defaid wrth yr Ugeiniau.** *John Humphreys*, Llanwnog (37) a gyhuddwyd o ladrata agos i 200 o ddefaid; sef, nifer oddiar Mr. J. Thomas, Carno; nifer oddiar Mr. Evan Chapman, o'r Dref Newydd; nifer oddiar Mr. Evan Jones, Llanllugan; a nifer oddiar Mr. R. Morgans, Carno. Dywedir fod y carcharor mewn bri mawr ym mhlith ei gydnabod am ei foesoldeb, a'i fod hefyd yn bregethwr.

*John Thomas*, y cyhuddwr, sydd Amaethwr ac Uchelwr yn Ngharno. Yn Medi diweddaf, yr oedd ganddo 90 o ddefaid ar ei bordir; ond collodd 35 o honynt. Aeth dau was gyda mi, a chawsom 14 o'r defaid mewn cae cyfagos i dŷ y carcharor. Casglasom hwynt ynghyd, ac edrychasom ar eu clustiau. Yr oedd y nod wedi ei newid. Dilëwyd fy nod i, a rhoddwyd nod arall yn ei le. Ym mhen oddeutu wythnos wedi hyny, Andrew Breeze, o'r Cefn Coch, a ddangosodd i mi ychwaneg o'm defaid a gollasid. Yr oedd nod y glust, a'r enw, wedi eu newid.

*Mr. Temple*, wrth groes holi y tyst hwn, a ymdrechai ddangos y gallasai y defaid grwydro i dir y carcharor, ac i'r Cefn Coch.

*Andrew Breeze*, o'r Cefn Coch, a aeth gyd â'r cyhuddwr (J. Thomas) a'i fugail R. Hughes, i dŷ Mr. W. Owen, Cigydd, yn Llandysilio, ac yno y cawsant 18 o ddefaid, y rhai a brynodd W. Owen oddiar y carcharor yn ffair Meifod. Aeth y tyst i Le'rpwll; ac yno y daliodd efe y carcharor yn disgwyl am lestr i hwylio tu a'r America. Dywedodd mai prynu y praidd cyntaf a ddarfu iddo oddiar J. Jones, un o fugeiliaid Mr. Jaundrell, yn agos i Lanidloes.

*Mr. Owens*, Llandysilio, a ddywedodd iddo brynu 32 o ddefaid gan y carcharor, am 6*s*. 6*ch*. y pen. Ni welais i mo'r carcharor erioed cyn hyny, nag wedi hyny tan ddoe.

*Richard Hughes*, Bugail Mr. Thomas, a ardystiodd fod 35 o ddefaid yn golledig yn Medi diweddaf, a darfod iddo ef eu gweled gyda Mr. Owens, yr hwn a'u rhoddodd hwynt i fynu yn ebrwydd.

*John Jones* a ardystiai na fu erioed ddim masnach rhyngddo ef â'r carcharor.

Y carcharor, mewn ffordd o amddiffyniad, a ddywedodd mai John Jones a werthodd y defaid iddo; ac a'u hanfonodd hwynt hanner y ffordd adref.——Rheithfarn, *Euog*.

Y Barnydd a gyhoeddodd y ddedfryd; ac a ddywedodd yr arbedid bywyd y carcharor; ond y byddai raid iddo gael ei *Alltudio o'r wlad yma dros ei einioes*.

**Lladrata Defaid.** *Joseph Parry*, Llandrinio, a gyhuddwyd o ladrata pedair o Ddefaid oddiar Mr. Richard Owen, Llanfyllin.

Yn Rhagfyr diweddaf collodd Mr. Owen lawer o ddefaid o'i ddïadell, gyda nod yn eu clustiau, a'r llythyrenau R. O. o bŷg ar eu cefnau. Prynodd Mr. J. Jones, Barcer, rai crwyn, a sylwodd yn fanwl arnynt, wrth weled fod y nodau wedi cael eu dileu. Dangoswyd y crwyn i Mr. Owen a'i fab, a dywedasant mai crwyn eu defaid hwy oeddynt. Torasant ddarn o bapur yn yr un modd ag yr oedd clustiau y defaid wedi eu nodi.——Cafwyd y carcharor yn *Euog*.

Y Barnydd a ddywedodd, "Gan fod y trosedd hwn mor fynych yn y wlad, rhaid oedd cospi y troseddwyr yn eithaf llym. Dyfarnwyd y carcharor i gael ei *Alltudio dros ei oes*.

**Lladrata Dafad.** *Edward Williams* a gyhuddwyd am ladrata un ddafad o eiddo Mr. S. B. Lake Evans, o'r Llethry, yn Swydd Faesyfed.

Yr oedd praidd Mr. Evans, yn cael eu cadw ar y Bryn Coch, yn y Swydd hono. Pan y cynnullwyd hwynt adref i gael eu nodi, gwelodd fod clust un o'r defaid wedi cael eu hanafu gan gi. Yn fuan wedi hyny y ddafad hon, a elwid Bob, a aeth ar goll. Yr oedd y carcharor yn preswylio ym mhlwyf Ceri, yn Swydd Drefaldwyn; a chan iddo gael ei ddrwg dybio, chwiliwyd ei dŷ gan geisbwl, yr hwn a gafodd yno rai darnau o gig defaid yn y beudŷ, wedi eu gorchuddio gan wellt a cheirch. Yr oedd y cig yn ymddangos fel pe torasid ef tra yr oedd yn gynnes. Yn y daflod cafwyd hŷd i groen dafad. Y pethau hyn a brofwyd gan y cyhuddydd, y ceisbwl, a llawer o dystion ereill. Dangoswyd y croen yn y llys. Yr oedd y pŷg-nodau S. E. wedi eu dileu.

Mr. Jervis, ar ran y carcharor, a haerai yn laf, Mai dafad fyw a gollasid; ond mai *cig* dafad a gafwyd. Yn ail, Mai yn Swydd *Faesyfed* yr oedd y ddafad yn pori; ac nad oedd dim tystiolaeth i ddangos a gafodd hi ei lladrata; a'i bod yn fyw pan ddaeth i Drefaldwyn,

Amryw a roddasant enw da am onestrwydd i'r carcharor.

Y Barnydd a gyfarwyddodd y Rheithwyr i fod yn eithaf sicr fod y carcharor wedi dwyn y ddafad *yn fyw*, o'r Bryn Coch, yn Swydd Faesyfed i Sir Drefaldwyn: ac mai cig y ddafad hono oedd y cig a gafwyd yn meudy y carcharor.——Rheithfarn, *Dieuog*; a gollyngwyd ef yn rhydd.

**Herw-Heliwr,** *Francis Adams* a gyhuddwyd, yn laf, am fyned i dir Ormsby Gore, Ysw. yn mhlwyf Meifod, ar foreu y 13eg o Ragfyr diweddaf, wedi ei arfogi â drylliau, i'r diben i ladd hel-filod (*Game*). Cyhuddwyd ef, yn ail, am guro ac archolli Daniel Dale, yr Helfilod-geidwad, a William Owen, ei gynnorthwydd.

*Mr. Hill* a ddywedodd fod y cyhuddiadau hyn wedi eu seilio ar Ysgrif y Senedd; yr hon a ardystia os ceir tri neu ychwaneg o ddynion mewn tiroedd wedi eu hamgylchu â chlawdd, wedi eu harfogi â dryllliau, neu ffyn, gyda bwriad i ddinystrio helfilod, eu bod yn euog o droseddu y gyfraith. Yr oedd pedwar o ddynion wedi eu harfogi â dau ddryll o leiaf yn Nghoedwigfa Dyeithr, oddeutu tri o'r gloch ar foreu y 13eg o Ragfyr, 1831. Saethwyd ergydion. Daniel Dale a ddaliodd un dyn, a William Owen a ddaliodd un arall. Curwyd Dale ac Owen yn aruthr gan ddau ddyn arall: a thra yr oeddynt yn gorwedd ar lawr, y ddau ddyn a ddaliwyd a ddiangasant. Er fod y noswaith yn dywell, etto gallai William Owen weled fod un o'r dynion wedi ei wisgo mewn *smock-frock*, a'i het wedi ei rhwymo âg ysnoden. Hwn oedd y carcharor. Wedi i Dale ac Owen ddyfod atynt eu hunain, cawsant hyd i ddryll drylliedig, a dwy het. Yr oedd un o'r hetiau hyn yn perthyn i'r carcharor; a rhwymid hi âg ysnoden ac ychydig o linyn. Nid yw yn angenrheidiol profi fod y carcharor wedi saethu, neu fod ganddo arfau; oblegid os gellir profi fod rhyw ddynion wedi myned i'r goedwigfa yn arfog, a bod ereill gyda hwynt, y mae hyny yn ddigon.

*Daniel Dale* (gan yr hwn yr oedd cadach am ei ben, a phlastr wrth ei drwyn a'i lygaid) a dystiodd ei fod yn Geidwad helfilod i William Ormsby Gore, Ysw. Yr ydwyf yn cyfanneddu oddeutu 200 o latheni oddiwrth y goedwigfa yn Dyeithr. Y mae yno ddigon o geiliogod coed, ac ysgyfarnogod. Oddeutu tri o'r gloch ar foreu y 13eg o Ragfyr, clywais ergyd, ac aethum allan, gyda William Owen, fy nghynnorthwydd. Wedi clywed ergyd arall aethom i'r goedwigfa. Y dynion a ddiangasant y pryd hyny. Dilynasom hwynt: ac ymryssonasom gyda hwynt. Gafaelais mewn un; a gafaelodd William Owen mewn un arall. Nid oedd yr un dryll gan y ddau gyntaf. Clywais Owen yn gwaeddi "Mwrdwr!" Aethum i'r lle; a chefais ef yn sefyll mewn ffos. Cefais afael ar ddyn oedd yn agos ato. Daeth dyn arall ataf, a tharawodd fi

mhen gyda dryll. Tarawyd fi eilwaith: a phan droais fy mhen gwelais ddyn mewn dillad tywyll. Bum yn afiach o hyny hyd yn awr. Bum yn fy ngwely am chwech neu saith niwrnod. Anafwyd fy ngolwg. Aethum i fwthyn cyfagos i geisio goleuni. Wedi hyny cawsom hyd i'n hetiau ein hunain, a dwy het ddieithr, a darn o'r dryll toredig sy genyf yn awr yn y Llys.

*A groesholwyd gan Mr.* Jervis. W. O. Gore, Ysw. ydyw y cyhuddydd. Nid oedd y noson hono yn dywell iawn: nid oedd dim lleuad. A ydych chwi yn ŵr priod? Ydwyf. Pa sawl gwraig sy genych? Un. Oni ddarfu i chwi brynu eich gwraig bresennol? (Dywedodd Mr. Hill wrth Dale am beidio ateb y gofyniad.)

*William Owen*, Cynnorthwydd Daniel Dale a holwyd. Ni chlywais ergyd nes i mi fyned i'r goedwigfa: yna y clywais ddwy ergyd. Rhedais i lawr rhyw fryn bychan, a syrthiais ar draws un dyn. Yr oedd ei het oddiam ei ben; a'r lliain tufewnol yn hongian y tu allan. Rhedais ochr yn ochr ag ef am 14 neu 15 o latheni. Wedi i mi ddyfod ataf fy hun, ar ol cael fy nghuro, dywedais pwy oedd y dyn. [Dangoswyd het wellt, gyda thonlli gwyrdd difianedig, coryn yr hon a rwymid gan ysnoden a llinyn.] Gwelais yr het hon am ben y carcharor, a bum yn ymddiddan ag ef.

*A groesholwyd.* Syrthiais ar fy wyneb. Yr wyf yn credu mai y carcharor oedd y dyn a redodd ochr yn ochr a mi am 15 llath. Ni chymmerwyd ef o flaen Ynad Heddwch am dair wythnos wedi hyny, er ei fod yn byw o fewn ychydig bellder o'r lle. Ni welais erioed ddyn yn y gymmydogaeth yn gwisgo y fath het a hon. A gawsoch chwi eich troi o'ch swydd gan Mr. Gore am saethu ceffyl yn lle cwningen? Na ddo. A ddarfu i chwi saethu ceffyl yn lle gwningen? Do. Pa faint oedd rhyngoch chwi a'r ceffyl? 35 o latheni.

*John Morgan.* Yr wyf yn adnabod y carcharor. Gwelais yr het ar y garreg farch, wrth dŷ Mr. Whittington, meistr y carcharor. Yr oedd wedi ei rhwymo ag ysnoden a llinyn.

*A groesholwyd.* Pa faint a gewch chwi am ddweud mai het y carcharor ydyw hon? Pedwar swllt. Onid yw eich tad i gael pum punt? Nac ydyw, Ni bum i erioed yn siarad gyda fy nhad ynghylch hyny. Onid yw Martha Hughes yn byw yn y tŷ nesaf i dŷ eich tad; ac onid yw yn bossibl i chwi glywed pobl yn siarad yno? Ydyw. Wedi dyfodiad y Ceisbwl, oni ddywedodd eich tad wrthych, "Fy machgen, nid ydyw llŵ ddim byd: gwyddost fy mod i yn dlawd, am hyny gwna dy oreu i ennill pum punt?" Y tyst a betrusodd: wedi hyny dywedodd, Dywedais wrth fy nhad mai nid myfi a roddodd y llinyn a rwymwyd o amgylch het y carcharor. Dywedais i mi orfod myned o flaen Ynad Heddwch. Yr wyf yn adnabod Ann Jones, yr hon sydd yn byw yn agos at fy nhad. Yr oeddwn neithiwr yn cyd rodio gyda Dale ac Owen, ac wedi hyny gyd ag Ann Jones, wrth ddyfod i ffair y Trallwm. Os hysbysais hi mai yn erbyn fy ewyllys y tyngais o barthed yr het, ni wyddwn beth oeddwn yn ei ddywedyd; Dale ac Owen a'm meddwasant i. Ni chymmeraf fy llw na ddywedais felly. Dywedais felly wrth Martha Price. Derbyniais lythyr oddiwrth y Parch. Mr. Russell, yr Ynad Heddwch, yn nghylch yr het. Nid yw y llythyr hwnw genyf fi. Y mae y llythyr gan fy nhad. Y mae efe yma; ond gartref y mae y llythyr.

*Ail holwyd gan* Mr. Jones. Llawer o bobl a fuont yn siarad gyda mi, ac yn dywedyd mai gwaith drwg oedd i mi erioed gymmeryd fy llw ynghylch yr het. Collais fy sefyllfa. Ann Jones a'm cynghorodd i ddywedyd dim yn ei chylch. Dafydd Prys a ddywedodd wrthyf am ddywedyd y gwir.

Mr. Jervis a gyfarchodd y Rheithwyr o blaid y carcharor. Dywedodd fod llymder y gyfraith yn erbyn troseddau o'r fath hyn yn peri i'r Rheithwyr fod yn fwy manwl pa fodd y derbynient y dystiolaeth yn erbyn y carcharor. Haerai nad oedd dim profion fod "tri, neu ychwaneg, o ddynion wedi myned allan ynghyd;" ac nad oedd dim profion fod y dynion yn cydweithredu i ddinystrio yr helfilod. Yr unig beth a dystiolaethwyd oedd, fod dau ddyn heb ddim arfau, a dwy ergyd wedi eu saethu. Nid oedd dim prawf o'r ymosodiad ar y ceidwaid; ac os ymosodwyd arnynt yr oedd yn ddrwg ganddo. Un o'r ceidwaid a dynga mai y carcharor oedd un o'r Herw-helwyr, am iddo gyd redeg âg ef 15 llath, oddeutu pedwar o'r gloch yn y boreu. Os oedd hi yn ddigon goleu i adnabod y carcharor, paham yr aeth y ddau geidwad i fwthyn i ymofyn am oleuni i chwilio am eu hetiau a'r dryll? Paham y gwnaethant hwy y bachgen Morgans yn feddw neithiwr? Paham? ond i wneud iddo dyngu ynghylch yr het? Ac os oeddynt yn adnabod y carcharor y boreu hwnw, paham y goddefwyd i dair wythnos fyned heibio cyn cymmeryd y carcharor i fynu? Galwai ef (Mr. Jervis) feistr a meistres y carcharor, a'r gweinidogion i brofi na fu efe ddim allan o'r tŷ ar y 13eg o Ragfyr—ac iddo gael ei alw i fynu oddeutu hanner nos, am fod ei feistr yn sal—a bod drws y tŷ wedi ei fario o'r tu mewn—a bod y carcharor wedi codi bump o'r gloch yn y boreu.

Galwyd y tyst cyntaf; ond y Rheithwyr a ddywedasant wrth y Barnydd mai ofer fyddai myned ym mlaen; a chyhoeddasant y carcharor yn *Ddieuog.*

**Lladrata, a Derbyn Lladrad.** *Jonah Williams*, Llanfair, a *Samuel Swancott*, Llanbister, a gyhuddwyd, y cyntaf am ladrata y pethau canlynol, a'r olaf am eu derbyn hwynt, ac yntau yn gwybod iddynt gael eu lladrata, sef Cyfrwy bychan a chenglau, Cyfrwy merch, a thair genfa, o eiddo Edward Allen, o'r Twll; a dwy ffrwyn, o werth wyth swllt, o eiddo John Morris, Backaillon.

Y carcharor Williams a gyfaddefodd o flaen yr Ynad Heddwch ei fod wedi lladrata y pethau uchod; a chafwyd hwynt rhai yn awr-lais (*clock*), ac ereill yn nhaflod wair y carcharor Swancott. Dyfarnwyd hwynt i gael eu *Halltudio am saith mlynedd.*

Yr oedd y carcharor, *Jonah Williams*, i gael ei symud i'r Amwythig, er cael ei brofi am drosedd arall.

**Lladrata Costrel a Gwirod.** *Richard Lloyd*, o'r Aer Rhiw, a gyhuddwyd o ladrata Costrel, yn cynnwys tri galwyn a hanner o wirod, o eiddo S. a T. Teece, Masnachwyr, yn Bargedin. *Dieuog.*

**Lladrata Cochl Ffilwraidd ac Iar.** *John Watkin* a gyhuddwyd o ladrata Cochl filwraidd ac Iar, o Westdŷ yr Arth, yn y Dref Newydd. Yr oedd y carcharor yn was yn y Gwestdŷ uchod; ac anfonodd yr Iar at ei fam i Lanbrynmair. Cafwyd y Gochl hefyd yn nhŷ ei fam,—Euog.—*Chwe mis o garchar, a llafur caled.*

**Lladrata Ceffyl.** *Benjamin Davies*, Llanwnog, a gyhuddwyd o ladrata eboles o eiddo Mr. Jones, Rhos Goch, yn Nhref Gynon. Yr oedd Mr. Jones yn magu ebolion ar y mynydd. Cymmerodd y carcharor un o honynt. Aeth â hi i ffair Llandrillo; ac wrth ddyfod adref, gwerthodd hi. *Euog.*

Y Barnydd a ddywedodd yr arbedid bywyd y carcharor, ond caiff ei *Alltudio dros ei oes.*

**Lladrata Plwm.** *Lewis Edwards*, a *Thomas Giles*, Machynlleth, a gyhuddwyd o ladrata un pwys o blwm oddiar Mr. Ellis o'r dref hono.—*Euog. Tri mis o garchar, a llafur caled.*

**Lladrata Gwlanen.** *Dafydd Jones* am ladrata 80 o latheni o wlanen o Fasnachdŷ Meistriaid Lloyd a Lewis, yn Llanllugan. Bu yn gweithio gyd â'r cyhuddwyr. Cafwyd y wlanen o dan ei wely; a chyfaddefodd y trosedd. Dyfarnwyd ef i gael ei *Alltudio am saith mlynedd*; a sylwodd y Barnydd ar yr angenrheidrwydd o amddiffyn y rhoedd y byddid yn dwyn masnach ym mlaen; ac ar anniolchgarwch gwas yn lladrata oddiar y rhai oeddynt yn rhoddi cynnaliaeth iddo.

**Meirionydd.—Dydd Iau, Mawrth 15,** cyrhaeddodd Syr J. B. Bosanquet i dref y Bala. Nid oedd y Sirydd, Mr. Turner, o achos anhwyldeb, yn wyddfodol. Llanwyd ei le gan John Davies, Yswain, Vronheulog. Traddodwyd Pregeth ragorol ar yr achlysur yn Eglwys y dref, gan y Parch. H. White, Periglor Dolgellau, oddiar *Diar*. 16. 6. "Trwy ofn yr Arglwydd y mae ymadaw oddiwrth ddrwg."

Dydd Gwener, agorwyd y Llys. Y Barnydd a gyfarchodd yr Uchel-reithwyr yn fyr cyn iddynt fyned at eu dyledswyddau.

**Lladrata Ceffyl.**—*John Jones*, o'r Nantfadr, y'Nhrawsfynydd, a gyhuddwyd o ladrata ceffyl, gwerth Chwe Phunt, o eiddo Dafydd Rowland, o'r Pentref, ym Mhlwyf Llanycil, ar y 23ain o Orphenaf, 1831.

*Dafydd Rowland.* Yr wyf fi yn byw yn y Pentref, y'Mhlwyf Llanycil. Yr oedd genyf geffyl ar y 23ain o Orphenaf. Troais y ceffyl i'r cae ar brydnawn y dydd hwnw. Aethum oddi cartref yn yr hwyr. Dychwelais yn ol nos Sabboth. Dywedodd fy ngwas wrthyf am y ceffyl. Cymmerais Edward Price gyda mi i chwilio am dano. Cefais y ceffyl yn Nghroesoswallt ddydd Llun, ar y 25ain o Orphenaf. Yr oedd yn sefyll ar yr heol yn ymyl y *Boar's Head*, yn llaw Edward Price, yr hwn a aeth o'm blaen i. Yr oedd ychydig o chwys ar y ceffyl. Yr wyf yn sicr mai fy ngheffyl i oedd—gwineugoleu oedd ei liw—seren wen yn ei dalcen—ac wedi tori ei wynt. Bu genyf am ddwy neu dair blynedd. Yr wyf yn adnabod y carcharor.

*Robert Davies.* Gwas wyf gyda Dafydd Rowland yn y Pentref, Yr wyf yn cofio ceffyl gwineugoleu gan fy meistr. Yr oedd yn y ffridd ar y 23ain o Orphenaf. Ni welais ef ar y Sabboth. Chwiliais am dano, ond ni chefais ef. Mynegais i fy meistr fod y ceffyl ar goll.

*Edward Price.* Aethum gyda Dafydd Rowland i edrych am y ceffyl. Aethum i'r *Boar's Head*, yn Nghroesoswallt: nid oedd Dafydd Rowland gyda fi y pryd hyny. Aethum i'r ystabl, a chefais y ceffyl yno. Cadwyd ef yno nes y daeth Dafydd Rowland, oddeutu hanner awr wedi hyny. Dygais ef i'r heol, lle yr edrychodd Dafydd Rowland arno.

*John Morris.* Yr wyf fi yn Ostler yn y *Boar's Head* yn Nghroesoswallt. Yr wyf yn cofio Edw. Price yn dyfod yno, a daeth D. Rowland ar ei ol. Yr oedd ceffyl gwineu yn yr ystabl. Edw. Price a barodd i mi dwyso y ceffyl allan. Torwr ceffylau a ddaethai âg ef yno—y carcharor oedd y dyn—yr wyf yn sicr o hyny.

A holwyd gan y Barnydd. Daethai y carcharor yno oddeutu chwech o'r gloch yn y prydnawn, ddydd Llun. Yr oedd y ceffyl wedi ei gyfrwyo. Gwelais y carcharor dair gwaith o'r blaen yn Nghroesoswallt.

*Evan Roberts.* Blawdiwr ydwyf fi yn Nghroesoswallt. Yr wyf yn cofio gweled dyn â cheffyl yno ar y 25ain o Orphenaf, yn y prydnawn. Y dyn yw y carcharor. Aethai heibio fy nhŷ i aml waith. Gofynais iddo, pa faint a gymmerai am y ceffyl? dywedodd yntau, Deuddeg punt. Meddyliais ei fod yn gofyn rhy fychan, ac edrychais ar y ceffyl. Dywedodd y carcharor, ei fod yn meddwl cael wyth *gini* am dano. Gofynais a wnai wyth bunt mo'r tro? Dywedais wrtho am fyned ymaith. Gwelais y ceffyl wedi hyny mewn cae. Gwelais Dafydd Rowland wedi dyfod yno.

*Dafydd Rowland* a ail-holwyd. Dodwyd y ceffyl y'nghae Mr. Richardson. Yr oedd caseg dywell yn yr un cae a'r ceffyl. Gwelais y tyst diweddaf pan aethum at y ceffyl. Y mae oddeutu 34 milltir o'r Pentref i Groesoswallt.

Y *carcharor* yn ei amddiffyniad a dystiodd mai cymmeryd benthyg y ceffyl a wnaethai. Nid oedd yno neb a allai roddi enw da iddo.

*Dafydd Rowland* a dystiodd na roisai efe erioed awdurdod i'r carcharor gymmeryd y ceffyl.

Wedi i'r Barnydd gyfarch y Rheithwyr, cafwyd y carcharor yn Euog.

Y Barnydd wrth gyhoeddi y ddedfryd a sylwodd: Y mae y trosedd y ladrata ceffylau mor gyffredin yn ein plith, ac y mae ceffylau yn bethau mor agored i ladrad, ag i beri yr angenrheidrwydd o gospi y carcharor yn llym. Arbedir ei fywyd, ond ni wiw iddo ddisgwyl aros yn hŵy yn y wlad hon; *caiff ei alltudio dros ei oes.*

Nid ydym erioed yn cofio gweled dyn mor galed ac anystyriol a'r carcharor, ni newidiodd ei liw pan fynegwyd iddo yr hyn a ddywedodd y Barnydd.

**Lladrata Ceffyl.**—*Edward Jones*, o blwyf Llandrillo, a gyhuddwyd o ladrata eboles, o eiddo Thomas Ellis, ar yr 22ain o Fehefin, 1831.—Dieuog; *a gollyngwyd ef yn rhydd.*

**Arian Drwg.**—*Owen Humphrey*, a *William Roberts*, a gyhuddwyd am gynnyg Arian Drwg yn Maentwrog ar y 30ain o Awst, 1831.

*Mary Matthews.* Yr oeddwn i yn byw yn Tan y Bwlch yn Awst diweddaf. Yr wyf yn cofio gweled dyn yn dyfod i'r gegin yn niwedd y mis—gwelaf y dyn yn awr, sef y carcharor O. Humphrey. Gofynodd am hanner peint o gwrw: cynnygiodd hanner coron i mi i dalu am dano: edrychais arno, a swniais ef, a dywedais mai hanner coron drwg ydoedd: rhoddais ef yn ol i'r carcharor, yr hwn a dorodd ef ymyl â chyllell; wedi hyny rhoddodd ef yn ei logell. Dywedodd na feddai ond ceiniog i dalu am y cwrw; aeth allan, ac ni welais ef mwy. Gwelais hanner coron a swllt gan Mrs. Jones; adwaenais yr hanner coron, yr oedd *nick* ar ei ymyl wedi ei dorri â chyllell.

*Thomas Jones.* Ostler ydwyf yn Tan y Bwlch. Gwelais y ddau garcharor yno ar 30ain o Awst. Ni wn a ddaethant hwy yno ynghyd; ond aethant i ffordd gyd â'u gilydd. Daeth O. Humphrey ataf i dalu dwy geiniog am y cwrw a gawsai.

*Croesholwyd.* Gwelais O. Humphrey yn fynych yn Nghaernarfon: yr oedd ganddo drol fechan: ni welais erioed mo'r llall. Llawer o bobl sydd yn dyfod i mewn ac allan yn Tan y Bwlch.

*Margaret Jones.* Gwraig wyf i D. Jones sydd yn cadw tafarn yn Maentwrog. Yr wyf yn cofio gweled dyn yn dyfod i'r gegin ar y 30ain o Awst: O. Humphrey oedd y dyn. Daeth ataf i dalu am hanner peint o gwrw: rhoddodd hanner coron i mi, a thelais yn ol iddo ddau swllt a phedair ceiniog. Ni edrychais ar yr hanner coron: rhoddais ef yn fy llogell. Yr oeddwn newydd dderbyn hanner coron a swllt gan y forwyn. Ar ol i John Jones ddywedyd rhywbeth wrthyf, edrychais arno: tynais y ddau hanner coron o'm llogell. John Jones a gymmerodd yr un drwg o'm llaw: ni sylwais a oedd *nick* arno; ond wedi ei gael yn ol, edrychais arno, a gwelais *nick* ar ei ymyl: dangosais ef i Mary Matthews.

*Croesholwyd.* Ni welais ond O. Humphrey yn y gegin: ni sylwais ar yr hanner coron cyn i John Jones ei gymmeryd. Adwaenwn O. Humphrey o'r blaen.

*Ann Lloyd.* Yr oeddwn yn forwyn gyda Mrs. Jones yn Awst diweddaf. Daeth O. Humphrey i'r gegin, a gofynodd am hanner peint. Yr oedd gwr boneddig yn y parlawr, yr hwn a gafodd newid gan fy meistres; ac o'r newid hwnw rhoddodd hanner coron a swllt i mi; rhoddais innau hwynt i fy meistres.

*Owen Jones.* Yr wyf yn cofio rhoddi newid i fy ngwraig oddeutu dau o'r gloch y prydnawn. Rhoddais iddi ddau swllt ar bymtheg: cymmerais hwynt allan o'r coffr: sylwais arnynt, ac yr oeddynt oll yn dda. Gwelais wedi hyny hanner coron â nod arno, pan ofynodd John Jones am dano: nid un o'r rhai a gymmerais o'r coffr oedd.

*Croesholwyd.* Ni wn pa faint o hanner coronau a gymmerais: nid oedd yr un nod arnynt.

*John Jones.* Yr oeddwn i yn Maentwrog ar y 30ain o Awst, 1831, yn byw yn y dafarn. Gwelais Owen Humphrey yn fy nhŷ fy hun. Cynnygiodd hanner coron i fy morwyn yn fy ngwydd i: dywedodd hi mai un drwg oedd, a thafiodd ef ar y

# Y GWYLIEDYDD.

LLYFR IX.] MAI, 1832. [RHIF. 109.

## COFIANT Y PARCH. CHRISTIAN FREDERIC SCHWARTZ.

(*Parhâd o du dal.* 100.)

Y MEDDYLIAU uchel iawn ag ydoedd pob gradd yn ddwyn am uniondeb a chywirdeb Mr. Schwartz a ymddengys oddiwrth yr hanes canlynol:—

Pan oedd Amddiffynfa Tanjore, yn nghylch y pryd hyn, mewn cyni a chyfyngder mawr, yr oedd gelyn galluog yn agos; a nifer y bobl yn yr Amddiffynfa (*Fort*) yn lluosog, a dim ymborth i'w gael, hyd yn nod i'r milwyr. Yr oedd digon o ŷd yn y wlad; ond nid oedd dim ychain i'w gludo i'r gwersyll. Pan y dygodd pobl y wlad beth iddynt o'r blaen, cawsant eu gormesu a'u hamddifadu o'r gyflog ag oedd yn ddyledus iddynt. O ganlyniad *collwyd pob ymddiried.* Rajah, brenin Tanjore, a orchymynodd, ïe, a ymbiliodd ar y bobl, trwy ei swyddogion, i ddyfod a'u cynnorthwyo; ond yr oedd y cwbl yn ofer. O'r diwedd y Rajah a ddywedodd wrth un o'r Boneddigion,—"Yr ydym oll, chwi a minnau, gwedi llwyr golli ymddiried y bobl, ceisiwn wybod a wna y trigolion ymddiried yn Mr. Schwartz." Yna efe a anfonodd ato, gan roddi awdurdod iddo i wneuthur cytundeb addas â'r bobl. Nid oedd amser i oedi. Yr oedd yr heolydd yn cael eu gorchuddio bob boreu gan gyrph meirwon wedi curio o newyn. Anfonodd Mr. Schwartz, gan hyny, lythyrau yn union-gyrchol oddi amgylch, gan addaw talu i bob un o'i law ei hun, a thalu iddynt am bob ŷch a ddygid gan y gelyn. A chyn pen deu-ddydd cafodd fwy na mil o ychain. A thrwy y moddion hyn yr achubwyd yr Amddiffynfa ddwy flynedd yn olynol. Ar ol i bob peth fyned drosodd, talodd Mr. Schwartz i'r bobl yn ol ei addewid, ac yna dychwelasant adref. Yr oedd rhinweddau y gwr enwog hwn mor ddisglaer, nes yr ydoedd y Paganiaid yn gorfod eu haddef. Ymdrechai i ddwyn ym mlaen ddedwyddwch cyrph ac eneidiau pawb oddi amgylch iddo. Ond yr oedd ei lafur helaeth a llwyddiannus yn agoshau yn awr at ddiwedd. Y llythyr canlynol, ym mhlith ereill, a ddengys ei hynod aeddfedrwydd i'r nef.

"*Tanjore, Ebrill* 10, 1795.

"*Fy Anwyl Gyfeillion,*

"Gan i Mr. Kohlhoff roddi hanes i chwi o'i lwyddiant presennol, dywedaf ychydig am fy helynt fy hun. Yr ydwyf yn moli Duw am ei drugaredd i mi: ac er fy mod yn awr yn 69 oed, gallaf etto gyflawni gwaith cyffredin fy swydd. Ni wn i ond ychydig am afiechyd. Pa gyhyd yr wyf i aros yma, fy Nghreawdwr a'm Cynaliwr a ŵyr. Fy unig gysur sydd yn y prynedigaeth a wnaethpwyd trwy Iesu Grist. Efe ydyw, ac a gaiff fod, yn ddoethineb i mi. Trwyddo ef y derbyniais y wybodaeth iachusol a'm tywys i ffafr Duw. Efe ydyw fy nghyfiawnder; trwy ei Iawn y caf faddeuant o'm pechodau; gwedi cael fy ngwisgo yn ei gyfiawnder ef, ni ddaw fy mhechodau yn fy erbyn yn y farn. Efe hefyd yw fy sancteiddrwydd; yn ei fywyd sanctaidd ef y dysgaf oreu ewyllys Duw; a thrwy ei yspryd y câf yn feunyddiol fy annog a'm cadarnhau i ffieiddio pob pechod, ac i rodio yn ffordd gorchymynion Duw. Efe yw, a gobeithiaf a fydd, fy mhrynedigaeth; trwyddo ef y'm gwaredir oddiwrth bob trueni, ac y'm gwneir yn dragywyddol hapus. Beth bynag yr ymffrostia ereill ynddo, nid ymffrostiaf fi mewn dim ond Iesu Grist, a hwnw wedi ei groeshoelio.

"Pe gorphwyswn ar fy rhinwedd fy hun, byddai raid i mi yn fuan anobeithio. Er fy mod yn ewyllysio yn ffyddlon ufuddhau i Dduw, a chanlyn esampl fy Iachawdwr; er fy mod yn ymdrechu yn wastadol, trwy ras Duw, i orchfygu fy nhuedd i bechod;

etto, yn hyn oll y mae, ac fe fydd, ammherffeithrwydd, fel nas gallaf ryfygu sefyll ar sail mor bwdr. Ond ennill Crist, a'i gael ynddo ef, mewn bywyd, yn angeu, ac yn nydd y farn, ydoedd dymuniad St. Paul; a fu hefyd yn ddymuniad pob gwir Gristion; ac y gaiff fod yn eiddof finau tra bo anadl ynof. Nid rhyw nodweddiad briodol i St. Paul yn unig ydoedd, ond annogai bawb i'w ganlyn yn hyn. Nis gwna yr ymlyniad agos hwn wrth Grist ni yn esgeulus yn ein hufudd-dod; ond yn hytrach fe a'n cymmell, ac a'n nertha, i siriol ddilyn gwir sancteiddrwydd.

"Gan mai hwn, yn dra thebygol, fydd fy llythyr diweddaf atoch, nis gallaf lai nag erfyn yn daer arnoch ddilyn St. Paul, yr esampl hynod hwnw o wir dduwioldeb. Trwy wneuthur felly gellwch wrthsefyll a gorchfygu temtasiynau y byd, byddwch fyw a marw mewn heddwch, ac yn y diwedd cewch eich derbyn i ogoniant. Adwaenasom ein gilydd dros hir amser ar y ddaear, gobeithio y cawn adnabod ein gilydd mewn tragywyddoldeb gwynfydedig, lle ni ddaw na phechod na galar i'n haflonyddu mwy! 'Gwyliwch a gweddiwch ar i chwi gael eich cyfrif yn deilwng i sefyll ger bron Mab y dyn,' eich Prynwr. —Ydwyf, fy anwyl gyfeillion, eich cyfaill caredig.

"C. F. SCHWARTZ."

Mawr ydoedd yr undeb a'r brawdgarwch rhwng y Parch. Mr. Schwartz â'i gydweithwyr yn gyffredinol yn ngwaith Cenhadol y Gymdeithas. Yn eu holl dreialon a'u hanhawsderau, "eu prif gysur cyffredinol (i arfer geiriau Cenhadon Denmark pan yn ysgrifenu ar y pen hwn) ydoedd, eu bod oll, megys o un galon, ac un enaid, yn cynnorthwyo y naill y llall yn y gwaith, gan roddi a derbyn cynghor, a chyd-gyfranogi mewn galar a llawenydd, a gweddïo dros eu gilydd, a diolch i Roddwr pob dawn am ddoniau y naill y llall." Nid rhyfedd fod pen mawr yr eglwys yn llwyddo y cyfryw ddynion. Pa bryd y "chwanegodd yr Arglwydd beunydd at yr eglwys y rhai fyddant gadwedig?" Onid pan oedd prif weinidogion y Gair yn diystyru hunan elw—pan oeddynt yn esampl i'r praidd o undeb a chyd-gordiad, o ba yspryd y cyfranogai y Cenhadon yma yn helaeth—pan oedd y rhai a gredent oll yn yr un man, a phob peth ganddynt yn gyffredin—pan y gwerthasant eu meddiannau a'u da, ac a'u rhanasant i bawb fel yr oedd yr eisieu ar neb—a phan yr oeddynt beunydd yn parhau yn gytun yn y deml, ac yn tori bara o dŷ i dŷ, ac yn cymmeryd eu lluniaeth mewn llawenydd a symledd calon, gan foli Duw, a chael ffafr gan yr holl bobl? Ond yn awr yr oedd yr amser gwedi dyfod i'r gwr hybarch hwn i newid cymdeithas y saint ar y ddaear, am gymdeithas ysprydoedd y cyfiawn y rhai a berffeithiwyd. Megys ag y bu ei ymddiddanion yn addysgiadol yn ei iechyd, felly tra adeiladol a fuont i bawb a ymwelai âg ef ar ei glaf wely. Parhau a wnaeth hyd y diwedd i athrawiaethu, i argyhoeddi, i geryddu, ac i hyfforddi mewn cyfiawnder yr uchel a'r isel yn ddi dderbyn wyneb. Llawer o'i oriau a dreuliai mewn gweddi ddirgel a chyhoedd. Ychydig cyn ei ymddatodiad deallid ef yn gweddïo, gan ddywedyd, "O Arglwydd, hyd yma ti a'm cynheliaist; hyd yma ti a'm dygaist, ac a gyfrenaist fendithion aneirif i mi. Gwna â mi yr hyn a fyddo da yn dy olwg. I'th ddwylaw di y gorchymynaf fy yspryd. Glanha, ac addurna ef â chyfiawnder fy Mhrynwr; a derbyn fi i freichiau dy gariad a'th drugaredd."

Bu farw y 13eg o Chwefror, 1798, yn y ddeuddegfed flwyddyn a thrugain o'i oed. Y Rajah, o Tanjore, a chwennychai weled ei gorph; a phan ei gwelodd wylodd ddagrau yn llif drosto, ac a'i gwisgodd mewn aur. Mawr ydoedd llefau a galar y tlodion ar ddydd ei gladdedigaeth. Diammeu tra byddo Efengyl Crist yn yr India y bydd enw Schwartz mewn coffadwriaeth yno. Gweddïwn am i Arglwydd y cynhauaf anfon etto lawer o'r cyfryw weithwyr ffyddlon i'r meusydd hyny ag sydd yn wynion i'r cynhauaf.

---

## BYR DRAETHAWD

### AR "Y RHAI CYTHREULIG," NEU LYWODRAETH DIAFOL DROS GYRPH DYNOLRYW, YN AMSER CRIST.

*(Parhad o du dal. 104.)*

Yr Iuddewon, er eu parotôi trwy addewidion, deddfau, a phrophwydoliaethau Duw, i adnabod ac i dderbyn y Messïah, etto i gyd a gauasant eu llygaid,

ac a galedasant eu calonau yn ei erbyn, pan yr ymddangosodd efe, gan gyfrif i Satan yr hyn a wnaeth drwy allu Duw. Ei bobl ei hun oeddynt hwy, y rhai a ddarfu iddo eu meithrin a'u cadw gyd â'r gofal mwyaf; ond ar yr un pryd, pan y daeth efe atynt yn ei natur ddynol, "Ei eiddo ei hun (medd St. Ioan) nis derbyniasant ef." Y purdeb a'r diniweidrwydd o'i fuchedd, caredigrwydd ei ymarweddiad, nerth a gallu ei weithredoedd, natur ddwyfol ei addysgiadau a'i ymadroddion, yr anghyfiawnder o'i ddioddefiadau, disgleirdeb ei amynedd, gogoniant ac ardderchawgrwydd ei adgyfodiad, rhagbysbysiadau y prophwydi, cysgodau eu cyfraith, ac addewidion Duw; y rhai hyn oll oeddynt yn analluog i wneud un math o effaith ar eu calonau ystyfnig hwy; canys hwy a gauasent eu llygaid a'u clustiau, ac a galedasent eu calonau yn eu herbyn. Trwy wrthsefyll cynhyrfiadau Glân Ysbryd Duw, galwedigaethau ei drugaredd, a bygythion ei farnedigaethau, y rhai a ddylent eu tywys hwynt i edifeirwch, hwy a ddarostyngasent eu hunain yn wirfoddol i lywodraeth Satan, ac a ganlynasent ddychymmygion y dïafol. A phan y pregethwyd efengyl Crist gan ei apostolion i'r cenhedloedd, ac y dyfrhawyd y lleoedd diffrwyth a sychion, trwy gawodydd bywiol gras Duw, yn gwneud y diffeithwch fel Eden, a'r anialwch megys gardd Duw, Satan, wedi yspeilio o'i demlau a'i oraclau, ei aberthau a'i addolwyr, ni chafodd le i orphwys ynddo, ond yn unig ym mysg yr Iuddewon gwrthodedig. Gwedi eu gadael gan Dduw i ganlyn tueddiadau eu calonau caled eu hunain, a'u nwydau drygionus, a chan ymfoddi mewn pob drygioni ac afreolaeth, yr oeddynt yn wir megys tŷ yn wag, wedi ei ysgubo a'i drwsio, yn barod i'w dderbyn ef. "Yn wag," fel ag yr oeddynt, o bob tymherau da, wedi eu llwyr *ysgubo* o bob rhyw effeithiau ac argraph o'r Yspryd Glân, ac wedi eu *trwsio* â phob meddylfryd ac arfer ddrwg (addurniad pur gymmwys i breswylfa Satan) efe a aeth i mewn, gyd â'i holl leng, ac a orphwysodd yno; a'u rhan olaf hwynt oedd yn waeth na'r dechreuad.

Yn gyntaf, hwy a wrthodasant, ac a erlidiasant, ac a groeshoeliasant Crist. Erlidiasant a lladdasant ei ddisgyblion a'i ganlynwyr. Gwrthryfelasant yn erbyn y llywodraeth Rufeinig, yn groes i'w llw a'u rhwymedigaethau mwyaf difrifol. Ac yn ddiweddaf, hwy a laddasant bob un eu gilydd, dan y ffug o zel tu ag at wir grefydd: rhan yn ymladd yn erbyn rhan, a phlaid yn erbyn plaid, a hyn gyd â'r fath lid gwaedlyd ag a allasai darddu yn unig oddiwrth yr hwn oedd leiddiad dyn o'r dechreuad, sef y diafol. Y pethau a berthynent i'w heddwch, trwy farn gyfiawn Duw, a guddiwyd oddiwrth eu llygaid, ac a gauwyd rhag eu calonau; ie, yn wir, y pethau hyn a gauwyd allan oddi wrthynt i'r cyfryw fesur, hyd yn nod pan yr oedd newyn yn ymdaenu trwy y ddinas yn y modd mwyaf creulon, a'i muriau yn ymollwng i offerynau dinystriol eu gelynion; hyd yn nod (meddaf) ar yr amser yma, pan yr oedd eu gelynion yn myned i mewn trwy yr adwyau, yr oeddynt hwy yn lladd eu gilydd yn yr heolydd. Ac yn y diwedd, eu pleid-wŷr a'u digasedd, y naill yn erbyn y llall, a ostegodd yn unig, ynghyd â'u dinystr eu hunain, dan gleddyfau y Rhufeiniaid. Ofnadwy iawn yw barnedigaethau Duw! Er eu bod yn oedi yn hir, etto yn sicr hwy a ddeuant, ac a ddeuant gyda mwy o ddychryn, po mwyaf yr oedant. Y mae anghrediniaeth a chalon-galedwch yn eu gwneud yn fwy llym; ac yn enyn eu cynddaredd. Edifeirwch a diwygiad buchedd yn unig a roddant ddiogelwch.

Pa beth bynag oedd y clefydau erchyll hyny, â pha rai yr oedd Satan yn blino cyrph dynolryw cyn dyfodiad ein Hiachawdwr i'r byd, ac hefyd pan yr oedd efe ei hun ar y ddaear, nis gwyddom ni yn bresennol; ond sicr yw hyn, i Satan, ar yr amser hyny, golli am byth ei allu a'i lywodraeth. Ac fel yr oedd Cristionogrwydd yn ymdaenu dros y byd, darfyddodd gallu Satan ar gyrph dynion, ynghyd â'i oraclau, a hyn yn hollol oddeutu dau cant o oedran Crist. Oddiwrth ei boenedigaeth greulon o'r corph, yr ydym ni, trwy drugaredd a daioni Duw, gwedi ein gwared: pob clod a fyddo i'w enw bendigedig am y fath fendith fawr. Ond, os trown ein golygon oddiwrth gyrph dynion, ac edrych ar eu heneidiau, gan ofyn, pa un a oes mwy o ddrygioni yn y byd nag oedd cyn

dyfodiad ein Hiachawdwr, yr wyf yn ofni nas gallwn roddi un ateb pennodol. Y mae dynion da yn gobeithio fod llai, ac yn dymuned y gallant ddweud hyny yn hyf.

Yn yr oes nesaf ar ol yr apostolion yr oedd bucheddau y Cristionogion yn ymddangos yn gyffredin y cyfryw ag a weddai i'w crefydd; ond y mae 'r achwyniad o hir barhâd, fod eu ffydd a'u cariad wedi oeri, ac nad ydynt mwyach yn rhodio yn addas i'r alwedigaeth sanctaidd, â pha un y galwyd hwynt, yn gymmaint a'u bod (er nas dychwelasant i broffes ac ymarferiad cyhoedd o eilun-addoliaeth Baganaidd) wedi ymroddi yn ddwfn yn ei drygioni hi, ac wedi syrthio i'r diystyrwch mwyaf o wir grefydd ei hun. Nis gellir byth ddisgwyl diwygiad *cyffredinol* oddiwrth bechod a drygioni, oddieithr yn unig trwy ddiwygiad pobl yn *neillduol*. Fe eill ein hawdurdod ni dros ereill fod yn fychan iawn, ond etto, ni a allwn ofalu dros ein hymddygiad ein hunain, a gweled fod diben dyfodiad Crist yn cael ei ateb ar ein rhan ni. Efe a ddaeth i ddistrywio gweithredoedd y diafol; nid yn unig i'w ddifuddia o'i allu dros y corph, eithr yn fwy neillduol o'i lywodraeth ar yr enaid. Amcan y bendigedig Iesu, wrth iachâu clefydau a doluriau corphorol, oedd, nid yn unig ryddhâu pobl glafychus o'u gorthrymderau, eithr hefyd i ddangos mai efe oedd iechyd yr enaid, ac iddo ddyfod i'w iachâu ef oddiwrth glefyd pechod, yn gystal a'r corph oddiwrth boen ac afiechyd. Dan y golwg yma y cyfeiriodd ein Hiachawdwr ato ei hun brophwydoliaeth Esay—"Yspryd yr Arglwydd sydd arnaf fi, o herwydd iddo fy eneinio i; i bregethu i'r tlodion yr anfonodd fi, i iachâu y drylliedig o galon, i bregethu gollyngdod i'r caethion, a chaffaeliad golwg i'r deillion, i ollwng y rhai ysig mewn rhydd-deb; i bregethu blwyddyn gymmeradwy yr Arglwydd." Yn awr, os nyni a ddëonglwn y geiriau hyn fel ag y dylem, y mae yn rhaid i ni eu cymhwyso at yr effeithiau o ddyfodiad Crist ar yr enaid, i'w wared ef oddiwrth allu ac euogrwydd pechod, yn hytrach nag i'r gwellhâd o glefydau y corph. Yr oedd gan wyrthiau Crist ystyr ac iaith briodol iddynt eu hunain. Hwynthwy a addaswyd i ddysgu dynion, fod Crist, yn yr un modd ag yr oedd efe yn iachâu y corph, yn abl hefyd i iachâu yr enaid. Fe'u gelwir hwynt yn dra aml yn *arwyddion*, yn gystal ag yn rhyfeddodau, o herwydd eu bod yn cyfeirio at ryw beth tu hwnt i'r weithred bresennol; ac yr oeddynt yn arwyddo, yn gymmaint a bod gan Grist lywodraeth dros holl natur, a daioni cyfatebol i iachâu clefydau y corph (pan y gwelo efe fod yn dda) yn yr un modd, fod ganddo allu i wellhâu afiechyd yr enaid, i dynu ymaith euogrwydd pechod, ac i adferyd dynion i ffafr a nodded Duw. Ac i'r diben i dywys pobl yn ddidoed at y perwyl hwn, ac i'w argraffu yn ddwys ar eu meddyliau, efe a hysbysai yn aml faddeuant pechodau yn gyhoedd, megys y gwnaeth i'r wraig, yr hon a eneiniodd ei draed âg enaint; ac megys y gwnaeth hefyd i'r un claf o'r parlys, yr hwn a ddygid ato ar wely, hyd yn nod cyn iddo wellhâu ei glefyd corphorol, efe a hysbysodd fod ei bechodau wedi eu maddeu. A hyn a wnaeth Crist i'r perwyl o'n haddysgu ni fod clefydau yr enaid yn gofyn ein gofal penaf, ac mai ei swydd ef yn fwy neillduol oedd i roddi cadernid iachus i'r galon ddrylliog a chystuddiedig. Yn y peth yma hefyd, Crist a wnaeth yr arwydd o iachâu corph y dyn, i brofi fod ganddo ef allu i iachâu ei enaid, trwy faddeu iddo ei bechodau. Ac megys yr oedd ganddo y gallu, felly, yr oedd ganddo y daioni trugarog i iachâu y galon ddrylliog edifeiriol; i roddi rhydd-deb i'r caethion, y rhai a orthrymir gan gaethiwed Satan; i roddi caffaeliad golwg i'r enaid a ddallwyd drwy anwybodaeth a chyfeiliornad; i roddi gollyngdod i'r rhai ag sydd dan lywodraeth pechod a marwolaeth; i gyhoeddi y flwyddyn o waredigaeth, y Jubili fawr ag oedd mor gymmeradwy i gaeth-weision a charcharorion; hyny yw, i hysbysu amser ymweliad Duw, ac i roddi gwybodaeth o brynedigaeth ac iechydwriaeth i fyd truenus a cholledig.

Os hyn yw bwriad *cyffredinol* gwyrthiau Crist, rhaid mai y cyfryw yw diben y gwyrthiau *neillduol*, trwy ba rai y bwriwyd y diafol allan o'r rhai cythreulig. Y mae prawf synwyrol yn cael ei roddi ganddynt fod Satan yn ddarostyngedig i lywodraeth Crist; ac hefyd, megys yr oedd gallu ganddo i'w fwrw o'r cyrph, nas gallasai

dim llai ei erlid oddiwrth eneidiau dynion. Y casgliad yma a ddylai gael ei wneud gan y rhai hyny a welsant wyrthiau Crist, a'r fath a ddylem ninnau yn awr ei wneud, y rhai ydym yn credu hanesion yr Efengylwyr dwyfol. A hyn a'n harweinia ni i osod ein cyfan ymddiried yn nhrugaredd a daioni Crist; y gwared efe ni, nid yn unig oddiwrth orthrymder pechod, gwaith y dïafol, eithr hefyd oddiwrth y gallu sydd ganddo i'n hudo ni i bechod, ac i'n cadw mewn caethiwed i nwydau 'r cnawd, a chariad tu ag at y byd. "Gwared ni rhag drwg," y dysgodd ein bendigedig Iesu ni i weddïo, hyny yw, oddiwrth yr un drwg, oddiwrth Satan, awdwr pechod, rhag iddo gael llywodraeth drosom, i ddwyn afiechyd ar ein cyrph, neu euogrwydd ar ein heneidiau. Eithr cofiwn, mai megys yr ydym yn gweddïo, felly y mae yn rhaid i ni ymladd yn erbyn yr un drwg, trwy wrthsefyll pob profedigaeth i bechu, a thrwy rodio yn ddïesgeulus yn holl orchymynion ac ordinhadau Duw. Ei ordinhadau ef ydynt y moddion sefydledig o fuchedd dduwiol; ac fe'u hamcanwyd hwynt i gynnorthwyo ein ffydd yn Nuw, ac i'n galluogi i wrthwynebu hudoliaethau y gelyn mawr hwnw ag sydd yn rhyfela yn erbyn Duw a dynion. Yna nyni a deimlwn allu y Prynwr a'r Iachawdwr; a chan ei fod wedi gwared ein cyrph oddiwrth y poenau a ddarfu i'r dïafol, cyn ei ddyfodiad ef, beri i ddynion; felly hefyd, yn ei amser da ei hun, efe a ddinystria holl weithredoedd y dïafol *ynom ni*, gan ein gwared oddiwrth *gosp* pechod, trwy ei angeu gwerthfawrocaf ei hun; oddiwrth *euogrwydd* pechod, trwy ei drugaredd yn maddeu; ac oddiwrth *lywodraeth* pechod, trwy ei lanaf a'i sancteiddiaf Yspryd.

---

## ARWYDDION YR AMSERAU.

*Pregeth a Draddodwyd yn Eglwys* Ll——, *Sir Feirionydd, y Dydd Ympryd, Mawrth* 21, 1832.

MAT. XXIV. 28.

"Canys pa le bynag y byddo y gelain, yno yr ymgasgl yr eryrod."

Pe bai genym yr awydd a'r ewyllys, nid allwn ni, ar ol dyfal chwilio ac olrhain, ddirnad ond ychydig iawn o ffyrdd a gweithredoedd Duw i berffeithrwydd. Yn ei air y mae i ni geisio, ac y cawn iawn hyfforddiad yn hyn; ac yno y'n dysgir, er fod "cymmylau a thywyllwch o'i amgylch ef," etto, "cyfiawnder a barn yw trigfa ei orseddfainge ef." *Ps.* 97. 2. Ac felly dan deimlad o hyn, dywed y Psalmydd, "Gorfoledded y ddaear, llawenyched ynysoedd lawer." Sail ac egwyddor gwir grefydd yn ddiammeu yw credu fod Duw, a'i fod ef yn llywodraethu y byd a greodd, a'i fod yn rheoli ei helyntion yn ol ei anfeidrol ddoethineb ei hun, gan hwylio eu cerddediad, a threfnu eu dibenion fel y gwelo efe yn oreu. Y mae pob creadur dan ei lywodraeth ef; yr uchaf sydd ddarostyngedig iddo, ac nid yw y gwaelaf yn rhy isel i'w ofal a'i olwg neillduol ef. Nid oes dim a rydd brofiad eglurach a hynotach i ni o ragluniaeth a phen-llywodraeth Duw ar y byd, na hanes meibion Israel dan bob amgylchiad yn yr Hen Destament. Megys y dewiswyd y bobl hyny i'r diben, yn gyntaf peth yn ddiammeu, i fod yn foddion i gadw gwybodaeth o Dduw ar y ddaear, ac i fendithio y byd y'nghyfiawnder yr amser â bendithion yr efengyl, felly ynddynt hwy a'u triniaeth allanol y gwelwn y modd y mae Duw bob amser yn llywio, yn dyrchafu neu yn darostwng, yn llwyddo neu yn cospi cenhedloedd a theyrnasoedd ereill y ddaear; canys yr un yw efe y'mhob oes, a chyd âg ef nid oes gyfnewidiad na chysgod troedigaeth. Y mae yn haeddu ein sylw hefyd y'mhellach yma, oddiwrth yr un hanes y dysgwn, mai megis yn y byd presennol y mae Duw yn tywallt ei fendithion ar wledydd crefyddol, felly yn y byd hwn yn unig y cospir gwlad ynghyd megys cenedl am ei hanwireddau, oblegid gyd â'r bywyd hwn y mae 'r cyfryw gymdeithas yn ymddatod ac yn terfynu; eithr y cyfrif mawr a manwl o'i weithredoedd priod y mae pob dyn yn atebol am dano, a ofynir ganddo pan gyfodir dynolryw i'r diben hyny ar y dydd diweddaf, ac y derbyn pob un o bob gwlad ac oes gan ei Arglwydd ei gyfiawn ran a'i daledigaeth yn ol y defnydd a wnaeth efe o'r talentau, yr amser, a'r moddion o ras a ymddiriedwyd iddo.

Yn ei waith yn llywodraethu y byd, ac yn ei ymddygiad cyffredin tu ag at bersonau neu wledydd, gwelir nad yw Duw ar-

ferol âg ymweled am bechod yn ddisymmwth. Rhydd amryw rybuddion ac arwyddion o'i ddigllonedd, ac amryw alwad i edifeirwch a gwellhad. Nid yw yn archolli neu yn taro, ond fel pe bai hyny yn beth anewyllysgar a dieithr ganddo; canys ei hoff waith ef yw trugarhau. Y mae yn oedi y goepedigaeth, ac yn ymddwyn yn hir cyn dyfod yn ei lidiawgrwydd: "Pa fodd y'th roddaf ymaith Ephraim? y'th roddaf i fynu Israel?" medd yr Arglwydd wrthynt hwy, am iddynt wrthod troi ato ef. Cyhyd o oesoedd y parhaodd ei ddaioni a'i ddioddefgarwch tu ag at bobl Israel! amled y tosturiodd ac yr arbedodd efe hwynt pan ddechreuent ymddarostwng yn y gradd lleiaf ger ei fron ef! Ond i amynedd a hirymaros Duw ei hun y mae terfynau: ac felly yr awrhon pan gynnyddodd pechod y wlad i'r fath radd a'i bod megys yn gwaeddi am ddial o'r nefoedd, ni a welwn ein Hiachawdwr yn y bennod hon yn rhagddangos fod dinystr Jerusalem yn nesâu. Yn ol ei arferol ddoethineb y mae efe ar ddull damhegol yn cyffelybu eu cyflwr hwynt i gelain, yr hon sydd yn denu eryrod, a chreaduriaid ysglyfaethus ereill, i ymborthi arni, ac i'w difetha yn llwyr. Yn yr un modd, ac mor naturiol y tyn pechaduriaid arnynt eu hunain gyfiawn farn a dialeddau Duw. Nid oes yn y pechadur, mwy nag mewn celain, neu gorph marw, na bywyd nac ysbryd, na goleuni, na gallu i ddim daioni: a natur pob un o'r ddau y'mhellach ydyw dyhiro, a myned o hyd yn waeth waeth, nes y difrodo yr eryrod y naill, a phechod y llall.

Yn niwedd y bennod o'r blaen darllenwn y modd llym y ceryddodd Crist yr Iuddewon, ac y cyhoeddodd, nid llai nag wyth gwae yn eu herbyn am eu rhyfyg, eu rhagrith, eu dallineb, a'u hannuwioldeb cyffredinol: a thu a'r diwedd ni a welwn mor chwerw yr wylodd, ac mor athrist y galarodd dros Jerusalem bechadurus: "Jerusalem, Jerusalem, yr hon wyt yn lladd y prophwydi, ac yn llabyddio y rhai a ddanfonir atat, pa sawl gwaith y mynaswn gasglu dy blant ynghyd, megys y casgl iâr ei chywion dan ei hadenydd, ac nis mynech! Wele, yr ydys yn gadael eich tŷ chwi yn anghyfannedd." Ac wedi i'r Iesu fyned allan o'r deml, daeth ei ddisgyblion ato, a dymunasant arno sylwi ar brydferthwch y tŷ y dywedasai mor alarus am dano. Yna y mae efe, gan eistedd ar fynydd yr olewydd gyda hwynt yn llefaru yn y bennod hon y brophwydoliaeth hynod hòno am ddinystr y deml, y ddinas, a'r bobl Iuddewig. "Oni welwch chwi yr holl bethau hyn?" medd efe. "Yn wir, meddaf i chwi, ni adewir yma gareg ar gareg a'r ni ddatodir?" Ac yna, gan fyned yn mlaen, y mae yn rhagfynegi y deuai gau-gristiau a gau-brophwydi; y syrthiai arnynt newyn a haint, a daeargrynfâau, a golygiadau echryslon, rhyfeloedd a therfysgoedd, ac arwyddion ofnadwy o'r nefoedd, ac yn ddiweddaf ddifrod a gwasgariad yr holl genedl. Er mor fanwl y brophwydoliaeth y'mhob rhan, ac er mor annhebyg oedd hyn i gyd i ddyfod i ben, etto y'mhen deugain mlynedd wedi yr amser y llefarwyd y geiriau, cyflawnwyd y cwbl oll mor llythyrenol, fel na bu un gair yn ol. Fel hyn y profodd Crist mai efe oedd y Prophwyd mawr oedd ar ddyfod i'r byd i ddatguddio ac i gyflawni holl ewyllys Duw tu ag at blant dynion. Mae cyflwr presennol y ddinas *Jerusalem*, a gwasgariad yr Iuddewon y'mhlith holl genhedloedd y byd, yn sicrhâu i ni hyd yn hyn wirionedd y brophwydoliaeth, a barnedigaeth Duw arnynt am eu hanufuddtod a'u hanghrediniaeth dan foddion gras, a chynnygiadau gwerthfawr yr efengyl. Pobl oeddynt a dderbyniasant y gwystlon mwyaf o gariad a ffafr Duw. Dewisawyd hwynt i fod yn bobl ac eglwys briodol ac agos ato ef ei hun, i gadw ei air a'i addewidion grasol megys trysor i'r byd. Dyma y winwydden a ddygodd efe i fynu â llaw gadarn allan o'r Aipht, ac a blanodd efe mewn gwlad hyfryd a digonol, ac a'i triniodd ac a'i gwrteithiodd hyd oni estynodd ei changhenau hyd y môr. "Iddynt hwy yr ymddiriedwyd am ymadroddion Duw," medd yr apostol, "eiddo y rhai oedd y mabwysiad, a'r gogoniant, a'r cyfammodau, a dodiad y ddeddf, a'r gwasanaeth, a'r addewidion." Atynt hwy y'mhob oes yr anfonai Duw ei weision y prophwydi, i'w hyfforddi yn ei air, i'w ceryddu pan wrthgilient, i'w cysuro â'i nawdd yn eu gorthrymderau, ac yn benaf oll i gyfeirio eu golygon a'u ffydd bob amser at yr Iachawdwr. Eithr beth fu eu hymddyg-

iaid hwynt tu ag at Dduw dan yr holl freintiau hyn? pa ffrwyth a chydnabod a dalasant iddo ef am ei ddaioni a'i drugareddau annherfynol iddynt? Darluniad y prophwyd Esay a rydd i ni yr ateb i hyn: "Megais a meithrinais feibion," medd yr Arglwydd, "a hwy a wrthryfelasant i'm herbyn." "Efe a ddisgwyliodd i'w winllan ddwyn grawnwin, hithau a ddyg rawn gwylltion. Efe a ddisgwyliodd am farn, ac wele drais; am gyfiawnder, ac wele lef. Beth oedd i'w wneuthur yn ychwaneg i'm gwinllan nag a wnaethum ynddi? paham, a mi yn disgwyl iddi ddwyn grawnwin, y dyg hi rawn gwylltion?" Y canlyniad o'r fath anniolchgarwch ac anffrwythlondeb a fu iddynt gael yn y diwedd eu llwyr ddifetha a'u dryllio megys cenedl; difeddiannwyd hwynt o'u holl freintiau, &c. ymadawodd Duw â'i deml; gadawyd eu tŷ yn anghyfannedd; ni addunnodd Crist mo'no byth mwyach â'i bresennoldeb corphorol neu ysprydol; y Rhufeiniaid âg eryrod ar eu baneri a ddaethant ac a anrheithiasant y wlad a'r ddinas sanctaidd, ac o wadn y troed hyd goryn y pen ni adawyd dim cyfan yn y corph marw hwnw o bobl ac eglwys yr Iuddewon.

"Pa bethau bynag a ysgrifenwyd o'r blaen, er addysg i ni yr ysgrifenwyd hwynt." Diammeu fod yr ysgrythyr sanctaidd yn hanes pobl Israel y'mhob rhan yn llawn o addysg a hyfforddiad i bob gwlad, a gwae ni os diystyrwn y siampl hynod yma. Mae yn rhwymedig arnom bob amser ei gymmwyso at ein cyflwr ein hunain, yn enwedig ar amser nodedig fel hyn pan y'n cymmellir, neu yn hytrach y'n gorchymynir i ystyried ein ffyrdd, ac ymddarostwng ger bron Duw. Nid digon yw i ni synu, a beio, a barnu ar galon-galedwch ac ymddygiad anniolchgar plant Israel, ond rhaid i ni chwilio yn fanwl, ac nid fel rhai yn rhagrithio â Duw, i'n calonau ein hunain, ac ymorol pa bechodau sydd yn arglwyddiaethu arnom megys personau a gwlad, ac yn tynu arnom (fel y gelain yr eryrod) ddialeddau Duw, rhag i ninnau hefyd, onid edifarhawn, gael ein difetha oll yn yr un modd. Ni ddichon yn wir fod cyflwr mwy enbydus a thruenus na nacâu o breswylwyr y byd ddysgu cyfiawnder pan fyddo barnedigaethau Duw ar y ddaear. Amlwg yw, er ein holl freintiau a'n bendithion, y naill rybydd ar ol y llall, ac amrywiol arwyddion o wg a llidiawgrwydd dwyfol o herwydd ein haml droseddiadau, anfonwyd amryw weithiau geryddon Duw ar y wlad; cyffrowyd a siglwyd y deyrnas ychydig flynyddoedd yn ol dan wialen rhyfel, a buom dan y terfysgiadau blin a gwaedlyd hyny mewn mawr berygl o golli breintiau ein teyrnas gan gleddyf y gorthrymwr: ond y mae lle i ofni, er myned o'r march coch hwnw drwodd, na ddysgasom oddiwrth y cerydd yr hyn a ddylasem; canys wele yn awr ymwelir â ni mewn modd llawer mwy erchyll ac enbyd; ar ba achlysur gallwn gymmwyso geiriau St. Ioan, *Dat.* 6. 8. "Mi a edrychais; ac wele farch gwelwlas: ac enw yr hwn *sydd* yn eistedd arno *yw* Marwolaeth: ac y *mae* uffern yn canlyn gyd âg ef." Rhoddir i hwn awdurdod i ladd, nid y bedwaredd ran, eithr megys yr holl fyd. Mor gadarn ei ymgyrch, a buan ei yrfa, ydyw yr haint, a'i fod eisoes wedi cymmeryd meddiant mewn byr amser o dri o bedwar chwarter y byd. Myrddiynau ar fyrddiynau o gelaneddau a dystiant ym mhob parth ei dostedd a'i rym; ac y mae y gelyn yn awr wrth ein drysau ninnau yn llefain yn groch am ei ysglyfaeth, ac angeu ac uffern yn ei osgordd. Ond ni fynwn ni er hyny, mwy na'r Iuddewon gynt, gydnabod ein pechodau, a chyfaddef mai ein hanwireddau sydd yn dwyn arnom yr aflwydd annioddefol hwn, ac amryw gystuddiau ereill. Nyni a rown y bai ar bob peth arall yn hytrach nag arnom ein hunain, ac am hyny yr ydym yn difeddiannu ein hunain o'r unig feddyginiaeth, am na fynwn adnabod gwir achos ein clefyd. Er na ddanfyn Duw i'n plith brophwyd i lefaru yn bennodol wrthym, am y fath a'r fath bechodau yr anfonaf arnoch y fath a'r fath farnedigaethau, etto pan welom ynom y pechodau a'r barnedigaethau ynghyd, fel y darlunir hwynt yn ngair Duw, pa fodd na ddeallwn yr achos, a gwrando y wialen, a phwy a'i hordeiniodd. Ein hanwireddau sydd yn rhoddi nerth a cholyn i archollion yr haint, ac angerdd i'r tân i ddifa ffrwyth y maes, a llafur y llafurwr, i ddifa palasau y mawrion, a bythod y tlodion.

Ni wyddant hwy fawr am danynt eu hunain, nac am y byd o'u hamgylch y

sawl ni welant, ac nid ystyriant y cyffelybrwydd hynod sydd rhwng oyflwr presennol ein gwlad a chyflwr yr Israel gwrthryfelgar. Mae ein hanniolchgarwch i Dduw am y pethau daionus a wnaeth efe erom, a'r breintiau neillduol a roddodd i ni o bryd i bryd, yn rhy amlwg i gynnyg ei brofi. Ein galwad cynnar i oleuni yr efengyl o dywyllwch a llygredigaethau y cenhedloedd; ein gwaredigaeth wedi hyny o dwyll a chaethiwed Pabyddiaeth yn nyddiau y Diwygiad; ac adeiladu ar seiliau ein rhyddid gwladol ac eglwysig ar amser y chwyldroad; y pethau mawrion hyn sydd wedi myned megys yn angof genym, os nid yn ddibris yn ein golwg.

Onid ydyw ein drygioni o anfoesoldeb o bob math wedi ymchwyddo i radd uchel yn ein plith? Onid oes niferoedd o bob gradd yn cyhoeddi eu pechodau, megys Sodom, ac yn ymorchestu yn eu cywilydd? Onid gwaradwydd ein gwlad yw aflendid, godineb, meddwdod, a thori y Sabboth? Onid ydyw anonestrwydd, twyll, a llefaru â genau celwyddog yn halogi ein dyddiau? Nid wyf yn meddwl dywedyd fod y pechodau hyn, a'r cyffelyb, yn ddieithr neu yn anwybodus yn unrhyw oes: ond meiddiaf ddywedyd eu bod oll yr awrhon yn fwy cyffredin, cadarn, a chyhoeddus; ac felly yn debygol i ddwyn arnom gospedigaethau trymach. Heblaw hyn, y mae 'r pechod mawr o anghrediniaeth, gwreiddyn a mammaeth fwy neu lai mewn pob dyn o bob pechod arall, wedi tyfu mewn manau i frig erchyll, ac yn ymdaenu er gofid i'r wlad, ac er dinystr llaweroedd o eneidiau. Cofleidiant bob amryfusedd, a phob cynnyg o wag neu gau broffes, yn erchwyn i'w hanfoesoldeb, ac i gyfnerthu y naill y llall yn eu drygioni. Mae yr efengyl yn eu gwahardd yn eu gyrfa bechadurus; ac am hyny y dywedant, "Ni fynwn i Hwn deyrnasu arnom." Oni welir hefyd yn gyffredin iawn ddirmyg nid bychan ar bob awdurdod Duw a dyn? Mor fynych a difraw y mae dynion yn esgeuluso ordinhadau Duw! ac mor anniolchgar a diweddi y maent yn byw, fel pe na bai ganddynt nac eneidiau i'w hachub, na'r disgwyliad lleiaf o ddydd y farn a thragywyddoldeb! Nid rhyfedd, ynte, eu bod yn dibrisio gosodiadau dyn, yn diystyru llywodraeth, ac yn rhoddi clust i bob un a'u diddanant â rhyw beth newydd, er mor niweidiol bynag y bo yn ei effeithiau.

Arwydd arall fod perygl yn agos ydyw pan edrychom leied yw llwyddiant yr efengyl yn ein plith, leied sydd yn byw yn addas iddi, ac yn eglurhau eu ffydd trwy fuchedd a chariad Cristionogol. Mae lle i beri ofn hefyd oddiwrth ymraniadau presennol yr eglwys. Undeb yw nerth a harddwch pob cymdeithas grefyddol a gwladol; canys "tŷ wedi ymranu yn ei erbyn ei hun ni saif." Nid gair ammhwyll yw a ddywedir pan syrthio 'r plant allan, ac ymladd o honynt, ynghylch y ganwyll—fe ddaw 'r tad i mewn, ac a'i cymmer ymaith, ac a'u gâd hwynt i derfynu eu hymrafaelion dan eu dwylaw. Gallwn ninnau yn gyfiawn ofni y cymmer Duw oddi arnom y goleuni a gam-arferwn gymmaint, trwy ddadleu yn ei gylch, yn lle rhodio a byw wrtho.

Gan ein bod, frodyr, fel hyn wedi ymadael cyn belled oddiwrth Dduw, a'n bod, o herwydd ein haneirif bechodau, yn feirw eisoes yn ysprydol, nid allwn fawr ryfeddu ddyfod y dïalydd dan rith haint, neu ryw gerydd echrydus arall arnom, i ddifa ac i ddryllio ein cyrph darfodedig, fel yr eryrod ar y gelain. Beth gan hyny a wnawn ni well nag ufuddhau i'r alwad hon o ymostyngiad cyffredinol ger bron gorseddfaingc y gras. Ond na fydded i'r ymostyngiad hwn fod yn ffurfiol, nac yn diweddu chwaith gyd â'r diwrnod hwn; eithr yn wirioneddol, ac yn barhaus: canys y mae ein mynych wrthgiliadau, a'n pechodau beunyddiol, yn enyn digofaint Duw, ac yn gofyn ar ein llaw ddibaid ymostyngiad. I'r dibcn hwn, ynte, bydded i ti fyned yn fynych gyd â'r prophwyd i'th ystafell, a chan gau dy ddrws arnat, ymddiddan â'th galon, gan chwilio iddi yn ddyfal; addef dy bechodau priodol; a thrwy daer ac aml weddi, deisyf faddeuant o honynt ar sail ffydd yn haeddedigaethau yr Iachawdwr. Ymwrthod â llygredigaethau y cnawd, a dyro dy hun yn aberth byw, sanctaidd, cymmeradwy gan Dduw. Cospa 'r corph, fel y gellych, trwy ymwadu â'r hyn sydd yn rhwystr i'r enaid, ei ddwyn yn gaeth i iau a gwasanaeth Crist. Ymbil hefyd am heddwch a llwyddiant dy fro, ac ar dynu o'r Arglwydd ymaith ei law geryddol bryd bynag y bo arnom. Nac esgeuluswn

chwaith er dim ein cynnulliad ynghyd i wasanaeth cyhoedd yr Arglwydd, na'i ordinhadau sanctaidd: ond cofiwn na wna moddion allanol fawr lesâd heb weddi ddwys a diragrith yn y dirgel. Bydded i rïeni hyfforddi eu plant gartref, yn gystal ag yn yr ysgol: canys diammeu genyf fod yr addysg a ddisgyno o enau rhïeni yn eu teuluoedd yn effeithio mwy ar ieuengctid na dim a glywont mewn un lle arall; ac o flaen pob peth dangosant iddynt siampl dda, onidê ofer fydd pob cyngor ac addysg a roddont iddynt.

Bydded i ni bawb o honom, yn ein hamrywiol sefyllfaoedd, wneuthur o hyn allan fwy cyfrif a gwell defnydd o'r efengyl, ac o foddion gras; gan fyw yn fwy gwiliadwrus, sobr, diwair, a chyfiawn, ac mewn cariad brawdol. Na ddibrisiwn cyhyd drugareddau Duw, ac na fydded i ni er dim ymgaledu dan ei gospedigaethau a'i geryddon, rhag i waeth peth na rhyfel, na newyn, na haint, nac unrhyw dân, &c. ein goddiwes, sef yr ail farwolaeth ym mhoenau tragywyddoldeb, lle nid yw y pryf ar y gelain yn marw, na'r tân yn diffodd. Oddiwrth yr hyn oll, Duw o'i fawr drugaredd a'n gwaredo ni, er mwyn Iesu Grist.

---

## SAITH EGLWYS ASIA.

**Thyatira—Sardis—Philadelphia—Laodicea.**

*(Parhad o du dal. 106.)*

Yn Eglwys Thyatira hefyd, fel yn Eglwys Pergamus, yr ymgymmysgodd rhai efrau yn fuan gyd â'r gwenith; ond canfuwyd hwynt ganddo ef, yr hwn sydd â'i lygaid fel fflam dân. Nodweddiad cyffredinol yr Eglwys a ddesgrifir fel hyn: "Mi a adwaen dy weithredoedd di, a'th gariad, a'th wasanaeth, a'th ffydd, a'th amynedd di, a'th weithredoedd; a bod y rhai diweddaf yn fwy na'r rhai cyntaf." *Dat.* 2. 19. Eithr yn erbyn y cyfryw o honynt ag a odinebasent, ac a fwytasent bethau wedi eu haberthu i eilunod, i ba rai y rhoisai yr Arglwydd amser i edifarhau am eu godineb, ac nid edifarhasent, y cyhoeddwyd cystudd mawr, ac y rhoddid i bob un o honynt yn ol ei weithredoedd. Y mae y rhai hyn, ar ol cael eu rhybuddio felly yn ofer ar y ddaear, wedi myned er's hir amser bellach i'r lle, at yr hwn y mae pawb beunydd yn prysuro, ac ym mha un nid oes edifeirwch i'w gael, na gwaith i'w wneuthur. "Eithr i'r lleill yn Thyatira (y sawl nid adnabuant ddyfnderau Satan) ni fwriaf arnoch faich arall" medd yr Arglwydd. *Pen.* 2. 24. Yr oedd yn Thyatira rai a fedrent achub dinas; ac y mae hi etto yn hanfodi, tra y mae dinasoedd mwy na hi wedi cwympo. Dywedir fod y Groegiaid yn dal 300 o'r tai yno, a'r Armeniaid 30; a chan y ddwy blaid y mae Eglwys.

Eglwys Sardis oedd yn wahanol i'r eiddo Pergamus a Thyatira. Nid oeddynt wedi gwadu y ffydd; ond yr oedd gan yr Arglwydd ychydig bethau yn eu herbyn, canys yr oedd rhai drwg-weithredwyr yn eu plith, ac arnynt hwy yr oedd barn Duw i orphwys. Ond yn Sardis, er mor fawr oedd y ddinas, ac er fod yr Eglwys wedi cael ei sefydlu gan apostol, nid oedd ond ychydig enwau ag oedd heb halogi eu dillad. Ac wrth yr Eglwys hòno y dywedodd yr Yspryd, "Mi a adwaen dy weithredoedd di, oblegid y mae genyt enw dy fod yn fyw, a marw ydwyt." Ond hir-ymarhous yw yr Arglwydd, heb ewyllysio bod neb yn golledig, ond dyfod o bawb i edifeirwch. A rhybuddiwyd Eglwys Sardis fel hyn—"Bydd wyliadwrus, a sicrhâ y pethau sydd yn ol, y rhai sydd yn barod i farw: canys ni chefais dy weithredoedd yn gyflawn ger bron Duw. Cofia gan hyny pa fodd y derbyniaist ac y clywaist, a chadw ac edifarhâ. Os tydi gan hyny ni wyli, mi a ddeuaf arnat ti fel lleidr, ac ni chai di wybod pa awr y deuaf atat." Y mae cyflwr presennol Sardis yn profi fod y rhybydd wedi cael ei roddi yn ofer, ac yn dangos fod bygythion yr Arglwydd, pan esgeulusir hwynt, yn myned yn farnedigaethau sicr. Sardis, prif ddinas Lydia, oedd ddinas fawr ac enwog, ym mha un y casglodd Crœsus ei brenin gymmaint o olud ag iddo fyned yn ddïareb. Ond yn awr ychydig o fythod gwaelion o bridd, yma ac acw ym mhlith yr adfeiliau, ydynt yr unig anneddau yn Sardis, a'i hunig breswylyddion ydynt fugeiliaid o Twrci. Fel eisteddle Eglwys Gristionogol y mae wedi colli—yr hyn oedd gan-

ddi i'w galli—yr enw. Nid oes un Cristion yn byw yn y fan.

"Ac at angel yr EGLWYS sydd yn PHILADELPHIA, ysgrifena; Y pethau hyn y mae y Sanctaidd, y Cywir, yn eu dywedyd; Yr hwn sydd ganddo agoriad Dafydd; yr hwn sydd yn agoryd, ac nid yw neb yn cau; ac yn cau, ac nid yw neb yn agoryd: Mi a adwaen dy weithredoedd: wele, rhoddais ger dy fron ddrws agored, ac ni ddichon neb ei gau: canys y mae genyt ychydig nerth, a thi a gadwaist fy ngair, ac ni wedaist fy enw. O achos cadw o honot air fy amynedd i, minnau a'th gadwaf di oddiwrth awr y brofedigaeth, yr hon a ddaw ar yr holl fyd." *Dat.* 3. 7, 8, 10. Y mae addewidion yr Arglwydd mor sicr ag yw ei fygythion. Philadelphia yn unig a safodd yn hir yn erbyn y Tyrciaid, ac a saif hyd heddyw yn mhlith trefedigaethau ac Eglwysi Groeg yn Asia, fel colofn yn nghanol dinystr. "Dywenydd nid bychan i mi (medd un ymdeithydd) oedd canfod y grefydd Gristionogol yn fwy blodeuog yma nag mewn amryw barthau ereill o Ymerodraeth Twrci. Y mae yno etto lawer iawn o Gristionogion—meddiannant 300 o dai yno: ac y mae addoliad dwyfol yn cael ei gadw bob Sul mewn pump o Eglwysi." "Y mae yn beth hynod (medd Mr. Hartley, *Missionary Register, June,* 1827) fod Philadelpia yn awr yn cael ei galw yn *Allah-Shehr*, dinas Duw, pan feddyliwn am yr addewidion a wnaed i'r Eglwys hòno, yn enwedig yr addewid o ysgrifenu *enw* dinas Duw ar ei haelodau ffyddlawn. Ffyddlawn yw Duw yr hwn a addawodd."

"Ac at angel *EGLWYS y LAODICEAID*, ysgrifena; Y pethau hyn y mae Amen yn eu dywedyd, y Tyst ffyddlawn a chywir; Mi a adwaen dy weithredoedd di, nad ydwyt nac oer na brwd: mi a fynwn pe bait oer neu frwd. Felly, am dy fod yn glaiar, ac nid yn oer nac yn frwd, mi a'th chwydaf allan o'm genau," &c. *Dat.* 3. 14, 15, &c. Cafwyd yr holl Eglwysi ereill yn deilwng o ryw gannoliaeth: yr oedd Eglwys Ephesus wedi cymmeryd poen, ac heb ddiffygio, er ei bod wedi ymadael â'i chariad cyntaf, a'r gospedigaeth a fygythiwyd onid edifarhai, oedd symud ei chanhwyllbren allan o'i le: yr oedd ychydig o rai anffyddlawn wedi halogi Eglwysi Pergamus a Thyatira â'u huthrawiaethau a'u pechodau, ond yr oedd y corph yn iach: ie, yn Sardis, er ei bod yn farw, yr oedd bywyd mewn rhyw ychydig, y rhai oeddynt heb halogi eu dillad; "a hwy a rodiant gyda mi mewn dillad gwynion: (medd yr Arglwydd) oblegid teilwng ydynt." Ond yn yr hyn a ddywed yr Yspryd wrth Eglwys Laodicea, nid oedd un gair o gannoliaeth. Yr oedd yn glaiar trwyddi oll, am hyny y ffieiddiwyd hi i gyd. Yr oeddynt yn hyderu ar brynedigaeth trwy Grist, tra yr oeddynt heb eu prynu oddiwrth bechod, na'u cymhell gan gariad Duw. Arferent foddion gras, ond esgeulusent y diben, i ba un yr oedd y gras hwnw wedi ymddangos. Goludog oeddynt yn eu tyb eu hunain, ac nid oedd arnynt eisieu dim. Ond yr oedd arnynt eisieu zel; ac nid oedd yr hyn a feddent werth dim. Pa beth bynag oeddent hwy eu hunain yn dychymygu eu bod, yr oedd yr Yspryd yn eu hadwaen, a dywedodd wrthynt beth oeddynt, sef eu bod "yn druain, ac yn resynol, ac yn dlodion, ac yn ddeillion, ac yn noethion." Nid oeddynt wedi gwneuthur dim drwg, fel y meddylient, ond nid oeddynt wedi gwneuthur fawr o ddaioni ychwaith. Eithr yr oedd eu claiarwch yn waeth etto; canys yr oedd yn gwneud eu cyflwr yn fwy anobeithiol na phe buasent oerion: canys cynt y buasai dyn o Sardis yn teimlo oerni marwolaeth, a gofyn am gymmorth y meddyg, nag un o Laodicea, yr hwn a feddyliai ei hun yn gwbl ddiogel, pan oedd angeu yn dechreu ymaflyd ynddo... barthi arno. Dyna yw nodweddiad Cristionogion claiar yn mhob oes. Felly yr oedd Eglwys Laodicea; ond beth yw hi yn awr?

LAODICEA oedd brif ddinas Phrygia Fwyaf, ac yr oedd yn fawr ac yn enwog iawn. Ynddi yr oedd mam-eglwys un-ar-bymtheg o Esgobaethau. Ei thair gorsedd, a'i chwareufa (*circus*) anferth, yr hon a gynnaliai dros ddeng mil ar hugain o edrychwyr, a brofant amlder ei chyfoeth a'i phoblogaeth gynt, ac a ddangosant yn eglur fod llawer o honynt, er eu claiarwch, yn caru melus chwantau yn fwy nag yn caru Duw. Ond y mae ei gogoniant wedi ymadael oddi wrthi er ys talm. Yr oedd yn glaiar, ac nid yn oer na brwd; ac am

hyny y ffieiddiwyd hi ger bron Duw. Carwyd, rhybuddiwyd, a cheryddwyd hi yn ofer; ac yn awr y mae wedi ei dileu oddiar wyneb y ddaear. Y Dr. Smith a'i desgrifia megys "cwbl anghyfannedd, ac heb drigiannydd; oddieithr rhai bleiddiaid, llwynogod, a draenogod." Wrth gloddio yn ddwfn i'r ddaear, ym mhlith yr hen adfeiliau, ceir meini cerfiedig o'r fath harddaf. Dywed un ymdeithydd (Colonel Leake) "Nad oes nemawr o hen ddinasoedd yn debycach na Laodicea o gadw llawer o weddillion cywraint o hynafiaeth dan wyneb y maes. Oddiwrth ei mawr gyfoeth, a'r daeargrynfäau i ba rai y bu yn ddarostyngedig, gellir barnu fod gweithredoedd celfydd a gwerthfawr yn gladdedig dan adfeiliau ei hen furiau." Mor gywir y cyflawnwyd y bygythiad ofnadwy hwnw, "Am dy fod yn glaiar, ac nid yn oer nac yn frwd, mi a'th chwydaf di allan o'm genau."

"Yr hwn sy ganddo, glust gwrandawed beth y mae yr Yspryd yn ei ddywedyd wrth yr Eglwysi." Yr Yspryd a chwilia bob peth, ie, dyfnion bethau Duw. Pob Eglwys, a phob aelod o honi, a bwyswyd yn nghloriannau y cyssegr yn ol eu gweithredoedd. Canmolwyd, neu rybuddiwyd pob un yn ol ei haeddiant. Os oedd yr Eglwys ei hun yn bur, yr aelodau clwyfus yn unig a gaent eu tori ymaith. Os oedd yr Eglwys ei hun yn farw, etto yr ychydig enwau yr oedd bywyd ynddynt oeddynt oll ysgrifenedig ger bron Duw. Annogwyd pob un o'r Saith Eglwys yn ol eu hangen. Y ffydd a draddodwyd i'r saint a gafodd ei phregethu iddynt oll, ac yr oeddynt oll, megys Eglwysi Cristionogol, yn feddiannol o fendithion iechydwriaeth. Mab y dyn a rodiai yn eu canol, gan weled y rhai oeddynt, a'r rhai nad oeddynt yn eiddo Ef.

Ond os felly yr oedd yr Eglwysi a'r Cristionogion y pryd hyny, beth yw yr Eglwysi, a pheth yw y Cristionogion yn awr? Neu, yn hytrach, chwennychwn ofyn i'r darllenydd, beth yw dy obaith dy hun tu ag at Dduw? a pheth yw gwaith dy ffydd? Os pan oedd y grefydd Gristionogol yn ei hamser goreu, a phan oedd ei dwyfol wirioneddau yn brin wedi peidio a chael eu pregethu o wefusau yr apostolion, ar benau pa rai yr oedd yr Yspryd wedi disgyn yn weledig mewn tafodau gwahanedig megys o dân:—os y pryd hyny yr oedd un o Saith Eglwys Asia eisoes wedi ymadael â'i chariad cyntaf—os oedd dwy ereill wedi eu halogi gan gau athrawiaethau rhai o'u haelodau—os oedd un arall ag ynddi ond ychydig o enwau oeddynt deilwng, ac un arall heb yr un—ac os oedd y rhai olaf hyn yn meddwl eu hunain yn oludog a chyfoethog, ac nad oedd arnynt eisieu dim, heb ddeall eu bod, o herwydd eu claiarwch, yn druain, ac yn resynol, ac yn dlodion, ac yn ddeillion, ac yn noethion; a oes genyt ti glust i wrando, neu galon i ddeall y cyfryw wybodaeth? Ac a wyt ti, gan broffesu y grefydd Gristionogol, megys y gwnaent hwythau, yn gweled dim achos i holi a phrofi dy hun; oblegid mai yr unrhyw Yspryd sydd i'th brofi di am dy weithredoedd, dy gariad, dy ffydd, a'th amynedd.

Y mae yr hyn a ddywedodd yr Yspryd wrth yr Eglwysi boreuol yn ddigon i brofi nad yw neb a ymadawsant â'u cariad cyntaf—nad yw neb a hudasant ereill i bechod ac aflendid—nad yw neb sy ganddynt enw eu bod yn fyw, ac ydynt feirw—nad yw neb sy glaiar—yn aelodau teilwng o un gymdeithas Gristionogol; a thra parhaont felly, nad all un gymdeithas Gristionogol fod o ddim lleshad iddynt. Ond iddynt hwy rhoddir amser i edifarhau; ac wrthynt hwy y mae 'r Gair a'r Yspryd yn llefaru mewn erfyniadau, annogaethau, a rhybuddion, ar droi o honynt oddiwrth eu pechodau at yr Iachawdwr, fel y byddont byw, ac na byddont feirw. Os oedd un enw yn Sodom, neu ychydig yn Sardis, yn eiddo yr Arglwydd, y mae efe yn eu hadwaen bob un o honynt, a "gwerthfawr yn ngolwg yr Arglwydd yw marwolaeth ei saint ef." Dichon i rai, ar y llaw arall, fod wedi soddi i ddyfnderau Satan, er eu bod mewn cymdeithas allanol âg Eglwys cyn bured ag y bu unwaith Eglwys Thyatira. Beth bynag, gan hyny, a fo proffes dy ffydd di, ceisia "deyrnas Dduw a'i gyfiawnder ef;" y deyrnas yr hon sy gyfiawnder, a thangnefedd, a llawenydd yn yr Yspryd Glân; a'r cyfiawnder yr hwn sy trwy ffydd Crist, yr hwn a roddes ei hun tros yr Eglwys, i'w sancteiddio a'i glanhau. Ac yna pa beryglon bynag a'th amgylchynant, nac ofna; cred yn unig; "pob peth a all fod i'r neb a gredo."

Chwilia yr ysgrythyrau; canys y maent yn tystiolaethu am yr Iesu, ac ynddynt hwy y mae bywyd tragywyddol i'w gael. Gweddïa am addysgiad a chynnorthwy yr Yspryd hwnw, trwy ysprydoliaeth pa un yr ysgrifenwyd hwynt. Ac uwchlaw holl rinweddau Cristionogol ereill, a allant ddwyn tystiolaeth o'th ffydd, gwisga gariad; cariad tu ag at Dduw, a chariad tu ag at ddyn, yr hwn yw ffrwyth yr Yspryd, cyflawniad y gyfraith, rhwymyn perffeithrwydd, ac sy ddawn mwy rhagorol na llefaru â thafodau, neu brophwydo; ac heb yr hwn ni fyddi ddim, er i ti wybod y dirgelion oll, a phob gwybodaeth. Cais gariad; ac er tloted fyddo dy ran yn y byd hwn, fe fydd yn anfeidrol mwy buddiol i ti na holl deyrnasoedd y byd a'u gogoniant. Prophwydoliaethau a ballant; tafodau a beidiant; gwybodaeth a ddiflana; y ddaear a'r gwaith y sydd ynddi a losgir; ond cariad ni chwymp ymaith byth.

C. Ll.

---

## YSGOLION GWLADWRIAETHOL.

*(NATIONAL SCHOOLS.)*

Cymmwys y gelwir y dyddiau presennol yn "Oes Elusengar;" mae'n rhagori ar bob oes er creadigaeth y byd o ran ymdrechiadau i wellhau a diwygio cyflyrau dynion y'mhob rhan o'r ddaear, yn gystal mewn pethau ysprydol a thymhorol. Anturiwn ddweud na bu yn unrhyw oes gynnifer o gymdeithasau a sefydliadau elusengar ag a welir yn Brydain yn y dyddiau hyn: ac nid y lleiaf o'r rhai hyn, mewn enwogrwydd a buddioldeb, yw sefydliad y Gymdeithas er cynnal Ysgolion Gwladwriaethol, i addysgu plant tlodion ein gwlad i ddarllen Gair Duw yn iaith eu mamau, a'u hegwyddori ym mhyngciau sylfaenol y grefydd Gristionogol; ac yn neillduol yn athrawiaethau yr Eglwys Sefydledig. Ymddengys defnyddioldeb yr Ysgolion hyn, pan ystyrier fod defnyddioldeb y rhan fwyaf o'r Cymdeithasau y cyfeiriwyd atynt uchod yn ymddibynu mewn modd arbenig arnynt. Ofer a diles raid fod holl lafur Cymdeithasau Crefyddol ereill i argraffu a dosparthu Biblau, Llyfrau Gweddi Gyffredin, ynghyd âg amryw Draethodau buddiol, oni fedr pobl eu darllen. Diddymer yr Ysgolion oll, a thyna ddwylaw yr holl Gymdeithasau Elusengar, gan mwyaf, wedi eu rhwymo. Ni fyddai eu holl drafferth ond hulio bwrdd heb neb i eistedd wrtho; ond trwy sefydliad Ysgolion Gwladwriaethol, galluogir plant rhïeni tlodion, y rhai na feddant allu i dalu am ddysg eu plant, ac na fedrant, gan eu hanwybodaeth, eu dysgu eu hunain; ïe, ac ereill na feddant duedd nac ewyllys pe medrent eu dysgu, i dderbyn lles oddiwrth *air y bywyd, yr hwn a ddichon eu gwneuthur yn ddoeth i iechydwriaeth.* Maent yn foddion i addysgu meibion a merched tlodion y dref a'r gymmydogaeth lle y sefydlir hwy na fedrant gyrhaedd dysgeidiaeth mewn un ffordd arall. Ac nid gormod yw dywedyd, fod Ysgolion Gwladwriaethol yn gyffredin yn fendith i'r wladwriaeth yn gyffredinol. Ceisiodd rhai, flynyddoedd yn ol, mae yn wir, ddarogan canlyniadau peryglus o'r fath Ysgolion; y byddai dysgu plant tlodion yn beth niweidiol i'r wladwriaeth; ond, tybygid, na fyddai yn ddiffyg cariad brawdol ammeu i'r cyfryw dderbyn budd erioed oddiwrth ddarllen yr Ysgrythyr Lân eu hunain: oblegid os bu fuddiol iddynt hwy, ai nid eu creulondeb sydd yn ceisio ganddynt gadw y trysor yn guddiedig rhag ereill. "Ond (medd rhai o'r gwyr hyn) mae yn y Bibl bethau rhy ddyrys i blant y tlodion eu deall;" oes, a rhy ddyrys i chwithau hefyd. Mae ynddo bethau nid yn unig na fedr plant eu deall, ond na fedr y dysgedicaf o'r bobl eu cael allan; ïe, pethau ag y mae'r angylion yn chwennych edrych i mewn iddynt. Ond nid yw yn canlyn fod y cwbl o'r llyfr gwerthfawr hwn yn annealladwy. Mewn perthynas i'r cyfryw wag wrthddadleuon, byddai yn ddigon o ateb, nad eill yr hyn nad yw ddealladwy wneud dim niweid. Y'mhellach, y mae yn yr Ysgrythyr fendigedig wersi buddiol na pherthynant i neb ond y tlodion: dengys iddynt eu dyledswydd i fod yn ufudd a gostyngedig i bawb o'u gwell, &c. Pe buasai yn llyfr peryglus, yn dysgu gweision i beidio ufuddhau i'w meistriaid yn ol y cnawd, ac i wastraffu eiddo ac amser eu meistri; pe dysgasai i blant fod yn sarug ac anufudd i'w rhïeni, neu i ddeiliaid fod yn anffyddlon i'w brenin, buasai gwell esgus ganddynt am y fath ymddygiad.

"Ond (medd gelynion yr Ysgolion Gwladwriaethol) mae 'r tlodion yn cael eu dysgu, nid yn unig i ddarllen, ond hefyd i ysgrifenu, yr hyn a'u balchia. Os ysgolheigion fydd pawb, pa le y ceir llafurwyr, gweinidogion, a gweithwyr wrth y dydd?" Er dangos twyll y fath resymiad, nid rhaid ond dweud mai *prinder* ac nid *amlder* dysgeidiaeth sydd yn tueddu i chwyddo dynion. Pan fedro pob un tlawd ddarllen ac ysgrifenu, ni eill fod gan y naill un fantais uwch y llall o barth dysg.

Gellid gofyn ym mhellach i'r gwrthwynebwyr, oni all fod y gelfyddyd o ysgrifenu o ryw fudd i'r gweithiwr tlawd, rhagor yr hen ddull trwstan o gyfrif ei ddiwrnodau gwaith trwy dòri haciau ar ddarn o bren? Ond gan na osodwyd ar droed erioed un peth clodwiw a buddiol, nas cablai rhai ef; nyni a awn ym mlaen oddiwrth ateb gwrthddadleuon, i nodi rhai o'r manteision a ddeilliant oddiwrth yr Ysgolion dan sylw.

1. Un fantais, ac nid un fechan, yw eu bod yn cadw y plant rhag segurdod, a chyfeillach ac esamplau drwg, am ran fawr o'u hamser. Pan ystyrier nad oes yn nhrefydd Cymru ddim o'r gweithiau ag sydd yn y rhan fwyaf o drefydd mawrion Lloegr, yn y rhai y gall plant dreulio eu hamser yn ddiniweid ac yn fanteisiol, rhaid fod yn y fath leoedd poblog rifedi mawr o feibion a merched y trefydd heb ddim i'w wneud ond rhedeg yn wyllt hyd eu heolydd, temtio y naill y llall, a thrwy eu "hymddiddanion drwg lygru moesau da" lle y maent. Ac ym mhellach, mae llawer o'r plant yn meddu rhïeni o'r fath hyny, ysywaeth, ag y mae yn drugaredd i'w plant fod ond cyn lleied ag y mae modd yn eu presennoldeb. Trwy gyrchu i'r Ysgol maent yn ysgoi llawer araith ac esampl beryglus i blentyn. Os gofyn neb rhagllaw, pa les y mae yr Ysgolion hyn yn ei wneud? Ateber, maent yn cadw cannoedd o blant dros y rhan fwyaf o bob dydd trwy 'r wythnos, yn gystal ag ar y Sabboth, o gyrhaedd cyfeillach niweidiol; a phe na bai y fath beryglon ag a grybwyllwyd, y mae yr Ysgolion hyn yn eu cadw rhag ymarfer â dïogi, a thir peryglus iawn yw tir dïogi. Addefir fod dysgedigion Paganaidd yn llygad-graff iawn mewn perthynas i gynheddfau dynion, a thueddiad pethau; mewn perthynas i segurdod, dywedent ei fod yn dysgu pob drwg i ddynion. Peth cyffredin dros ben yn ein gwlad yw clywed drwg-weithredwyr dan y pren dïoddef, yn priodoli dechreuad eu llong-ddrylliad i oferedd a segurdod, yn enwedig i gam-ddefnyddiad o'r Sabboth. Ond pwy bynag sydd yn gwybod ychydig am natur a threfn yr Ysgolion Gwladwriaethol, a ŵyr nas geill yno neb fod yn segur, o'r bychan, sydd yn ffurfio yr egwyddor yn y tyfod, i'r athrawon bychain ar ben pob dosparth, sydd â'u saith lygaid yn craffu ar ymddygiad a dyfalwch pob un dan eu gofal. Faint bynag o lygad-rythu a ellir ganfod ym mhlith plant mewn ysgolion o'r hen ddull, mae y dïofalwch lleiaf mewn plentyn yn yr Ysgolion hyn yn sicr achos iddo golli ei le yn y dosparth: y mae hon yn wers dda i bob plentyn erbyn myned i wasanaeth.

2. Maent yn foddion rhagorol i ddysgu i'r plant gadw eu hunain yn lân a threfnus o'u mebyd. Llawer y mae cysur ac iechyd dynion yn ymddibynu ar eu gwaith yn cadw eu hunain yn lanwaith. Yn awr, yn yr Ysgolion hyn ni oddefir un plentyn i ddyfod yn fudr. Ac ym mhellach, mae cynnrychioldeb y boneddigion a'r boneddigesau sydd i ymweled â'r Ysgolion yn gylchynol yn tueddu i wneud yr Ysgolheigion yn ofalus am ymddangos yn lân a phrydferth. Gall rhai farnu y fantais hon yn annheilwng o le ar ei phen ei hun; ond un o ddywediadau ein hynafiaid oedd, *fod glendid yn nesaf at dduwioldeb.*

3. Byddant yn foddion i ennill cariad y genedl sydd yn codi at yr Eglwys Sefydledig. Ni ddymunwn roddi tramgwydd i neb wrth ddywedyd hyn: ac yr ydwyf yn rhyfygu haeru fod pob ymneillduwr duwiol yn hiraethu ac yn gweddïo am lwyddiant Eglwys Loegr. Yn awr, ynte, i ba le yr â plant wedi tyfu i fynu ond i'r lle addoliad yr aent pan yn fychain; pwy a garant ond y rhai a'u haddysgodd yn egwyddorion cyntaf crefydd. Hyderwn na wna gofal yr Eglwys am eu cysur a'u hiachawdwriaeth pan yn blant, wneud muriau ein Sïon yn llai anwyl ganddynt pan fyddont yn berchen plant eu hunain. Yn wir, mae dyn yn meddwl gyd âg an-

wyldra, nid yn unig am gyfeillion ei ieuengctid, ond hyd yn nod am y llwybrau fu'n rhodfeydd iddo. Pe caid ond un o'r Ysgolion hyn ym mhob tref neu blwyf yn Brydain, gallai Eglwys Loegr godi ei phen etto, a disgwyl cael ei pharchu, o leiaf, gan y tô-sydd yn awr yn codi, ac yn ein gyru ni ymaith. Y mae yn ddyledswydd ddiammheuol arnom ni, fel aelodau o'r Eglwys, addysgu ieuengctid yn y ffurfiau a'r egwyddorion a fuont yn fendith i'n heneidiau ni; ïe, a'r rhai yr addawsom ac yr addunedasom fynu gweled eu dysgu ynddynt, pan y cyflwynasom hwy i'r Arglwydd yn eu bedydd. Mae pob tad a mam fedydd wedi eu rhwymo i fynu gweled dysgu eu plant-bedydd yn Ngweddi yr Arglwydd, a'r Deng Air Deddf, ac yn Nghatecism yr Eglwys, a osodwyd allan ar fedr hyny. Ac oni fyddai yn achos syndod i bawb o'n hamgylch, weled aelodau yr Eglwys Sefydledig, a dim ond hwy, yn anffyddlon i'w cymdeithas, tra y mae pob enw o broffeswyr Protestanaidd, ïe, a Phabyddion, mor ddiwyd yn dwyn eu hieuengctid i fynu yn eu dull neillduol hwy o addoli. A gaiff Eglwys yn meddu y fath ffurfiau gogoneddus, ac egwyddorion mor bur, adael yr ieuaingc yn agored i bob math o ffurfiau cyfeiliornus? A gaiff plant llygredig, yn nghanol byd llygredig, ddewis eu ffordd eu hunain, tra y medrwn ddangos ffordd mor rhagorol iddynt?

4. Tuedda y fath addysg ag a roddir i'r plant yn yr Ysgolion hyn i'w gwneud yn well aelodau o'r wladwriaeth, ac yn fwy defnyddiol fel gweision, morwynion, a gweithwyr. Cofiwn y bydd rhai o'r plant yma y'mhen blwyddyn neu ddwy yn myned i wasanaeth; gall y bydd rhai o honynt yn ein gwasanaeth ni cyn pen nemawr o amser, a phwy nis gŵyr faint mae cysuron teulu yn ymddibynu ar ffyddlondeb ac egwyddorion da gweinidogion, yn enwedig lle mae plant yn ymgymmysgu â'r gweinidogion. Yn awr gorchwyl yr Ysgolion hyn yw ffurfio egwyddorion y plant tlodion, a fyddant yn rhan o'n teuluoedd ni ar fyr. Mae nodweddiad mammaethod a chydymdeithion eich rhai bach yn cael ei lunio yma, a dysgir hwynt i fod yn ffyddlon a diwyd, yn ddistaw ac onest yn eich gwasanaeth. Yr ydym yn ddigon tueddol i feio, ac nid heb achos, ar wasanaethyddion yr oes bresennol. Oni cheir hwy yn aml yn falch, trahaus, anllad, diog, yn darn-guddio, yn gwrthddywedyd, yn anffyddlon, ac anufudd? A pha foddion a ddefnyddiwyd i'w gwneud yn well pan yn blant? Onid yw yr hen arfer glodwiw o gateceisio ac egwyddori plant y bu yr hen Eglwys mor llafurus ynddi, wedi cael ei hesgeuluso i radd waradwyddus yn yr oesoedd diweddaf? Y mae ein gweinidogion yn sicr o ddwyn yr arferion a'r egwyddorion a ddysgant yn blant i'n teuluoedd ni; a rhaid i ni fedi mewn mesur mawr o ffrwyth ein llafur yn eu hegwyddori.

Y'mhellach, gall yr Ysgolion fod yn fendith i'r wladwriaeth yn gystal ag i deuluoedd. Ni a wyddom mai cydwybod yw sylfaen pob cyfraith. Crediniaeth o ddydd barn yw yr hyn sydd yn cynnal trefn wladol, ac yn rheoli ymddygiad dyn yn y dirgel. Ni ddichon cyfraith y tir reoli calon dyn, er y gall ei gadw rhag drygau cyhoeddus. Rhaid i ddyn gael egwyddor dufewnol, ofn Duw, yr hwn wedi darfod iddo ladd, a ddichon daflu i uffern, cyn y byddont yn aelod gwasanaethgar o'r wladwriaeth. Yn awr y'mhob gwlad, y tlodion yw y rhan lïosocaf; a phe cydmarem y wladwriaeth i gorph, y tlodion yw y traed a'r dwylaw, y rhai allant fod yn fwyaf buddiol, neu fwyaf peryglus. Yn awr mae 'n eglur i bawb fod llwyddiant gwlad, ei mawredd, a'i diogelwch, yn sefyll ar foesoldeb ei thrigolion. Beth bynag a duedda i ddiwygio moesau, a duedda i ddyrchafu cenedl. Ac yn nesaf at bregethu yr efengyl, ni ddyfeisiwyd etto un ffordd ragorach na'r Ysgolion Gwladwriaethol i'r perwyl hwn. Cyfaddefir fod Scotland, yn enwedig yr isel-dir, yn rhagori ar bob parth o ymerodraeth Brydain mewn gofal i ddysgu plant tlodion. Sefydlwyd gan gyfraith y wlad un Ysgol o leiaf y'mhob plwyf, heblaw yr holl Ysgolion elusenol sydd yno; ac ammhossibl yw braidd cael yno blentyn heb fedru darllen ac ysgrifenu. "Hyn yw yr achos," medd y dyngarwr *Howard*, "fod yr Albaniaid yn ymddwyn mor addas lle bynag yr elont." Er fod y trigolion mor llïosog a 1,600,000, ni ddienyddiwyd ond 134 mewn yspaid 19 mlynedd, sef ynghylch 7 bob blwyddyn;

tra yn yr un yspaid o amser y crogwyd oddeutu Norfolk, yn cynnwys ond 800,000, sef ond hanner nifer trigolion yr Alban, 434 o ddrwgweithredwyr. Os awn drosodd i'r Iwerddon, cawn y parthau tywyllaf o ran gwybodaeth yn fwyaf ffrwythlawn mewn drygioni. Oni ellir priodoli cyflwr annedwydd yr Iwerddon i'r grefydd sydd yn gwahardd dysgu plant? Bydd y plant yma ymhen amser yn berchen plant eu hunain, ac yn benau teuluoedd. Gellir disgwyl y bydd yr addysg y maent yn awr yn dderbyn o fudd iddynt yn y sefyllfa hòno. I ba le yr â gweithiwr wedi gorphen ei ddiwrnod gwaith, onid yn rhy gyffredin i'r tafarndy? lle gallo dreulio ei oriau yn ddifyr, i wrando ac i adrodd chwedlau, ac ar yr un pryd i wario yr hyn a ddylai fyned at wasanaeth y wraig a'r plant. Ond am y penteulu a fedro ddarllen, gallwn ddisgwyl nad rhaid iddo redeg i'r cyfryw leoedd am ddifyrwch. Medr ef gael mwyniant gartref trwy ddarllen yr ysgrythyr, neu ryw lyfr buddiol, a thrwy egluro yr hyn a ddarlleno, a chateceisio ei blant. A phan ddelo y cyfryw un i gynteddau Duw, rhaid ei fod yn wrandawr mwy deallus, ac felly yn derbyn mwy o les a hyfrydwch dan bregethiad y gair y mae yn feunyddiol yn arfer ei chwilio, nag a all yr annysgedig, yr hwn na fedd ond un drws trwy ba un y gall gwybodaeth ddyfod i mewn. Cystal, mewn ystyr ysprydol, fuasai i'r rhai na ddysgasant ddarllen fod heb gael llygaid erioed: a phe gwelai Duw yn dda gymmeryd eu clyw oddi arnynt, ni feddai y rhai hyn mwyach un modd yn y byd i dderbyn addysg na lles na chysur crefyddol.

Yn olaf, y mae un peth etto i'w ystyried, a'r mwyaf oll. Am y rhan fwyaf o'r manteision a enwyd, y maent yn perthyn i'r byd presennol. Ond y mae pob plentyn o fewn yr Ysgolion, er mor ieuaingc, ac er mor garpiog ydynt, yn berchen enaid na dderfydd byth, mwy ei werth na'r holl fyd, ac a fydd mewn bod pan fo'r haul wedi gorphen goleuo. Y mae pob un o honynt, druain, i oesi cyhyd a thragywyddoldeb, mewn gwynfyd neu wae. Y moddion tebycaf a ellir eu defnyddio er cadwedigaeth yr enaid yw addysg dduwiol, a'r amser tebycaf o lwyddo yw yn nyddiau ieuengctid. J. Ll.

## Y PINWYDD (*PINE*).

(*Parhâd o du dal. 109.*)

Y MAE planfeydd mawrion o Binwydd wedi eu gosod yn Mrydain yn yspaid y 80 mlynedd diweddaf; ac yn y modd hyn fe ddygwyd tir diffrwyth ein gwlad, yr hwn oedd gynt yn hollol ddiwerth, i fod yn ffrwythlawn a gwerthfawr. Planwyd amryw o'r Coedwigoedd hyn gyda choed salw a diwerth, ac nad ydynt dda i ddim ond i'w llosgi. Ar y llaw arall, y mae yr holl wahanol rywiau o Binwydd wedi bod o dan sylw manylaf y planyddion, ac fe ystyriwyd eu buddioldeb a'u gwerth mewn modd tra boddlonawl. Yr oedd Dropmore, yn Sir Buckingham, o fewn 30ain mlynedd yn ol, yn lle diffrwyth a noethlwm; ond Arglwydd Grenville a'i gwnaeth yn Blanhigfa Pinwydd tra gwerthfawr; a'i Arglwyddiaeth hefyd a sylfaenodd yno ardd ragorol i fagu gwir Binwydd, i'r hon y casglodd rai o bob math o rywiau Pinwydd pedwar ban byd.

Y diweddar Esgob Heber, ar ddymuniad Arglwydd Grenville, ei hen noddwr hybarch, a chwiliodd allan amryw rywiau Pinwydd y dwyrain: a'r llythyr isod ato a rydd i ni yr hanes canlynol am Binwydd mynyddoedd Himalaya:—

"Fy ymweliad â'r mynyddoedd ardderchog hyn, yn Tachwedd a Rhagfyr diweddaf, ni roddodd i mi gyfle dyladwy i dreiddio i'w hansawdd; oblegid agoshad y tywydd gwlawog: ac nid ydwyf yn feddiannol ychwaith ar lygad treiddgar y naturiaethydd, fel y gallwn roddi boddlonrwydd i neb o'm hen gyfeillion ar y pen hwn. Ond er hyn oll y mae 'r coed a welaf yn addurno brigau y mynyddoedd hyn yn hynod o ardderchog yr olwg arnynt, a'r darluniad cyffredin a allaf roddi o honynt sydd yn dra mawreddig. Y rhai cyffredin ydynt hirion a heirddion ragorol. Y maent yn hynod o'r breuon yn eu cymmeriad cyffredin, ac yn lled debyg i Binwydd yr Alban, ond bod eu brigau yn fwy gwasgaredig, a rhai, o'r braidd, a led debygolant i Binwydd yr Eidal. Y mae rhyw arall o naddynt a'i ddull yn hardd ac yn ardderchog, ond nid yn feddiannol ar yr un fath orwychder a'r blaenaf. Ei ganghenau sy gawraidd yr olwg arnynt, ei ddail yn dywyll, ac a gyfrifir yn gyssegredig gan yr

hen Hindwiaid. Ymddengys i mi megys cedrwydden Libanus.

"Cefais fod y rhai hyn yn toi penau mynyddoedd o gylch 9000 o droedfeddi goruwch gwyneb y môr, lle y mae yn rhewi mor greulon yn y nos ag ydyw ym Mrydain yn y tymhor hwn," &c.

Y *Pinwydd Arianaidd* (Silver Fir). Y coed hyn a elwir felly oblegid y ddwy linell wen sydd o dan y dail. Y maent yn brenau rhagorol, ac o dŵf cyflym. Y pren hwn sydd un o frodorion deheubarth Ewrop, a'r *Levant*. Pinwydd Arianaidd mynydd Olympus ydynt frenin-goed y wlad hòno; y maent yn gofyn gwell tir na'r *Larch;* ac nid ydynt mor naturiol i diroedd uchel a'r rhywiau ereill. Eu coed sy feddalach, ac o lai parhâd, na dim o'r Pinwydd ereill; ac felly nid ydynt mor ddefnyddiol at wasanaeth o un math. Ond o ran eu hysgafnder y maent yn hynod i wneuthur badau.

*(Pinwydd yr Amerig yn y nesaf.)*

---

## DARLITH

### AR AWSAFIAETH *(HYDROSTATICS.)*

*(Parhâd o du dal. 110.)*

Wrth y gair *Awsafiaeth* yr wyf yn meddwl y gangen o Brawddysgaeth ag sydd yn traethu am gydfantoliad, am bwysau a gwasgiad, ac amrywiol effeithiau Awon mewn llonyddwch. Ond, gan nad yw yr enw yn arferedig, ychwanegaf mai yr un peth wyf yn feddwl wrtho ag a elwir gan y Saeson *Hydrostatics*, ac a gyfieithir gan Eiryddion Cymreig, Dyfrbwysiant, neu Dyfrbwysyddiaeth. Ond gan nad am ddwfr yn hytrach nag am awon ereill y mae y gangen hon yn traethu, ac am nad yw ychwaith yn traethu am bwys yn hytrach nag am gydfantoliad, am wasgiad, ac am effeithiau ereill, cymmerais fy rhyddid i roddi enw newydd arni, yr hwn sydd, yn ol fy marn i, yn dynodi ei phriodol ystyr yn fwy cyflawn nag un o'r ddau enw a grybwyllais.

Ond heb fanylu ym mhellach ar yr enw, sylwaf, o berthynas i amrywiaeth sylweddau, nas gwyddom am un gwahaniaeth yn eu temigau (neu fân ronynau) cyssefin, er eu bod yn gwahaniaethu o ran eu hansoddau canfodadwy, megys lliw, llun, caledrwydd, a'r cyffelyb; ac yn enwedig o ran dwysder eu temigau, neu yr hyn, beth bynag ydyw, ag sydd yn peri i'r naill sylwedd fod yn drymach neu ysgafnach na'r un mesur o sylwedd arall. Er cymharu gwahanol sylweddau yn yr ystyr hyn, mae gan y Saeson enw a alwant *Specific Gravity*, wrth yr hwn y meddylir *Pwys Troedfedd Gub o unrhyw sylwedd;* ac am nas gwn am un gair arferedig ym mhlith y Cymry yn arwyddo yr un peth, defnyddiaf y gair *Trymedd* fel cyfieithiad o hono. Os cymmerwn y gair Trymedd yn yr ystyr yma, gallwn gasglu oddiwrth y prawon manylaf bod Trymedd

| | ownsau. | | ownsau. |
|---|---|---|---|
| *Platina*, yn .... | 20,337 | Llaeth........... | 1,032 |
| Aur Coeth ...... | 19,362 | Heli y Môr ..... | 1,026 |
| Aur Bath ...... | 17,580 | Dwfr ........... | 1,000 |
| Arian Byw .... | 13,568 | Ymenyn a Gwer | 942 |
| Plwm .......... | 11,352 | Gwirod Marchnadwy ......... | 942 |
| Arian .......... | 10,511 | Pren Derw sych | 932 |
| Pres ............ | 8,396 | Pren *Beech* .... | 852 |
| Haiarn Bwrw .. | 7,207 | Pren Onen .... | 845 |
| Llech-faen ...... | 2,672 | Pren Gwernen .. | 800 |
| Pren *Ebony* .... | 1,331 | Pren Ffawydd coch .......... | 675 |
| Glo ............ | 1,270 | Pren Ffawydd gwyn ......... | 569 |
| Rhiddyn Derw 60 oed ........ | 1,170 | Twythrisg *(cork)* | 240 |
| Pren *Mahogany* ............ | 1,063 | Awyr ........... | 1,2 |
| Gwaed Dyn .... | 1,053 | *Hydrogen Gas* .. | 0,1 |
| Cwrw Cryf..... | 1,034 | | |

Os craffwn ar y Dafien hon, gwelwn bod trymedd dwfr yn union fil o ownsau, ac, o ganlyniad, bod y nifer o filoedd o ownsau a bwysa droedfedd *gub* o unrhyw sylwedd arall, yn dangos y nifer o weithiau y mae unrhyw fesur o'r cyfryw sylwedd yn drymach na'r un mesur o ddwfr. Yn yr ystyr yma gellir dywedyd bod

Trymedd Aur coeth yn 19[illegible] pwys Dwfr.
Arian byw ... 13[illegible]
Pres ......... 8[illegible]
&c. ....... &c.

Sylwaf, ym mhellach, bod gwahanol sylweddau yn amrywio hefyd o ran cydlyniad eu temigau, ac yn yr ystyr yma gellir eu dosparthu yn ddau fath; y naill yn fferedig, megys cerig, mwnau, &c. a'r llall yn rhedegol, neu hylifol, megys dwfr, arian byw, a'r cyffelyb; ac nid yw anhysbys i'r rhan amlaf o honoch bod sylweddau o'r fath olaf, yn ein hiaith ni, yn cael eu dynodi trwy y gair *Awon*. Ar y pen yma hefyd sylwaf, nas gwyddom am un gwahaniaeth rhwng temigau cyssefin Awon oddiwrth demigau cyrph fferedig, o herwydd gwyddom oll, trwy brofion beunydd-

iol, bod gwres yn troi y cyrph caletaf yn sylweddau hylifol; a bod chwanegiad gwres hefyd yn troi sylweddau hylifol yn fath o darth trwythol, megys agerdd a'r cyffelyb. Ond, heb fanylu ar hyn, gan mai am Awon yr wyf yn bwriadu dywedyd ychydig heno ger eich gwydd, dymunaf arnoch sylwi eu bod yn gyffredin yn cael eu dosbarthu yn ddau fath; y naill yn annhwythol ac anwasgadwy, megys arian byw, dwfr, llaeth, &c. a'r llall yn dwythol a gwasgadwy, megys awyr, ac agerdd, yn nghyd â nifer o'r sylweddau a elwir gan y Saeson dan yr enw *Gases*.

Meddylid, hyd o fewn ychydig flynyddau yn ol, bod arian byw, dwfr, a'r cyffelyb, yn hollol anwasgadwy, ond trwy brawon diweddar y mae yn ymddangos y gellir, i ryw raddau, wasgu pob Aw adnabyddus, ond cael nerth digonol. Ond er addef hyn, chwanegaf, trwy ddywedyd mai i raddau bychain y mae yn alluadwy gwasgu yr Awon a gyfrifid yn annhwythol, ac nad ydynt, gan hyny, yn werth sôn am danynt mewn Darlith, yn yr hon nis gallwn fanylu, ond yn hytrach roddi bras olwg ar rai o brif ansoddau ac effeithiau Awon.

Wedi ymdroi, mewn modd arweiniol, i ddywedyd ychydig am Awon yn gyffredinol, enwaf dair cangen o Brawddysgaeth a draethant am danynt. *Awsafiaeth* a draetha am gydfantoliad a gwasgiad, ac amrywiol effeithiau Awon mewn llonyddwch. *Awdreiglaeth*, am symudiad, am egni, ac amrywiol effeithiau Awon mewn rhediad. Ac *Awyrolaeth*, am natur ac effeithiau Awon twythol, megys awyr, agerdd, &c. O ran trefn, addefaf y dylaswn roddi Darlith ar Awsafiaeth o flaen yr hon a draddodais ger eich gwydd ar Awyrolaeth, o herwydd bod Awyrolaeth, mewn rhan, yn ymddibynu ar ddeddfau Awsafiaeth: ond dewisais draddodi hono yn gyntaf, oblegid bod y prawon *(experiments)* perthynol i Awyrolaeth yn fwy difyrus, ac o ganlyniad yn fwy tebyg o greu awydd yn fy ngwrandawyr am wybodaeth ofyddawl na'r prawon perthynol i'r Ddarlith hon.

Yn fy Narlith ar Awyrolaeth, sylwais mai ansawdd nodweddol Awon yw rhwyddineb eu temigau i gilio ymaith, a gwahanu oddiwrth eu gilydd gyd â'r cyffyrddiad lleiaf; a bod yr effeithiau canlynol, o angenrheidrwydd, yn tarddu oddiwrth eu hansawdd nodweddol; sef,

Yn *gyntaf*, Na orphwys yr un o honynt nes byddo ei wyneb yn llywelawl, neu yn gyfochrog â gwyneb y ddaear.

Yn *ail*, Na all un o'r Awon ymlonyddu oddieithr bod yr un pwys ar bob cydran o'r un gaenen lywelawl, pa sylwedd bynag a achosa y cyfryw bwysau arni.

Ac yn *drydydd*, Bod pwysau Awon yn effeithio fel gwasgiad cydradd bob ffordd yn yr un dyfnder, ac yn chwanegu hefyd po ddyfnaf yr elom.

Yn awr, chwanegaf trwy ddywedyd mai dyma brif ddeddfau Awsafiaeth yn gystal ag Awyrolaeth; ac erfyniaf arnoch ymdrechu eu cadw yn eich cof, oblegid mai amcan yr hyn a glywch, ac a welwch, yn y rhan ganlynol o fy Narlith, yw amlygu y cyfryw ddeddfau, ac olrhain yr effeithiau a darddant oddi wrthynt.

Am y Ddeddf gyntaf, prin y meddyliwn fod yn angenrheidiol i mi sylwi nad yw ond effaith naturiol yn tarddu oddiwrth at-dyniad y ddaear tua ei chanol, ac oddiwrth rwyddineb temigau Awon i lithro heibio eu gilydd, modd y symudant yn ddiffael ar hyd y gogwyddiad lleiaf. Nid wyf chwaith heb ofni, y cyfrifwch yn afreidiol i mi dreulio eich amser i amlygu na orphwys un o'r Awon nes byddo ei wyneb yn llywelawl; o herwydd eich bod oll yn gwybod y rhed Awon ar oriwaered, a bod goriwaered o angenrheidrwydd yn aros nes byddo y gwyneb yn llywelawl. Ond dymunaf arnoch ystyried mai dechreu gyd â'r hyn sydd amlwg yw y ffordd debycaf i ni amgyffred yr hyn sy ddyrys; ac am hyny cyfeiriaf eich meddyliau at gistaid o ddwfr, o'r hon y tybiwn bod ystenaid yn cael ei godi; a chwi a wyddoch oll y rhedai y dwfr yn ddioed o'r rhanau amgylchol i lenwi y gwagle nes gwastadhau y gwyneb. Tybiaf, ym mhellach, bod ystyllen yn cael ei gosod ar ei hochr, ar draws y gyfryw gist, modd y parthai y dwfr yn ddwy ran, a chwi a wyddoch hefyd, os gollyngid ymaith unrhyw fesur o'r dwfr o'r naill ben i'r gist, na orphwysai yr hyn a fyddai yn y pen arall, os cai dwll neu agen i redeg trwy yr ystyllen, nes byddai gwyneb y dwfr yn y naill ben yn gyfuwch a'i wyneb yn y pen arall; oddigerth effeithiau llanw a thrai, y rhai a berthynant i Seryddiaeth. Gallwn

hefyd, oddiwrth y ddeddf hon, amgyffred yr achos o dònau y môr, trwy ystyried fod y gwynt yn chwythu yn anghyfartal ar ei wyneb, modd y mae pant yn cael ei greu yn y lle y byddo y gwynt yn taro arno, ac effaith y dwfr yn rhedeg er gwastadhau ei wyneb yn parhau y cynnwrf yn y lle nad yw y gwynt yn effeithio, ac felly tònau yn cael eu creu yr un modd ag y gwelsoch mewn maes o ŷd ar ddiwrnod gwyntog.




Er dangos ym mhellach nad yw ffurf llestr a gynnalio un o'r Awon, er parthu ei wyneb yn rhanau gwahanol, ac anghyfartal, yn rhwystro gweithrediad y ddeddf a grybwyllais, wele Lestr Gwydr A B C D, a phiben wydr yn arwain o'i waelod, yr hon a ellir ei throi o gylch y cymal E yn seth fel E F, neu ar osgo megys E G. Yn awr, tywalltwn ddwfr i'r llestr, a chwi a welwch na lonydda nes byddo ei wyneb o fewn y llestr, ac o fewn y biben, yr un uchder, er gosod y biben ar yr osgo a fynom.

Trwy y praw yma gwelwn bod y mesur lleiaf o ddwfr yn y Biben yn cydfantoli mesur llawer mwy o fewn y llestr. Yr un effaith a welwn hefyd mewn tebair *(tea kettle)* tebot, &c. os craffwn nad yw y dwfr yn y big yn codi un gradd yn uwch nag y saif o fewn y llestr y tardda y big o hono; a deallwn mai effaith y ddeddf hon yn unig yw bod y dwfr yn treiglo allan trwy y big pan y gogwyddom y llestr er tywallt y dwfr o hono. Oddiwrth y praw yma, gwelwn hefyd y modd y gellir trosglwyddo dwfr trwy ewyll *(conduits)* yn rhedeg dan y ddaear o'r naill fan i'r llall; ac mai yr achos bod y dwfr yn pistyllio i ystafelloedd uchaf tai yn y ddinas hon yw, fod geneuau y pibenau y rhed trwyddynt yn uwch na'r ystafelloedd y rhed iddynt.

Er dangos hefyd yr angenrheidrwydd i ddynion, ym mhob sefyllfa, ymdrechu gwneuthur eu hunain yn adnabyddus â'r cyfryw o ddeddfau y greadigaeth ag fyddont yn dwyn perthynas â'r pethau yr ymwnelont â hwy, cyfeiriaf eich sylw at yr hyn a ddarllenais am ddyn a ddychymygai ei fod wedi cael hyd i'r hyn a eilw y Saeson *Perpetual Motion* trwy wneuthur llestr o'r fath a ddangosir gan y Darlun




A B C, yn yr hwn y meddyliai y gwnai pwys y dwfr yn y pen ffyrfaf, wthio y dwfr o'r gwaelod, trwy y biben B E C, a'i dywallt drachefn i'r llestr, modd y treiglai yn barhaus heb un egni allanol i'w wthio. Ond pan brofodd ei ddyfais wrth y ddeddf a grybwyllais, mawr oedd ei siomedigaeth pan y gwelodd na chodai y dwfr yn y biben ar gyfer E drwch blewyn yn uwch na gwyneb y dwfr yn ei lestr ar gyfer D.

Yn y sylwadau blaenorol dywedais na lonydda dwfr, neu unrhyw Aw arall, nes byddo ei wyneb yn llywelawl; ond nid wyf, wrth y gair llywelawl, yn meddwl bod gwyneb dwfr mewn llonyddwch yn *wastad*, ond yn hytrach yn *amgrwn*, modd y byddo pob rhan o'r gwyneb yr un pellder o ganol y ddaear.




Er amlygu hyn, tybiwn bod A B C yn dangos gwyneb Llyn Tegid, a bod ei ddwfr yn rhewi am droedfeddau o drwch ar amser tawel, pan byddo ei wyneb yn llywelawl. Yn yr amgylchiad yma, pe byddai rhych gwastad A E C yn cael ei dori o'r naill ben i'r llall, a dwfr yn cael ei dywallt i'r rhych yn y pen A, ac heb rewi, rhedai oddiwrth A tu ag at E, gan godi yn wrym cyfochrog â gwyneb y rhew A B C. Ac os

yw hyd y llyn yn bedair milltir o A i C, byddai dyfnder y dwfr ar ganol y rhych o B i E ynghylch dwy fodfedd ar bymtheg, ac yn lleihau yn raddol o'r canol tu ag at y ddau ben, lle y diflanai yn hollol.

Er dangos bod amgrwnder gwyneb dwfr yn tarddu, fel effaith angenrheidiol y ddeddf tan sylw, oddiwrth grwnder y ddaear, tybiwch bod llinell yn cael ei thynu o ganol y ddaear i'r pen A, a chwi a ganfyddwch, oddiwrth y darlun, heb eich dyrysu âg Arddangosiad Medonawl (*Geometrical Demonstration*) nad yw gwaelod y rhych yn croesi yn syth y cyfryw linell, ond ei fod yn hytrach yn gogwyddo tu ag ati, ac o ganlyniad, bod y dwfr yn treiglo ar oriwaered wrth redeg o'r pen A tua chanol y rhych.

Wrth dòri camlesydd mae yn angenrheidiol anhepgorol cymmeryd sylw o grwnder y ddaear, cyn y gallo y dwfr fod o'r un dyfnder ym mhob rhan; oblegid pe tòrid camlas o B tu ag at C, a'i gwaelod ym mhob rhan yn wastad â gwyneb y ddaear yn B, megys ar hyd y llinell B D, byddai dyfnder y dwfr yn lleihau ynghylch wyth modfedd a hanner bob milltir rhwng B a D.

Ac os ystyriwn bod yr effaith yma yn tarddu, fel canlyniad angenrheidiol, oddiwrth y dybiaeth bod y ddaear yn gron, a'i thryfesur yn agos i 8,000 o filltiroedd, a bod tystiolaeth y rhai a dòrant gamlesydd yn profi fod y cyfryw effaith yn cymmeryd lle, rhaid i ni addef bod eu tystiolaeth yn cadarnhau cywirdeb profion ereill mewn perthynas i grwnder a thryfesur y ddaear.

Un sylw arall a chwanegaf am effeithiau y ddeddf gyntaf, a hyny trwy ddywedyd bod dwfr, nid yn unig yn ymlywelu, ond hefyd i ryw raddau yn tueddu i lyfnhau gwyneb y ddaear, trwy gludo sylwedd y bryniau i'r dyffrynoedd. Er amlygu hyn, cyfeiriaf eich meddyliau at ardaloedd mynyddig tywysogaeth Cymru: yno y gwelsoch gornentydd dyfnion wedi cael eu tòri yn raddol, trwy yspaid oesoedd anghofiadwy, gan lifogydd mewn ffrydiau bychain, a redant o'r mynyddoedd tu a'r dyffrynau: gwelsoch hefyd ddolydd breision, a gweirgloddiau ehang, oddeutu afonydd, y rhai ydynt yn eddain yn ddigynnwrf ar hyd y cyfryw ddyffrynau; ac hefyd forfëydd ehang ar lànau y môr, ac ar gyffiniau aberoedd: ond nis gwn a ydych chwi oll wedi ystyried mai y pridd a'r llaid a gladwyd o ychydig i ychydig gan y ffrydiau a'r afonydd a greasant y cyfryw ddolydd a morfëydd, y rhai ydynt yn ein dyddiau ni yn cynnal lliaws nid bychan o'n cyd-genedl. Ac os addefwch hyn, nid yw anghredadwy genych y bydd cannoedd o erwau ag ydynt heddyw yn llynau nofiadwy, mewn oesoedd i ddyfod yn ddolydd cynnyrchiol. Oddiwrth y sylw hwn, heb sôn am gynhyrfiadau echrydus tan-ddaearol, nac chwaith am gyfnewidiadau gwythenau dwfr, y rhai a achosant byspyddiad ffynnonau yn y naill fan, trwy agoryd ffynnonau newyddion mewn man arall, gwelwch hefyd wendid rhesymau y rhai a ymdrechant wadu yr Ysgrythyrau, o herwydd bod hyntoedd afonydd, a sefyllfaoedd dinasoedd, a sonir am danynt yn y Bibl, i raddau yn anghyfateb i hanesion yr oesoedd diweddar. (*I'w barhâu.*)

---

## AT OLYGWR Y GWYLIEDYDD.

Syr—Ychydig o ddyddiau yn ol derbyniais y traethodyn Saesonig a elwir "*Information published by his Majesty's Commissioners for Emigration, respecting the British Colonies in North America.*" Gan fod llawer o ddadwrdd yn ein plith yn y dyddiau hyn am y gwledydd uchod, a chan fod lle i ofni fod llawer o'n cydwladwyr yn tybied, ond iddynt unwaith fyned yno, y byddant mewn math o baradwys, gobeithiaf mai nid anghymmeradwy ac anfuddiol fydd y gorchwyl o gyfieithu y Traethodyn crybwylledig. Bwriedais unwaith anfon talfyriad o hono i chwi; ond cymmerais ail feddwl, ac wele y cyfan o hono at eich gwasanaeth.—Yr eiddoch,

*Glan Conwy.* Clywedog.

### HYSBYSIAD O BARTHED Y TREFEDIGAETHAU PRYDEINIG YN NGOGLEDD AMERICA.

*Swyddfa Drefedigaethol, Chwef. 9, 1832.*

Amcan y Traethodyn hwn yw rhoddi y cyfryw hysbysiadau ag a fydd yn fuddiol i ddynion a chwennychant dramori, neu gynnorthwyo ereill i dramori i'r Trefedigaethau Prydeinig yn yr America Ogleddol.

Yn y lle cyntaf, dymunol yw dynodi pa fath gynnorthwy a all y rhai a gyrchant

i'r Trefedigaethau hyn ddisgwyl oddiwrth y llywodraeth. Ni rydd y llywodraeth ddim arian i'r cyfryw ddynion cyn iddynt gychwyn o'r wlad hon; ac wedi iddynt gyrhaedd i'r Trefedigaethau, ni anrhega hwynt â thiroedd, nac arfau, nac ymborth. Rhoddwyd addewidion i'r Mudwyr *(Emigrants)* o'r holl bethau hyn weithiau gan ddynion yn y wlad hon a chwennychant ennill arian drwy eu trosglwyddo i'r America Ogleddol, ac am hyny yn ewyllysgar i'w twyllo hwynt gyda disgwyliadau disail, yn llwyr anystyriol o'r siomedigaeth a deimla y trueiniaid wedi cyrhaedd yno. Ond dymuniad y llywodraeth ydyw rhoddi i'r mudwyr hysbysiad cywir o ansawdd pethau yn y gwledydd hyny, i'r rhai y maent yn cyrchu.

Ni roddir y fath gynnorthwy anghyffredin ag a grybwyllir uchod; oblegid, yn y Trefedigaethau hyny, lle y bydd y rhai a chwennychant weithio, yn sicr o ddyfod ym mlaen yn dda, nid oes dim achos am y fath anrheg. Yn yr amser a aeth heibio, gwir yw fod y trefedigion yn cael anrhegion o dir: ond pan gymmerwyd ef gan ddynion tlawd, gwelsant nad oedd ganddynt fodd i fyw nes y cynnullid y cnydau; ac heblaw hyny, gwelsant fod eu gwybodaeth am y modd o drin tir yn y wlad hòno yn rhy fychan i'w galluogi hwynt i fyned ym mlaen yn dda. Wedi y cwbl, rhaid oedd iddynt weithio am gyflog, nes y casglent ryw faint o arian, ac y dysgent ychydig o'r modd y trinir tir yn Canada. Ond yn awr ni ellir cael meddiant ar erw o dir yno, heb ei brynu. Er fod pris y tir yn dra chymmedrol, etto y mae yr arian a geir wrth werthu tiroedd yn debyg o fod yn gyllidfa fawr, yr hyn a fydd er lles i'r Trefedigaethau, ac, o ganlyniad, i'r rhai a gyrchant iddynt. Ar yr un pryd nid yw y drefn hon yn peri dim caledi i'r mudwr tlawd, oblegid gall weithio am gyflog yn gymmwys fel o'r blaen: ac ym mhen ychydig gall brynu tir, os hyny yw ei ddymuniad, gyd â'r arian a gasglasai; a'r cyflogau uchel yn y Trefedigaethau hyn a'i galluogant ef i gasglu llawer mewn ychydig amser.

Y cyfryw yw y rhesymau paham y tybia y llywodraeth yn afreidiol anrhegu pobl â thir mewn gwlad lle y gall dyn llafurus, oblegid iselder pris y tir, helaethrwydd gwaith, a chyflogau uchel, ennill digon mewn ychydig o dymhorau i ddyfod yn uchelwr *(freeholder)* drwy ei ddiwydrwydd ei hun.

Gan mai wrth *auction* y gwerthir y tir, bydd ei bris yn ymddibynu ar y cynnygiadau a wneir. Ond, yn gyffredin, ni werthir ef am lai na 4*s.* neu 5*s.* yr erw *(acre)*: ac yn y parthau hyny lle y gwnaethpwyd ffyrdd, neu yr arloeswyd y tir i ryw radd, y prisiau cyffredin diweddaf oeddynt 7*s.* 6*c.*—10*s.*—a 15*s.* Ceir hysbysiad ychwanegol a manylach yno yn y man a'r lle; ac ymdrechir hyd yr eithaf i foddloni y prynwyr yn ol eu gwahanol amgylchiadau.

Er na fydd i'r llywodraeth anrhegu neb a fyddo yn myned i Ogledd America â thiroedd ar draul y wladwriaeth, etto ceidw oruchwylwyr ym mhrif borthladdoedd y Trefedigaethau, dyledswydd y rhai, heb na thal na gwobr gan y mudwyr, fydd eu dïogelu pan gyrhaeddant yno gyntaf, rhag cael eu twyllo—hysbysu iddynt lle y mae angen am lafurwyr yn y gwahanol barthau—eu cyfarwyddo hwynt am y modd goreu a rhataf i ymdeithio, a rhoddi pob cyngor buddiol iddynt o barthed y pethau oedd yn eu golwg pan drafuriasant. A phan y methir cael gwaith yn ebrwydd gan briodor, rhoddir hwynt i lafurio yn y gweithydd a yra y Llywodraeth y'mlaen yn y Trefedigaethau. Wedi iddynt gyrhaedd yno, ni ddylent oedi myned at y Goruchwylwyr dan y Llywodraeth i ymgynghori â hwynt: a dylent uwchlaw pob dim ochelyd ymdroi yn y porthladdoedd, lle y maent yn agored i gael eu twyllo ym mhob modd, a lle y denir hwynt i aros mewn tafarndai nes y treuliont y cyfan o'r arian a ddigwyddo fod yn eu meddiant.—I'r un diben o ymogelyd rhag pob twyll i'r hwn y mae 'r dieithriaid yn agored, ac o'u hattal hwynt rhag gwastraffu eu harian ar y cyntaf, tra dymunol fyddai i'r sawl a ddymunant ddiwallu y mudwyr âg arian i'w cynnal yn y Trefedigaethau, drefnu rhyw foddion i'r arian gael eu talu yno, yn hytrach na'u rhoddi i'r mudwyr cyn eu hymadawiad o'r wlad yma.* Y mae Goruchwylwyr wedi eu

* Y mae moddion yn awr wedi eu trefnu gogyfer a'r gwrthddrych dymunol hwn, fel y gwel ein darllenwyr yn niwedd y traethawd hwn yn ein Rhifyn nesaf.

sefydlu yn St. John's, St. Andrews, a Miramichi, yn Brunswick Newydd; yn Quebec a York, yn Canada. Y Goruchwyliwr yn Quebec yw A. C. Buchanan, Ysw.—yn St. John's, A. Wedderburn, Ysw.—yn St. Andrews, G. N. Smith, Ysw.—ac yn Miramichi, J. Cunard, Ysw. Ni hysbyswyd etto beth yw enw y Goruchwyliwr yn York. Wrth derfynu, gellir sylwi y gwneir pob ymdrech i rwyddhau ffordd y mudwyr o'r Porthladdoedd, i'w rhwystro rhag treulio eu hamser yno yn ofer, ac i roddi iddynt bob cyfarwyddiad ynghylch y modd goreu o ennill eu bywioliaeth.

Wedi egluro fel hyn y cymmorth a rydd y Llywodraeth i fudwyr, adroddir yr hysbysiadau canlynol ynghylch y draul gyffredin am fordaith o'r wlad hon i'r Trefedigaethau—ac ynghylch y cyflogau yn gyffredin—a phris ymborth yn y lleoedd hyny, fel y gallo pob dyn farnu drosto ei hun am y manteision sydd yn ei annog i gymmeryd ei drigfa yn y Trefedigaethau yn yr America Ogleddol.

TRAUL AM FORDEITHIO.

Gall dyn fyned i Quebec neu Brunswick Newydd naill ai trwy gytuno â goruchwylwyr llongau am y daith a'i gynnaliaeth, neu am y daith yn unig, ac iddo fyw ar ei fwyd ei hun. Os dewisir y ffordd olaf, yr unig bethau a ddarpara meddiannydd y llong fydd, dwfr, tân, a *lle* i wely; ond rhaid i'r ymdeithydd barotôi gwely, a dillad. Cludir plant dan 14 oed am hanner, a phlant dan 7 mlwydd oed am y drydedd ran, o'r hyn a ofynir am gludiad dŷn. Ni ofynir dim am gludo plant dan 1 mlwydd oed. Y pris cyffredin am y fordaith a lluniaeth o Lundain, neu o'r Porthladdoedd ym mharthau dwyreiniol yr Ynys hon, ydyw £6; am y daith yn unig £3. Y mae y pris ryw faint yn llai o Le'rpwll, Greenock, a Phorthladdoedd yr Iwerddon: eleni fe allai y bydd y pris o £2 i £2 10s. heb fwyd, ac o £4 i £5 gyda bwyd. Po hwyraf y cychwynir yn y tymhor, uchaf yn y byd fydd y draul am y fordaith. Arfer fwyaf gyffredin y rhai a deithiant yn y llongau o Scotland a'r Iwerddon, ydyw cymmeryd lluniaeth gyda hwynt; ond nid yw yr arfer yma mor gyffredin yn llongau Llundain: a rhai o'r Marsiandwyr, gan wybod fod canlyniadau peryglus wedi tarddu oddiar anwybodaeth yn y peth hyn, ydynt yn anfoddlawn i dderbyn ymdeithwyr os na chytunant am y *daith* a'r *bwyd*. Dylai y rhai a ddewisant gymmeryd eu bwyd eu hunain, ofalu i ddarparu digonedd o ymborth: dylid ceisio digon am 50 niwrnod o leiaf, yr hyn yw yr amser byraf yn mordwyo yno, ac weithiau byddis cymmaint a 75 niwrnod, yn mordwyo o Lundain i'r Trefedigaethau.

Yr amser goreu i ymadael o Loegr ydyw yn ddiau yn misoedd Mawrth ac Ebrill: nid yw y rhai a gychwynant wedi hyny yn debyg o gael gwaith mor dda, a byddant am lai o amser yn y Drefedigaeth cyn dechreuad y gauaf. Gellir cael hysbysiad am enwau y llongau a fordwyant i'r Trefedigaethau yn America, ynghyd âg enwau eu *Brokers*, ym mhob Porthladd yn y deyrnas, drwy ymofyn *yn bersonol* â'r Swyddogion y *Custom-house*. Ond ni all y Swyddogion ateb y llythyrau ar y pwngc hwn: am hyny rhaid i ddynion ag sydd yn byw ym mhell oddiwrth y môr awdurdodi cyfaill i ymofyn am yr hysbysiadau hyn yn Nholldŷ y Porthladd o'r hwn y dymunant fordwyo. Rhoddir hysbysrwydd o enw y llong—y lle y mae yn myned—a'r amser y mae yn cychwyn—yn fynych yn y Newyddiaduron.

Y mae mudwyr yn dra agored i gael eu twyllo mewn llawer modd; ac nid oes dim ond eu synwyr da eu hunain a ddichon eu gwaredu hwynt rhag hyny. Weithiau gofyna Goruchwylwyr y llongau am dâl gan y mudwr am y fordaith, yna cynghorant ef i fyned i aros mewn tafarndŷ, lle y cedwir ef o ddydd i ddydd nes y treulir ei holl arian cyn i'r llong hwylio o'r Porthladd. Nid yw y Goruchwylwyr a berthynant i longau marsiandwyr cyfrifol yn euog o'r fath ymddygiad cywilyddus. Ond y ffordd ddiogelaf ydyw pennodi *diwrnod* yn y cytundeb am y fordaith, ar ol yr hwn y derbynir y mudwr ar fwrdd y llong, ac y cynnelir ef ar draul perchenogion y llong, pa un bynag a fydd hi yn barod i gychwyn ai peidio. Yn y modd hyn, ni chymmellir y mudwr i ddyfod yn rhy fuan i'r Porthladd, ac i wario ei arian yn y tafarndai, oblegid iddo gael hysbysiad anghywir o'r amser yr hwyliai y llong; o herwydd o'r diwrnod y cyrhaedda efe y

Porthladd, sef y diwrnod a bennodwyd o'r blaen yn y cytundeb, y llong yw ei gartref.

Y mae cludiad ymdeithwyr i'r Trefedigaethau Prydeinig yn yr America Ogleddol yn cael ei reoli yn ol Ysgrif y Senedd (9 Geo. IV. c. 21); ac wele rai o'i phrif drefniadau:—Ni chaniatâir i ymdeithwyr fyned gyda llongau, os na bydd 5½ o droedfeddi rhwng ei byrddau (*decks*): nid oes iddynt gymmeryd rhagor na thri o ymdeithwyr i bob pedair tunnell o nwyfau; a rhaid iddi gael, o leiaf, 50 galwyn o ddwfr glân, a 50 pwys o fara, *biscuit*, neu flawd ceirch, i bob ymdeithydd. Pan y bydd nifer yr ymdeithwyr ar fwrdd y llong gymmaint ag a ganiatâ y gyfraith, nid oes i nwyfau na lluniaeth gael eu rhoddi rhwng y byrddau: ond os na fydd y nifer yn gyflawn, gellir rhoddi ychydig o nwyfau rhyngddynt. Os bydd i Reolwyr llongau lanio ymdeithwyr mewn rhyw le heblaw y lle a bennodwyd cyn hwylio o'r Porthladd, oddieithr gyd â'u cydsyniad eu hunain, gellir eu gwysio ger bron dau Swyddog Heddwch yn un o'r Trefedigaethau, a gorfyddir arnynt dalu dirwy o £20.

Ar Swyddogion y Tolldŷ (*Custom House*) yr ymddibyna rhoddi y cyfreithiau hyn mewn grym: am hyny dylai y rhai a wyddant am droseddiadau o honynt, anfon eu hachwyniadau i'r Tolldŷ yn y porthladd agosaf atynt.

Dylai y rhai a fwriadant fyned i Canada ofalu i geisio digon o arian, nid yn unig i dalu am y fordaith o Loegr, ond hefyd i'w cludo hwynt cyn belled ag y dymunent fyned wedi iddynt gyrhaedd Quebec. Traul yr ymdaith hon a ymddibyna ar bellder y sefyllfa lle y gall y mudwr gael gwaith, neu lle yr ewyllysiai gyfanneddu; ond efallai mai buddiol fydd i bawb gael yr adroddiad canlynol o'r prisiau am y daith o Quebec i York, prif ddinas Canada Uchaf, yn y tymhor diweddaf. Y draul o Quebec i Montreal (180 milltir) mewn agerdd-long oedd 6*s.* 6*c.* am ddyn wedi tyfu i fynu; o Montreal i Prescot (120 milltir) mewn cychod, 7*s.*; o Prescot i York (250 milltir) mewn agerdd-long, 7*s.* Cyflawnir y daith fel hyn mewn 6 diwrnod yn gyffredin: os ychwanegwn 11*s.* am luniaeth, yr holl draul am y daith o Quebec i York (550 milltir) oedd £1 11*s.* 6*c.* yn ol prisiau y flwyddyn ddiweddaf. Y rhai a feddiannant ddigon o foddion a ddewisant deithio ar y tir y rhan hyny o'r ffordd nad ellir myned âg agerdd-longau ar hyd yr afon St. Lawrence: yn y modd hyn cyflawnir y daith yn gyffredin mewn 6 diwrnod, a'r draul yw £6. Rhaid sylwi fod y prisiau am gludiad ymdeithwyr yn gyfnewidiol; ond tybir fod yr hysbysiad uchod hwn yn ddigon cywir i alluogi dynion yn y wlad hon i gael rhyw amcan ar y draul. A gellir cael hysbysiadau cywirach gan y Goruchwyliwr sy dan y Llywodraeth yn Quebec.

(*I'w orphen yn y nesaf.*)

---

SYLWADAU AR FREUDDWYD R. LL.

Mr. Gwyliedydd—Yn eich Rhifyn am fis Mawrth diweddaf, sylwais ar un peth neillduol sydd yn gynnwysedig ynddo, mewn *breuddwyd* o eiddo *R. Ll.* yr hwn a *dybiasai ei fod yn sefyll ar lan afon angeu*: ac, ym mysg pethau ereill, efe a ddywed y geiriau canlynol:—"Sut (medd ef) yr â y gwr acw drosodd, ac ar ei gefn anferth lyfr o Gorph Difinyddiaeth, heb fawr ddim ond testynau o'r Ysgrythyr o wirionedd ynddo." Diau, Mr. Gwyliedydd, fod y geiriau dychymmygol hyn, a rhai pethau ereill yn y breuddwyd hwn, yn cyfeirio at y llyfr a gyhoeddais yn ddiweddar yn erbyn Calfiniaeth, o dan yr enw "Corph o Dduwinyddiaeth, neu Draethawd ar Etholedigaeth a Rhagarfaethiad, a'r Pyngciau ereill sydd yn ymddibynu ar hyny, megys y gosodir allan yn y ddau Destament, sef yr Hen a'r Newydd." Nid rhaid i mi byth gywilyddio oblegid y Traethawd hwn, gan i mi ddilyn rheol athrawiaeth y Parchedigion Wesley, Fletcher, Adam Clarke, Watson, a llaweroedd o enwogion o'r Eglwys Sefydledig, yn gystal a gwyr tra dysgedig ym mhlith yr Anymddibynwyr, drwy 'r gwaith; ac hefyd, oblegid i mi dderbyn tystiolaeth ysgrifenedig oddiwrth laweroedd o'r duwinyddion mwyaf cyfrifol a dysgedig, o wahanol enwau, y'Nghymru, er's pan gyhoeddais y llyfr hwn, y rhai sydd oll yn ei gymmeradwyo ym mhell uwch law fy nisgwyliad; ac yn benaf dim, am fod fy nghydwybod fy hun yn tystio ei

fod yn unol â'r Datguddiad Dwyfol: a chyfeiriaf y darllenydd at yr hyn a ddywed yr Eurgrawn Wesleyaidd am dano, megys y canlyn:—

"Gallwn ddywedyd, wedi darllen y llyfr hwn drosodd, ei fod yn eithaf teilwng o'r ganmoliaeth a roddir iddo yn y *North Wales Chronicle*, am Medi yr 20fed, 1831. Dywedir yno am dano fel hyn:—

"'Y mae yn ffrwyth llawer o fyfyrdod a dyfal-chwiliad gan ei awdwr, yr hyn, trwy ei gyhoeddi yn iaith ei fam, a gynnysgaeddodd ei gydwladwyr â'r trysor mwyaf ei werth. Nis gallwn ammeu, oddiwrth y derbyniad gwresog a gafodd mor gyffredin gan wyr o ddysg a thalentau, na fydd i hwn yn fuan fod yn Draethawd sefydlog ar Dduwinyddiaeth. Y mae hir alw wedi bod yn y Dywysogaeth am y fath Draethawd, ac y mae ei awdwr yn teilyngu diolchgarwch a chynnorthwy ei gydwladwyr am roddi ei dalentau a'i amser i wneud i fynu y diffyg hwn.'

"Fe arbed y llyfr hwn lawer o draul a choll-amser i'r ymofyngar am wir wybodaeth, am y caiff ynddo swm a sylwedd ugeiniau o gyfrolau wedi eu casglu yn nghyd, a'u gosod yn ngeiriau eu hawdwyr o'i flaen, ynghyd â chyfeiriadau at y manau y maent i'w cael; ac hefyd, y pethau sydd a gwahanol ystyr iddynt yn ngair Duw, wedi eu gosod yn eu dosparthiadau priodol. Nis gallwn lai na dymuno fod un o'r llyfrau hyn ym mhob myfyrgell, ac un ym mhob teulu trwy y Dywysogaeth; canys y mae yn deilwng o hyny. Ni a ddyfynnodwn ychydig o waith yr awdwr yn ei Ragymadrodd:—

"'Gan mai nid pethau cyffredin a wna y tro at archwaeth yr oes bresennol, myfi a dreiddiais i bethau anghyffredin, ac a ymdrechais egluro (nid rhyw adnod neu ddwy yma a thraw, ond) meddwl yr Ysgrythyrau o'r penbwygilydd, yr hyn a barodd i mi alw y Traethawd hwn yn Gorph o Dduwinyddiaeth.'

"Y mae yr awdwr dysgedig wedi ymgadw yn berffaith gysson â'r dyfyniad uchod drwy ei holl waith; yn yr hwn y mae yn amlygu gwybodaeth helaeth o feddwl Gair Duw, a medrusrwydd a llafur mawr i'w iawn ddosparthu." Gwel yr Eurgrawn uchod am Chwefror diweddaf, tu dal. 50, 51.

Gan na fedr *R. Ll.* roddi atebiad mewn ffordd dêg a rhesymol i'r llyfr uchod, wele, nid oes gan y gwr hwn ddim ond darlunio rhyw ddychymmygion gweigion gan yn fy erbyn, yr hyn, yn wyneb y gwaith, a ddiflana megys tarth y boreuddydd yn wyneb yr haul disglair. Od oes dim anwiredd ynddo, y mae hyny yn perthyn yn gwbl i'r awdwyr Calfinaidd a ddyfynnodais drwy y gwaith: felly, cymmwys iawn y gallaf ddywedyd wrth *R. Ll.* "mai dy enau dy hun a dystiolaethodd i'th erbyn;" ac yr wyf yn galw arno i brofi, os baidd ef, ddarfod i mi wneuthur cam neu anghyfiawnder â'r athrawiaeth neu 'r awduron hyny, yn y radd leiaf, drwy 'r cyfansoddiad. Hawdd gwybod pwy yw awdwr y breuddwyd hwn, wrth ei gydmaru â'i ddull yn pregethu pethau dychymmygol o'r fath, yn hytrach na phethau sylweddol ac adeiladol i'r bobl: ac yn wir, gellir dywedyd, a hyny yn dra gwirioneddol, fod gormod o freuddwydion a dychymmygion cenhedlig a Phaganaidd yn aros hyd y dydd hwn yn ngwlad yr Efengyl, yr hyn sydd yn andwyo y grefydd Gristionogol, ac nis gall hi byth hanfodi i berffeithrwydd yn neb heb ei phuro oddiwrth y fath ddychymmygion ofer a disail. Nid oes genyf un ammheuaeth nad yr awdwr hwn a ysgrifenodd lythyr dan yr enw *Latimer* yn fy erbyn cyn i'r Traethawd fyned i'r Wasg, gyda bwriad i attal pob annogaeth iddo cyn ei gyhoeddi; (Gwel ragymadrodd y llyfr) canys arwyddwyd, a thalwyd toll, y llythyr bradychol hwnw yn y dref lle mae *R. Ll.* yn cyfanneddu ynddi.

D. S. Y mae *R. Ll.* fel yn beio ar y *Crynwr am na thaflai ei het â'r cantel llydan o'r neilldu—yr Esgobion, am na thaflant ymaith eu perwigau*—ac ar y *Wesleyaid*, hwythau, am na wnant yr un peth â'u *bênketiau, &c.* fel i arwyddo, mae 'n debyg, nas gallant fyned i'r ochr draw yn llwyddiannus, heb fod eu penau yn gwbl *grynion* fel yr eiddo ef ei hun: ond pa sut y gwnant hyny heb *wyrthiol ras* i'w gwneud yn ewyllysgar yn y gwaith? Nid yw'r gras a ganiatêir iddynt ddim yn ddigon i'w gallnogi i ymadael â'r cyfryw bethau, sydd megys attalfa iddynt rhag myned o honynt i'r *ddinas sanctaidd:* felly ammhossibl iddynt wneuthur dim ond myned ym

mlaen yn eu pechodau; canys nis gallant, mwy na'r corph marw yn y bedd, gyflawni un ammod—un ddyledswydd—un ymdrech, na moddion tu ag at gael golwg ar eu cyflyrau andwyol a cholledig; nac i erfyn am gymmorth yr Yspryd Glân yn y gwaith, heb weithrediadau *gwyrthiol ac anorchfygol* ar eu cynneddfau; yr hyn sydd, mewn mesur mawr, yn gwbl gydunol, ac yn dra chyson â'r *athrawiaeth newydd o blaid gwyrthiau, a thafodau dieithr, &c.* a bregethir yn y deyrnas hon. Er hyny, y mae *R. Ll.* fel yn euog-farnu pawb, o bob enw, oddigerth ei enw ei hun, am na thaflant ymaith yr hyn y mae ef yn ei olygu a fydd yn dramgwydd iddynt yn nglàn afon angeu; ac nid oes ond un ffordd, o ddwy, iddynt i gael ymwared â'r beichiau hyn wrth groesi 'r afon hon; sef, naill ai yn nerth natur lygredig, neu ynte, trwy *wyrthiol ras:* ac amlwg yw nad oes dim, yn y mesur lleiaf, yn gorphwys arnynt hwy tu ag at effeithio hyny yr un o'r ddwy ffordd yma: er y condemnir hwy i'r graddau eithaf gan *R. Ll.* am na thaflant ymaith bob peth sydd megys rhwystr iddynt rhag myned i'r bywyd.—Ond pa fodd y cyfiawnheir *R. Ll.* yn ei farn (fel beirniad) os na eddyf ef fod llwybr canol wedi ei drefnu a'i ddatguddio yn yr Ysgrythyrau tu ag at achub dynion, sef trwy ddylanwadau a gweithrediadau cyffredinol yr Yspryd Glân ar eu cyflyrau (*Deut.* 8. 5. *Neh.* 9. 20. *Ps.* 95. 7—11. *Hos.* 11. 3, 4. *Joel* 2. 28. *Ioan* 16. 8. *Deut.* 30. 14. *Rhuf.* 2. 4. a 10. 8.) trwy y goleuni sydd yn goleuo pob dyn a'r y sydd yn dyfod i'r byd (*Ioan* 1. 4, 9.) a'r dawn a ddaeth (trwy gyfryngdod a chyfiawnder Crist) ar bob dyn i gyfiawnhad bywyd. *Ioan* 12. 32. *Rhuf.* 5. 18. *Heb.* 2. 9. Nid yw hyn, mi feddyliwn, yn yr ymarferiad o honynt, ddim yn ddigon gan *R. Ll.* i argyhoeddi dynion, ac fel i'w goleuo a'u galluogi i holi eu hunain—i weled, ac i gydnabod eu pechod a'u trueni mawr wrth natur—i ddyfod, mewn edifeirwch calon a gostyngeiddrwydd yspryd, at draed yr Iesu i'r llwch a'r lludw—i weddïo am gymmorth ei hael Yspryd yn y gwaith; ac i bwyso, trwy ffydd, ar ei haeddiant ef yn unig am faddeuant ac Iachawdwriaeth i'w heneidiau anfarwol. Rhaid cael rhywbeth uwchlaw hyn fel i'w *traws gymmell* yn y gwaith; ac etto, hwy a fernir â barn ddi drugaredd gan *R. Ll.* am na thaflant ymaith bob peth a berthyn i'r cnawd, a chyflawni yr holl bethau hyn cyn diwedd eu gyrfa; yr hyn sydd yn annichonadwy i'w gyflawni heb *wyrthiol neu anorchfygol ras.*

Mae *R. Ll.* yn addef fod y testynau uchod o'r ysgrythyr, sydd yn gynnwysedig yn fy Llyfr, yn *wirionedd;* eithr y mae ef fel yn cyfrif nad yw fy ngolygiadau arnynt *ddim yn wirionedd.* Ond gofynaf iddo, pa olygiadau ereill a ellir yn rhesymol ac yn gydwybodol roddi ar y cyfryw destynau, a miloedd o Ysgrythyrau cyffelyb iddynt, heb wneuthur cam ac anghyfiawnder â dwyfol wirioneddau y nef? Onid rhaid i'r hen *system*, yr hon sydd yn *attal y Gair mewn anghyfiawnder*, roddi lle i'r newydd, cyn y caffo Crist ei bregethu (yn ddidwyll) i'r holl fyd; a chyn y delo cyflawnder y cenhedloedd i mewn, yn ol gorchymynion ac addewidion Duw ei hun.

Rhyfedd na fuasai *R. Ll.* yn beio ychydig ar laweroedd sydd yn proffesu crefydd Crist, yn neillduol yn Nghymru yn y dyddiau hyn, y rhai sydd fel yn wresog yn yr Yspryd, yn arfer *gweddi deuluaidd*, a chynnulleidfäol hefyd; ïe, yn pregethu i ereill, ac etto yn twyllo eu cymmydogion ym mhob rhith! Yn cymhell eu cyd-greaduriaid i dderbyn gwobrau anghyfiawnder am wneuthur twyll ag ereill, a cham â'u cydwybodau eu hunain; heblaw pethau ereill, y rhai nid ydynt weddus i'w hadrodd! Rhyfedd, meddaf, na fuasai *R. Ll.* yn ei ddychymmyg, yn taro ar rai o'r pethau mawrion hyn (sydd i'w canfod yn ein plith mor amlwg ag yr oedd St. Paul, a'r apostolion ereill, yn canfod pechodau rhyfygus o'r fath yn yr eglwysi yn eu dyddiau hwythau) yn hytrach na chyffwrdd â rhyw fân feiau allanol, ac yn eu gosod ar ysgwyddau dynion megys beichiau o bechodau anfaddeuol. Oni raid ymadael â'r pechod mawr yn gystal a'r pechod bach, cyn y gellir cael y *wisg brïodas*, sef *cyfiawnder cyfrifol Crist*, yr ochr draw? Nid oes, yn wir, neb yn cael ei arwisgo â'r wisg ogoneddus hon yn ei fudreddi: rhaid yn gyntaf ddïosg y pechadur o'i fratiau budron—golchi ymaith ei holl frynti, a'i sancteiddio â'r olchfa ddwfr drwy 'r gair, sef goruch-

wyliaeth gras yn yr ymarferiad o'r moddion appwyntiedig, fel y byddo ef (yr ochr yma i'r afon) yn llestr i barch, wedi ei berffeithio, a'i ddarparu i bob gweithred dda, cyn y bydd ef yn gymmwys i fyned trwy y *pyrth i'r ddinas* (yr ochr draw) canys *nid â i mewn iddi ddim aflan*. 2 *Tim.* 2. 21. *Dat.* 21. 27.

Yn awr, Mr. Gwyliedydd, gan i chwi gyhoeddi ffiloreg ddychymygol *R. Ll.* i'r byd, fel i fwrw anfri ar fy Llyfr, yr wyf yn gobeithio, ac yn erfyn arnoch gyhoeddi yr Amddiffyniad hwn yn eich Rhifyn nesaf, fel i wneuthur cyfiawnder â mi yn yr achos hwn, a byddaf ddiolchgar i chwi. ——Yr hwn wyf, Syr, eich ufuddaf wasanaethydd, a gwir garwr eich llwyddiant ym mhob daioni,

ROBERT WILLIAMS.

FRON DEG, BANGOR, }
*Ebrill 5ed*, 1832. }

# BARDDONIAETH.

## AWDL

AR DDYFODIAD YR ANRHYDEDDUS GADBEN WILLIAM BAGOT, O BARC-PYSGODLYN, I'W OED, MAWRTH 27, 1832.

*A adroddwyd o flaen R. H. Jones, Ysw. Cadeirîwr, a channoedd o gyfeillion.*

CROESAW ddydd undydd hoendeg,—têr fo gwledd
Tref a gwlad oleudeg,
Hawddammor y tymhor teg
O haelder Gwanwyn heuldeg.

Mawrth yw 'r mis mawr bris i'n bro
(Gwreseiddiawl groesaw iddo)
Pryd ganwyd prid eginyn
Pur ei glod mal "Por y Glyn;"
Sef WILLIAM wych, freinwych fri,
BAGOD ddaeth i'n bywiogi,
Trwy gyrhaedd gradd ac addoed,
Eurgain Un ar hugain oed,
Etifedd mawr llawr Parc llyn,——sef maenawr,
Perc pwys caeadlawr *Parc-Pysgodlyn.*

Llon fo araeth clŷch *Llanfwrog,*——*Rhuthyn,*
Ar waith a *Chlocaenog,*
A phellach na'r *Gyffylliog*
I'w phryd gainc deffroed y gog.

Hwylied adar gerddgar gàn
O'r cangau i roi cyngan;
Tympanau, telynau lu,
Bawb cwned biban canu;
Etto sain at a soniwyd
Deffro wna clŷch Dyffryn Clwyd;
Tân-belau a llefau llon
Ergydier hyd Gaergwydion;
Gwiw addurnwn yn ddiwrnod——anrhydeddus,
Mwya' bywiogus WILLIAM BAGOD.

Wi! bloeddiwn bawb i'w lwyddaw,——yfwn fedd
Ar fàn fainc i'w groesaw
Nes gweled, a naws goeliaw,
Saith seren y nen yn naw.

Dyludir cnud aelwydydd
O'r coed ar dân er cadw 'r dydd;
Twrf tânau syganau 'sgort
Nis diffydd hyd i *Staffort,**
Ni welir Ial na Maelawr
Gan y mwg o'r gynan mawr;
Trwst traw sŵn tros y tair sir
Ar ddeg o'r *Parc* arddygir,
I ddiben o dda wybod——parch bygar,
Mawl air bywgar y MILWR BAGOD.

Etto floedd lluoedd llawen——oll unol.
Llanwer *Hirlas Owen;*
Trown oll ein hetiau i'r nen,†
O'r abred hyd yr wybren;

Yfwn er llwydd rhwydd yr êl,
Gwir Iechyd y gwr uchel;
Holl goedydd ei feusydd fo,
Côr iach ddail, curwch ddwylo;
Corelwed, praffed pob pren,
Er parch i'r gwr a'n perchen;
Mab ARGLWYDD, hyrwydd ei hawl,
BAGOD, AER byw gadeiriawl;
Dwys iawn barch nid oes yn bod——cryf na gwan,
Na neb a'i ogan i enw BAGOD.

Hwt bruddglwyf! dwyre nwyfiaeth——llawn achos
Llawenychu 'n helaeth,
Wela ddydd yn loyw a ddaeth,
Aer a gwledd i'w Arglwyddiaeth.

Aer ARGLWYDD cain glain ei glôg,
Gwaed anwyl BAGOD enwog;
Deilliad yw yn fyw o fod
Bywgorph SYR WALTER BAGOD,
A SALBRI o fri ei fron
Glwysawl *Hosanau gleision,*
O *Rûg* fawr eurawg ei fyd,
Byw ach henbarch *Bachymbyd,*
Ac yn y *Parc* hwn yw pen——imp gwyrddfri,
O gyff SALBRI gu hoffus hwylbren.

Yn braw' i'w groesaw gwresawg——goleuer
I'n gloyw Bôr ardderchawg
Tai ei dir rhifir y rhawg,
O *Ruthyn* dros *Hiraethawg.*

Gŵyl arwydd wna 'r goleuwres
O gariad ei wlad i'w les;
Tân serch yn tywynu sydd
Gorlawen i'n gwir Lywydd;
Sef parch i'w ddydd clodrydd clan
Llais miwsig lliaws moesau,
Lladd bras, a llwyddàu bron,
At oludaw tylodion,
A rhanu yn orhynod——gardodion,
Felly wna biglon cyfeillion BAGOD.

Cadwn ŵyl, codwn eilwaith——ein dolef
I'w deuln glàn perffaith,
Iechyd llawn, ac iawn y gwaith
Coroni 'r *Parc* ar unwaith.

* *Staffordshire.*

† *Nid yw y Bardd wrth hyn yn annog i anweddusder, ond am fod amcan y testun yn cyrchu at lawenydd, ac nid rhyfyg arfer ychydig ormodiaith, mwy na "chanu pibellau a llawenychu â llawenydd mawr, fel y rhwygai y ddaear gan y sŵn," pan eneinnid Solomon yn Frenin.*

Y dyddyich anrhydeddawl
Arglwydd Bagod hyglod hawl;
Ef yw 'r gwr a fawr gerir
A bri teg gan bawb o'r tir;
Hygar a thrugar wrth raid,
Di ddolur, da i'w ddeiliaid;
Destlus ei glodfus dai gwlad
Gan gylchoedd eu gwyn galchiad;
Iach hir oes! ni cheir isod——neb noddawl
Law aur debygawl i Lord Bagod.

Elusenau ei law sy hynod——brawf
O'i brif 'wyllys parod,
A'i gedion sy'n eigion nod
O galon bur ei gwaelod.

Ystyriol yw tosturi
Porth ein nawdd i'n parthau ni;
Noethion sy glydion ddi glwy',
O'i gu nerth a'i gynnorthwy;
Plant gweinion tylodion lu
Dwysged yn cael eu dysgu:
Ei borth er cymhorth nis cau,
Gwr didwyll ei gardodau,
A'i dda fysoedd hael isod——arfollus,
P'le sy debygus Plasdai Bagod?

Uchelwaith ei oruchwylwyr——a geir
Yn gywrain drefnidwyr,
Teg a thiriawn uniawn wyr
At ddaioni'r Tyddynwyr;

Ei diriogaeth helaeth had
Yn dda oll ei ddiwylliad;
Tiroedd sawl cant o erwau
Draw sydd yn dwyn coedwydd cau;
Caerawg ei barciau eirian,
Gerddi plêth, ac hwydd plân;
Teg rodfaoedd glynoedd gwlad,
A ffrydiau dwfr hoff rediad:
Mae ar ei dir gwir rhagorawl——drysor,
Maen da mynor a mŵn dymunawl.

Castell Dinbych frych ei fron——oleuir
Gan lawen drigolion,
O barch i'w Arglwydd, llwydd llon,
Dethawl Lord Bagod weithion.

Ei hynafiaid fu'n ufydd
I gadw hwn heb dwn i'w dydd,
Pan daeth arno dro di rus
Gan *Gromwel* egni grymus;
Syr Salbri a'i yni oedd
Yn geidwad, enwog ydoedd,
Cadr safodd, tra modd troi min
Dur a bron o du'r Brenin;*
O'i âch mae bellach mewn bod——gan hyfawl,
Eurgledd bywiogawl Arglwydd Bagod.

Boed i'w fab arab curiad——abl hoffus
Yn *Bli'field* ei dreftad,
A'i Barc mawr, bri cymeriad,
Ac oes hir i'w dir a'i dad:

Hil Iarll *Dartmouth* i'w *William*,
Da ei fodd o du ei fam;†
"Meddiad hynafiaeth"‡ moddawl
Arwyddair henair ei hawl:
Yn ail i'w dad teimlad dwys,
Pur rodied ffordd Paradwys:
Priod oreuglod i'w ran,
Fawl hynaws fel ei hunan,
Ac yn ei *Barc* bo deg yn bod,——o'i lin,
Lwyth byw egin gwchelyth Bagod.

Gwyllysiwr Da,
*Sef* Robert Davies, *Nantglyn.*

---

* *Gweler yn helaeth ar hyn yn ngwaith y Parch. R. Newcome, yn Hanes Castell Dinbych.*

† *The Mother of Captain William Bagot was Louisa Legge, eldest daughter of George, Earl of Dartmouth, K. G. she died in the year* 1816.

‡ *The motto of Lord Bagot—"Possessing antiquity."*

## EMYNAU

A GYFANSODDWYD AR Y DYDD YMPRYD, SEF MAWRTH 21, 1832.

Ti, Arglwydd Ion y ddaear lawr,
A Llywydd mawr y bydoedd,
Sy'n gosod barn ar deulu 'r byd,
Am bechu 'r byd yr oesoedd.

Ystyried ddylem farn ein Duw
Wrth fyw, nid ymgaledu;
Ei feirch arswydus oddi fry,
Ar Ewrob sy'n gweryru.

Cyd-ymostyngwn oll i'r llwch,
Mewn tristwch ac mewn galar;
Yna fe dry y barnau draw,
Sy'n llwybraw drws ein daear.

Anrhydedd rhown i Dduw bob pryd,
I Lyw y byd boed moliant;
I'r Tad a'r Mab a'r Yspryd Glân,
A'r gân y bo 'r gogoniant.

G. ab Gwilym Padarn.

## ARALL.

O Arglwydd grasol arbed ni,
Drigolion Brydain Fawr:
O'n hamgylch mae dy farnau di
Mewn llawer gwlad yn awr.

Ymostwng heddyw ger dy fron
Yw ein dyledswydd ni:
Mewn manau yn y deyrnas hon
Mae dy feirch barnol di.

Rho edifeirwch yn lle haint
I'n cyd-ddarostwng oll;
Bod yn y llwch o'th flaen sy'n fraint,
Wyt gadarn Dduw di goll.

Mae 'n beiau 'n galw 'n uchel iawn
Am gosp oddiwrthyt ti;
Er hyny trwy 'r boddlonrwydd llawn
A gefaist, arbed ni.

Gwilym Padarn.

---

## YMSYNIAD WRTH GLYWED CNUL.

Cloch angeu yw! cloch angeu yw!
Rhyw enaid alwyd 'flaen ei Dduw:
Pa'm mor ddifeddwl, O ddyn llon,
Am danat ti cyn hir cwyn hon!

Y byw! y byw! O cym'rwch bwyll!
Nac ymddiriedwch mewn gwag dwyll,
Hir oes, pleserau, dyddiau gwych,
Ac angeu fory 'n canu ei glych!

O'r haf o bleser sy o flaen dyn!
Cyfoeth a phorthiant i bob gwŷn;
A'r gwŷn a'r pleser (O 'm Duw glân!)
Yn boddi dyn yn uffern dân.

Mor bell yw 'r bedd oddiwrth blant y byd!
Ac angeu 'n curo 'r drws o hyd;
"Bydd barod ddyn—O ddyn bydd fyw,
"Bydd barod i iawn farn dy Dduw.

"Pa'm ceri 'r byd, dymhestlawg fôr,
"A thragwyddoldeb wrth dy ddor?
"Yn Iesu a'i waed cais fodd i fyw
"Yn nef dros fyth i foli 'th Dduw.

J. Dyer.

# HANESION GWLADWRIAETHOL.

## NEWYDDION TRAMOR.

**Belgium.**—Y Newyddiaduron a hysbysant i ni fod materion y deyrnas hon etto heb eu sefydlu. Ymddengys fod ymbarotöadau i hunan-ymddiffyniad yn myned ym mlaen yn brysur. Galwyd am y Milwyr Cartrefol am y flwyddyn hon i fyned dan arfau yn ddioed. Hefyd, cafodd y llestri ar yr afon eu cyflenwi â magnelau. Hysbysodd y Prif Weinidog i Ystafell y Cynnrychiolwyr *(Chamber of Representatives)* fod oediad etto wedi cymmeryd lle yn nghadarnhad y cytundeb rhwng y ddwy deyrnas; ond fod Lloegr a Ffraingc am fynu penderfyniad yn ddioed.

**Twrci a Groeg.**—Derbyniwyd hanesion o Gaer Cystenyn, wedi eu dyddio y 10fed o Fawrth, ac o Smyrna y 5ed, yn sicrhau yr aflwydd a gafodd byddin y Pasha o'r Aipht, o flaen St. Jean d'Acre. Yr oedd y fyddin a'r morwyr wedi dioddef yn dost, ond er hyny dywedir eu bod yn ail warchae ar y lle.

**Portugal.**—Dywed llythyrau o Belleisle, o'r 31ain o Fawrth, fod y drydedd ran o fyddin Don Pedro agos yn barod i hwylio. Dywedir hefyd fod ynddi 800 o filwyr Ffraingc, y rhan fwyaf o ba rai ydynt hen filwyr, swyddogion pa rai oeddynt yn perthyn i Fyddin Ymerodrawl *(Imperial Army)* Buonaparte. Dywedir fod yr arfau, y dillad, a'r taclau ereill, wedi eu danfon iddynt o Loegr; a'u bod wedi eu gorphen yn y modd goreu ag oedd bossibl gan un o'r byddin-ddilledwyr penaf yn Llundain. Disgwylir y bydd i fyddin arall gael ei pharotoi yn ddioed yn Belleisle.

**Ffraingc.**—Heblaw yr amrywiol derfysgiadau sy beunydd yn cymmeryd lle yn y wlad hon, ymwelwyd â'r trigolion â'r haint dinystriol hwnw, a elwir y *Cholera Morbus*, i raddau gofidus iawn. Dywed un llythyr o Paris, wedi ei ddyddio Ebrill 14eg, fel y canlyn:—"Y mae'r ddinas hon yn parhau i ddioddef, yn y modd mwyaf arswydus, gan y *Cholera*, yr hwn, ar ei hynt ddinystriol, nid arbeda nac oed na rhyw. Dywedid nad oedd yn ymosod ar neb yn y dechreu ond y tlodion; ond yn awr y mae'r mawrion a'r cyfoethogion yn ysglyfaeth iddo. Y mae amrai o'r Seneddwyr wedi syrthio o'i flaen ef; ac er nad ydyw y radd ganolig o'r dinasyddion yn cael eu taro mor ffyrnig ganddo a'r rhai iselaf; etto, nid ydyw y clefyd hwn yn myned heibio iddynt hwythau yn hollol ddiniweid." Dywedir fod nifer y cleifion, yn ninas Paris yn unig, o ddechreu Ebrill hyd y 14eg, yn 8,349; a nifer y meirw yn 3,226. Y mae y clefyd wedi cyrhaeddyd i amrai leoedd ereill yn y wlad hon, ac yn dra dinystriol; ond ni roddwyd nifer y cleifion, na'r meirw, ond yn y brif ddinas yn unig.

---

## NEWYDDION CARTREFOL.

### Y SENEDD.

**Ty y Cyffredin.**—Ebrill 13, cyflwynodd Mr. Shaw amryw Eirchiadau o'r Iwerddon o blaid y drefn o ddysgu a arferid yn yr Ysgolion mewn undeb â Chymdeithas *Kildare Street*, yn taer erfyn na roddir dim cynnorthwy er rhwyddhau y drefn newydd o addysgu, sef caniatâu i'r Ysgolheigion ddim ond pigion yn unig o'r Ysgrythyrau i'w harferyd yn lle y Bibl yn gyflawn.

*Mr. J. E. Gordon*, a *Colonel Conolly*, a gefnogasant yr Eirchiadau, y rhai a orchymynwyd eu hargraffu.

*Colonel Conolly* a gyflwynodd dri o Eirchiadau o Swydd Armagh, yn yr Iwerddon, i'r un perwyl.

*Mr. H. Grattan* a gyflwynodd bump o Eirchiadau o leoedd yn yr Iwerddon yn erbyn y Degwm.

*Mr. Hume* a gefnogodd yr Eirchiadau hyn.

#### TRAUL Y DEYRNAS.

*Arglwydd Althorpe* a alwodd sylw y Tŷ at wneuthur y darpariadau gogyfer a thraul angenrheidiol y deyrnas, ac a gynnygiodd fod i'r holl Dŷ ymffurfio yn Gyfeisteddfod at ddwyn hyny ym mlaen. Cytunwyd i hyny. Ac wedi penderfynu ar amrywiol orchwylion y diwrnod; addoedwyd y Tŷ hyd ddydd Llun, yr 16eg.

**Ty yr Arglwyddi.**—Cyflwynwyd amryw Eirchiadau o'r Iwerddon yn erbyn y Degwm, ac yn erbyn y cyfreithiau presennol mewn perthynas i'r tlodion.

Cyflwynwyd Eirchiadau hefyd yn erbyn y Drefn Wladol Newydd o addysgu plant yn yr Iwerddon gan y *Dug Wellington*, *Arglwydd Lorton*, *Iarll Wicklow*, *Iarll Roden*, ac *Esgob Caerloyw*.

*Iarll Camperdown* a gyflwynodd amryw Eirchiadau o blaid Ysgrif y Diwygiad.

*Dug Wellington*, ac *Iarll Harewood*, a gyflwynasant Eirchiadau yn erbyn Ysgrif y Diwygiad.

*Arglwydd Holland* a gyfododd i gyflwyno Eirchiad oddiwrth y tair plaid o Ymneillduwyr, sef y Bedyddwyr, yr Anymddibynwyr, a'r Presbyteriaid, o blaid y Drefn Wladol Newydd a gynnygir i addysgu plant yn yr Iwerddon.

*Iarll Roden* a ddywedai, na ryfeddai ynghylch cynnwysiad yr Eirchiad, oblegid wrth edrych drosto, gwelai ei fod wedi cael ei arwydd-nodi gan amryw Sosiniaid, ac o ganlyniad, oddiwrth eu hegwyddorion crefyddol hwy, nis gall neb ryfeddu eu bod hwy yn ddifatter ynghylch dosparthiad y Testament Newydd.

*Esgob Caerodor* a ddywedai, ei fod yn tybied yn iawn ar bob achlysur iddo adgoffa i Weinidogion y Brenin na ddylent mewn un modd roddi un rhwystr i daenu yr Ysgrythyrau Sanctaidd; a galwai arnynt i edrych yn dra manwl i reolau y Drefn Newydd o addysgu, rhag iddynt dueddu at hyny.

*Iarll Grey* a ddywedai, mai yr unig ddiben oedd ganddo ef, oedd rhoddi i Brotestaniaid a Phabyddion yr un manteision i gael addysg moesol a chrefyddol.—Cyflwynodd dri o Eirchion o blaid

### YSGRIF Y DIWYGIAD.

Dechreuwyd y ddadl gan *Arglwydd Wynford*, yr hwn a areithiodd yn hir yn erbyn ail ddarlleniad yr Ysgrif; a diweddodd trwy ddywedyd, er fe allai mai hwnw oedd y tro olaf y cyfodai ei lais yn y tŷ hwnw, etto yr oedd yn rhaid iddo ei godi mewn gwrthwynebiad i'r Ysgrif.

*Arglwydd Durham* a gymmerodd adolygiad o'r achosion a arweiniodd i'r galwad am Ddiwygiad, a'r ymgeisiadau a wnawd o bryd i bryd i gael i'r bobl y rhyddid yr oeddynt yn haeddu ei gael. Yr oedd y trefi mawr ar un golwg yn dangos hyn, oblegid onid oedd eu preswylwyr yn perchen llawer o feddiannau yn gystal a llawer o wybodaeth? ac onid oeddynt yn cynnal mwy na'u rhan o faich y deyrnas? ac os oeddynt hwy yn gorfod cynnal y baich, onid oedd yn gyfiawn iddynt gael rhan o'r breintiau. Yn nechreu y rhyfel yr oedd y ddyled wladol yn £14,000,000; ond yn 1814, sef terfyn y rhyfel, yr oedd wedi cynnyddu i fwy na £800,000,000. Yr oedd y rhyfel wedi gwneuthur i'r wlad dreulio oddeutu £100,000,000 y flwyddyn. Yr oedd y trethi, gan mwyaf, yn cael eu talu gan ddynion mewn amgylchiadau canolig, ac nid oedd ond cyfiawnder yn unig iddynt gael dewis y bobl oedd i'w cynnrychioli.

Ar ol hyn bu llawer o ymgecru rhwng y ddwy ochr, yn enwedig rhwng Esgob Exeter, Arglwydd Durham, ac Iarll Grey.

*Iarll Caernarfon* a areithiodd yn erbyn yr Ysgrif: ac wrth ddiweddu ymbiliodd ar eu Harglwyddi i beidio gosod y fwyall ar wreiddyn pren y wladwriaeth, ond yn hytrach gwneuthur eu goreu i droi heibio y perygl â pha un y bygythiwyd hi.

*Arglwydd Goderich* a atebai araith yr Iarll, ac a amddiffynai yr Ysgrif.

*Iarll Eldon* a gyfododd, ac a areithiodd yn dra hyawdl yn erbyn yr Ysgrif, ac a alwodd ar eu Harglwyddi, er mwyn y ddyledswydd oedd arnynt i'r Brenin, ac i'w cydwladwyr o bob gradd a sefyllfa, gan eu bod, mewn perthynas i'w hiawnderau, oll yn gydradd, i wrthod yr Ysgrif. Er mwyn y graddau uchaf, y graddau canolig, a'r graddau iselaf, ni fyddai efe yn blaid i neb byth i ddistrywio bendithion y Llywodraeth, o dan ba un yr oeddym yn byw; yr hon oedd wedi gwneud pobl y deyrnas hon y rhai mwyaf dedwydd ar wyneb y ddaear; ac wedi rhoddi i'r wlad hon y gogoniant mwyaf ym mhlith holl wledydd y byd.

*Iarll Grey* a areithiodd yn hyawdl iawn o barth lleshad a buddioldeb yr Ysgrif, gan sicrhau i'w Harglwyddi ei bod wedi ei ffurfio, yn ol eithaf ei wybodaeth a'i fedr, er diwallu diffygion y wladwriaeth. Etto, nid oedd efe ddim am wadu nad oedd gan Ddirprwywyr (*Committee*) y Tŷ hwnw gyflawn awdurdod a chyfleusdra i'w chyfnewid fel y gwelont hwy yn oreu. Wrth orphen, galwai ar eu Harglwyddi ar iddynt ganiatau i'r Ysgrif hon, ar ba un yr oedd heddwch a thangnefedd y deyrnas yn ymddibynu, fyned i'r *Committee*; ac yno i gael ei manwl chwilio, yn y cyfryw fodd ag i roddi cyflawn foddlonrwydd i'w Harglwyddi, ac i'r wladwriaeth yn gyffredinol.

Yna rhanwyd y Tŷ; a chafwyd fod

| | |
|---|---|
| Tros yr Ysgrif .................... | 184 |
| Yn ei herbyn....................... | 175 |
| Mwy dros yr Ysgrif........ | 9 |

Yna penderfynwyd fod i'r Ysgrif fyned i'r *Committee* y dydd cyntaf o'u cyfarfod ar ol Gwyliau y Pasg. Ymadawodd eu Harglwyddi oddeutu 15 mynyd wedi saith o'r gloch bore Sadwrn y 14eg.

---

## SESSIWNAU GWYNEDD.

*(Parhâd o du dal. 128.)*

CAERNARFON.—Dechreuodd y Sessiwn yn y dref hon ddydd Llun, y 19eg o Fawrth.

**Lladrata a Derbyn Lladrad.**—*Mary Rowlands* a *Jane Williams* a gyhuddwyd, y gyntaf, o ladrata dillad, a'r all, am dderbyn yr unrhyw, a hi yn gwybod iddynt gael eu lladrata. Y trosedd hwn sydd yn gyffredin iawn yn y parthau hyn. Profwyd fod y dillad wedi eu taenu gan eu perchenog ar y gwrych, i'r diben i'w sychu: oddi yma y cymmerwyd hwynt gan y carcharor, Mary Rowlands, a chuddiwyd hwynt yn nhŷ Jane Williams. Cafwyd hwynt yno, er fod J. Williams wedi gwadu na wyddai ddim am danynt. Rhoddwyd gair da i'r carcharorion gan amryw. Cafwyd hwynt yn

Euog. Dyfarnwyd hwynt i gael chwe mis o garchar bob un.

**Tori Ty.**—*John Roberts*, a gyhuddwyd o dori i mewn i Dŷ Dorothea Jones, gynt o Llynon, ac o gymmeryd ymaith ysgrifen-gist, yn yr hon yr oedd arian, a phethau ereill, o eiddo ei merch, Miss Ursula Jones.

*Elizabeth Williams*, morwyn D. Jones, a dystiodd iddi gau y drysau i fynu i gyd oddeutu deg o'r gloch ar nos yr 2fed o Awst. Nid oedd ei Meistres gartref, ond yr oedd Miss Jones gartref. Galwodd Miss Jones arni yn y nos, a hwy a aethant i lawr, a chawsant y drws oedd yn myned i'r ardd yn agored, ond ni chlywsant ddim. Galwyd arni drachefn ynghylch chwech o'r gloch, gan Jared Williams, yr hwn a roddodd iddi *ddesk* Miss Jones, yr hwn a adawyd yn y parlawr y nos o'r blaen. Canfuwyd caeadau y ffenestri yn eu lle, ond yr oedd ffenestr y gegin wedi ei hagoryd.

*Miss Ursula Jones* a dyngodd ei bod cyn y noswaith achod wedi gadael yr ysgrifen-gist fechan yn y parlawr: ac yr oedd ynddi fodrwy, cyllell, a dau chwe cheiniog, a hanner coron. Dychrynwyd hwynt yn y nos wrth glywed y ffenestr yn agor. Cododd y forwyn, ac aeth i lawr; ond ni chafodd ddim allan o'i le. Y boreu canlynol yr ysgrifen-gist a ddygwyd yn ol gan John Williams, a'r pethau ereill gan arddwr yr Esgob.

*Robert Owen*, garddwr yr Esgob, oedd yn gweithio oddeutu chwech o'r gloch y boreu canlynol, edrychodd oddeutu 10 o'r gloch dros y mur, a chanfu ddyn yn dyfod i fynu y gwastad-faes, ac yn troi at y mur, ac yn rhoddi ei law ynddo. Pan aeth y dyn ymaith, aeth y tyst yno, a chafodd fodrwy, a chyllell, a hen hanner coron, y rhai a ddygodd efe at Mrs Jones, ac wedi hyny i Swyddfa Mr. Hughes. Yr oedd yn sicr mai y carcharor oedd yr hwn a aeth at y mur.

*Jared Williams, Saddler*, Bangor, a dystiodd iddo ar y 3ydd o Awst, 1831, godi cyn chwech o'r gloch y boreu, a myned i'r bryn tu cefn i'r dref, lle y cafodd y gist wedi ei hagor, ac aeth â hi i Mrs. Jones.

*Robert Williams, Clerk* i Mr. Hughes, a aeth i chwilio am y carcharor, ac a'i canfu yn ymguddio mewn tŷ yn Glan'rafon, yn ymyl y fan y cafodd y garddwr y pethau. Wrth chwilio ei logellau, cafodd dri chwe cheiniog ynddynt. Pan holwyd ef, dywedodd iddo eu cael wrth chwilio am fadarch (*mushrooms*) ar y bryn, lle cafwyd y gist.

Mam y carcharor a dystiodd ei fod yn ei wely cyn deg o'r gloch y noswaith hòno, ac iddo aros yno dan agos i chwech o'r gloch.

Amryw a roddasant air rhagorol i'r carcharor: ond y Rheithwyr a'i cawsant yn *Euog.—Ei alltudio dros ei oes.*

**Tori Ty.**—*Elizabeth Thomas* a gyhuddwyd o dori i dŷ Dafydd Jones, gyda bwriad i ladrata o hono.

*Dafydd Morris.* Yr oeddwn i yn nhŷ y Cyhuddydd Dafydd Jones yn Llanllechid, ar yr 16eg o Hydref, 1831, yn gwylied gyda W. Price tra bu D. Jones yn y Capel. Yr oedd y drws wedi ei gloi, a chaeadau y ffenestri wedi eu diogelu. Ymhen oddeutu awr gwelais y carcharor yn codi y bàr i fynu, yn agor y ffenestr, ac yn dyfod i mewn i'r tŷ: hi a aeth o dan y gwely yn y llofft: dywedais wrthi, y cadwn hi yno nes y dychwelai Dafydd Jones. Anfonais am geisbwl, a daliwyd hi.

*Dafydd Jones*, y cyhuddydd. Y mae genyf gist yn fy ystafell-wely, yn yr hon yr ydwyf yn cadw fy arian. Ceisiais ddau ddyn i wylied yn fy nhŷ tra yr oeddwn yn yr addoliad dwyfol.

*William Williams.* Ceisbwl ydwyf: galwyd arnaf, a chymmerais y carcharor odditan wely y cyhuddydd; dwrdiais hi am fod yno. Y carcharor a ddiangodd y pryd hyny, ac ni chymmerwyd hi dan y 14eg o'r mis hwn.

Y carcharor a dystiodd mai i edrych am ymborth yr aethai i dŷ D. Jones, gan ei bod bron a llewygu, a chanddi ddau blentyn.

Y Barnydd a ddywedodd yr ymofynai efe yn ei chylch, ac os cai hanes da am dani, y cymmerai hyny i'w ystyriaeth.

**Tori Masnachdy.**—*Thomas Roberts* a gyhuddwyd o dori Masnachdy Mr. C. R. Smith, Bangor, a lladrata oddi yno nifer o oriorau. Gan fod pall yn y dystiolaeth, y Barnydd a gyfarwyddodd y Rheithwyr i ryddhau y carcharor.

**Ymosodiad ar Fenyw.**—*Samuel Wrench*, llongwr, a gyhuddwyd o ymosod ar Mary Williams ar y 28ain o Chwefror diweddaf. Yr oedd Mary Williams yn dychwelyd i blwyf Trefriw o Lanrwst, pan ddaeth y carcharor hyd iddi: ac wedi ymddiddan ychydig â hi, y carcharor a gynnygiodd 20 swllt iddi os deuai gyd âg ef i lwyn cyfagos. Wedi hyny cynnygiodd iddi 30 swllt, ond dywedodd hi na ddeuai hi ddim pe rhoddai iddi 30 *gini*. Erbyn hyn yr oeddynt wedi cyrhaedd i ffordd dra anghysbell oedd yn arwain at ei phreswylfa hi; y carcharor a gydiodd ynddi: hi a'i gwrthsafodd am hir amser, nes y clybuwyd ei hysgrechiadau gan wraig, yr hon a ddaeth ati; ar hyn y carcharor a ddiangodd. Aeth y wraig adref, a dywedodd wrth ei gwr, yr hwn a aeth gyd â'r ceisbwl i chwilio am y carcharor: daliwyd ef yn Nghonwy.

Er na wrthebwyd tystiolaeth y gyhuddes, er nad oedd dim brycheuyn ar ei henw da o'r blaen, etto y Rheithwyr a gawsant y carcharor yn *Ddieuog!!* a chafodd ei ryddhau yn ddiatreg.

**Terfysg ac Ymosodiad.**—Y Brenin, ar gyhuddiad James Spooner, Ysw. yn erbyn *Dafydd Pierce, Lewis Thomas, Robert Jones*, a *Dafydd Davies.*

*Mr. Wyatt* a ddywedodd, fod y cyhuddydd, Mr. Spooner, yn oruchwyliwr dan y "*Commissioners of Woods and Forests,*" a'u bod hwy wedi gorchymyn iddo arolygu darn o fynydd y'mhlwyf Penmachno, ar yr hwn yr arferai deiliaid Arglwydd Mostyn droi eu defaid a'u gwartheg. Ar y 13eg o Ionawr, Mr. Spooner a gyfarwyddodd ei weinidog, Mr. D. Lloyd, i fesur y mynydd: ond y cyhuddedigion, deiliaid Arglwydd Mostyn, a pherchenogion tiroedd ereill yn y plwyf, a ymgynnullasant, ac a'i rhwystrasant ef. Dranoeth ymdrechodd Mr. Lloyd i fesur y mynydd, ond yr oedd nifer mwy o wrthwynebwyr wedi ymgynnull. Ar y trydydd dydd aeth Mr. Spooner gyda Mr. Lloyd i fesur y mynydd; ond cyn iddynt fyned milltir, y cyhuddedigion, ynghyd â 200 o ddynion, a ddaethant at Mr. Spooner, gan ddatgan eu penderfyniad i'w rhwystro hwynt rhag myned ym mlaen gyd â'u gorchwyl. Ar hyn, Mr. Lloyd, ar ddymuniad Mr. Spooner, a gyfarchodd eu gwrthwynebwyr yn Gymraeg, ac a fynegodd iddynt fod Mr. Spooner yn oruchwyliwr dan y Goron, a bod yn rhaid iddo gyflawni ei orchwyl, ac os rhwystrent ef, y byddai gwae iddynt. Gan mai Dafydd Pierce oedd yn blaenori y terfysgwyr, ymddiddanodd Mr. Spooner âg ef, gan amlygu fod y bobl yn camgymmeryd os tybient fod y Goron yn ymdrechu i'w hymddifadu hwynt o'u hawl i droi eu hanifeiliaid i'r mynydd. Ond ni chafodd hyn yr effaith leiaf arnynt: a chan i Mr. Spooner ganfod mai ofer oedd ei ymdrechiadau i'w darbwyllo eu bod yn cyfeiliorni, gafaelodd yn y gadwyn, ac wrth iddo fyned y'mlaen, y fyddin derfysgol a safasant yn rheolaidd o'i flaen, yn ol cyfarwyddyd eu blaenor D. Pierce. Wedi i Mr. Spooner ymdrechu, ond yn ofer, i dori drwy y fyddin wrol hon, meddyliodd am droi o'r neilldu tu a'r chwith, ond yno y safai Cadpen Lewis Thomas, yr hwn a ruthrodd ar Mr. Spooner, ac a'i tarawodd ef i lawr â'i ysgwydd. Ar hyn dywedodd Mr. Spooner wrth Cadpen Lewis Thomas, "Dynodaf chwi:" ond 40 neu 50 o'r milwyr a grochlefasant, "Ni a dyngwn na ddarfu efe mo'ch taro chwi i lawr:" a llawer o honynt a ddywedasant, "Ni a dyngwn mai chwi a'n tarawodd ni i lawr." Pan welodd Mr. Spooner wroldeb y milwyr, tybiodd mai peth llwyr ammhossibl fyddai tori trwyddynt: ac efe a'i gynnorthwywyr a ddychwelasant i Benmachno.

*Mr. Spooner* a gadarnhaodd yr haeriadau a wnawd gan Mr. Wyatt.

Y Barnydd a gynghorai y cyhuddedigion i gyffesu eu bod yn Euog, yr hyn a wnaethant. Ei Arglwyddiaeth a hysbysai yn gyhoeddus, fel y rhybuddid ereill rhag bod yn euog o'r un trosedd, pod ymgynnullai 200 neu 300 o ddynion, hyd yn nod i amddiffyn eu hiawnderau, neu yr hyn a dybient eu hiawnderau, i ddychrynu ereill, ac i'w hattal hwynt rhag cyflawni eu gorchwylion cyfreithion, a thrwy hyny derfysgu yr heddwch, bod y cyfryw ddynion yn euog o drosedd mawr, ac yn agored i gosp lem.

Nid agorwyd y Llys ar y Dydd Ympryd, oblegid yr oedd y Barnwr wedi datgan, wrth gyfarch yr Uchel-reithwyr yn nechreu y Sesiwn, ei fod yn eithaf anfoddlon i agor y Llys ar ddiwrnod a gysegrwyd gan ei Fawrhydi i ymostwng ger bron ein Gwneuthurwr, ac i weddio arno. A diau fod pob gwladgarwr yn cydsynied â'i Fawrhydi o barthed yr addasrwydd o neillduo dydd i'r fath ddibenion.

MON.—Dydd Iau, yr 22ain o Fawrth, cyrhaeddodd y Barnydd dref Beaumaris.

**Lladrata Esgidiau.**—*Owen Williams* a gyhuddwyd o ladrata pâr o esgidiau, a choron, o eiddo un William Hughes. Cafwyd ef yn *Euog;* a dyfarnwyd ef i gael 12 *mis o garchar, a llafur caled.*

**Tori Ty.**—*John Hughes, John Thomas,* ac *Owen Edwards,* a gyhuddwyd o dori i Fasnachdŷ Mr. Trewick, yn Amlwch, a lledrata oddi yno dair rhôl o ffwgws, a llawer o arian a phres. Yr oedd y tri carcharor dan 14 oed!

*William Edmund.* Yr wyf fi yn golygu masnachdŷ Mr. Trewick, ym mhorthladd Amlwch. Ym mis Chwefror dygwyd baril yno i Mr. R. Jones. Aethum i'r masnachdŷ ar Sul y boreu, Chwefror y 12fed, a chefais y ffenestr wedi ei thori, a'r caead wedi ei gario ymaith. Yn y masnachdŷ gwelais fod baril Mr. Jones wedi ei hagor, a'r ffwgws wedi ei symud. Yr oedd ôl y ffwgws *pig-tail* ar y ffwgws *shag* a adawyd yno. Yr oedd yr ysgrifen-gist wedi ei hagor hefyd. Cefais dri erfyn ar yr ysgrifen-gist.

*John Jones.* Toddydd mŵn ydwyf yn *Mona Mine.* Gwelais y carcharorion wrth y *ffwrnes,* oddeutu 11 o'r gloch y nos. Yr oeddynt yn rhostio cloron. Ymadawsant yn fuan; ond dychwelasant rhwng un a dau o'r gloch y boreu. Yr oeddynt yn chwareu *pitch and toss.* Ni arosasant ond ychydig. Nid oes ond 300 o latheni rhwng y tawdd-dŷ a masnachdŷ Mr. Trewick.

*Mr. Roose.* Aethum i Swyddfa y Felin Newydd ar y 13eg o Chwefror, lle y gwelais John Thomas wedi ei ddal yn garcharor. A chymmerais ddarn o ffwgws allan o swp o ludw ag oedd yn agos i'r tawdd-dŷ.

*William Pritchard.* Ceisbwl ydwyf fi. Cymmerais y carcharorion i'r carchar; a chlywais hwynt ar y ffordd yn sôn am y trosedd, ac yn edliw i'w gilydd o'i blegid.

Y carcharorion a gafwyd yn *Euog;* a dyfarnwyd hwynt i gael eu *carcharu am 12 mis, a'u ffangellu unwaith.*

**Tori Masnachdy.**—*Owen Owens* (15) a gyhuddwyd o dori i Fasnachdy Mr. John Paynter, yn Amlwch, ar yr 20fed o Ionawr diweddaf, a lladrata oddi yno law-ddryll, ac arian, o eiddo William Evans; yr hwn a dystiodd iddo golli y pethau crybwylledig ar y noswaith uchod.

*Mr. Roose* a ardystiodd iddo glywed y carcharor yn cyffesu pa le yr oedd y llaw-ddryll. Ei fod yn feddw; na wyddai beth oedd yn ei wneuthur pan dorodd i'r masnachdŷ.

Cafwyd ef yn *Euog;* a dyfarnwyd ef i gael 12 *mis o garchar, a'i ffangellu unwaith.*

**Twyll.**—*John Hughes* a gyhuddwyd o brynu gwartheg oddiar Richard Edwards trwy dwyll.

*Richard Edwards.* Daeth y carcharor ataf ar yr 31ain o Hydref. Dywedodd wrthyf fod William Prydderch yn dymuno arno ef brynu gwartheg iddo. Dangosais wyth o wartheg i'r carcharor; yr hwn a'u prynodd ar ran Prydderch am *£70,* ac i dalu i mi yn y Gwyliau. Y carcharor a yrodd y gwartheg i ffordd, ond ni chefais erioed dâl am danynt.

*William Prydderch.* Yr wyf yn adnabod y carcharor er ys 20 mlynedd; ond ni roddais erioed awdurdod iddo i brynu gwartheg gan R. Edwards yn Hydref diweddaf. Ni dderbyniais erioed wartheg a brynwyd gan y carcharor. Yr wyf yn dal *fferm* sy rhwng 200 a 300 o erwau. Y mae y carcharor yn trin o 80 i 100 o erwau.

*Mr. Temple* a amddiffynodd y carcharor; a galwodd amrai i roddi gair da iddo ef.

Cafodd y Rheithwyr ef yn *Euog.* A'r Barnydd a ddywedodd wrtho, am ei fod mor hen, ac wedi cael gair mor dda gan ei gymmydogion, na chospid ef yn ol llymder y gyfraith. Dyfarnwyd ef i gael ei *garcharu am ddwy flynedd, a llafurio yn galed.*

DINBYCH.—Dydd Sadwrn, Mawrth 24, cyrhaeddodd y Barnydd, Syr J. B. Bosanquet dref Rhuthyn yn y prydnawn. Sul y boreu traddodwyd Pregeth yn yr Eglwys, gan y Parch. W. H. Owen, Caplan y Sirydd.

Dydd Llun, agorwyd y Llys. Y Barnydd a gyfarchodd yr Uchel-reithwyr, gan sylwi yn fyr ar rai o'r achosion a ddygid o'u blaen.

**Lladrata Gwyddau.**—*John Jones* (32) a gyhuddwyd o ladrata 4 gwydd, o eiddo Thomas Edwards, o'r Gareghova.

*Thomas Edwards,* gwas y cyhuddwr, a dystiodd ddarfod iddo glywed y gwyddau yn cadw llawer o drwst yn ystabl ei feistr, oddeutu 5 o'r gloch ar foreu y 29ain o Ragfyr. Aethum tu a'r ystabl, a gwelais y carcharor yn lladd un o'r gwyddau. Yr oedd tair ereill yn gorwedd yn feirw ar y llawr. Gofynodd i mi beidio achwyn arno: a chyn y gallais afaelyd ynddo, efe a ddiangodd. Wedi hyny mynegais i fy meistr ddarfod i mi weled y carcharor yn lladd gwyddau; ac yna gwelodd fy meistr sach yn y buarth ag ynddi ddwy chwiaden, a dwy iar.—Cafwyd y carcharor yn *Euog;* a dyfarnwyd ef i gael ei *Alltudio am bedair blynedd ar ddeg.*

**Tori Ty.**—*William Roberts,* a gyhuddwyd am dori i annedd-dŷ John Jones, o'r Ffriddgaled, yn agos i Lanrwst.

*John Jones.* Yr wyf fi yn byw yn y Ffriddgaled. Ar ddydd Sul, y 15fed o Ionawr, myfi a'm teulu a aethom i'r capel; cloais y drysau, a diogelais y ffenestri: ar fy nychweliad cefais glo y drws wedi ei dori; ac wedi myned i'r llofft gwelais fod y *bureau* wedi ei agoryd, a phum Penadur, dau Hanner Penadur, a phedwar Swllt ar bymtheg o arian gwynion wedi eu cymmeryd ymaith. O herwydd rhyw beth a glywais, aethum i chwilio am y carcharor, a chefais hyd iddo mewn tafarndŷ yn Nhal-y-cafn. Fy mrawd, yr hwn oedd gyda mi, a ddywedodd wrth y carcharor fod rhyw un wedi tori i mewn i'r Ffriddgaled, a dwyn arian oddi yno. Aethum at William Jones, *conjurer,* ond ychydig o hysbysiad a roddodd efe i mi; a drwg iawn genyf i mi erioed fyned ato, o herwydd ni roddodd ddim cynghor da i mi.

*Robert Jones.* Yr wyf yn frawd i'r tyst diweddaf. Gwelsom y carcharor yn Nhal-y-cafn: chwiliais logellau ei *glos,* a chefais gwd lliain bychan ag ynddo dri Phenadur, ac ychydig o arian gwynion. Yna dywedodd y carcharor ei fod yn gofidio yn dost dros yr hyn a wnaethai; a mynegodd i mi wedi hyny iddo dori y drws â phig; a dywedodd hefyd iddo gymmeryd yr holl arian a ddywedodd fy mrawd oedd yn y gist. Yna daliasom ef.

Amrai o dystion a roddasant air da i'r carcharor am onestrwydd. Y Rheithwyr a'i cawsant ef yn *Euog.*

Y Barnydd a ddywedodd, nad allai roddi y sail lleiaf i'r carcharor obeithio cael aros yn hŵy yn y wlad ymа. Yr oedd y trosedd yn fwy erchyll, oblegid fod preswylwyr y tŷ y pryd hyny yn addoli eu Creawdwr.

**Cadw Meddiant yn Anghyfreithlon.**—*Evan Arthur*, a gyhuddwyd o fyned i mewn i dŷ yn anghyfreithlon. Y carcharor a gyfaddefodd ei fod yn *Euog;* ond datganodd ei amcan i gael profi ei hawl i'r tŷ, yr hwn a gredai oedd yn eiddo iddo ef.—Rhoddodd y carcharor Feichiau am 100 Punt i gadw yr heddwch.

**Llosgi Ty.**—*Hugh Williams*, Amaethydd, a *Robert Williams*, *Hugh Hughes*, a *Hugh Jones*, ei weision, o blwyf Llanelian, yn Swydd Ddinbych, a gyhuddwyd o losgi bwthyn a elwir Ty'n y Bryn, yn yr un plwyf, ar yr 21ain o Ragfyr diweddaf, gyda bwriad i niweidio Thomas Roberts. Ymddengys fod Hugh a Robert Williams, dau frawd, wedi prynu y tŷ yn 1817, a bu Thomas Roberts yn byw ynddo dros enyd faith, ac yn talu rhent i Hugh a Robert Williams. Bu y tŷ yn wag am lawer o amser; a'r perchenog a roddodd ganiatâd i Hugh Hughes, a rhai o'i gymmydogion, i roddi cloron ynddo. Yn Nhachwedd, 1831, oblegid fod y tŷ wedi ei adeiladu ar y *common*, tybiodd Roberts fod ganddo gymmaint o hawl i'r tŷ a neb arall; cymmerodd feddiant o hono, ac nid ymadawai. Mynegwyd yn y cyhuddiad ddarfod i Williams a'i weision osod y tŷ ar dân, a'i losgi yn llwyr. Yr Uchel-reithwyr a wrthodasant y cyhuddiad, yn yr hyn y cydsyniodd y Barnydd. Erbyn hyn yr oedd Thomas Roberts wedi myned yn *garcharor*, yn lle yn gyhuddwr. Cyhuddwyd ef o gymmeryd meddiant yn anghyfreithlon, a chyfaddefodd ei fod yn *Euog*. Rhoddodd feichiau am gadw yr heddwch tu ag at Hugh a Robert Williams.

**Llofruddiaeth.**—*John Rogers* (30) a gyhuddwyd o ladd Edward Roberts, o'r Mwnglawdd, ym mhlwyf Gwrecsam.

*T. T. Griffith*, Ysw. Meddyg o Wrecsam, a dystiodd iddo weled corph y trengedig, ac a ddarluniodd yr hyn a welodd ar ei ben.

*William Roberts*. Bum yn ffair Llandegla ar y 26ain o Hydref diweddaf; a dychwelais o'r ffair gyd â'r carcharor i dafarndŷ yn y Mwnglawdd. Y trengedig a'r carcharor a syrthiasant allan yn y tŷ. Aethant i'r fynwent, a buont yn ymladd am hir amser. Bu y ddau i lawr yn fynych. Dychwelasant i'r ty; ond ym mhen oddeutu deng mynyd y carcharor a'in tarawodd i a'r trengedig: ac o'r diwedd aethant allan drachefn i'r fynwent i ymladd. Ymladdasant ar dir meddal; nid oedd yr un gareg yn agos iddo. Y trengedig a syrthiodd i lawr; ond ni feddyliais y pryd hyny ei fod yn friwedig. Cymmerais y trengedig i'r tŷ, a golchais ef. Ni ddywedodd iddo gael ei ddolurio. Yr oeddwn yn gorfod ei gynnal wrth gerdded. Nid oedd wedi meddwi; ond buan y syrthiodd i drymgwsg. Ym mhen dwy awr ymdrechais ei ddeffroi, ond methais. Gadewais ef yn y *parlawr*, a'i ben yn gorphwys ar obenydd ar y bwrdd. Dychwelais ato oddeutu chwech o'r gloch y boreu dranoeth. Cefais ef yn yr un sefyllfa, a methais ei ddeffroi. Efe a drengodd ynghylch naw o'r gloch y boreu hwnw. Nid oedd llawer o gasineb rhwng y ddau a'u gilydd. Yr oeddynt yn hur gyfeillgar cyn hyny.

*William Williams*. Yr oeddwn i yn bresennol pan oedd y carcharor a'r trengedig yn ymrafaelio. Y trengedig a gododd i fynu yn gyntaf ac a ddiosgodd ei *goat* oddiam dano. Y carcharor a ddywedodd wrtho na wnai efe ddim ymladd âg ef yn y tŷ; ond os deuai efe allan yr ymladdai efe. Y trengedig a roddodd y dyrnod cyntaf i'r carcharor, yr hwn a ddywedodd, "O Edward bach, paham y darfu i chwi fy nharaw i mor fyrbwyll?" Wedi hyn aethant allan ac ymladdasant.

Amrai o dystion cyfrifol a roddasant air da i'r carcharor am ddiwydrwydd, hynawsedd, ac ymddygiad da; a dywedasant iddo gadw ei fam am 12 mlynedd.

Y Rheithwyr a'i cawsant yn *Euog;* ond erfyniasant ar y Barnydd fod yn drugarog wrtho.

Y Barnydd a gyfarchodd y carcharor yn dra difrifol; a gobeithiai y byddai y ddamwain alarus a ddigwyddodd yn rhybudd iddo rhagllaw. Ond gan iddo fod yn ngharchar er ys pum mis, a bod llawer o'i gydnabod wedi rhoddi gair mor dda iddo, dyfarnai ef i gael ei *garcharu am chwech wythnos*.

**Lladrata Gwartheg.**—*Elizabeth Roberts* (31) a gyhuddwyd o ladrata buwch o eiddo Dafydd Hughes, o Gwm Allis, yn agos i Langollen. Y carcharor sydd yn wraig briod, ac yr oedd ganddi blentyn yn ei breichiau yn y Llŷs.—*Dieuog.*

**Lladrata Haidd.**—*Edward Jones* a gyhuddwyd o ladrata haidd o eiddo Richard Ffoulks, Tafarnwr, yn Llangynhafal.—*Euog.*—*Deuddeng mis o garchar.*

**Lladrata Haels** (*Shots*).—*William* Roberts (18) a gafwyd yn *Euog* o ladrata cydaid o haels, o eiddo Henry Walker Ratcliffe, o Wrecsam.—*Tri mis o garchar, a'i ffiangellu unwaith.*

**Lladrata Dillad.**—*Edward Jones* (40) a gafwyd yn *Euog* o ladrata dillad o eiddo Edward Green, Tafarnwr, yn Dinbych.—*Ei alltudio am 7 mlynedd.*

**Herw-Hela.**—*Samuel* Redrope (38) a gyfaddefodd ei fod yn *Euog* o fyned i Goedwigfa Thomas Fitzhugh, Ysw. gyda bwriad i ddinystrio hel-filod. Y cyhuddydd, gyd â'r hynawsedd mwyaf, a erfyniodd ar i'r Barnydd ddangos trugaredd tu ag at y carcharor.—*Chwe mis o garchar.*

*Robert Jones*, a *John Davies*, dau ha-lanc, a gyhuddwyd o fyned yn anghyfreithlawn i Goedwigfa J. Ll. Wynne, Ysw. Coed Coch, ar y noswaith olaf o'r flwyddyn 1831, wedi eu harfogi âg arfau i ddinystrio hel-filod. Y carcharorion a ddaliwyd ar y tir gan weision Mr. Wynne,—*Euog.*—*Tri mis o garchar bob un.*

FFLINT.—**Y Sessiwn a ddechreuodd yn** y Wyddgrug ar ddydd Iau, y 29ain o Fawrth, ger bron y Barnydd Bosanquet.

**Tori Ty.**—*Elizabeth Griffith* (35) a gyhuddwyd o dori i dŷ Enoch Evans, Rhos y Brwyn, ym mhlwyf Estyn, ar yr 31 o Awst, 1831, ac am ladrata oddi yno amryw ddilladau a phethau ereill. [Yr oedd cyhuddiad arall yn erbyn y carcharor, ei gwr, a'i merch, am dori tŷ, a lladrata caws.] Y cyhuddydd sydd yn cadw tafarn; ac ar-foreu y dydd uchod gwelodd fod rhywun wedi tori ei dŷ, a lladrata amben, dilladau, &c. Y carcharor a werthodd rai o'r pethau yn Nghaerlleon ar y trydydd o Fedi: a thra yr ydoedd yn lletya yn Nghastell Fflint, cymmerwyd oddi arni *shawl* a berthynai i'r cyhuddydd. Nid oedd y dystiolaeth leiaf er profi mai y carcharor oedd wedi tori i'r tŷ; am hyny y Rheithwyr, dan gyfarwyddiad y Barnwr, a'i cawsant yn *Ddieuog*.

**Herw-Hela.**—*William Williams* (20) a *Thomas Jones*, a gyhuddwyd o fyned ar noswaith yr 17 o Ragfyr, 1831, i Goedwigfäoedd yr Anrhydeddus E. M. Ll. Mostyn, wedi eu harfogi âg arfau i ddinystrio hel-filod.

*Mr. Hill* a ddywedodd fod y carcharorion wedi eu cyhuddo yn ol Ysgrif y Senedd; yr hon a wnaed nid er cadwraeth hel-filod, ond er amddiffyniad dynion, i'r rhai yr ymddiriedwyd iddynt am eiddo. Ac yn ol yr Ysgrif hon, yr oedd yn drosedd i dri o ddynion fyned i Goedwigfa wedi eu harfogi. Llawer o'r tystion a fuont gyd â'r carcharorion, ond cadarnheir eu tystiolaeth gan ereill.

Yna John a James Davies a dystiasant iddynt hwy fyned gyd â'r carcharorion, a phump ereill, i'r Coedwigfäoedd yn Ysceifiog, Moeldda, &c. gyd âg arfau i ddistrywio hel-filod—iddynt ladd niter mawr o gelliogod coed—ac iddynt, wrth ddychwelyd adref, gael eu dal gan y gwyliedyddion, a'u cymmeryd i Mostyn. Tystiolaeth y dynion hyn a gadarnhawyd gan Wm. Davies, Llywelyn Lloyd, Ysw. ac amryw ereill. Cafwyd llawer o geiliogod coed ym meddiant y carcharorion.

Mewn ffordd o amddiffyniad dywedasant na fuont hwy erioed ond un waith neu ddwy yn ymlid helfilod; a galwasant lawer o bobl i roddi gair da iddynt.—EUOG. Dedfrydwyd Williams i gael 6 mis o garchar, a Jones 12 mis, a llafur caled.

**Saethu yn Faleisus.**—*William Ellis* (30) a gyhuddwyd o saethu yn faleisus at Wm. Parry, gyda bwriad i'w niweidio ef. Cyflawnwyd y trosedd hwn cyn belled yn ol a'r 20ain o Ionawr, 1828, pan y darfu i liaws o Herw-helwyr ymosod ar weision y diweddar Syr T. Mostyn. Y carcharor a'i gyfeillion a ddiangasant y pryd hyny, ac ni chlybuwyd dim am danynt, nes y daliwyd W. Ellis rai wythnosau yn ol. Ar y noswaith uchod yr oedd y carcharor, ac Edward Hughes, William Huxley, a Thomas Ellis, yn arfog yn y Moeldda, lle y cafwyd hyd iddynt gan weision Syr Thomas, sef W. Parry, Edward Owens, Wm. Hughes, a Joseph Pownall, y rhai oedd ganddynt ffyn a chi mawr. Yr Herw-helwyr a dyngasant y saethent hwy y gwarcheidwaid; ar hyn gollyngwyd y ci, a saethwyd ef yn y fan. Anelwyd dryll at Wm. Hughes o fewn 12 modfedd i'w gorph; ond nid aeth yr ergyd allan. Wedi hyn saethwyd Wm. Parry yn ei fol, a churwyd ei ben ef yn dra chreulon. Yr oedd 16 o haels yn ei gorph, a 12 archoll ar ei ben, yr hyn a'i caethiwodd i'w wely am saith wythnos, ac yr oedd ei fywyd mewn perygl mawr. Dau dyst a ddywedasant fod y carcharor yn un o'r Herw-helwyr.

Y carcharor a ymdrechodd brofi ei fod mewn lle arall y pryd hyny. Jos. Hughes, mwnwr, a dystiodd fod y carcharor yn y *Carnarvon Castle*, Treffynon, o naw o'r gloch y nos hòno tan bump bore dranoeth; ond methodd ag enwi un dyn oedd gyda hwynt.—Wm. Jones, mwnwr arall, a gadarnhaodd i ryw radd dystiolaeth Jos. Hughes. Dau dyst a roddasant air da i'r carcharor am sobrwydd, onestrwydd, a *dywedyd y gwir*.—Euog.

**Tori Ty.**—*Richard Griffiths* a gafwyd yn Euog o dori tŷ James Sparrow, a lladrata caws o hono.

*John Griffiths*, mab y carcharor uchod, a gyhuddwyd o'r un trosedd; ond cafwyd ef yn Ddieuog, a rhyddhawyd ef.

**Lladrata Ceffyl.**—*John Williams* (35) a gafwyd yn Euog o ladrata ceffyl oddiar Anne Edwards, Fflint.

---

*Dafaden fawr anghyffredin.*—Ychydig o ddyddiau yn ol, torodd Mr. Daniel Phillips, March-Feddyg, Bangor, ddafaden, yn pwyso dau bwys, oddiar egwyd eboles, ddwy flwydd oed, yn Llanddeiniolen. Dioddefasai boen mawr er ys rhai misoedd, o achos ei maint a'i phwysau, ac am ei bod yn taraw wrth y troed arall bob cam a roddai. Ond er pan dorwyd hi ymaith y mae yn gwellhau, ac yn tewychu beunydd.

---

*Ieir-ladrad.*—Ar nos Wener, y 13eg o Ebrill, torwyd i fuarth Palas Esgob Bangor, a lladratawyd yr holl ieir. Ni ddaliwyd y lladron etto; ond yr ydys yn disgwyl y dygir hwynt yn fuan i afael cyfiawnder, oblegid gwneir pob ymdrech i'r dyben hyny.

---

*Celain-ymholiad.*—Ar ddydd Sadwrn y 14eg o Ebrill, cynnaliwyd celain-ymholiad yn yr *Hotel*, ym Mhorthaethwy, ar gorph Morris Roberts, gwr ieuangc oddeutu 16 oed, yr hwn a fu farw o'r niweid a dderbyniasai yn y modd canlynol:—Ar foreu y dydd blaenorol, oddeutu pump o'r gloch, yr oedd un o'r cerbydau ar droi allan o'r *Penrhyn Arms*, Bangor; ac oblegid nad oedd ymdeithwyr i fyned gyd âg ef, cymmerodd amryw o'r llaw-forwynion yn eu penau fyned gyd âg ef i lawer i'r dref. Nid oedd y gyrwr yn wyddfodol; am hyny, cymmerodd bachgen ieuangc, anfedrus ar y gwaith, yr awenau yn ei law heb gennad ei feistr; ond cyn iddynt fyned 150 o latheni o'r fan dymchwelwyd y cerbyd, a briwyd pawb o honynt fwy neu lai, ond da genym ddywedyd eu bod oll yn debyg o wellhau, oddieithr y trengedig anffodus, yr hwn a niweidiwyd gymmaint ag i achosi ei farwolaeth ar y dydd lan canlynol.—Rheithfarn, *Marwolaeth ddamweiniol.*

*Esgoriad anghyffredin.*—Ychydig ddyddiau yn ol, fel ag yr oedd yr agerdd-long *Air*, oddeutu canol ei fordd o Fangor i Le'rpwll, daeth gwewyr esgor ar wraig barchus ag oedd ar ei bwrdd. Digwyddodd fod benywod ereill yn y llong; ac yn mhen oddeutu awr esgorodd ar fachgen braf. Dangoswyd pob tiriondeb tu ag at y fam gan y Cadben Poynter, Llywydd y Llong; ac ar ei dyfodiad i Le'rpwll dygwyd y wraig ar wely i'r lan; ac yr ydys yn deall fod y fam a'r plentyn yn dyfod yn mlaen yn dda.

---

*Anffawd galarus.*—Fel ag yr oedd Robert Roberts, gwas i Mr. John Ellis, o'r Llew Gwyn, yn y Bala, yn dychwelyd adref gyda llwyth mawn o lo, pan yn agos i Gorwen syrthiodd mewn llewyg yn ymyl y ceffylau, fel yr ydys yn barnu, a gelwir yw adrodd, cyn y gallwyd ei godi, aeth yr olwynion drosto, a lladdwyd ef yn y fan. Yr oedd y llanc anffodus hwn o nodweddiad sobr a chynnil, ac o gymmeriad mawr gyd â'i feistr, ac hefyd yn gynorthwy mawr i'w fam weddw oedranus. Cynnaliwyd celain-ymholiad arno o flaen R. Williams, Yswain, o'r Bala.—Rheithfarn, *Marwolaeth ddamweiniol.*

---

Y CHOLERA MORBUS.

Dywenydd genym hysbysu i'n darllenwyr fod y clefyd dinystriol hwn wedi arafu i raddau mawr yn y deyrnas hon, yn enwedig yn y brif ddinas. Dywed yr hanes diweddaf fod nifer y cleifion yn 16, y meirw yn 8; a bod y nifer o bob parth o Brydain, er y dechreuad, fel y canlyn: cleifion, 8364; meirw, 2944. Yn Ffrainge y mae wedi bod yn dra dinystriol. Dywedir bod oddeutu 500 yn marw bob dydd yn ninas Paris yn unig. Pa gymmaint achos sydd genym ni fel gwlad i fod yn ddiolchgar i'r Arglwydd am ei ffafr tu ag attom ni rhagor Ffrainc! A bydded i drigolion y wlad Atheistaidd hono yn fuan ymostwng o flaen y llaw alluog sydd mor amlwg wedi ei estyn allan mewn barn yn eu herbyn.

---

HYSBYSIADAU LLEENYDDAWL.



---

DYRCHAFIADAU EGLWYSIG.

Yn ddiweddar cyflwynodd Arglwydd Esgob Llandaff y Parch. Evan Jones i Ficeriaeth Golvinstone.—Tadoges, Miss Thomas, Pwll-llywarch House, Sir Forganwg.

Cyflwynodd Arglwydd Esgob Tŷ Ddewi y Parch. Alfred Ollivant, A. C. Is-benaeth Coleg Dewi Sant, i Ficeriaeth Llangeler, Sir Gaerfyrddin.

---

**BU FARW,**

Ar y 4ydd o Ebrill, yn Beaumaris, er mawr alar i'w chydnabod, Mary Anne, gwraig y Parch. Evan Lloyd, Maes y Porth, Sir Fôn. Ar yr 8fed o'r un mis, ei blentyn ieuengaf.

Ar y 5ed o Ebrill, yn nhangnefedd yr efengyl, yn nhŷ ei nai Mr. Cook, o Vale Place, Hammersmith Road, Llundain, Ann, gweddw y diweddar Barch. John Roberts, A. M. Ficer Tremeirchion, Sir Fflint, yn y 64 flwyddyn o'i hoedran.

Ar y 14eg o Ebrill, mewn oedran teg, Mr. Hughes, yn nhŷ y Parch. Morris Hughes, Curad Parhaus Eglwys St. Ann, Llandegai.

Y GWYLIEDYDD.

LLYFR IX.] MEHEFIN, 1832. [RHIF. 110.

## HANES BANGOR.

MYNEGIR i ni mai BANGOR yn ARFON yw yr Esgoble hynaf ym Mrydain. Hon a elwid yn FANGOR* FAWR—yn FANGOR FAWR yn ARLLECHWEDD—ac yn FANGOR DDEINIOL, er mwyn ei gwahaniaethu oddiwrth FANGOR DDÚNOD ar lân Dyfrdwy. Mor foreu a dechreuad y chweched ganrif, sefydlwyd yma athrofa ardderchog gan DDEINIOL fab DUNOD FAWR, fab PABO POST BRYDAIN. A chyn pen hir cynnysgaeddwyd y lle â braint esgobawl, gan Faelgwn Gwynedd, yr hwn hefyd a'i hanrhegodd â thiroedd a rhoddion mawrged tu ag at ei chynnaliaeth, gan beri hefyd i'r dywededig DDEINIOL gael ei urddo yn Esgob arni, drwy law Dyfrig Beneurog, Archesgob Caerllëon-ar-Wysg. A'r Deiniol hwn a lanwodd y gadair Esgobawl hyd ddydd ei farwolaeth, yn y fl. 554, ac a gleddid yn Ynys Enlli.

Dywedir mai enw cyntefig y lle hwn ydoedd *Acaon;* a thebygol roddi iddo yr enw *Bangor* yn ganlynol i ddinystr y Fynachlog nodedig o'r enw hwnw a fuasai yn flaenorol yn *Is-y-Coed*, yn Swydd y Fflint; ymchweliad pa un a ddamweiniai tu a'r fl. 601. Ystyr yr enw *Acaon* sydd anhawdd i'w ddehonglyd, yn gymmaint nas gwyddys pa gam ysgrifen o hono a ellid ei arferyd drwy garnbylni haneswyr anwybyddus o'r iaith. Nid analluadwy i'r cyn-enw arwyddo Y-CAE-ON, o herwydd fod yn dra thebygol fod yma mewn amseroedd cynnarawl lwyn hardd-deg o goed YN yn tyfu rhwng y bryniau; gan fod y coed hyny yn dra defnyddiol y'nghyfrif yr hen Frytaniaid, y rhai a arferent yn ngwneuthuriad eu harfau milwrol, eu gwaywffyn, eu bwâau, a'u saethau. A'r coed hyn pan y tyfent mewn lleoedd cynhes cysgodawl, fyddent yn fwy gwydnion na'r rhai a dyfent ar uchel-diroedd oer-noethion. Tebygol fod rhyw gyfeiriad at hynyma gan y rhyfelwr hyglod, Llywarch Hên, yn ei ORWYNION, pan y canai—

> "Gorwyn blaen *On*, hirwynion fyddant
> "Pan dyfant y'mlaen nant."

Os gwrthddadleuant y beirniaid fod y gair *Cae* o ansawdd rhy ddiweddar i'w gymmeryd mewn enw mor foreuol, gellir ateb nad oes odid air mwy cyntefig ei arferiad y'mysg Brytaniaid, Llydawiaid, a Chernywiaid, yn enwedig os addefir fod y gair *Caer* yn deillio o hono, yr hwn a arwydda le o amddiffyniad; ac felly *Cae-On* a ellid ei ystyried yn Amddiffynfa yr Onwydd *(Ash-Fortification.)*

Dywed yr hanesydd Leland ddarfod i'r brenin Cunedda, yr hwn oedd yn byw 800 mlynedd cyn crêd, adeiladu ym Mangor deml i'r dduwies* Minerva; ond pa le y cawsai ef y cyfryw hanes, nis gwyddys.

A'r hanesydd Enderbie a edrydd fod Cunedda yn llywodraethu Prydain yn rhanog â'i gefnder Morgan, ac yn eu hymrafael â'u gilydd i Forgan gael ei ladd yn y lle a elwir o'r herwydd Margam, yn ngwlad Morganwg. A Chunedda, i dystio ei ddiolchgarwch i Ragluniaeth am ei lwyddiant, a adeiladai ym Mherth, yn yr Alban, deml i'r geu-dduw Mawrth, gan osod ynddi offeiriad gweinyddol. Ac ar ei ddychweliad i Gymru, iddo fyned yn nghyd âg adeiladu un arall ym Mangor; ond i ba eilun, nis mynegir.

Dyma'r hanesion boreuaf sydd genym yn awr am Fangor, y rhai, os cywir ynt, sydd raid eu bod yn gyfoesawl â dyddiau yr Iuddewaidd brophwyd Esaia yn yr Israel, ac yn flaenorol i sylfaeniad dinas Rufain.

* Ystyr yr enw BANGOR yw *Uchel Gôr;* Saes. *High, or Chief Choir.*

* Leland's Coll. de Reb. Brit. Vol. II. p. 425.

Eithr pan yr ystyrier fod y grefydd dderwyddol y pryd hwnw yn ei llawn rwysg, y mae yn anhawdd dyfalu pa fath demlau a adeiledid, gan nad oedd y grefydd hòno yn tybied yn weddus addoli y Mawredd o fewn adeiladau penganaid, a chronglwydi rhyngddynt a'r nefoedd. Hysbys yw yr addolent mewn llwyni cyssegredig, lle na feiddiai neb ddynesu heb yr edmygedd mwyaf. Eu hallorau hefyd, fel yr eiddo y patrieirch gynt, oeddynt feini diaddurn, ar ba rai ni chyfodid offeryn dynol rhag eu halogi.

P'odd bynag, mewn dinasoedd, lle yr oedd prif offeiriaid yn gweinyddu, diau fod ganddynt demlau i addoli ynddynt, fel yr ydym yn dirnad fod yn Asia, a pharthau ereill o'r byd er cyn côf; ac ar ddychweliad Paganiaeth, troid yr unrhyw demlau yn addol-leoedd Esgobion Cristionogol, megys mewn amseroedd diweddarach y troid Eglwysdai y Pabyddion yn eiddo i'r Protestaniaid.

Nid yw ddim yn annhebygol nad oedd Bangor yn dref, neu bentref, hyd er yn amser Paganiaeth, o herwydd ei fod yn lle mor gyfleus i bysgota yn y môr, ac yn yr aberoedd yn disgyn o'r mynyddoedd uwchlaw. Ac yn agos i'r gored y mae gweddillion o hen Gromlech, lle y tybir yr offrymid gweddïau ac aberthau am lwyddiant y pysgotwyr.

Dywedir am y tywysog Maelgwn, ar ol esgobaethu o hono athrofa Ddeiniol yn y lle hwn, ddarfod iddo un pryd amcanu ei hunan droi i arwain bywyd mynachawl yn y lle hwn; eithr drwy ddyfod amgylchiadau i ofyn ei ymdrech y'mhlaid ei wlad rhag rhuthrgyrch y Saeson, y rhai oeddynt y pryd hwn yn tyfu yn orthrymus iawn i'r Cymry, wedi bod o honynt erbyn hyny tua chan mlynedd ym Mrydain, ac wedi ymlid y cyn-drigolion i'r mynyddoedd a'r creigiau: a hyny a lesteiriai fwriad Maelgwn.

Mae hanesion yn ein hysbysu y'mhellach am Ieuaf ac Iago, tywysogion a gydreolent Gymru yn 973, ddarfod i'r olaf gael ei orchfygu mewn brwydr gan Hywel mab Ieuaf, ac felly ennill y llywodraeth yn gwbl i'w law ei hun: eithr Iago, gan ddiangc i Loegr, a ddeisyfai gymmorth Edgar, brenin y Saeson, i adennill ei hawl. Ac Edgar a ddeuai i Fangor â byddin rymus i'r perwyl, i wynebu pa rai nid oedd gan Hywel mo'r gallu, ond gorfyddai arno ildio i adael i Iago gael rhan yn y llywodraeth fel o'r blaen. Rhoddid croesawiad mawr gan Hywel i Edgar, yr hwn, er ennill mwy o enwogrwydd yn y tro, a sylfaenai eglwys newydd ym Mangor, yr hon, medd yr hanes, a adeiledid *o'r tu deheuol i'r Eglwys Gadeiriol*, ac a gyssegrid i'r Wyryf Fair. Cadarnhâai Edgar hefyd ragorfreintiau cyntefig yr Esgobaeth, a neillduai diroedd ac anrhegion tu ag at ei chynnaliaeth.

Ond y mae traddodiad yn y gymmydogaeth fod gynt Eglwys ar ochr y bryn uwchlaw yr Esgobty, yn cael ei galw Eglwys Fair, o'r hon nid oes yn bresennol ddim gweddillion, oddigerth y dywed y trigolion gaffael llawer o esgyrn dynion wrth ddiwyllio clwt o dir cyfagos a elwir Elw (neu Erw) Fair, yr hyn a brawf ei fod rywbryd yn gladdfa. Eithr yr hanes uchod a ddywed mai o'r *tu deheuol* i'r Eglwys Gadeiriol y cyfarwyddai Edgar godi Eglwys Fair, yr hyn nis gallai fod yn y fan lle y dywedir fod y gladdfa, am fod hòno o'r tu *gogleddol*.

Yn ddiweddar (os nad etto) yr oedd wrth ben dwyreiniol y tŷ a elwir *Y Croes*, yn y dref hon, ddarn o adeilad a ddefnyddid yn farchdŷ *(stable)* ag iddo ddrws a ffenestri bwâog, yn ol y dull Gothaidd; oddiwrth yr hyn y gellir casglu fod yr adeilad rywbryd yn cael ei ddefnyddio i ddiben cyssegredig; yr hyn sydd debycach fyth oddiar y dywediad fod i lawer o esgyrn dynol gael eu codi yma wrth adgyweirio y *Croes*.

Y mae sôn hefyd am Gapel Esgobaidd ym Mangor, a elwid Capel Gorfyw; eithr pwy oedd y Sant hwn, nac y'mh'le yr oedd ei Gapel, ni feddwn ddim goleu-fynag. Y mae darn o hen adeilad neu annedd anwych, ag iddo le drws bwâog Gothaidd, yn sefyll ar gyfer y tŷ a elwir y *Virgin* yn y dref hon; a thebygol yw i hwn fod gynt yn lle cyssegredig, ac fe allai mai dyma lle y safai Capel Gorfyw.

O du 'r gogledd i dref Fangor y mae ysgoldŷ Athrofa Ramadegawl y lle. Yr adeilad hwn a wnaed i fynu o weddillion hen Fynachdŷ a safai gynt yn y fan, yr hwn ar y cyntaf, medd yr Esgob Tanner, a adeiledid tu a'r fl. 1276, gan Dudur ab

Gronw, arglwydd Pen-mynydd a Threcastell ym Môn; yr hwn hefyd a'i helaethai yn 1299, ac a gleddid ynddo yn 1301. Y Tudur hwn ydoedd hendaid (taid, medd rhai) yr hyglod Owain Tudur o Ben-mynydd, yr hwn, o herwydd glandegwch ei bryd, a harddeiddrwydd ei ddynsawd, a ennillai serchiadau y frenines Catrin o Ffraingc, a gweddw y brenin Harri V. yr hon a brïodai Owain yn y fl. 1428, a hi a fu farw yn 1437, ar ol ymddwyn i'r Owain dri o feibion ac un ferch. O gynnyrch y brïodas hon yr adferid i Frydain freninoedd o'u gwaed coch cyfa ei hun, yn dechreu yn Harri VII. ŵyr i'n cydwladwr Owain Tudur, ac yn dilyn hyd heddyw: am hyn da y cânt y Bardd Seis'nig.

"No more our long-lost Arthur we bewail;
"All hail ye genuine kings; Britannia's issue, hail!"

Ond i ddychwelyd at y Mynachdŷ: mae 'r hanesion yn mynegi i ni ddarfod i'r brenin Edward VI. wneud anrheg o hono i Domas Brown a Gwilym Breton; oddiwrth ba rai y disgynai mewn amser i'r Dr. Sieffre Glyn, brawd i'r Esgob Glyn, yr hwn a'i troes yn athrofa, yr hwn drwy ei ewyllys yn 1557 a'i gadawai i ofal ei frawd a Maurice Gruffydd, Esgob Rochester. Eithr drwy i angeu gymmeryd y gwŷr hyn ymaith cyn gosod ffurfiadau yr athrofa mewn trefn, gadewid hyny i ofal Syr Gwilym Petr ac ereill, y rhai a ffurfient rëolau yr Athraw yn gydsyniawl â golygiadau yr Esgob, y Dëon, a'r Cabidwl, ynghyd âg Alexander Nowel, Dëon St. Paul.—Uwch ben yr aelwyd y mae cilcyn o hen ddelw yn cyanrychioli rhyw Ruffydd, ag iddo gleddyf hir yn ei law; ac ar y grisiau y mae careg arall, ac arni y geiriau "Ap Tudor," yn cyfeirio ond odid at gynsylfaenydd y lle, sef *Tudur ab Gronw ab Tudur* o Ben-mynydd.—Tra y parhâai y lle hwn yn Fynachlog, dywedir y cleddid yma lawer o bobl enwog heblaw a enwyd.

Mae rhai haneswyr yn crybwyll am ryw fedd nodedig yn agos i Eglwys Bangor, yr hwn a alwent, "Bedd Cunglas." Pa le yr oedd y bedd hwn nid yw hysbys, nac ychwaith pwy oedd y cyfryw ddynsawd. Rhai a dybiant mai hwn oedd y tywysog "*Cuneglase*" y sonid am dano gan yr hanesydd Gildas.

(*I'w barhau.*)

## ARWEINYDD I'R ALLOR:

NEU,

*Ychydig Hyfforddiadau ynghylch Sacrament Swpper yr Arglwydd, oddiwrth amrywiol leoedd o'r Ysgrythyr Lân, yn enwedig,*

1 Cor. 5. 7, 8.

"Am hyny certhwch allan yr hen lefain, fel y byddoch does newydd, megys yr ydych ddilefeinllyd. Canys Crist ein pasc ni a aberthwyd drosom ni. Am hyny cadwn wyl, nid â hen lefain, nac â lefain malais a drygioni; ond â bara croyw purdeb a gwirionedd."

RHAN I.—Yr amrywiol Enwau, neu Ditlau, a roddir yn Ngair Sanctaidd Duw i'r Ordinhad fendigedig o Sacrament Swpper yr Arglwydd.

Y mae 'r Apostol yn y geiriau o'n blaen yn annog ac yn cymmell y Corinthiaid i burdeb buchedd, trwy garthu allan yr hen lefain. Yr oeddynt hefyd i ymgadw rhag malais a drygioni, pob drwg ewyllys a thwyll. Yn yr un modd y dylai Cristionogion fod yn ofalus i ochelyd cenfigen, digasedd, a phob bwriad drwg. Cariad yw hyd yn nod sylwedd ac anadl y grefydd Gristionogol. Hon yw'r ddelw buraf o Dduw: canys cariad yw Duw. Ac am hyny nid rhyfedd os hi ydyw 'r glendid a'r addurn goreu o eiddo 'r Cristion. Nid yw malais yn ei egwyddorion fymryn gwell na llofruddiaeth; canys, fel y dywed St. Ioan, "Pob un a'r sydd yn casâu ei frawd, lleiddiad dyn yw." Efe sydd yn dwyn y ddelw, ac yn cyhoeddi ei hun yn hiliogaeth o eiddo yr hwn ag oedd leiddiad o'r dechreuad. A'r rheswm, trwy ba un y cefnogir y cyngor hwn, a roddir yn ngeiriau y testun: "Canys Crist ein pasc ni a aberthwyd drosom ni." Dyma athrawiaeth fawr yr efengyl. Gyd â'n Hiachawdwr ni a ddylem farw i bechod, fel trwy ddirymu corph pechod y'n gwneir yn gydblanhigion i gyffelybiaeth ei farwolaeth ef; ac hefyd i gyffelybiaeth ei adgyfodiad ef, trwy gyfodi drachefn i newydd-deb buchedd o gorph ac enaid. Rhaid i ni gael calonau newydd, modd y dilynom fuchedd newydd a duwiol. Bydded i'r Yspryd Sancteiddiol ein cynnorthwyo yn y gwaith a'r gorchwyl mawr hwn, er clod a moliant i enw Duw.

Yr wyf fi yma, gan hyny, yn cynnyg yn ostyngedig i chwi ychydig hyfforddiad a chyfarwyddyd yn y weithred fawr a godidog sydd genych i'w chyflawni. A hyn

yr ydych yn rhwymedig i'w wneuthur yn y modd goreu, pan fyddoch yn dyfod i fendigedig fwrdd yr Arglwydd. Gwaith a gorchwyl ydyw hwn, ym mha un y digwyddodd i mi yn aml weled pobl dduwiol a chrefyddol yn ceisio addysg a chyngor, gan fod yn awyddus i ddefnyddio y cynnorthwyon a dderbynient.

Wrth sylwi, gan hyny, ar yr ordinhad ardderchog yma, ar yr hon y mae pob Cristion sobr yn edrych gyd âg ystyriaeth a pharch arbenig (o herwydd y mae yn fy mwriad i, fel ag y rhydd Duw y gallu, i egluro yr *athrawiaeth* yn gystal a'r *ddyledswydd* o honi) tra chymmwys fydd, a gobeithiaf yn dra llesol hefyd, myfyrio yn awr ar *rai* o'r holl enwau a briodolir iddi yn ngair Duw.

I. Gelwir hi yn *Sacrament*. Dyma yr enw a roddir iddi yn gyffredin; ond nid yw yn addas, gan nad yw hwn yn ei gwahanu hi oddiwrth yr ordinhad o Fedydd—yr hon sydd gymmaint sacrament a hithau—yn sacrament a'r a dderbyniasom bawb o honom—i'r hon yr ym oll yn ddyledus, hyd yn nod, bob amser, i fucheddu ein hunain yn ol ei rheolau. Ond pan fyddom yn galw yr ordinhad hon, "Y Sacrament," ni a ddylem gofio mai sacrament yw hi; hyny yw, y mae hi yn arwydd ac yn llw.

1. Y mae hi yn *arwydd:*—yn arwydd allanol a gweledig o ras tufewnol ac ysprydol, fel y bwriadir i'r cyfryw sacramentau fod. Damheg yw i'r llygad; ac ynddi yr arfera Duw gyffelybiaethau, megys gynt drwy ei weision y prophwydi *Hos.* 12. 10. Ynddi hi hefyd y llefara Crist wrthym ni bethau daearol, modd y delom, yn y ffordd hon, yn fwy cydnabyddus ac ystyriol o wrthddrychau nefol. Ynddi y siarada Crist â ni yn ein hiaith ein hunain, ac a gydymffurfia ei hun â chynneddfau ein cyflwr isel ni yn y byd hwn. Y mae dyn yn gyfansoddedig o enaid a chorph; ac mae 'r enaid yn derbyn argraffiadau, ac yn ymarfer â'i alluoedd, trwy 'r corph. Dyma ordinhad, ynte, ag sydd yn cyfranogi o enaid a chorph, yn yr hon y gosodir o'n blaen, ac yr offrymir i ni, trwy yr elfenau sefydledig o fara a gwin, Iesu Grist ei hun, ac hefyd yr holl ragorfreintiau o'r cyfammod newydd. Yr awr hon, byw yr ydym ni mewn byd o deimlad neu synwyr, ac nid mewn byd o ysprydion; a chan fod yn anhawdd i ni edrych uwch ben y pethau gweledig, fe'n tywysir trwy sacrament i weled trwyddynt hwy y pethau anweledig a gysgodant. Gorphwyswn, gan hyny, yn foddlongar i'r arwydd hwn a sefydlodd Crist, y'mha un y portreiadir ef wedi ei groeshoelio yn eich plith chwi. *Gal.* 3. 1. Eithr nid ymddibynwn ar yr arwydd yn unig, ond ymddiddanwn trwy ffydd ar y pethau a arwyddocêir, neu ni a dderbyniwn yn ofer ras Duw yn y sefydliad hwn; a'r sacramentau a fyddant i ni yr un fath ag oedd damhegion i'r rhai ag oeddynt o'u gwirfodd yn ddall—ni wnant ond ein tywyllu yn fwy. *Marc* 4. 11, 12. Pa fudd i ni gael y cysgod heb y sylwedd; y plisgyn, neu y cibyn, heb y cnewyllyn; y llythyren heb y bywyd, neu 'r yspryd? Megys ag y mae 'r corph heb yr enaid yn farw, felly ein bod ni yn gweled ac yn derbyn y bara a'r gwin a fydd yn hollol ddiles hefyd, os na welwn, ac os na dderbyniwn ni ynddynt hwy Iesu Grist wedi ei groeshoelio.

2. Y mae hi yn *llw*, ddim llai nac yn arwydd fel y sylwyd eisoes. Hwn oedd arwyddocad y gair "Sacrament" gynt. Yr oedd y Rhufeiniaid yn galw y llw a gymmerai y milwyr i fod yn ffyddlon i'w penaethiaid yn "*Sacramentum Militare*," sef llw milwraidd. Ac y mae ein cyfraith wladol ni etto, yn yr Iaith wreiddiol, yn ei arferyd dan yr un ystyr—"*dicunt super sacramentum suum*," hwy a ddywedant ar eu llw. Felly gwelwch mai cymmeryd y sacrament yw yr un peth a chymmeryd llw. Llw difrifol ac arswydus, trwy ba un yr ydym yn rhwymo ein heneidiau â rhwymedigaeth i'r Arglwydd. *Num.* 30. 2. Llw yw o ffyddlondeb i'r Arglwydd Iesu, trwy yr hwn yr ydym ni yn ymwystlo ein hunain i fod yn ddeiliaid ufudd a pharchus iddo ef, gan ei addef fel ein cyfiawn Arglwydd a'n Pentywysog. Llw yw hwn, ym mhellach, a berthyn i ddinesydd rhydd; trwy ba un y gwnawn ein hunain yn aelodau o gorph dirgelaidd Crist; ac yr ym yn ymrwymo ein hunain i gadw deddfau, ac i geisio daioni, "y Jerusalem sydd oddi fry," modd y mwynhaom ragorfreintiau yr ysgrifen fawr a breiniol hono, *Charter*, ag sydd yn ei chorphori, ac yn ei chydgysylltu. Y mae llw yn alwad ar wybod-

aeth Duw o'n cywirdeb a'n ffyddlondeb ni yn yr hyn yr ydym yn ei addaw neu yn ei haeru. Ac yn yr ordinhad ni a wnawn y cyfryw dystiolaethiad a wnaeth St. Petr, "Arglwydd ti a wyddost bob peth; ti a wyddost fy mod i yn dy garu di." *Ioan* 12. 17. Y mae llw yn erfyniad yn ein herbyn am ddigofaint Duw os gweithredwn ni yn dwyllodrus ac ar gam o'n gwirfodd. A rhyw ychydig o hyn sydd hefyd yn y sacrament hwn; canys os parhawn ni mewn cyfammod â phechod, pan y ffugiwn gymundeb â Duw, yr ydym yn bwyta ac yn yfed barnedigaeth i ni ein hunain, heb iawn farnu corph yr Arglwydd. 1 *Cor.* 11. 29. Gadewch i ni, gan hyny, yn gytun â nodweddiad (*character*) gwr duwiol (*Preg.* 9. 2.) gadw'r llw hwn: nid ofni ei gymmeryd; canys ein dyledswydd yw, gyda phob dwys gyflawniad, gyssegru ein hunain i'r Arglwydd. Ond ni a ddylem ymgadw rhag ei dori, gan nad yw llwon i'w cymmeryd yn ysgafn. Duw a ddywedodd, ac iddo ei hun y tyngodd efe, "Mai i mi y twng pob tafod." *Esa.* 45. 23. Eithr llefarodd efe hefyd, *Jer.* 4. 2. fod yn rhaid i ni dyngu iddo ef "mewn gwirionedd, barn, ac mewn cyfiawnder:" ac wedi tyngu, rhaid i ni gyflawni. *Ps* 119. 106. Os deuwn ni i'r sacrament hon yn esgeulus, ac yn ddiofal, yr ydym yn dyfod yn agored i'r euogrwydd o "lw celwyddog." *Zec.* 8. 17. Ac os yr awn ymaith oddiwrth y sacrament hon, a rhodio yn groes i'r rhwymedigaethau sy'n perthyn iddi, ni a fyddwn o hyd yn euog o gam lw. Y mae hyd yn nod crefydd natur yn dysgu dynion i wneud cydwybod o lw; mwy o lawer y mae'r grefydd Gristionogol yn ein dysgu i wneud cydwybod o'r llw hwnw, i ba un y mae Duw, nid yn unig yn dyst, eithr hefyd yn blaid.

II. Ni a'i galwn hefyd yn "Swpper yr Arglwydd;" ac yn dra addas felly, yn ol geiriau yr Ysgrythyr Lân, 1 *Cor.* 11 20. ym mha le y mae'r Apostol, gan geryddu yr afreolaeth ag oedd ym mysg y Corinthiaid ynghylch gweinidogaeth yr ordinhad, yn dywedyd wrthynt, "Nid bwyta swpper yr Arglwydd yw hyn."

1. Y mae hi yn *Swpper*. Pryd sefydledig i'r corph yw swpper. Hon sydd felly hefyd i'r enaid, gan fod yr enaid mewn cymmaint eisiau o fara beunyddiol a'r corph. Cyfrifwyd swpper yr amser hyny fel yr ymborth penaf, ac felly y mae yr ordinhad hon ym mhlith disgyblion Crist; ac yn ei holl deulu ef, hon yw'r wledd fwyaf pwysfawr. Gelwir hi yn swpper, gan iddi gael ei sefydlu ar y cyntaf yn y prydnawn; ac ar ddiwedd swpper yr oen pasc: yr hyn beth (er nad yw yn ein rhwymo ni i'w gweinyddu bob amser yn ol yr unrhyw reol; canys hyn a fyddai yn anghyfleus i gynnulleidfaoedd crefyddol) a arwyddoca—1. Fod Crist yn awr, yn niwedd y byd, yn y rhan ogwyddol o hono, "fel yr aberth mawr prydnawnol," "wedi ymddangos i ddilëu pechod." *Heb.* 9. 26. Yr amlygiad grasusol hwn a fu y'nghadw drosom ni, "ar ba rai y daeth terfynau yr oesoedd." 1 *Cor.* 10. 11.——2. Y cysur a'r diddanwch hwn yn Nghrist a fwriadir ond yn unig i'r sawl a breswyliant yn nhŷ Dduw; y rhai a arosant yno yn wastadol, sef nos a dydd: ac i'r rhai hyny yn unig a'r a wnaethant weithred pob dydd yn ei ddydd, megys yr oedd dyledswydd pob dydd yn gofyn. Y rhai hyny yn unig a gydweithiant gyda Christ a gânt hefyd fwyta gyd âg ef yn ei deyrnas.——3. Gan fod bendithion penaf y cyfammod newydd yn aros yn ol i ni ar amser prydnawnddydd ein bywyd.—Swpper yw y wledd dragywyddol a amcanwyd i ni pan fyddom gwedi gorphen ein dydd, megys gwas cyflog, a dyfod adref y nos i'n gorphwysfa.

2. Swpper yr Arglwydd ydyw hi, swpper Crist yr Arglwydd. Y mae'r apostol yn ei ymddiddan ynghylch yr ordinhad hon, 1 *Cor.* 11. 23. o hyd yn galw Crist yn Arglwydd, ac fel pe bai yn gosod pwys ar hyn; canys fel ag yr oedd y sefydliad o'r sacrament hwn yn weithred o'i lywodraeth ef, ac iddo ei hordeinio fel Arglwydd ei eglwysydd, yn yr un modd wrth dderbyn y sacrament hwn, yr ydym ni yn addef ei lywodraeth, ac yn ei gydnabod ef fel ein Harglwydd. Y mae hyn hefyd yn gosod anrhydedd ar yr ordinhad, ac yn peri iddi ymddangos yn odidog iawn, er, i lygaid cnawdol, nid oes na phryd na thegwch iddi fel swpper yr Arglwydd. Awdurdod Crist yw nerth a chadarnhâd y ddefod sanctaidd hon; a gras Crist yw ei sylwedd. Hi a wein-

yddir mewn ufudd-dod iddo ef, er côf am dano, ac er moliant a chlod i'w enw bendigedig. Yn gyfiawn y gelwir hi yn swpper yn Arglwydd, canys yr Arglwydd, Iesu sydd yn danfon y gwahoddiad, yn darparu lluniaeth, ac yn rhoddi 'r wledd. Ynddi hi yr ydym ni yn ymborthi ar Grist, canys efe yw "Bara 'r Bywyd;" yr ydym ni yn bwyta gyda Christ, canys efe yw ein hanwylyd a'n câr, ac efe sydd yn ein gwahodd ac yn ein croesawi i'w fwrdd. Ynddi hi y mae Crist yn swppera gyda ni, a ninnau gyd âg yntau; efe a rydd i ni yr hapusrwydd o swpperu gyd âg ef ar ddanteithion a melus bethau 'r byd nefol; am hyny bydded ein llygaid ar yr Arglwydd, ar Grist yr Arglwydd, ac ar y coffadwriaeth o'i enw, yn yr ordinhâd hon; ond nis gwelwn ni ddim yma, os na chanfyddwn harddwch Crist; ac nis archwaethwn ni ddim yma chwaith, os na archwaethwn ni gariad Crist. Rhaid i ni edrych ar yr Arglwydd fel yr Alpha a'r Omega, y dechreu a'r diwedd, ac *oll yn oll* yn yr uchel wyl hon: ac os na dderbyniwn Iesu Grist yr Arglwydd yma, y mae genym yn wir swpper, ond nid swpper yr Arglwydd.

III. Ni a'i galwn hi y *Cymun*, y cymun bendigaid a sancteiddiol; ac yn dra phriodol yr enwir hi felly; canys,

1. Yn yr ordinhâd hon y mae i ni gymundeb â Christ ein Pen. "Ein cymdeithas ni yn wir sydd gyd âg ef." 1 *Ioan* 1. 3. Y mae efe yma yn amlygu ei hun i ni, ac yn rhoddi i ni rasusau a chysuron: yma ni a osodwn ein hunain o'i flaen ef, ac a offrymwn iddo yr ad-daliad dïolchgar o gariad a dyledswydd. Y mae cydnabyddiaeth dyner yn cael ei feithrin rhwng Crist a'n heneidiau yn yr ordinhâd hon, y fath yn gymmwys a weddai i'n cyflwr yn y byd a'r bywyd hwn. Y mae Crist, trwy ei air a'i Yspryd, yn aros ynom ni, a ninnau, trwy ffydd a chariad, yn aros ynddo yntau. Dyma gan hyny y lle y mae Crist yn selio ei air, ac yn cynnyg ei Yspryd, ac yma yr ydym ninnau yn ymarfer â'n ffydd, a chyda zel a chariad gwresog yn dal cymdeithas â Christ. Y mae 'r gymdeithas hon yn cynnwys undeb; canys, "a rodia dau ynghyd heb fod yn gytun?" *Amos* 3. 3. Y mae yn rhwymedig arnom ni, ynte, trwy rwymyn cyfammod tragywyddol, uno a chyssylltu ein hunain â'r Arglwydd; gosod ein holl feichiau a'n gorchwylion tan ei hollalluog ofal a'i amddiffyniad ef, gan geisio ein cynghori ganddo ym mhob peth a berthyn i'n dedwyddwch ni, a bod yn wyliadwrus bob amser dros ei anrhydedd a'i ogoniant ef. Wele yma, mewn gwirionedd, gymdeithas berffaith a sylweddol.

2. Yn yr ordinhâd hon y mae i ni gymundeb â'r *Eglwys Lân Gatholic;* ïe, "gyda phawb ag sydd yn galw ar enw ein Harglwydd Iesu Grist, ym mhob man, o'r eiddynt hwy a ninnau." 1 *Cor.* 1. 2. Trwyddi yr ydym yn tystiolaethu, yn addef, ac yn mynegi mai "yr un bara a'r un corph ydym, a nyni yn llawer," trwy rinwedd ein cyd-berthynas gyffredinol i'r un Arglwydd Iesu Grist; canys yr ydym ni oll yn gyfranogion o'r un bara hwnw, sef Crist, Bara 'r Bywyd, wedi ei arwyddocâu a'i gyfranu yn y bara cyssegredig. 1 *Cor.* 10. 17. Pob gwir Gristionogion, er eu bod yn llawer, etto un ydynt; ac yr ydym ni yn cydffurfio yn ewyllysgar ac o'r galon â'r undeb hwnw, trwy fod yn gyfranogion o swper yr Arglwydd. Mi a ddywedaf, er eu bod yn llawer, hyny yw, yn lliosog, etto, megys ag y mae nifer mawr o greaduriaid yn gwneud i fynu ond un byd, tan lywodraeth yr un rhagluniaeth; felly, rhifedi lawer o Gristionogion a gyfansoddant ond yn unig un eglwys, yn cael ei gwresogi a'i bywiocâu gan yr un Yspryd, enaid a sylwedd y corph mawr ei hun. Er eu bod yn amrywiol, ym mhell oddiwrth eu gilydd mewn lle a sefyllfa, o wahanol gymdeithasau, cyrhaeddiadau, a dealltwriaethau, etto y cwbl oll yn cydgyfarfod y'Nghrist, un ydynt. Corphorir hwynt oll yn yr un a'r unrhyw gyfammod; argraffir arnynt yr un a'r unrhyw ddelw; yn gyfranogion o'r un natur newydd a dwyfol; a phawb oll yn gyd-etifeddion o'r un a'r unrhyw deyrnas. Yn swpper yr Arglwydd "dïodir ni oll i un Yspryd:" 1 *Cor.* 12. 13. ac am hyny, wrth agoshâu at yr ordinhâd hon, dylem fod yn ofalus, nid yn unig i gadw eithr hefyd i feithrin a chynnyddu Cristionogol gariad a brawdgarwch; canys pa lesâd fydd y nôd hwn o undeb i ni heb wirioneddol undeb yspryd?

IV. Gelwir hi yn *Eucharist.* Felly y darfu 'r Eglwys Groeg ei henwi, a ninnau ar ei hol. Y mae 'r gair yn arwyddocâu *diolchgarwch.* A'r titl hwn a gafodd, o herwydd i Grist, yn y sefydliad o honi, roddi diolch. 1 *Cor.* 11. 24. Y mae yn ymddangos i'n bendigedig Iachawdwr yn fynych ddanfon ei weddïau i fynu i'r nef mewn dull neu ffurf o ddiolchgarwch, *Ioan* 11. 41. "Y Tad, yr wyf yn diolch i ti am i ti wrandaw arnaf." Ac yn y modd hyn y bendithiodd efe y bara a'r cwpan trwy ddiolch drostynt. Fel y gwir Melchisedec, yr hwn, pan "ddygodd allan fara a gwin, a fendigodd y goruchaf Dduw." *Gen.* 14. 18, 19, 20.

Er fod gan ein Hiachawdwr, pan sefydlodd efe y sacrament hwn, ddisgwyliad a rhagolwg cyflawn o'i ddioddefiadau yn nesâu, gyd â'r holl galedi oedd y'nglŷn â hwynt; etto nid oedd efe trwy hyny yn anhwylus i roddi diolch, gan nad yw y gorchwyl o foliannu Duw ar un amser yn ammhrydlawn. Er nad oedd Pentywysog ein hiechydwriaeth yn awr ond yn amwregysu yr arfau am dano, etto efe a rydd ddiolch (megys pe bai efe wedi "ymddiosg") gan fod yn hyderus o fuddugoliaeth ogoneddus; yn y llawn obaith o'r hon, cyn iddo fyned allan i'r maes, efe a ranodd, hyd yn nod yn yr ordinhad yma, yr yspail y'mysg ei ganlynwyr, ac a "roddes roddion i ddynion." *Ps.* 68. 18.

Gelwir hi hefyd yn *Eucharist*, o herwydd fod yn rhaid *i ni*, wrth gyfranogi o honi, *roddi diolch* yn yr un modd. Ordinhad yw o ddiolchgarwch, a sefydlwyd er cyhoeddi yn sobr ac yn ddifyrus foliant y Pryniawdwr.

Darfu Crist unwaith dros bawb offrymu aberth y cymmod; ac nis gellir mwyach ei adnewyddu. Ond rhaid i ni ddanfon i fynu yn feunyddiol aberthau o gydnabyddiad diolchgar; hyny yw, "ffrwyth ein gwefusau yn cyffesu i'w enw ef." *Heb.* 13. 15. Dylai phiol iechydwriaeth fod yn phiol y fendith, am yr hon a chyd â'r hon yr ym yn rhwymedig i fendithio Duw, fel ag yr oedd yr Iuddewon yn arferol o wneuthur ar ddiwedd swpper y pasc, a hyny yn dra difrifol—ar ba amser y rhyngodd bodd i Grist sefydlu 'r sacrament hwn, am iddo fwriadu ei wneud yn offeryn o ddiolchgarwch parhaus, hyd oni ddelom i'r byd o foliant diddarfod. Deuwch, ynte, a chanwn i'r Arglwydd yn yr ordinhad hon. Bydded goruchel glod a mawl ein Prynwr yn ein geneuau a'n calonau. A fynwn ni y cysur o'r pethau mawrion a wnaeth efe drosom ni, iddo ef y bo'r clod a'r gogoniant! A chofiwn mai diolchgarwch yw gorchwyl yr ordinhad hon; a thröed hyn ein cwynion i fawl a chlod: canys pa achos bynag a gaffom ynom ein hunain i achwyn a beio, yn Nghrist ni a gawn resymau digonol i dalu moliant a diolchgarwch. A dyma 'r testun llawen a bywiol ar ba un y dylem ni yn wastadol fyfyrio.

HILARIUS.

---

## TRAETHAWD

*Ar yr Angenrheidrwydd anhepgorol am Gyfarwyddyd neillduol yr Yspryd Glân i'n cynnorthwyo i ddarllen y Datguddiad Dwyfol er budd ysprydol i'n heneidiau anfarwol.*

YR ydwyf yn meddwl nad oes un dyn synwyrol a ammeu wirionedd y gosodiad uchod; o herwydd y mae yn amlwg mai yr Yspryd Glân a ddatguddiodd ac a roddodd wybodaeth o feddwl a chynghor y JEHOFAH i'r prophwydi gynt, ac i'r apostolion wedi hyny, yn athrawiaethol, ac i brophwydo am bethau i ddyfod; gan hyny y mae yn sicr na ddichon un dyn ddarllen yr Ysgrythyrau dwyfol, er adeiladaeth i'w enaid anfarwol, heb gyfarwyddyd yr unrhyw Yspryd. Doethineb cuddiedig ydyw yr efengyl, fel y dywed yr apostol Paul, hyd nes y dilèno yr Yspryd Glân lygaid y meddwl, a'i datguddio a'i gwneuthur yn amlwg. Yn ddiau nid oes dim na neb a all addasu na rhoddi yspryd addas i ddyn i chwilio yr Ysgrythyrau, ac i'w addurno â doethineb a deall i adnabod meddwl Duw ynddynt, a'i gymmwyso ef â doniau addas i draddodi eu gwirioneddau er adeiladaeth i ereill, ond yr Yspryd hwnw ag a'i rhoddodd ar y cyntaf. Yr ystyriaethau hyn o anallu dyn a barodd i mi, er yn hollol annheilwng, i ymosod ar y gorchwyl pwysig hwn, i geisio dangos yn ngoleu y gair, na ddichon un dyn anianol ddeall pethau Duw, "o herwydd yn ysprydol y bernir hwynt; ac O! na byddai gwiw gan yr Arglwydd i fendithio yr ychydig linellau hyn, o eiddo un o'r gwaelaf o'i greaduriaid, â grymus weith-

rediad ei Yspryd tragywyddol, i ddangos i lawer o'r newydd yr angenrheidrwydd neillduol am gynnorthwyon dwyfol i ddarllen y gair er adeiladaeth i'w heneidiau anfarwol. Ac fe ymddengys yr angenrheidrwydd o hyn yn dra eglur oddiwrth y pethau canlynol:—

1. Y mae yr Ysgrythyr yn dangos yn eglur na ddichon un dyn eu deall, heb gyfarwyddyd yr Yspryd Glân. Fe ymddengys hyn yn amlwg, os ystyriwn yr achos, o ba herwydd yr oedd Dafydd yn gweddïo ar Dduw i agoryd ei lygaid. "Datguddia fy llygaid," eb efe (yn ol y Saesoneg, "Agor fy llygaid,") "fel y gwelwyf bethau rhyfedd allan o'th gyfraith di." *Ps.* 119. 18. Ac mewn man arall y mae yn dywedyd, "Gwna i mi ddeall ffordd dy orchymynion; a mi a fyfyriaf yn dy ryfeddodau:" *adn.* 27. yr hyn sydd yn dangos yn eglur fod y Salmydd yn ddwys deimladwy o'i anallu i ddeall gwirioneddau y gair, a llwybrau gorchymynion Duw, heb gyfarwyddyd yr Yspryd, a gallu dwyfol i'w nerthu i hyny. Hefyd, ein Hiachawdwr a ddywedodd wrth Nicodemus, "Yn wir, yn wir, meddaf i ti, oddieithr geni dyn drachefn, ni ddichon efe weled teyrnas Dduw." *Ioan* 3. 3. Yr hyn sydd yn dangos na all un dyn, heb ei gyfnewid trwy ras, weled mwy o ogoniant a natur ysprydol yr efengyl, na dyn, yr hwn sydd farw, i ganfod prydferthwch naturiaeth, yr hon sydd yn rhyfeddodau i gyd. Pa fodd y gall dyn sydd yn farw mewn camwedd a phechod, weled godidawgrwydd sancteiddrwydd Duw, daioni gosodiadau manwl ac ysprydol y gyfraith, ynghyd â chyfiawnder ei bygythiad ofnadwy a'i heiddigedd dychrynllyd at bechod, yr hwn sy'n haeddu tragywyddol ddialedd, y gwerth anfeidrol sydd y'Nghrist, fel Gwaredwr, a'r dedwyddwch anghydmarol o fod yn dragywyddol debyg iddo? Y mae yn orchwyl rhy anhawdd, meddaf; o herwydd fe ddywed Crist ei hun, "Ni ddichon neb ddyfod ataf fi, oddieithr i'r Tad, yr hwn a'm hanfonodd ei dynu ef: a phob un gan hyny a glywodd gan y Tad, ac a ddysgodd, sydd yn dyfod ataf fi." *Ioan* 6. 44, 45. A St. Paul a ddywed drachefn, "Dyn anianol nid yw yn derbyn y pethau sydd o Yspryd Duw: canys ffolineb ydynt ganddo ef; ac nis gall eu gwybod, oblegid yn ysprydol y bernir hwynt." 1 *Cor.* 2. 14. Y mae hyn oll yn dangos yr un angenrheidrwydd o ddwyfol gyfarwyddyd yr Yspryd.

2. Y mae yr addewidion ag yr ydym yn cael yn yr Ysgrythyrau, am ddwyfol gynnorthwy, yn profi yr un angenrheidrwydd. Rhyw ychydig o amser cyn i'n Harglwydd bendigedig ddïoddef ar y groes, fe ddywedodd wrth ei ddisgyblion, "Buddiol yw i chwi fy myned i ymaith: canys onid âf fi, ni ddaw y Diddanydd atoch: eithr os mi a âf, mi a'i hanfonaf ef atoch. A phan ddêl efe, efe a'ch tywys chwi i bob gwirionedd." *Ioan* 16. 7, 13. Y mae yn wir fod yr addewid hon o gyfarwyddyd yr Yspryd Glân yn perthyn yn fwyaf neillduol i'r apostolion, i'r diben i'w cadarnhâu yn wyneb y gwrthwynebiadau a'r anhawsderau ag oedd i'w cyfarfod yn eu gwaith gweinidogaethol; etto mae yn para yr un i'r eglwys yn awr ag ydoedd hi yr amser hyny i'r apostolion, ac felly i barhâu hyd ddiwedd amser. Yn *Ioan* 14. 16. y mae Crist yn dywedyd y byddai iddo weddïo ar y Tad; "Mi a weddïaf ar y Tad (eb efe) ac efe a rydd i chwi Ddiddanydd arall, fel yr arhoso gyda chwi yn dragywyddol." Hefyd, pan y mae yn llefaru am wir gredinwyr, y mae yn dywedyd, "A phawb a fyddant wedi eu dysgu gan Dduw." *Ioan* 6. 45. A thrachefn, y mae yn ysgrifenedig, "O bydd ar neb eisieu doethineb, gofyned gan Dduw, yr hwn sydd yn rhoi yn haelionus i bawb." *Iago* 1. 5. Hyn oll sydd yn dangos fod dyn yn amddifad o honynt wrth naturiaeth, a'u bod yn hollol o Dduw.

3. Y mae profiad pob gwir Gristion yn cadarnhâu yr un angenrheidrwydd. Rhyfedd mor dywyll oedd meddyliau y disgyblion gynt mewn perthynas i'r prophwydoliaethau am Grist a'i swyddau cyfryngol, hyd nes yr agorodd efe eu deall hwynt, fel y deallent yr Ysgrythyrau. *Luc* 24. 45. Yn yr un modd yr oedd hi hefyd gan Lydia gynt, hyd nes daeth yr Yspryd Glân i agoryd ei chalon i ddal ar y pethau a leferid gan Paul. *Act.* 16. 14. Duw yn unig sydd yn gwneuthur rhagoriaeth rhwng gwr a gwr, ac nid oes dim gan neb a'r nad ydynt wedi ei dderbyn. 1 *Cor.* 4. 7. Gan hyny, bydded i ni weddïo

Duw ar iddo dywallt ei Yspryd etto o'r uchelder, fel y byddo miloedd gael eu dwyn o'r newydd i'r Cywir hwnw, sef ei Fab ef Iesu Grist. "Hwn yw y gwir Dduw, a'r bywyd tragywyddol." 1 *Ioan* 5. 20.

4. Y mae gweddïau y saint ym mhob oes o'r byd yn profi yr un angenrheidrwydd. Rhyfedd mor deimladwy o hyn oedd Dafydd, pan oedd yn gweddïo ar iddo gael ei ddysgu yn neddfau Duw, "Dysg i mi dy ddeddfau," eb efe. "Gwna i mi ddeall ffordd dy orchymynion; a mi a fyfyriaf yn dy ryfeddodau." Yn ol y Saesoneg, "Felly mi a chwedleuaf am dy weithredoedd rhyfedd." *Ps.* 119. 26, 27. Ac mewn man arall y mae yn dywedyd, "Par i mi ddeall, fel y gwypwyf dy ddeddfau." *Adn.* 125. Mae Dafydd trwy yr holl Salm hon, sef y 119, yn dangos pa mor angenrheidiol ydoedd efe yn ystyried dwyfol gynnorthwyon yr Yspryd Glân. Hefyd, y mae St. Paul, yn ei weddi dros yr Ephesiaid, yn dangos yr un angenrheidrwydd, pan y mae yn gweddïo, "Ar i Dduw ein Harglwydd Iesu Grist, Tad y gogoniant, roddi i chwi Yspryd doethineb a datguddiad, trwy ei adnabod ef: wedi goleuo llygaid eich meddyliau, fel y gwypoch beth yw golud gogoniant ei etifeddiaeth ef yn y saint." *Eph.* 1. 17, 18. Oddi yma y gwelwn yn eglur fod dwyfol gynnorthwyon yr Yspryd Glân yn angenrheidiol ar ddynion ym mhob oes o'r byd i ddeall gwirioneddau yr efengyl: a Duw a wnelo i ddynion weled mwy o'u heisieu yn ein dyddiau ni, fel y byddo mwy o ôl gwirioneddau yr efengyl i weled arnynt.

5. Y mae ymddygiad dynion annuwiol hefyd yn profi yr un angenrheidrwydd. Ni fu Pharaoh a'i weision ddim gwell er gweled y gwyrthiau hyny a wnaethpwyd trwy law Moses ac Aaron, ond yn hytrach myned yn waeth a wnaethant; ac un achos o hyny ydoedd hyn, am na welodd yr Arglwydd yn dda i roddi iddynt lygaid i weled, a chlustiau i glywed, a chalon i wybod ac i ystyried y gallu a'r awdurdod, trwy yr hwn yr oeddynt yn eu gwneuthur. Felly hefyd yr oedd gyd â'r Israeliaid anghrediniol gynt. *Deut.* 29. 4. O mor dywyll oedd llygaid, mor drwm oedd clustiau, ac mor galed oedd calon yr Iuddewon hefyd, pan oeddynt yn cyhuddo ein Harglwydd bendigedig o ynfydrwydd, a bod cythraul ganddo; *Ioan* 7. 20. a 8. 48. a 10. 20. er gweled y gwyrthiau mawr a rhyfedd ag oedd yn cael eu gwneuthur ganddo yn eu mysg. Beth oedd yr achos o hyn, meddwch chwi? Dyma yr oll a ellir ei ddywedyd—am na roddwyd iddynt hwy i wybod dirgelion teyrnas nefoedd. *Mat.* 13. 11. *Ioan* 12. 37,—40. Hefyd, y mae ymddygiad anghredinwyr y'mhob oes o'r byd yn profi yr un angenrheidrwydd. Ni fynant hwy wrando ar hyfforddiadau gair Duw, a'r angenrheidrwydd o gynnorthwyon dwyfol yr Yspryd Glân; am y cyfryw nid ydynt yn gofyn o deimlad, ac am hyny nid ydynt yn cael: boddlon ydynt i'w tywyllwch, ac ymborthi y maent ar eu gallu eu hunain, ac, yn ganlynol ni fynant ddyfod at Dduw, yn ffordd ei air a'i ras, am gyfarwyddyd ei Yspryd, fel y byddo iddynt gael gafael ar sylwedd i'w heneidiau anfarwol. Uniawn ar y pen hwn y dywedodd y prophwyd Esay (*pen.* 6. 10.) "Brasâ galon y bobl hyn, a thrymhâ eu clustiau, a chau eu llygaid; rhag iddynt weled â'u llygaid, a chlywed â'u clustiau, deall â'u calon, a dychwelyd, a'u meddyginiaethu."

Gwedi dangos fel hyn, allan o'r ysgrythyr, yr amrywiol ddull a modd sydd gan Dduw i ddangos y gwirionedd hwn, sef, yr angenrheidrwydd o gynnorthwyon dwyfol yr Yspryd Glân i'n galluogi i iawn ddeall yr Ysgrythyrau, y mae hyn yn dangos fod y peth o fawr bwys. O bossibl fod yr athrawiaeth hon yn beth dïeithr i lawer, ac o achos hyny y maent yn ei dïystyru, neu ei dibrisio: fy nghyngor i'r cyfryw ydyw, chwiliwch yr Ysgrythyrau, i weled a ydyw y pethau hyn felly, ai nid ydynt; ac os cewch hwynt yn gywir, yr ydwyf yn sicr y bydd i chwithau weled eisieu cyfarwyddyd yr Yspryd Glân i'ch nerthu i ddeall y Datguddiad Dwyfol; yna y gwelwch anfeidrol dosturi a mawr ddarostyngiad y Duw mawr, yr hwn sydd yn ewyllysgar i ddysgu a thywys creaduriaid mor bechadurus a nyni. "Da ac uniawn yw yr Arglwydd: o herwydd hyny y dysg efe bechaduriaid yn y ffordd." *Ps.* 25. 8.

J. R. J.

*Glan Hafren, yn Nghemes.*

## Y WISG BRIODAS.

**Mat. xxii. 1—14.**

Fe all ymddangos megys yn rhyfedd na chafwyd mewn gwledd a chymmaint o nifer ynddi ond un heb wisg briodas ganddo, ac iddo yntau gael ei gospi mor greulon am ddiffyg yr hyn nad ellid disgwyl ei fod ganddo, pan gofiom ei gymmell ef i ddyfod i mewn pan ydoedd naill ai ar daith, neu yn eistedd yn cardota gerllaw y prif-ffyrdd; *Luc* 14. 23. etto, er hyn, mawredd ei drosedd, a chyfiawnder y farn a dderbyniodd, a ymddengys yn gyflawn, os galwn i'n côf amgylchiad cyffredin iawn yn yr amseroedd hyny, ac am hyny, mae yn debyg, nid hysbysir ef yn y ddameg. Yr oedd gwyr mawr y dwyrain, y rhai ni newidient ddull *(fashion)* eu dillad yn fynych fel y gwnawn ni, yn arfer, o ran rhwysg a gwychder, a chadw niferoedd o wisgoedd hardd a gwychion mewn ystafelloedd priodol i hyny. Felly Job *(pen.* 27. 16.) pan yn llefaru am yr annuwiol, a ddywed—"Er iddo bentyru arian fel llwch, a darparu dillad fel clai." Ac yn olynol yn yr ysgrythyr, pan ddynodir ansicrwydd trysorau daearol, dywedir eu bod yn ddarostyngedig, nid yn unig i rwd, ond i'r gwyfyn hefyd. *Mat.* 6. 19. Gwel *Gen.* 45. 22. *Barn* 14. 12. Mae yr arfer hon yn amlwg hefyd oddiwrth awdwyr Paganaidd. Gwel *Horace* Ll. 1. Ep. 6. llin. 40. a *Homer's Odyssey* Ll. 4. llin. 47—51. Mae yn hawdd gan hyny i ni feddwl i'r brenin yma, pan wahoddodd i'w wledd *bobl* o'r prif-ffyrdd a'r caeau, orchymyn i'w weinidogion estyn i bob un o honynt yn rhodd wisg hardd ac addas, fel prawf ym mhellach o'i garedigrwydd, ac fel yr ymddangosent bob un mewn gwisgiad cymmwys i'r achos goruchel y galwyd hwynt iddo. Nid oes ammheuaeth, gan hyny, am y dyn a farnwyd i'w rwymo, a'i fwrw allan, na chafodd yntau hefyd, fel y lleill oll, gynnyg o wisg briodas, a'i ddilladu yn lân ac addas, ond ni fynai, ac felly i mewn yr aeth yn ffroenuchel yn ei ddillad cyffredin, budron, a charpiog. Y brenin, gan edrych ar hyn megys yn ddirmyg iddo ei hun a'r achos, a roddodd y ddedfryd arno i'w gospi yn ol ei haeddiant.

Gellir chwanegu yma yr hyn a ddywed Calvin yn hynod ynghylch y wisg briodas;—"Afreidiol yw (medd ef) ymddadleu beth a feddylir wrth y wisg hon, pa un yw ai ffydd ai buchedd dduwiol: canys nid ellir gwahanu ffydd oddiwrth weithredoedd da; ac ni ddeillia gweithredoedd da oddigerth oddiwrth ffydd. Meddwl Crist yn unig yw, ein bod yn cael ein galw i'r diben, fel yr adnewydder ni yn ein meddyliau, yn ol ei ddelw ef. Ac felly, fel y trigom yn wastad yn ei dŷ a'i dylwyth ef, rhaid i'r hen ddyn, gyd â'i fudreddi, gael ei ddiosg, a bywyd newydd ei fwriadu, fel y byddo ein dull a'n hymddygiad yn gyfaddas i'r fath wahoddiad parchus ac uchel." Mae Doddridge yn sylwi, fod yr amgylchiad yma yn y ddameg yn darlunio yn rhyfeddol waith Duw tu ag atom ni. Y mae efe yn wir yn gofyn genym edifeirwch a sancteiddrwydd, fel y byddom gyfranogion o wynfyd y nef; ond yr un pryd, y mae efe yn y modd mwyaf grasol yn cynnyg gweithredu hyny ynom ni, drwy ei Lân Ysbryd; ac felly y gall yn gyflawn ein cospi, os esgeuluswn neu y gwrthodwn y fath anfeidrol ffafr a gras.

Mae ein Harglwydd yn diweddu y ddameg hon yn y geiriau y diweddodd ddameg y gweithwyr yn y winllan—"Canys llawer sydd wedi eu galw, ac ychydig wedi eu dewis." Cyfaddefir mai diarebol ydyw y geiriau, ac i'w cymhwyso yn gyntaf i'r Iuddewon, y rhai, er eu galw yn lluoedd drwy bregethiad yr efengyl, ychydig o honynt a ddewiswyd, o herwydd ni chredasant. Cyfeirir y geiriau hefyd i'r Cenhedloedd, y rhai, er iddynt groesawu yr efengyl, laweroedd o honynt hwy a wrthodasant y wisg briodas, er ei chynnyg iddynt. Diwedda y ddameg fel hyn er dangos nad achub proffes o grefydd neb rhyw ddyn, oddieithr iddo fyw mewn modd cymmwys i'w broffes; am hyny, yn ol cyngor gwr duwiol, bydded i ni, a ufuddhasom i'r alwad neu y gwahoddiad, ac ydym ar broffes yn bobl Dduw, feddwl a myfyrio yn fynych ar y dydd arswydus hwnw, pan ddel y brenin i mewn i weled y gwahoddedigion, pan rydd Duw olwg graff a manwl ar bob enaid a ddyry hawl i lawenydd y nefoedd. Meddyliwn yn fynych am syndod a gwaradwydd y sawl ni bydd ganddynt y wisg briodas, ac am y farn

erchyll arnyat, i'w bwrw ymaith i wylofain a rhingcian dannedd: a chofiwn, ni wna y golwg a gawsant am ryw amser o oleuni'r efengyl, a thêg wawr tragywyddol obaith, ddim amgen nag ychwanegu fwy-fwy ddychryniadau yr ogoföydd trymllyd hyny. Ar y llaw arall, er ein cysur a'n hannogaeth, bydded i ni fyfyrio yn aml ar yr amser daionus hwnw, pan gedwir ac y gweinyddir gwledd priodas yr Oen, pan gyduna peroriaeth a phrydferthwch y nefoedd oll i ddyrchafu gwynfyd a gwychder yr wyl.

J.

---

## YSGOLION GWLADWRIAETHOL.

Mr. Gwyliedydd—Mwy nag arferol oedd yr hyfrydwch a deimlais wrth ddarllen traethawd *J. Ll.* yn eich Rhifyn diweddaf ar *Ysgolion Gwladwriaethol.* Ychwaneg o'r cyfryw draethodau a fyddent dra chymmeradwy gan ddarllenwyr y Gwyliedydd. Gan eich bod ar eich amlen yn "galw sylw pawb ato a garo lwyddiant Sïon o fewn muriau yr hen Eglwys," barnwyf mai nid annerbyniol genych chwi, nac ammherthynol iawn i'r un testun fydd y dyfyniad canlynol a gymmerais allan o hen bregeth, a draddodwyd ar y 15fed o Ebrill, 1729. Y testun yw, *Dat.* 3. 2. "Bydd wyliadwrus, a sicrhâ y pethau sydd yn ol, y rhai sydd barod i farw." Ac os gwelaf eich bod yn cymmeradwyo hyn, efallai y bydd dyfyniadau mwy helaeth yn ei ganlyn.

C. Ll.

"*Catecеisio plant yn gyhoeddus sydd foddion addas i ddwyn y'mlaen ddiwygiad mewn crefydd, a'i chynnal yn y wlad.* Y mae angen bob blwyddyn yn tori ymaith rai o'n cynnulleidfaoedd; ac os na fydd ereill i lenwi lleoedd y rhai a gymmerir ymaith, rhaid yw i'r cyfryw gymdeithasau yn fuan ddyfod i ben. Mawr ofal, gan hyny, a ddylid ei gymmeryd o'r genhedlaeth sydd yn codi, fel pan 'hunom ni gyd â'n tadau, ac y'n casglir at ein pobl,' y byddo ein plant yn ymddangos fel 'hâd i'w wasanaethu ef,' y rhai a ellir eu 'cyfrif i'r Arglwydd yn genhedlaeth.' A'r ffordd oreu a allwn ei chymmeryd tu ag at barotôi plant i fod yn wasanaethgar yn eu hoes, yw eu hathrawiaethu mewn egwyddorion da yn eu hieuengctid.

"Heblaw hyny y mae yn anhawdd iawn i ni lefaru âg un math o addasrwydd a manylrwydd, ac ar yr un pryd yn ddigon eglur i wneuthur ein hunain yn ddealladwy i'r rhan ieuengaf a mwyaf anwybodus yn ein cynnulleidfaoedd. Ped ymdrechem ein goreu, a cheisio eu cyfarch yn yr araeth fwyaf eglur a chyffredin, gwelem ei bod agos yn anmichonadwy cael ganddynt ein canlyn a'n deall o ddechreu hyd ddiwedd y bregeth. Ond wrth eu catecеisio yr ydym yn medru addasu ein hymadrodd at eu dealltwriaeth, ac agoryd eu meddyliau, ac ehangu eu gwybodaeth, fel y gallent ein deall yn ein pregethau. Aml y cwynwn mor ychydig o ddaioni a wnawn yn ein gweinidogaeth; ond rhy eglur yw yr achos o hyny.

"Dylem ddal yn benaf ar egwyddorion cyffredin y grefydd Gristionogol; ac esponio y catecism wrth yr Ysgrythyrau, ac nid yr Ysgrythyrau wrth y catecism; gan ddwyn ar gôf iddynt y rhagorbarch sy ddyladwy i'r Ysgrifeniadau Ysprydoledig, neu yr Ysgrythyrau, mwy nag unrhyw ysgrifeniadau ereill. Catecеisio yn gyhoedd fel hyn a fydd yn foddion o ddiwygio a chynnal crefydd yn y wlad, ac am hyny ni ddylid ei esgeuluso. Os oes neb o honom wedi ei esgeuluso hyd yn hyn, dylem ddechreu ar y gwaith allan o law. Yr wyf yn pwyso hyn arnoch gyda thaerineb, oblegid fy mod wedi canfod y llesâd sydd yn tarddu oddi wrtho trwy brofiad o fwy nag ugain mlynedd."

---

## PINWYDD YR AMERIG.

*(Parhad o du dal.* 108.*)*

*Michaux*, yn ei sylwadau ysplenawl ar goedydd yr Amerig Ogleddol, a brofa fod pedwar ar ddeg o rywiau o Binwydd yn nghoedwigoedd gorfaith y gyfran hono o'r byd adnabyddus. Y rhyw gwerthfawrocaf o naddynt oll yw y Binwydden ddailen hir *(Pinus Australis)* o'r hon y tardd *turpentine* a *thar* yr Amerig. Y Binwydden Wen a ddefnyddir i adeiladu llongau; a'u *Hemlock Spruce*, coed yr hon nid yw ddefnyddiol, ond ei rhisglyn sydd o'r bron mor ddefnyddiol i gyffeithio ag eiddo

y dderwen. O Binwydden Arianaidd yr Amerig y tardd y sylwedd ystoraidd a adnabyddir wrth yr enw *Canada Balsam*. Y prif Binwydd a drosglwyddir o'r Amerig, nid yn unig i Ewrop, ond hefyd i barthau 'r India Orllewinol, yw y rhai gwynion.

Er mor eangfaith yw coedwigoedd yr Unol Daleithiau, y mae y rhyw yma o Binwydd wedi eu llwyr ddadwreiddio yn y parthau sydd wedi eu poblogi, yn gymmaint felly, fel y mae 'r dynion sydd arferol o'u cwympo o dan orfod gwario y rhan fwyaf o'u hamser i deithio am goedwigoedd lle mae 'r Binwydden Wen ym mhlith eu brodorion. Y dynion hyn a ymunant yn fintai fechan, ac a dreiddiant i'r coedwigoedd yn nyfnder y gauaf du, wedi bod yr haf o'r blaen yn edrych ansawdd y lle i'r diben i barotôi gwair i'w hychain, &c. Adeiladant fythod iddynt eu hunain, y rhai a döant â rhisgl; ac er i'r ddaear gael ei thoi âg eira o bump i chwe troedfedd o drwch, a'r gwres-fesurydd, ar rai prydiau, cyn iseled a 18 neu 20 o raddau goris y nod rhewlyd, er hyn oll cysurant eu hunain yn y modd mwyaf gwrol gogyfer a chwympo eu Pinwydd Gwynion. Gwedi eu tori o gylch deunaw troedfedd o hŷd yn foncyffion addas i'w dibenion, hwy a'u dygant yn rhan-barth *Maine*, trwy gynnorthwy ychain, ar hyd yr iâ, at lan afon *Kennebeck*. Gwedi i'r iâ dori yn nechreu y gwanwyn, hwy a gludir i lawr gyd â'r ffrwd i *Wenslow*, o gylch 100 milltir oddiwrth y môr, y fan lle bydd eu perchenogion yn eu didoli y naill oddiwrth y llall, trwy gyfarwyddyd y nod dirgelaidd a roddwyd arnynt gan eu hamrywiol lafurwyr yn y goedwigfa. Yma y gwerthir y boncyffion i'r amrywiol berchenogion melinau llifio a sylfaenwyd ar yr afon *Kennebeck*, rhwng *Wenslow* a'r goror; ac oddi yma y trosglwyddir y rhan fwyaf o'r Pinwydd Gwynion (*White Deal*) a ddefnyddir ym Mrydain.*

Trosglwyddir llawer o Binwydd (Ffawydd) rhagorol i Brydain Fawr o Brunswick Newydd, talaeth y'ngogledd-barth Amerig. Y coed a ddygwyd o Brunswick Newydd i Brydain yn y fl. 1824, ynghyd â'r rhai a ddefnyddiwyd i adeiladu llongau yn St. John, oeddynt werth rhagor na hanner miliwn o bunnau. Y modd y cwympir y Pinwydd yn y rhan hyny o'r byd sydd dra rhyfedd yn ein golwg ni, ac a ddynodir mewn traethodyn bychan a elwir, "Golwg Byr ar Daleithiau arforawl yr Amerig Frytanaidd," gan J. M. Gregor, cyhoeddedig yn 1828. "Y fasnach hon, yn gyfartal cartrefol a thramor, sydd yn rhoddi mwy o waith i'n llongwyr a'n morwyr nag y meddylir yn gyffredin. Hefyd, y mae yn rhoddi gwaith i nifeiri o ddynion yn yr Amerig Frytanaidd; dull y rhai hyn yn bywiolaethu, o herwydd eu galwedigaeth, sydd hollol wahanol i ereill o frodorion yr Amerig. Amryw o'r dynion hyn a ymfyddinant ynghyd, ac fe'u gelwir, *Cwympwyr Coed*. Y maent oll naill ai wedi eu cyflogi gan ereill i'r perwyl, y rhai a dalant iddynt gyflog, ynghyd â dogn o angenrheidiau bywyd; neu y naill yn cyduno â'r llall i wynebu yr anturiaeth, gan lafurio oll fel eu gilydd, a chyfranogi o'r un cyfartal wobr yn y diwedd. Diwellir y fyddin ddiweddaf, ar eu cychwyniad, â llawnder o fwyd, dillad, &c. gan y masnachydd, ar yr ammod iddynt roddi y gwerth o'r coed iddo ef ar eu dychweliad gyda ffrwd yr afon yr haf dilynol."

Y pethau mwyaf angenrheidiol i'r *Cwympwyr* i'r anturiaeth yw bwyill, llifiau croesion, llestri coginiaeth, *baril* o *rum*, myglys a phibellau, dogn helaeth o deisenau y môr, cig moch croyw (*pork*) *beef*, pysgod, pys, &c. i wneuthur llymeid-fwyd (*soup*) &c. Dau neu dri iau o ychain, ynghyd â helaethrwydd o wair i'w porthi, sydd ofynedig i ddwyn y coed o'r goedwigfa.

Gwedi ymbarotôi fel hyn, anturiant i fynu yr afon gyd â'u lluniaeth, gan gyfeirio tu a'r hafan dymunol am y tymhor gauaf. Hwn a gaiff fod y lle mwyaf dewisol, cyn agosed i afon, y'nghanol cymmaint o goed Pinwydd ag y byddo modd. Dechreuant drwy fedi rhyw gymmaint o'r coed amgylchynedig i adeiladu eu bythod; muriau y rhai, yn gyffredin, nid ydynt dros bedair neu bum troedfedd o uchder. Eu tô fydd naill ai rhisgl bedw, neu ystyllod. Cloddiant dwll o dan eu gwersyllfa, i'r diben i gadw y rhan hyny o'u hymborth rhag y rhew. Y tân fydd yn y naill ben, neu ynte yn y canol; a'r mwg a wna ei

* *See Michaut, Vol. I. Art. Pinus Strobus.*

ffordd allan trwy 'r tô. Taenant wair, gwellt, neu frigau Pinwydd, yn groes neu ar hyd eu hanneddle, ar y rhai y gorweddant oll i gysgu â'u traed at y tân. Pan fyddo y tân yn myned yn isel, yr hwn a ddeffry, neu a deimlo oerfel gyntaf, a gyfyd i fwrw arno ragor o danwydd, a dyma y moddion a ddefnyddiant i gael tân trwy y nos. Un o'r dynion fydd wedi ei gyflogi i fod yn gogydd, dyledswydd yr hwn yw parotôi boreu-bryd cyn tori 'r wawr; yna cyfyd pawb o'u gorphwysfa, a chymmerant bob un ei wydraid o *rum* cyn profi tamaid o fara. Y pryd yma fydd naill ai bara, neu gloron a *beef* berwedig, *pork*, neu bysgod, a *thê* wedi ei felysu â thriagl. Bydd eu ciniaw yn gyffelyb, oddieithr llymeid-fwyd yn lle *tê;* ac hefyd eu hwyrbryd o'r un danteithfwyd a'r boreu-bryd. Y mae 'r dynion hyn yn fwytâwyr dirfawr, ac a yfant *rum* yn ddifesur. Yn uniongyrchol wedi boreu-bryd ymranant yn dair byddin: un o honynt a dorant y coed i lawr, un arall a dorant y canghenau ymaith, a'r olaf, ynghyd â'u hychain, a'u cludant, naill ai at ryw glud-ffordd a fyddo yn arwain at yr afon, neu ynte at yr afon ar unwaith. Coed cwympedig, neu ryw rwystrau ereill ar y ffordd, a dorant ymaith â bwyill.

---

## DARLITH

### AR AWSAFIAETH (*HYDROSTATICS.*)

(*Parhad o du dal.* 147.)

Deuaf bellach at yr ail ddeddf a grybwyllais, sef i ddangos na all awon ymlonyddu nes byddo yr un pwys ar bob cydran o'r un gaenen lywelawl.




1. Er amlygu hyn, tybiwn bob A B C D yn arwyddo cistiad o ddwfr, neu unrhyw aw arall, a dychymmygwn ei fod yn cael ei wahanu yn gaenenau llywelawl megys dalenau llyfr; yna deallwn bod pwys y gaenen uchaf yn gorphwys ar yr ail, a phwys yr uchaf a'r nesaf ati yn gorphwys ar y drydedd, ac felly yn chwanegu o gaenen i gaenen o'r gwyneb hyd y gwaelod; ac o ganlyniad, bod ar bob modfedd ysgwâr o unrhyw gaenen E F bwys colofn o'r cyfryw aw o fodfedd ysgwâr, ac o'r un hŷd ag ydyw dyfnder y gaenen hôno oddiwrth y gwyneb. Ac am fod y gwyneb yn llywelawl, yn ol y ddeddf gyntaf, ac hefyd bod y gaenen E F yn gyfochrog â'r gwyneb, rhaid bod y dyfnder o'r gwyneb hyd at y gaenen E F yn gyfartal y'mhob man, ac o ganlyniad, rhaid bod yr un pwys ar bob cydran o honi. Os ystyriwn ym mhellach, bod yr aw o fewn y gist yn anwasgadwy, deallwn nas gall yr hyn sydd dan y gaenen E F gael ei gynnwyso trwy bwys yr hyn sydd yn gorphwys arni, ac nad yw y rhan isaf gan hyny yn drymach, yn ol ei mesur, nag ydyw y rhan uchaf: ac os addefwn hyn, rhaid i ni addef hefyd, fel canlyniad, bod pwys aw anwasgadwy yn chwanegu yn ol y dyfnder; neu, mewn geiriau ereill, bod pwys colofn o ddwy fodfedd o ddyfnder yn ddau cymmaint ag ydyw pwys colofn o'r un ffyrfder o un fodfedd o ddyfnder, a bod pwys colofn o dair modfedd yn dri chymmaint, &c. &c. O ganlyniad, os tybiwn bod y gaenen E F yn nghanol y dyfnder rhwng y gwyneb a'r gwaelod, rhaid bod ar bob modfedd ysgwâr o waelod y gist ddau cymmaint o bwysau ag sydd ar bob modfedd ysgwâr o'r gaenen E F. Sylwaf hefyd, er nad yw y gaenen E F ond taf ddychymmygol, ei bod er hyny mor ddiysgog i gynnal yr hyn a osoder arni a phe byddai fwrdd caled, ac nas gellir ei syflyd tra byddo yr un pwys ar bob cydran o honi; ond os na bydd cydbwysiad ar bob cydran, gallwn ei hystyried fel croen ystwyth, megys pledren wedi ei llenwi âg awyr, ar yr hon, os rhoddwn chwanegiad pwys mewn un man, teimlwn bod yr hyn sydd dan y man hyny yn cilio o'r neilldu, gan godi i fynu y rhanau amgylchol. Os dwys ystyriwch hyn, deallwch bod awon, pan coder tônau ar eu gwynebau, neu y tywallter rhywbeth arnynt, yn ymlonyddu, nid yn unig trwy fod y rhan uchaf yn rhedeg o'r neilldu, gan ymdaenu dros y rhanau amgylchol, ond hefyd o herwydd y chwanegiad pwys ar y caenenau oddi tan.

odd, bod y rhai hyny yn gostwng dan y man lle y mae chwanegiad pwys, ac yn codi i fynu y rhanau amgylchol, a bod y ddwy effaith yn cyd-gynnorthwyo y naill y llall er prysuro yr ymlonyddiad.

2. Er amlygu yn mhellach na lonydda awon nes byddo yr un pwys ar bob cydran o'r un gaenen lywelawl; wele ddwy biben wydr o wahanol ffyrfder. Yn gyntaf, tywalltaf arian byw i'r ffyrfaf, A G H D; ac wedi hyny gosodaf y biben fain ddeuben agored *ef* ynddo; a chwi a welwch bod yr arian byw yn codi i'r un uchder G H o fewn y naill biben ag y saif o fewn y llall. Yn nesaf tywalltaf ddwfr i'r biben ffyrfaf nes gorphen ei llenwi, a chwi a welwch nad yw y dwfr ond cymmysgu â'r arian byw, ond bod yr arian byw o fewn y biben feinaf, o herwydd nad oes dwfr arno, yn codi ychydig uwch nag yw gwyneb yr arian byw o dan y dwfr yn y biben ffyrfaf.

Yn awr, gwelwch fod y cyfan wedi ymlonyddu, ac ystyriwch beth sydd yn pwyso ar y gaenen G H, a chwi a addefwch mai yr arian byw sydd yn pwyso ar y rhan sydd o fewn y biben feinaf, ac mai y dwfr sydd yn pwyso ar y rhanau amgylchol. Yn nesaf, mesuraf uchder yr arian byw o fewn y biben feinaf oddiwrth G H, a chwi a welwch nad yw ond dwy fodfedd: mesuraf hefyd ddyfnder y dwfr o D i H, a chwi a welwch ei fod ychydig dros saith modfedd ar hugain. Edrychwch hefyd ar y Daflen sydd ger eich gwydd (gwel y *Gwyliedydd* am Mai) a chwi a welwch bod arian byw ychydig dros 13½ o weithiau yn drymach na'r un mesur o ddwfr, ac, o ganlyniad, bod dwy fodfedd o arian byw yn gydbwys âg ychydig dros saith modfedd ar hugain o ddwfr. Onid yw gan hyny yn amlwg fod yr un pwys ar bob cydran o'r gaenen G H, neu unrhyw gaenen arall goris iddi, er bod y cyfryw bwysau yn cael eu hachosi gan elfenau gwahanol?

3. Er olrhain effeithiau y ddeddf sydd yn awr dan ein hystyriaeth, sylwaf yn nesaf, bod unrhyw gorph a osoder mewn aw anwasgadwy yn gorphwys yn llonydd yn y dyfnder a fynir, os bydd yn gydbwys â llonaid ei le o'r cyfryw aw—yn suddo os bydd yn drymach, ac yn esgyn os bydd yn ysgafnach.




Er amlygu hyn, cyfeiriaf eich sylw drachefn at gistiad o ddwfr A B C D, yn yr hon y tybiwn bod corph O o drymedd dwfr yn cael ei osod rhwng y ddwy gaenen ddychymmygol E F ac G H. Yn yr amgylchiad yma, amlwg yw bod y corph O a'r golofn ddwfr sydd arno ynghyd, yn gydbwys â cholofn o ddwfr o'r un dyfnder, ac, o ganlyniad, bod yr un pwys ar bob cydran o'r gaenen G H, ac felly heb fwy tuedd mewn un rhan o honi i ostwng nag mewn rhanau ereill. Ond os yw y corph O yn drymach na llonaid ei le o ddwfr, rhaid bod mwy o bwys ar y gaenen G H odditan O nag ar un rhan arall o honi, ac, o ganlyniad, gostwng y rhan hòno i lawr, gan godi y rhanau amgylchol i fynu. Ac os yw y corph O yn ysgafnach na llonaid ei le o ddwfr, rhaid bod ei bwys ef, ynghyd â phwys y dwfr sydd arno, yn llai ar y gaenen G H, odditan O, nag ydyw pwys y dwfr ar y rhanau amgylchol, ac, o ganlyniad, y rhanau hyny a lithrant i lawr, gan godi y corph O i fynu, nes byddo rhan o hono goruwch y gwyneb, a chydfantoliad yn cael ei adferu.

Gwyddoch oll, trwy brofion cyffredin, bod y cyfryw effeithiau yn cymmeryd lle mewn perthynas i gyrph a osoder mewn dwfr; ac er dangos eu bod yn perthyn i awon ereill yr un modd, wele lestraid o arian byw, yn yr hwn y gwelwch bod haiarn, pres, arian, a phlwm, yn nofio, o herwydd eu bod yn ysgafnach na llonaid eu lle o arian byw, ac aur yn suddo, o herwydd ei fod yn drymach.

4. Sylw arall a wnaf am effeithiau y ddeddf a grybwyllais, yw, bod unrhyw gorph a nofia mewn un o'r awon yn symud o'r neilldu yn union gymmaint o'r cyfryw

aw ag a fyddo yn gydbwys â'r corph a nofia ynddo.

Er amlygu hyn, cyfeiriaf chwi drachefn at y darlun diweddaf, trwy yr hwn y canfyddwch bod y corph 8 yn symud o'r neilldu yn union gymmaint o'r dwfr ag sydd yn gydbwys âg ef, o herwydd pe amgen nis gallai fod yr un pwys ar bob cydran o'r caenenau oddi tano, yr hyn, yn ol y ddeddf a grybwyllais, sydd anhepgorol er ymlonyddiad dwfr.

5. Y sylw nesaf a wnaf, a achlysurwyd trwy yr hyn a glywais gan rai a ofnent nas gellir tòri ceuffordd (*tunnel*) tan afon Lundain, o herwydd pwysau y llongau mawrion a nofiant ar hyd-ddi. Ond, pa anhawsder bynag sydd i gyflawni y cyfryw amcan, dywedaf nad pwysau y llongau a ddylid eu hofni, canys nid yw pwys llong un gradd ychwaneg na phwys y dwfr a symudir o'r neilldu ganddi; o ganlyniad, amlwg yw nad oes ar waelod yr afon, o dan long wrth angor, un gradd mwy o bwys nag ar yr un mesur o'r rhanau amgylchol. Ond pan byddo llong yn nofio, gwyddoch bod y dwfr a symudir ganddi yn codi o'i blaen ychydig uwch nag y safai mewn llonyddwch, ac yn codi ychydig hefyd ar gyfer ei hochrau, cyn y caffo amser i gilio o'r neilldu, ac ymdaenu dros y rhanau amgylchol; o ganlyniad, rhaid bod ar y gwaelod, odditan y llong, ac hefyd ar y rhanau amgylchol, ychydig fwy o bwys nag oedd arnynt cyn i'r llong ddyfod atynt, ond nid yw y pwys ar y gwaelod dan y llong yn cael ei chwanegu trwy wasgiad, mae chwaith un gradd mwy nag a fyddai pe llenwid lle y llong â dwfr i'r un uchder ag y mae yn codi ar gyfer ei hochrau.

6. Sylw arall, fel canlyniad angenrheidiol oddiwrth y ddeddf a grybwyllais, yw, bod corph a nofia mewn gwahanol awon yn nofio yn ysgafnach mewn aw trwm nag mewn aw ysgafn, o herwydd bod llai mesur o'r aw trwm nag o'r aw ysgafn yn gydbwys âg ef; ac am fod trymedd heli y môr yn fwy na thrymedd dwfr croyw, megys y gwelwch trwy edrych ar y Dafien sydd ger eich gŵydd, deallwch yr achos bod llong yn nofio yn ysgafnach yn y môr nag y gwnai mewn aberoedd neu afonydd.

7. Os taflwch olwg drachefn ar y Dafien sydd ger eich gŵydd, gan sylwi fod cwrw, llaeth, dwfr, a gwirod, yn gwahaniaethu o ran eu trymedd, a chofio hefyd bod corph yn nofio yn ysgafnach mewn aw trwm nag mewn aw ysgafn, ni bydd anghredadwy genych y gallwn, trwy gynnorthwy y gangen hon, ddatguddio twyll mewn cwrw, llaeth, neu wirod.

Er dangos hyn, wele ddarn o gorsen (*bamboo cane*) ynghylch dwy droedfedd o hŷd, a bwled plwm wedi ei gysylltu wrth un pen iddi. Os gosodwn hi mewn cistiad o ddwfr, gwelwch ei bod yn nofio yn seth, ac ynghylch saith modfedd a hanner o'i blaen goruwch y gwyneb; ond am nas gallwn bob amser gael cistiad o gwrw, o laeth, neu o wirod, wele hefyd biben wydr, yr hon ni chynnwys ond llonaid potelen fechan, ac etto sydd ddigon fferf i osod y gorsen ar ei phen ynddi. Yn gyntaf, tywalltaf wirod marchnadwy i'r biben, a gosodaf y gorsen ynddo, a chwi a welwch nad oes ond chwe modfedd o'i blaen goruwch genau y biben: yn nesaf, tywalltaf ddwfr i'r biben, gan osod y gorsen ynddi megys o'r blaen, a chwi a welwch yn awr bod 7 modfedd a hanner o'r gorsen goruwch genau y biben, yr un mesur ag oedd o honi goruwch gwyneb y dwfr yn y gist, oddiwrth yr hyn y gwelwch nad yw ffyrfder neu feinder y biben yn effeithio mewn un gradd ar yr uchder y mae y gorsen yn codi: yn drydydd, tywalltaf i'r biben yr hyn a brynais mewn gwesty dan yr enw gwirod, gan osod y gorsen ynddi megys o'r blaen, a chwi a welwch yn awr bod pen y gorsen yn chwe modfedd a hanner goruwch genau y biben, ac, o ganlyniad, hanner modfedd yn uwch nag yr oedd yn sefyll yn y gwirod, a dau hanner modfedd yn is nag yr oedd yn sefyll mewn dwfr. Casglwn gan hyny mai cymmysgedd yw yr hyn a werthwyd i ni dan yr enw gwirod, yn cynnwys dwy ran o wirod, a'r drydedd ran o ddwfr. Yr un modd gallwn benderfynu nerth cwrw, a pha un ai llaeth ai glasdwr a werthir i ni gan ein cydwladwyr yn y dref hon.

Os sylwch hefyd, fod trymedd gwêr yn gyfartal â thrymedd gwirod marchnadwy, canfyddwch y gallem brofi a ydyw gwirod o nerth marchnadwy, ai nad ydyw, trwy ollwng oddiwrth ben canwyll ddiferyn o wêr iddo; canys os sudda y gwêr, gallwn benderfynu mai da yw y gwirod; ond os

nofia y gwêr ynddo, gwan ydyw. Pe byddai amser yn caniatâu, gallwn egluro moddion ereill er penderfynu nerth gwirod, &c. ond rhag eich blino ni chwanegaf ar hyn, oddieithr adrodd yr hyn a ddarllenais am faeliwr yn China, yr hwn a werthodd i feistr llong ryw fesur o wirod, yn ol y siampl a ddangosai; ond gan nad oedd gonestrwydd yn ei galon, nac chwaith un dyn yn ei weled, efe a chwanegodd ryw gymmaint o ddwfr, er helaethu ei fael, gan feddwl nas gallai neb ei alw i gyfrif am ei dwyll: ond rhyfedd oedd ei syndod pan y cyhuddwyd ef dranoeth am gymmysgu mesur penderfynol o ddwfr â'r gwirod a werthasai; a mwy oedd ei ddychryndod byth, pan, trwy gyhuddiad cydwybod euog, y meddyliodd nad oedd neb, oddigerth y drwg ysbryd a'i cynhyrfodd i gyflawni y fath weithred dwyllodrus, a allasai droi yn achwynydd yn ei erbyn.

8. Cyn rhoddi heibio y gorsen a'r plwm, taflaf hi drachefn i'r dwfr o fewn y gist wydrochrog sydd o fy mlaen, a gwelwch ei bod yn nofio yn seth a'r pen plwm yn isaf. Ac er amlygu yr hyn yr wyf yn cyfeirio ato, gofynaf, Beth sydd yn cynnal y plwm rhag suddo i'r gwaelod? Tybygaf fod rhai o honoch yn barod i ateb, mai y gorsen sydd yn ei gynnal. Dywedaf finnau, nagê: ond yn hytrach mai y plwm sydd yn cynnal y gorsen. Ac er penderfynu y ddadl, wele ddarlun, yn yr hwn y mae A B C D yn dangos y gistiad ddwfr, a G H yn dynodi y gorsen a'r pen plwm yn gorphwys ar y gaenen ddychymmygol E F, yr hon, fel y dywedais eisoes, sydd mor ddiysgog a bwrdd, o herwydd fod cydbwysiad ar bob rhan o honi: y plwm a'r gorsen yn pwyso ar y rhan H, a'r dwfr oddi uchod yn pwyso ar y rhanau amgylchol. Gwelwch gan hyny mai pwys y dwfr oddi uchod ar y rhanau o amgylch H sydd yn peri i'r dwfr odditan H gynnal y plwm, ynghyd â'r gorsen sydd yn gorphwys arno, ac nad yw y dwfr oddi uchod yn cynnal y plwm trwy afael yn y gorsen, ond yn hytrach fod y dwfr oddi isod yn eu cynnal, o herwydd fod y gorsen yn rhwystro i'r dwfr oddi uchod bwyso ar y plwm.




9. Sylwaf ym mhellach, fod corph dyn ynghylch yr un pwys a llonaid ei le o ddwfr; ac, o ganlyniad, nad oes ond ychydig o nerth rhwyfol yn angenrheidiol i alluogi dyn i nofio, pe dysgai i ddal ei ben yn uchaf, gan gadw ei ddwylaw o tan y dwfr, ac hyd y gallo ymchwyddo ei gorph trwy gadw ei anadl o'i fewn. Ar y pen yma etto nis gallaf lai nag adrodd yr hyn a ddarllenais am ddyn a ddychymmygai ei fod wedi dyfeisio moddion anfethadwy i rodio fel Pedr ar hyd wyneb y dyfroedd, drwy roddi botasau o dwythrisg am ei draed; ond gan nad oedd wedi ystyried deddfau y greadigaeth, a bod y pen yn drymach na'r un mesur o ranau ereill o'r corph, a bod yn naturiol i'r rhan drymaf orfantoli y rhanau ysgafnaf; mawr oedd ei siomedigaeth a'i gywilydd, pan, yn ngwydd cynnulleidfa wedi ymgasglu i'w weled yn rhodio ar hyd wyneb y dyfnder, y trodd â'i draed i fynu, gan nofio â'i goesau o'r dwfr, yn gyffelyb i'r gorsen a welsoch yn fy sylw diweddaf. Dywedaf hefyd, nas gallai dyn sefyll yn syth mewn llyn o arian byw, er na suddai ond rhan fechan o'i gorph ynddo; canys amlwg yw mai y rhan drymaf o'r corph a suddai ddyfnaf.

10. Wedi ymdrechu amlygu rhai o brif effeithiau y ddeddf a grybwyllais mewn perthynas i gyrph a nofiant mewn awon, sylwaf yn nesaf fod pob aw yn ol ei drymedd yn lleihau pwys unrhyw gorph a sudda ynddo. I'r diben o egluro fy meddwl yn amlycach, tybiaf fod genyf ryw sylwedd o dri phwys, ac na byddai llonaid ei le o ddwfr ond dau bwys, a dywedaf, pe gosodem y cyfryw sylwedd mewn dwfr, na byddai yn ofynol cael ond egni un pwys i'w gynnal rhag suddo. Er profi gwirionedd yr honiad hwn yn ol eich cyfleusdra, cymmerwch glorian cywir A B, gan osod unrhyw gorph caled trymach na llonaid ei le o ddwfr yn y pen B, a phwysau cyfartal iddo yn y pen A; yna gosodwch y cyfryw gorph mewn llestr llawn o ddwfr, gan gasglu yn ofalus i'r pen B y mesur o'r dwfr a reda dros ymylau y llestr, a chrogi y corph C wrth rawnen o dan y pen B, a

chwi a welwch fod y pwysau yn y pen A yn ddigonol i gynnal y dwfr sydd yn y pen B, ac i ddal rhag suddo y corph C sydd yn hongian odditan B o fewn y llestraid dwfr.

Ond heb drafferthu i wneuthur y prawf, deallwch trwy edrych ar y darlun, ac ystyried yr hyn a ddywedais eisoes, y cynnaliai y gaenen o dan y corph C gymmaint o'i bwys ag a fyddai yn gyfartal â phwys llonaid ei le o ddwfr.




11. Os llwyddais i wneuthur yn ddealladwy yr hyn a ymdrechais ei amlygu yn fy sylw diweddaf, nid wyf heb ddisgwyl y gallaf ddangos y modd y gallwn benderfynu trymedd cyrph caledion heb angenrheidrwydd i wybod eu mesurau. I'r diben yma cyfeiriaf eich sylw drachefn at y clorian A B, wrth yr hwn y tybiwn fod y corph C yn cael ei grogi odditan y pen B, a phwysau cyfartal iddo yn cael eu gosod yn y pen A. Yn nesaf, tybiwn fod y pen B yn cael ei ddal uwch ben llestraid o ddwfr, a'r clorian yn cael ei ostwng yn raddol nes byddai y corph C yn cyffwrdd â'r dwfr o fewn y llestr, ac ychydig fodfeddau yn is. Yn yr amgylchiad yma, amlwg yw, oddiwrth yr hyn a ddywedais yn y sylw diweddaf, y byddai yn angenrheidiol er gwastadhau y clorian naill ai tynu o'r pen A, neu roddi yn y pen B, yr unfaint o bwysau ag a fantolai lonaid lle y corph C o ddwfr. Tybiwn fod y cydfantoliad yn cael ei adferu trwy osod pwysau yn y pen B, yna gwelwn y byddai yn y pen A bwys cyflawn y corph C, ac yn y pen B bwys yr un mesur o ddwfr. Tybiwn y'mhellach fod 20 *owns* o bwysau yn y pen A, a 5 *owns* yn y pen B, yna casglwn fod y corph C yn bedair gwaith yn drymach na'r un mesur o ddwfr. Ac am fod trymedd dwfr yn 1,000 o *ownsau*, rhaid bod trymedd y corph C yn 4,000.

12. Sylwaf yn nesaf, fod gwybodaeth am ddeddfau y greadigaeth yn ein galluogi weithiau i ddatguddio twyll. Er amlygu hyn, tybiwch fod y corph C, yn fy sylw diweddaf, yn arwyddo tlws neu lestr a honir mai aur pur ydyw, ond ein bod yn ammeu fod cymmysgedd o bres yn ei ddefnydd. Ac er profi a oes sail i'n hammheuaeth, cyfeiriaf chwi drachefn at y daflen sydd etto ger eich gwydd. Yn ol y daflen hon (Rhif. 109, tu dal. 144.) gwelwch fod trymedd aur ychydig dros 19 pwys dwfr, a thrymedd pres ychydig dros 8, ac o ganlyniad fod y gwahaniaeth ynghylch 11 pwys dwfr. Os cofiwch y rhifau yma (19, 8, ac 11) ac hefyd yr hyn a ddangosais yn y sylwadau blaenorol, deallwch, pe pwysem y corph C mewn dwfr, y byddai y pwysau ar y pen A i'r clorian dros 19 cymmaint a'r pwysau yn y pen B, os byddai y corph C yn aur pur; ond os pres yn unig fyddai, na byddai y pwysau yn y pen A ond ychydig dros wyth cymmaint a'r pwysau yn y pen B. Ac os gwelem trwy brofiad fod y pwysau yn y pen A yn 15 cymmaint ag yn y pen B i'r clorian, penderfynem mai cymmysgedd fyddai y corph C, yn cynnwys ynghylch saith o ranau o aur, a phedair o bres, o herwydd bod ei drymedd yn fwy o saith pwys dwfr na thrymedd pres, ac yn llai o bedwar pwys dwfr na thrymedd aur.

13. Er mor hawdd y mae y modd i benderfynu hyn yn ymddangos yn ein dyddiau ni, dylem fawrhau ein breintiau, a chydnabod ein rhwymedigaeth, am fod Rhagluniaeth wedi trefnu moddion i ni i fedi o ffrwyth llafur ein cydryw yn yr oesoedd a aethant heibio. Er dangos yr anhawsder i olrhain ar y cyntaf yr hyn a ymddengys ond casgliad naturiol mewn gwyddoriaeth wedi ei pharotôi cyn ein geni, adroddaf yr hanes a roddir am darddiad yr hyn a ymdrechais ei amlygu yn y sylw diweddaf. Dywedir i Hiero, brenin *Syracuse*, orchymyn gwneuthur iddo goron o aur, ac wedi iddo ei chael, iddo ammeu fod cymmysgedd o arian ynghyd âg aur yn ei defnydd. Yna dywedir iddo anfon am holl ddysgedigion ei deyrnas, a gwneuthur ei ammheuaeth yn adnabyddus iddynt, gan gynnyg gwobr i bwy bynag a bender-

fynai y pwngc. Ym mhlith ereill yr oedd yr enwog ARCHIMEDES, yr hwn a honai y gallai symud y ddaear pe cai drosol digon o hŷd, a rhyw fan ddiysgog i osod ei drosol arni, er hyny nis gallai efe roddi atebiad dioed ar y pwngc a gynnygid iddo. Ond fel yr oedd yn myfyrio arno, digwyddodd fyned i ymdrochi, ac iddo y pryd hyny sylwi fod pwys ei gorph ar y gwaelod yn llai nag a fyddai wrth rodio ar hyd y ddaear, o gymmaint a phwys y dwfr a symudai o'r neilldu. A chan fod galluoedd ei feddwl yn dreiddgar, ac iddo y pryd hyny ddeall fod y dwfr yn cynnal llonaid ei le o unrhyw sylwedd a osodid ynddo, efe a welodd y cymmwysiad er penderfynu y pwngc oedd dan ei fyfyrdod, ac a neidiodd o'r ymdrochfa, ac heb gymmeryd amser i wisgo am dano, dywedir iddo redeg fel gwallgof ar hyd yr heolydd, gan waeddi, "Myfi a'i cefais! myfi a'i cefais!"

14. Un sylw ym mhellach a wnaf am effeithiau yr ail ddeddf, a hwnw er dangos yr hyn a ddywedais eisoes, bod awyrolaeth mewn rhan yn ymddibynu ar ddeddfau awsafiaeth.

Er amlygu hyn, cymmeraf lestraid o arian byw, A B C D, a phiben wydr ynghylch llathen o hŷd. Llanwaf y biben âg arian byw, gan osod fy mys ar ei blaen, a'i throi â'i genau yn isaf, i'r arian byw o fewn y llestr. Yna gwelwch fod yr arian byw o fewn y biben yn gostwng ychydig, ac yn llonyddu â'i wyneb yn agos i ddeg modfedd ar hugain goruwch gwyneb yr arian byw o fewn y llestr. Yn awr edrychwch ar y llestr a'r biben, ac ystyriwch yr hyn a ddywedais am gydbwysiad ar bob cydran o'r un gaenen lywelawl, a chwi a addefwch mai pwysau yr awyr ar yr arian byw o fewn y llestr o amgylch y biben sydd yn cynnal yr arian byw o fewn y biben rhag dymchwelyd i'r llestr: canys os tynwn ymaith y topyn o ben uchaf y biben, modd y gallo yr awyr bwyso ar yr hyn sydd o'i mewn, gwelwch ei fod yn dymchwelyd yn ddioed. Oddiwrth y prawf yma canfyddwch fod pwys yr awyr oddi uchod yn gyfartal â phwys colofn o arian byw yn agos i ddeg modfedd ar hugain o uchder, neu golofn o ddwfr ynghylch un llath ar ddeg o uchder, yr hyn sydd ynghylch pymtheg pwys ar bob modfedd ysgwâr. Deallwch hefyd mai pwys yr awyr ar wyneb y dwfr o amgylch sugnai *(pump)* sydd yn peri i'r dwfr esgyn o'i fewn pan y sugnom yr awyr o hono.




Am fy mod yn barod wedi eich cadw yn faith, gadawaf yr hyn oeddwn yn bwriadu ei ddywedyd am y drydedd ddeddf hyd y tro nesaf y delo i'm cylch i roddi Darlith ger eich gwydd.

---

## ATEBIAD R. LL.

*I LYTHYR ROBERT WILLIAMS, FRON DEG.*

MR. GWYLIEDYDD,—Yn eich Rhifyn diweddaf rhoddasoch le i lythyr y gwr boneddig uchod, yn cynnwys sylwadau hollol disail ar y breuddwyd yn eich Rhifyn am fis Mawrth, ac os gwelwch hyny yn oreu, ysgatfydd y caf, mewn rhyw gongl fechan yn eich Cylchgrawn clodwiw, ddywedyd gair dros fy hun. Bum yn hir yn ceisio dyfalu beth barodd i *R. W.* ysgrifenu y fath lythyr. Meddyliais, mewn awr wan, mai i wneuthur ei lyfr y sonia am dano yn hysbys, ac arbed traul *advertisement*, y cymmerodd y llwybr dïeithr hwn; ond gobeithiaf nad ydyw y fath dwyll a rhagrith yn gysson â'r zel a'i cynhyrfodd i ysgrifenu Corph o Dduwinyddiaeth.

Ar fy ngair gwir, Mr. Gwyliedydd, nid oes mwy perthynas rhwng "ffiloreg y breuddwyd," fel y geilw *Mr. R. W.* ef a'i Gorph o Dduwinyddiaeth, nag sydd rhwng clochdy eich tref chwi a thrai a llanw y môr, neu rhwng ysgrif diwygiad yr Arglwydd Grey a ffyniant trigolion Brydain.

"Dïau, Mr. Gwyliedydd (medd ef) fod y geiriau, 'Sut yr â y gwr acw drosodd, ac ar ei gefn anferth lyfr o Gorph Difinyddiaeth, heb fawr ddim ond testynau o'r Ysgrythyr o wirionedd ynddo;' a rhai pethau ereill yn y breuddwyd hwn, yn cyfeirio at y llyfr a gyhoeddais yn ddiweddar yn erbyn Calfiniaeth, o dan yr enw Corph o Dduwinyddiaeth." Sut felly?

Gofynaf, Pa fodd mor ddïau? A oes ond ei lyfr ef dan yr enw Corph Duwinyddiaeth! Sut y gŵyr ef nad Corph Duwinyddiaeth yn cynnwys daliadau o'r fath a gondemnia ef oedd yn fy ngolwg? Dïau, Mr. Gwyliedydd, meddaf finnau, mewn atebiad, nad oeddwn, yn y breuddwyd, yn cyfeirio at y gwr boneddig, nac at ei lyfr, o herwydd nas gwelswn ac nas clywswn, er pan aned fi, sôn am *Mr. R. W. o'r Fron Dêg*, na'i Gorph Duwinyddiaeth. Maddeuer i mi fy nhywyllwch! Wedi darllen ei sylwadau, yn wir, holais a oedd y fath lyfr gan y fath ŵr yn bod, a chlywaf fod; ond am werth neu deilyngdod y llyfr nis gwn etto ddim, eithr gobeithiaf ei fod wedi ei ysgrifenu ar seiliau gwell na'r cyhuddiadau yn fy erbyn i, yn ei sylwadau ar y breuddwyd. Pa faint o gamsyniadau sydd yn y Corph Duwinyddiaeth nis gwn etto, ond pob peth a ddywedodd am danaf fi sydd lwyr gamsyniol. Adwaen fy null yn pregethu, medd efe; ond braidd na ddaliwn ddimeu âg ef nas gŵyr fwy am fy mhregethu, os wyf bregethwr, nag a ŵyr y dyn yn y lleuad. Nid oes ganddo un ammheuaeth, medd efe, nad fi a ysgrifenodd lythyr, dan yr enw *Latimer*, yn erbyn ei lyfr. Atebaf, na ddo, erioed. "Arwyddwyd, a thalwyd toll, y llythyr bradychol hwnw (medd ef) yn y dref lle yr wyf fi yn byw." Allan etto, *Mr. R. W.* ni bum yn byw mewn un dref er's rhai blynyddoedd. Pen crwn yw fy mhen i, medd ef. Camsyniad etto, Syr, pe bai waeth; pen hir, ond heb lawer ynddo, yw y pen mau. Ai têg, Mr. Gwyliedydd, yw y sylwad canlynol o eiddo *Mr. R. W.* sef, fy mod yn euogfarnu pawb, o bob enw, oddigerth fy enw fy hun, pan y mae ar ddalenau y Gwyliedydd am fis Mawrth diweddaf, ïe, yn y breuddwyd, i mi gyfaddef fod genyf gymmaint, os nid mwy, na'm cyfeillion o enwau ereill, o bethau a beichiau i'w taflu ymaith?

Mewn perthynas i *wyrthiol* ac *anorchfygol ras*, &c. gadawaf rhwng *Mr. R. W.* a'r blaid sydd yn eu pregethu, os oes y fath blaid. Ond o barth ei gerydd, am na buaswn yn curo ar ragrith, hoced, ac anfoesoldeb proffeswyr crefydd y'Nghymru, hyderaf y cenfydd, os ymostwng i ddarllen etto yn ddiduedd y breuddwyd, nad hyny oedd yn llaw genyf y tro hwnw:* y mae amser i pob peth. Hyderaf y gwel ef, neu o leiaf y gwel pawb ond ef, mai fy amcan oedd rhoddi sèn i'r yspryd cul, partïol, a rhagfarnllyd, sydd ry amlwg mewn proffeswyr, braidd o bob enw: yr yspryd ag yr achwyna *R. W.* a allai gynhyrfu rhyw un, mewn rhyw le, i geisio bradychu ei Gorph Duwinyddiaeth, cyn erioed ei weled: yr yspryd, ar allor pa un yr aberthir cariad brawdol. Drygau mawr yw twyll a rhagrith, medd *R. W.* mawr iawn, meddaf finnau; a gobeithiaf y cyfyd ei lais, gyda mi ac ereill, fel udgorn, yn y Gwyliedydd, yn erbyn y fath bethau gwrthun; etto, nis gallaf gydweled âg ef, pan ddywed mai pethau bychain y cyfeiriais atynt yn ffiloreg y breuddwyd. Pethau trymaf y gyfraith yw undeb a brawdgarwch; ïe, llawer trymach na llwyth mèn o Gorph Duwinyddiaeth, ac hefyd na *shiboleth* enwau partïol: a gobeithiaf nad ysgrifenais ddim y tro hwn all dueddu i ddistrywio cariad brawdol. Os meddyliwch fod yn y sylwadau hyn rywbeth yn gas, Mr. Gwyliedydd, da chwi taflwch y papur i'r tân, neu rhoddwch tan gareg yn Llyn Tegid nes pydro. Mewn gair, nis gall fod un gelyniaeth bersonol rhyngof a *Mr. R. W.* am nas adwaenwn ef; a dymunaf arno dynu y casgliad canlynol oddiwrth ei gamsyniad, sef yw hyny, gochelyd rhoddi barn fyrbwyll ar neb rhag llaw. Ysgatfydd, ei fod yn cam-gymmeryd am *Latimer:* mae llawer tebyg, nid yr un. Cofied yr hen ddiareb Gymraeg—"Moch barn pob ehud."

Pan edrychwyf ar ddalenau y Gwyliedydd, nis gallaf ddisgwyl fawr o groesaw i bapurau o fath hwn, nac un peth ar ddull dadl. Cecraeth ac ymryson ni ddifwynasant etto ddalenau eich cyhoeddiad. Pe gwyddwn nad ymfalchïech, dywedwn fod y Gwyliedydd yn sefyll ar dir llawer uwch nag un o'r mân-gyhoeddiadau Cymreig, a hyny, hyd yn nod ym marn eich gwrthwynebwyr. Clywais sylwi, gan rai nad yw eu serch at yr Eglwys Sefydledig yn llifo drosodd, fod y Gwyliedydd yn rhagori mewn defnyddioldeb ac am-

* Os ym yn cofio, cymmerodd *R. Ll.* yn ganiatâol, fod y pererinion wedi diosg y pethau y sonia *R. W.* am danynt, yn nechreu yr ysfa ysprydol.—Gol.

mhleidgarwch ar un Cylchgrawn arall, yn Nghymru o leiaf. Ewch yn mlaen, Syr, yn eich llwybr y cerddasoch ynddo o'r dechreu: gadewch i'r rhai nad oes ganddynt ddim arall i'w ddweud, baffio ac ymgecru—geiriau gwirionedd a sobrwydd yn unig, a ddylent addurno wyneb y Gwyliedydd.——Ydwyf, &c.

R. Ll.

---

## SYLWADAU

*AR YSGRIF ROBERT WILLIAMS, FRON DEG.*

Mr. Gwyliedydd—Ychydig o ddyddiau yn ol y cefais yr hyfrydwch o dderbyn a darllen eich Cylchgrawn gwerthfawr am fis Mai; a'r traethawd cyntaf a ddigwyddodd ei gynnyg ei hun i'm hystyriaeth, a thynu fy sylw, oedd llythyr oddiwrth Mr. *R. W. o'r Fron Dêg*, yn cynnwys sylwadau ar freuddwyd a ymddangosodd yn eich Rhifyn am fis Mawrth diweddaf, dan y titl, "Afon Angeu." Oddiwrth y breuddwyd hwnw cefais i fy hun, ynghyd â llawer o'm cymmydogion (y rhai sydd yn arfer a darllen eich dalenau difyr a defnyddiol) gryn bleser, a pheth addysg hefyd, fel yr oeddym ni yn tybied.

Diau yn y byd a ddaw y bydd holl ammherffeithrwydd y saint wedi ei olchi ymaith yn dragywydd y'ngwaed yr Emmanuel; a diau y bydd yr annuwiol yn cael euogrwydd eu pechodau, ynghyd â'u canlyniadau erchyll, i lynu wrthynt, megys baich anoddefadwy yn oes oesoedd; o herwydd "lle syrthio'r pren, yno y bydd ef." Yn iaith ffigwraidd y breuddwyd, wrth fordwyo tros "afon angeu," y golchir ymaith (fel y dywedais) bob ammherffeithrwydd y seintiau yn gystal mewn ymarferiad â gwybodaeth, os bydd llaw y ffydd wedi cydio yn flaenorol yn nghymmorth cynnygiedig yr Iachawdwr:—

> "Yn y dyfroedd mawr a'r tònau,
> "Nid oes neb a ddeil fy mhen,
> "Ond yr anwyl briod Iesu,
> "Yr hwn a'm prynodd ar y pren."

I ba enwadau Cristionogol bynag y mae dynion yn perthyn, pwy bynag o honynt a adeiladant eu gobaith am iachawdwriaeth ar "Graig yr oesoedd," ar yr unig sylfaen a osodwyd i bechaduriaid, Iesu Grist, er eu bod yn tybied yn groes i'w gilydd mewn pethau bychain a hepgorol, tra ar eu taith trwy anialwch y byd hwn, dall yr hwn sydd yn barhaus yn myned heibio—y cyfryw rai, wrth fordwyo trwy ddwfr "afon angeu," ac yn awr yn sefyll y'mhresennoldeb digyfrwng "Tad y Goleuni," fyddant yr holl wir ddoethineb, ac yn adnabod pethau nefol, megys yr adwaenir hwythau eu hunain—y cyfryw rai (meddaf) a fwriant ymaith yn ebrwydd ac yn llwyr yr holl byngciau bychain a dibwys hyny oedd gynt yn peri anghydfod ac ymrafael rhyngddynt a'u gilydd, ac yn oeri eu cariad at eu brodyr Cristionogol ar y ddaear. Yna y cyfaddefant, nad oeddynt, tra yn ymdeithio yn eu pabell ddaearol, ond "yn gwybod mewn rhan, ac yn prophwydo mewn rhan." Yna y gwelant euogrwydd a ffolineb eu hunan-dyb gynt, a'r cyhuddiadau a ddygasent y naill yn erbyn y llall mewn perthynas i faterion crefyddol. Yna yr addefant mai pan oeddynt yn tybied eu hunain yn ddoethion, ac fel y Pab yn anffaeledig mewn pethau nefol, nid oeddynt ond bechgyn mewn gwybodaeth ddwyfol. Yna yr addefant mai "fel bechgyn y llefarent, fel bechgyn y deallent, fel bechgyn y meddylient." Pan rwygir ymaith y llen o gnawd, ymddengys yr hyn sydd berffaith yn ei holl ogoniant i'w llygaid synedig—a chaiff eu hopiniynau gynt, ar ba rai y gosodent gymmaint o bwys, a pha rai y barnent mor hanfodol, mor angenrheidiol, i iachawdwriaeth yr enaid, ond y rhai a brofir yr amser hwnw eu bod "o ran" yn unig—caiff yr opiniynau hyny (meddaf) eu dilëu; ac yna, wedi myned yn "wŷr" mewn gwybodaeth ddwyfol, hwy a "roddant ymaith y pethau bachgenaidd" hyny.

Y mae arnaf ofn, er hyny, nad yw Mr. *R. W. o'r Fron Dêg* yn foddlon i dderbyn yr athrawiaeth hon, er ei thraddodi gan yr apostol Paul ei hun. Cafodd Mr. W. ei gynnorthwyo yn ei "Gorph o Dduwinyddiaeth" gan ysgrifeniadau llawer o ddynion enwog o wahanol enwadau crefyddol, yn enwedig Wesley, Fletcher, Adam Clarke, Watson, ynghyd â llawer o wŷr dysgedig ereill, yn gystal Eglwyswyr ag Ymneillduwyr:—y mae efe am hyny yn dywedyd, "*Nad rhaid iddo ef gywilyddio byth*" am ei waith, gan ddilyn athrawiaeth y Parchedigion hyny! O herwydd iddo gael ei gynnorthwyo yn ei waith gan ysgrifeniadau dynion doethion a duwiol—o herwydd

iddo dderbyn canmoliaeth am ei waith gan ddynion o'r un desgrifiad—ac yn benaf dim am fod ei gydwybod ei hun yn dwyn tystiolaeth fod ei waith yn unol â'r Datguddiad Dwyfol;—o herwydd hyn i gyd y mae Mr. *R. W.* yn meddwl *nad rhaid iddo byth gywilyddio* am ei waith!

St. Paul, yr hwn a gawsai ei "gipio i fynu i'r drydedd nef," ac a welsai yno "bethau ammhossibl eu traethu;" yr apostol gostyngedig hwnw, yr hwn a fwynhaodd ddylanwadau goleuadol yr Yspryd Glân i uwch graddau fe allai, ïe, nag awdwr y "Corph o Dduwinyddiaeth" ei hun, er hyny a wyddai ac a gyfaddefai mai yn y byd hwn "yr adwaenai *o ran*" yn unig; ond diammeu oedd ganddo mai ar ol iddo fordwyo trwy "afon angeu," y cai yr "hyn oedd o ran" ei ddilëu, a'r "hyn oedd berffaith" ymddangos yn eglur ger bron ei lygaid.

Mr. *R. W. o'r Fron Dêg*, er hyny (yr hwn, mae 'n debyg, er yn llai na'r apostol mewn gwybodaeth ddwyfol, sydd y'mhell tu hwnt iddo mewn rhyw beth tebyg i falchder ysprydol, a hunan-dyb) sydd yn tybied ei fod eisoes wedi cyrhaeddyd perffeithrwydd ac anffaeledigrwydd yn y gwaith o esponio neu eglurhau pyngciau athrawiaethol o Dduwinyddiaeth ag oeddynt wedi bod er's amser maith yn destynau dadleuon annherfynol. Ymddengys fel ped fai yn tybied na ddatguddid dim yn ychwaneg iddo hyd yn nod pan drosglwyddir ef i bresennoldeb digyfrwng "Tad y Goleuni."—Clywais ddywedyd "nad yw hunan-ganmoliaeth ddim yn ganmoliaeth yn y byd;" a'r gwr doeth ei hun a ddywed, "Canmoled arall dydi, ac nid dy enau dy hun:" ac etto y mae Mr. *R. W.* yn gosod o'n blaen ysgrifen o gryn feithder o ganmoliaeth i'w lyfr ei hun, yr hwn a argraphwyd yn yr "Eurgrawn," cyhoeddwyr yr hwn ydynt (mae 'n debyg) o'r un daliadau crefyddol âg ef ei hun, ac yn ganlynol a ganmolent yn fawr lyfr ag oedd wedi ei gyfaddasu i daenu y daliadau pennodol hyny, ac a'i cymmeradwyent megys yn gymmwys i gael ymddangos ym mhob myfyrgell, ac ym mhob teulu, yn y Dywysogaeth. Y ganmoliaeth hon, gan hyny, yr wyf yn edrych arni megys dim gwell na hunan-ganmoliaeth.—Y mae llawer o bethau yn llythyr Mr. *R. W.* nad oes genyf mo amser nac awydd i sylwi arnynt; ond gan na welais ac na chlywais erioed o'r blaen am ei "Gorph o Dduwinyddiaeth," nis gallaf ganfod yn y breuddwyd uchod unrhyw "ddychymmygion gweigion gau" yn erbyn y gwaith pennodol hwnw; a meddwl yr ydwyf y gellir yn iawn gymmwyso 'r gydmariaeth a dynir rhyngddo a'r breuddwyd i gyflwr newidiedig eu hamrywiol awduron, ynghyd â'u hopiniynau, ar ol iddynt fordwyo trwy dònau cynddeiriog yr afon. Yna y diflana eu camgymmeriadau mewn crefydd "megys tarth y boreuddydd y'ngwyneb yr haul disglaer;" a gobeithio y ceir gweled y ddau awdwr hyn, ar ol tirio ar y lân arall, yn ysgwyd dwylaw fel cyfeillion. Diammeu ped fai pawb yn meddiannu yspryd ysgrifenydd y llythyr uchod, ni chynnwysai y Gwyliedydd am rai misoedd ddim ond ocheneidiau ac achwyniadau perthynol i'r driniaeth a gawsent yn y breuddwyd. Clywsid yr Esgobion yn tywallt allan eu galarnadau alaethus dros eu perwigau—yr Athrofäau ar ol eu cwccyllau—Offeiriaid dros eu gwen-wisgoedd—y Wesleyaid tros eu ben-hetau—a'r Pabyddion ar ol eu croesau.—A pha beth pe cai awdwr y "Corph o Dduwinyddiaeth" weled ychydig o'i opiniynau dynol yn cael eu gwahanu yn yr afon oddiwrth y geiriau o wirionedd â pha rai y maent yn gymmysgedig yn ei lyfr? A yw efe yn disgwyl cael diangc rhag y rhan gyffredin a ddigwydda i ddyn? A yw efe yn disgwyl cael cadw ei zel bartïol—ei deimladau o'i opiniynau pleidiol ar ol myned trwy 'r afon?—Os felly, naill ai ni chaiff efe fyned i mewn trwy 'r pyrth i'r ddinas, neu ynte os caiff fyned i mewn yno, ni bydd ei drigfa mewn gogoniant yn ddyrchafedig iawn.——Ni ddygodd awdwr y breuddwyd yr un cyhuddiad yn erbyn y "Corph o Dduwinyddiaeth;" ond ni a allwn gasglu ei fod mewn cryn ammheuaeth pa fodd y byddai i'r rhanau o ddidwyll wirionedd, ac, fe allai, o anwiredd difwriad, y rhai a ellid eu cael (am a wn i) yn argraphedig ynghyd yn yr un dalenau, fyned trwy 'r afon, ai ynghyd, neu ynte yn wahanedig oddiwrth eu gilydd. Cafodd y breuddwydiwr yntau ei wysio ei hun at yr afon: efe a gyfaddefai bwys a mawredd ei faich—ac iddo daflu rhan fawr

o hono ymaith; a diammeu y tafasai fwy o lawer pe rhoddasid iddo ddigon o amser; ond rhoddodd oerder yr afon derfyn ar y weledigaeth, yr hon oedd yn dechreu bod yn lled arswydus mewn perthynas i'r breuddwydiwr ei hun.

Am yr anghyfiawnder a gawsai Mr. *R. W.* amser yn ol ar ddwylaw *R. Ll.* gan na wn i ddim, nid oes genyf fi ddim i'w ddywedyd; ond hyn o gyngor a roddaf iddo ef, ynghyd â rhai ereill—*Ymogelwch rhag heresi y Morganiaid.*——Mewn perthynas i'r traws-gymmelliad a grybwyllir gan Mr. *R. W.* fe allai yr atebai *R. Ll.* y'ngeiriau yr Arglwydd (*Ezec.* 36. 26, 27.) "Rhoddaf i chwi galon newydd, yspryd newydd hefyd a roddaf o'ch mewn chwi; a thynaf y galon gareg o'ch cnawd chwi, ac mi a roddaf i chwi galon gig. Rhoddaf hefyd fy yspryd o'ch mewn, a gwnaf i chwi rodio yn fy neddfau, a chadw fy marnedigaethau, a'u gwneuthur."

Ar ol i mi ysgrifenu hyd yma y cododd meddwl arall yn fy mhen:—meddyliais y gallasai Mr. *R. W.* trwy gymmeryd y fath sylw diachos a difrifol o'r geiriau dibwys yn y breuddwyd perthynol i'w lyfr ei hun, fwriadu defnyddio 'r Gwyliedydd i'r diben o gyhoeddi ei "Gorph o Dduwinyddiaeth," a gwneuthur ei rinweddau a'i ragoroldeb yn fwy hysbys i genedl y Cymry. Cadarnheir fi yn y dyb hon wrth ystyried yr ysgrifen o ganmoliaeth a dynwyd allan o'r "Eurgrawn," yr hwn a gymmeradwya y "Corph o Dduwinyddiaeth" megys yn deilwng o gael ymddangos "ym mhob myfyrgell, ac ym mhob teulu yn y Dywysogaeth."

Yn lle bod yn ddigllon, ynte, dylai Mr. *R. W.* ei deimlo ei hun dan rwymedigaeth fawr i *R. Ll.* (yr hyn yr wyf yn tybied ei fod yn ei galon) am roddi iddo y fath gyfleusdra i osod allan foliant ei lyfr ei hun, gan y bydd cannoedd, y rhai ni chlywsent o'r blaen am y gwaith mawr a buddiol hwnw, yn cael eu tueddu yn awr i ymofyn ar ei ol, ac fe allai i'w brynu;—ac fel hyn y bydd y "ffiloreg ddychymmygol a fwriadwyd i fwrw anfri ar y llyfr" yn cael ei throi yn foddion i chwanegu at enwogrwydd ac elw ei awdwr.

Yn ddiweddaf, mi a'i cynghorwn ef, os bydd iddo byth ar ol hyn ysgrifenu ar y testun hwn, neu arall, i gymmysgu â'i ink ychwaneg o ryw ddefnydd a darlun *cariad Cristionogol*, a llai o'r bustl chwerwder; gan fod y cyntaf o law prydferth ac anniflanedig, tra y bydd y llall yn diflanu ac yn anhoddi ei 'ngeiriau [illegible] cyhyd ag y bydd y dalenau yr argrephir hwynt arnynt yn dal ynghyd.——Ydwyf, Mr. Gwyliedydd, eich ffyddlon a'ch ufudd wasanaethwr,

[illegible]

---

## MARWOLAETH GWATWARWR.

*A adroddwyd mewn Llythyr oddiwrth y diweddar Barch. Mr. Fletcher, Ficer Madeley.*

"HEDDYW y claddais un o watwarwyr penaf fy ngweinidogaeth, yr hwn oedd ddyn ieuangc, cryf, ac iach, oddeutu 24ain oed. Oddeutu tri mis yn ol daeth i'r fonwent gyda chynhebrwng, ond nacaodd ddyfod i'r Eglwys. Wedi darfod y Gwasanaeth aethum ato, ac a ymresymmais yn dirion âg ef. Ei ateb oedd, ei fod wedi penderfynu peidio dyfod i'r Eglwys, gan ychwanegu, y cymmerai efe y canlyniadau, &c. Gan fy mod yn gweled nad allwn wneuthur dim daioni iddo, gadewais ef, gan ddywedyd yn bur boethlyd (ond, cyn belled ag yr wyf yn cofio, heb fod yn chwerw) 'Yr ydwyf yn lân oddiwrth eich gwaed; o hyn allan bydded ar eich pen eich hun. Ni ddeuwch i'r Eglwys ar eich traed; am hyny parotowch i ddyfod ar ysgwyddau eich cymmydogion.' Dihoenodd o'r pryd hyny allan; ac, er fy mawr syndod, claddwyd ef yn y fan lle yr oedd yn ymddiddan."

---

## HYSBYSIAD O BARTHED Y TREFEDIGAETHAU PRYDEINIG YN NGOGLEDD AMERICA.

(*Parhad o du dal.* 150.)

### Y CYFLOGAU, A PHRIS Y MARCHNADOEDD.

Y TREFEDIGAETHAU, i'r rhai y gall Mudwyr fyned gyda mwyaf o fantais iddynt eu hunain, ydynt Canada Isaf, Canada Uchaf, a Brunswick Newydd. Yn ol yr hysbysiadau a dderbyniwyd o Drefedigaethau ereill yr America Ogleddol, sef, Prince Edward's Island, Newfoundland, Nova Scotia, a Cape Breton, ymddengys nad ydynt yn debyg o allu rhoddi gwaith a chyflog i gynnal llawer o Fudwyr, nac i'w sefydlu hwynt ar dir.

# CANADA UCHAF.

Y Daflen ganlynol a ddengys bris uchaf ac isaf y nwyfau a enwir ynddi, yn ystod y flwyddyn 1831, ym mhob un o'r prif Daleithiau yn CANADA UCHAF.

| | Eastern District. | | Johnstown ditto. | | Bathurst ditto. | | Newcastle ditto. | | Home ditto. | | Gore ditto. | | Niagara ditto. | | London ditto (Huron tract.) | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| | Pris Isaf yn 1831. | Uchaf, do. | Isaf. | Uchaf. | Isaf. | Uchaf. | Isaf. | Uchaf. | Isaf. | Uchaf. | Isaf. | Uchaf. | Isaf. | Uchaf. | Isaf. | Uchaf |
| | £. s. c. | £. s. c. | £. s. c. | £. s. c. | £. s. c. | £. s. c. | £. s. c. | £. s. c. | £. s. c. | £. s. c. | £. s. c. | £. s. c. | £. s. c, | £. s. c. | s. c. | s. c. |
| Gwenith ..... y llestraid | 0 5 0 | 0 5 6 | 0 5 3 | 0 6 9 | 0 5 0 | 0 5 0 | 0 3 6 | 0 6 3 | 0 3 9 | 0 5 3 | 0 4 4½ | 0 6 3 | 0 3 9 | 0 5 0 | 4 0 | 5 0 |
| Ceirch ....... ,, ,, | 0 1 3 | 0 1 8 | 0 1 3 | 0 1 6 | 0 1 6 | 0 2 0 | 0 1 3 | 0 2 0 | 0 0 10 | 0 1 10½ | 0 1 3 | 0 1 11 | 0 1 3 | 0 1 6 | 3 2 | 3 2 |
| Haidd ....... ,, ,, | 0 2 6 | 0 2 6 | 0 1 9 | 0 4 0 | 0 3 0 | 0 3 6 | 0 2 6 | 0 3 1 | 0 2 3 | 0 3 9 | 0 2 6 | 0 2 6 | 0 2 6 | 0 2 6 | 3 9 | 3 9 |
| Cloron ....... y cant (*cwt*) | 0 1 3 llestraid | 0 1 6 llestraid | 0 1 3 | 0 1 9 | 0 1 3 | 0 1 9 | 0 2 0 | 0 3 0 | 0 0 10 | 0 2 6 | 0 1 3 | 0 1 6 | 0 1 3 | 0 2 6 | 1 11 | 2 6 |
| Ymenyn ffrês, y pwys | 0 0 7½ | 0 0 9 | 0 0 6 | 0 0 9 | 0 0 6 | 0 0 8 | 0 0 7½ | 0 0 9 | 0 0 7½ | 0 1 0 | 0 0 7½ | 0 0 8 | 0 0 8 | 0 0 8 | 0 8 | 1 0 |
| Ymenyn hallt ,, ,, | 0 0 7½ | 0 0 7½ | 0 0 7½ | 0 0 10 | 0 0 7½ | 0 0 7½ | 0 0 7½ | 0 0 9 | 0 0 9 | 0 0 10 | 0 0 6 | 0 0 7½ | 0 0 7 | 0 0 8 | 0 8 | 1 0 |
| Caws ......... ,, ,, | 0 0 6 | 0 0 6 | 0 0 4 | 0 0 6 | 0 0 6 | 0 0 6 | 0 0 5 | 0 0 7½ | 0 0 6 | 0 0 6 | 0 0 5 | 0 0 7 | 0 0 4 | 0 0 6 | 0 8 | 0 8 |
| Wyau ........ y dwsin | 0 0 5 | 0 0 9 | 0 0 6 | 0 0 10 | 0 0 4 | 0 0 8 | 0 0 6 | 0 0 7½ | 0 0 7½ | 0 1 10½ | 0 0 6 | 0 0 8 | 0 0 6 | 0 1 6 | 0 8 | 0 8 |
| Gwair ........ y dunell | 1 15 0 | 2 5 0 | 1 10 0 | 2 10 0 | 2 0 0 | 2 10 0 | 1 10 0 | 2 10 0 | 1 10 0 | 2 10 0 | 2 0 0 | 2 0 0 | 1 15 0 | 2 10 0 | ,, ,, | ,, ,, |
| Gwellt ....... y llwyth | 0 16 8 | 0 16 8 | 0 5 0 | 0 10 0 | 0 7 6 | 0 7 6 | 0 5 0 | 0 5 0 | 0 15 0 | 0 15 0 | 0 7 6 | 0 7 6 | 0 5 0 | 0 5 0 | ,, ,, | ,, ,, |
| Bara ........ torth 4 pwys | 0 0 9 | 0 0 10 | 0 0 6 | 0 0 8 | 0 0 10 | 0 0 10 | 0 0 7½ | 0 0 7½ | 0 0 4½ | 0 0 7 | 0 0 8 | 0 0 8 | 0 0 7 | 0 0 8 | ,, ,, | ,, ,, |
| CIG, y pwys. | | | | | | | | | | | | | | | | |
| Cig Eidion ............... | 0 0 2½ | 0 0 3½ | 0 0 2½ | 0 0 4 | 0 0 4 | 0 0 4 | 0 0 2½ | 0 0 3 | 0 0 3 | 0 0 5 | 0 0 3 | 0 0 4 | 0 0 2 | 0 0 4 | 0 3½ | 0 3½ |
| Cig Defaid ............... | 0 0 3 | 0 0 4 | 0 0 2½ | 0 0 4 | 0 0 4 | 0 0 4 | 0 0 2½ | 0 0 3 | 0 0 5 | 0 0 8 | 0 0 3 | 0 0 4 | 0 0 2 | 0 0 4 | 0 3½ | 0 3½ |
| Cig Tyrchyn ............. | 0 0 4 | 0 0 5 | 0 0 4 | 0 0 6 | 0 0 3 | 0 0 3 | 0 0 3 | 0 0 4 | 0 0 3 | 0 0 6 | 0 0 2 | 0 0 3 | 0 0 4 | 0 0 4 | 0 8 | 0 8 |
| Cig Lloi ................. | 0 0 3 | 0 0 3 | 0 0 2½ | 0 0 3 | 0 0 4 | 0 0 4 | 0 0 3 | 0 0 3½ | 0 0 3 | 0 0 5 | 0 0 3 | 0 0 4 | 0 0 3 | 0 0 4 | 0 5 | 0 5 |
| PEILLIAID, y 100 pwys. | | | | | | | | | | | | | | | | |
| Peilliaid teg ............. | 0 15 0 | 0 17 6 | 0 15 0 | 0 17 6 | 0 12 6 | 0 16 0 | 0 12 6 | 0 17 6 | 0 12 6 | 0 15 0 | 0 14 6 | 0 15 0 | 0 12 6 | 0 15 0 | 15 0 | 15 0 |
| Eilion ................... | 0 12 6 | 0 12 6 | 0 12 6 | 0 15 0 | 0 10 6 | 0 12 6 | 0 10 0 | 0 15 0 | 0 11 3 | 0 12 6 | 0 12 0 | 0 12 6 | 0 12 6 | 0 15 0 | ,, ,, | ,, ,, |

Wrth gydmaru yr holl Adroddiadau a dderbyniwyd gan y Llywodraeth, ymddengys fod cyflogau gweithwyr yn Canada Uchaf, y rhai a gyflogir wrth y flwyddyn, yn gyffredin o £27 i £30; a bod eu cyflogau misol, mewn gwahanol barthau, ac ar wahanol amserau, yn amrywio o £1 10*s.* i £3 10*s.* y mis; a bod y cyflogau yn amrywio o 2*s.* i 3*s.* 9*c.* yn y dydd. Dalier sylw, fod y meistr yn rhoddi bwyd a llety heblaw y cyflogau uchod. Heb fwyd, y cyflog a amrywia o 3*s.* 6*c.* yn gyffredin, i 5*s.* yn y cynhauaf: weithiau rhoddir 6*s.* 3*c.* yn y dydd, heblaw lluniaeth, i lafurwyr yn y cynhauaf. Gellir dywedyd fod cyflog crefftwyr yn gyffredin o 5*s.* i 7*s.* 6*ch.* yn y dydd.

### CANADA ISAF.

Nid oedd y Llywodraeth wedi derbyn yr Hysbysiadau awdurdodol o Canada Isaf, y rhai a dderbyniodd o bob Trefedigaeth arall, er mwyn crynhoi yr Adroddiad presennol. Ond tybir y gellir hyderu ar gywirdeb yr Hysbysiad canlynol am gyflogau gweithwyr, a phris y Farchnad.

| | | s. | c. | |
|---|---|---|---|---|
| Gwenith .... | y llestraid .... | 4 | 6 | |
| Rhyg ....... | „ .... | 3 | 0 | |
| Ceirch ...... | „ .... | 1 | 3 | |
| Cyflogau Gweithwyr ....... | | 2 | 6 | y dydd. |
| Seiri llongau, Seiri coed, Cowperiaid, Seiri meini, a Thaelwriaid .......... | | 5 | 0 | „ |

### BRUNSWICK NEWYDD.

Y Daflen ganlynol a gynnwysa Brisiau y Marchnadoedd a gymmerwyd allan o'r Adroddiadau a ddanfonwyd o amrywiol barthau yn Brunswick Newydd:—

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Gwenith .... | y llestraid | 0 | 5 | 0 | i | 0 | 10 | 0* |
| Ceirch ...... | „ | 0 | 1 | 6 | i | 0 | 2 | 6 |
| Haidd ....... | „ | 0 | 4 | 0 | i | 0 | 5 | 0 |
| Cloron ...... | y cant (cwt) | 0 | 1 | 3 | i | 0 | 3 | 6 |
| Ymenyn ffrès | y pwys | 0 | 0 | 9 | i | 0 | 1 | 0 |
| Ymenyn hallt | „ | 0 | 0 | 8 | i | 0 | 0 | 10 |
| Caws ....... | „ | 0 | 0 | 4 | i | 0 | 0 | 7 |
| Gwair ...... | y dunell | 1 | 10 | 0 | i | 2 | 10 | 0 |
| Gwellt ...... | „ | 1 | 0 | 0 | i | 1 | 5 | 0 |
| Bara ....... | torth 4 pwys | 0 | 0 | 10 | i | 0 | 1 | 0 |
| Cig Eidion .. | y maen, 8 lb. | 0 | 3 | 2 | i | 0 | 4 | 0 |
| Cig Defaid .. | „ | 0 | 2 | 4 | i | 0 | 4 | 0 |
| Cig Tyrchyn | „ | 0 | 2 | 1 | i | 0 | 4 | 0 |
| Cig Lloi .... | „ | 0 | 2 | 4 | i | 0 | 4 | 8 |
| Pellhaid .... | y 100 pwys | 0 | 16 | 0 | i | 0 | 17 | 6 |
| Blawd Rhyg | y barrel | 1 | 2 | 6 | i | —— | | |
| Blawd Ceirch | y 100 (cwt) | 0 | 16 | 0 | i | 0 | 18 | 0 |

Pris y Glo ydyw 30s. y *chaldron*. Ardreth tŷ yn St. John's yw o £5 i £6 yn y flwyddyn i deuluoedd a logant un ystafell; ac o £6 i £10 i'r teuluoedd a logant ddwy ystafell. Gweithwyr, ar eu bwyd eu hun, a ennillant o 3s. i 4s. yn y dydd; ond pan y byddont yn llafurio yn y Porthladdoedd yn llwytho llongau, rhoddir eu bwyd iddynt. Crefftwyr a ennillant o 5s. i 7s. 6ch. yn y dydd; a gweithwyr cywrain o 7s. 6ch. i 10s. yn y dydd.

Ar yr Adroddiadau uchod dylid sylwi, na wiw i Fudwyr, yn enwedig llafurwyr amaethyddol, ddisgwyl cael y cyflogau uchaf a enwir, nes iddynt ddyfod yn hyddysg â'r gwaith yn y Trefedigaethau. Y crefftwyr y mae mwyaf o alw am danynt ydynt Seiri meini, a Seiri coed, a'r rhai a berthynant i'r gwaith o adeiladu tai. Ceir digon o waith i Gryddion, Teilwriaid, a Seiri llongau.

T. FREDERICK ELLIOT.

---

### OL-YSGRIFEN.

Derbyniwyd y Llythyr canlynol oddiwrth y Meistriaid SMITH, PAYNE, a SMITHS.

LOMBARD STREET, *Chwefror* 22, 1832.

"SYR,—Yr ydym yn cydnabod derbyniad eich Llythyr, a dymunwn eich hysbysu ein bod wedi cyduno i dderbyn arian yn Llundain ar gyfrif Ariandŷ *(Bank)* Montreal; ac os bydd i un sydd yn mudo i'r America dybied ei fod yn fwy diogel neu fanteisiol iddo gludo ei arian i Canada trwy gyfrwng Ariandŷ Montreal na'u cymmeryd gyd âg ef ei hun, y mae ganddo gyfleusdra i wneuthur hyny.

"Pan dderbyniwn swm o arian ar gyfrif Ariandŷ Montreal, rhoddwn gydnabyddiaeth, neu ddangosiad o hyny *(receipt)* yn ol y ffurf ganlynol:—

Received..........18..........of the Montreal Bank, by A. B.................
Pounds............

S. P. and S.

"Os bydd i Arianwyr (*Bankers*) yn y wlad drosglwyddo arian i ni ar ran Mudwyr, anfonir y dangosiad uchod i'r cyfryw Arianwyr. Rhaid i'r Mudwr dalu i'r Arianwr am ei drafferth.

"Ni dderbyniwn arian gan neb oni bydd i'r sawl sydd i'w derbyn yn Canada ddanfon ei nod-ysgrifen *(signature)* gyd â'r arian, oddieithr pan ddymunir anfon arian i un ag sydd eisoes yn preswylio yn Canada, a'r hwn a ellir ei adnabod drwy foddion ereill. Wedi i'r Mudwr gyrhaedd yno efe a gynnygia y dangosiad *(Receipt)* yn Ariandŷ Montreal, yr hwn a dala yr arian i'r Mudwr.

(Arwyddwyd)
SMITH, PAYNE, & SMITHS."

*T. F. Elliot, Esq. &c.*

*O. S.* Nid ydym i dderbyn llai nag £20. ar gyfrif yr un Mudwr.

Tebyg yw y dilynir y modd a eglurir yn y Llythyr uchod er mwyn gochelyd y perygl sydd wrth gludo arian bathol i wledydd dieithr. I'r diben hwn rhaid i'r rhai

* Er i beth Gwenith gyrhaedd y pris hwn yn 1831, anaml y bydd yn uwch na 7s. 6ch.

ydynt yn myned i Canada roddi mewn Ariandŷ yn y wlad hon y swm o arian a ddymunent dderbyn yn y Drefedigaeth, a myned i Ariandŷ Montreal i ddangos y *Receipt* yno, a thelir yr arian iddynt. Ond bydd rhyw drefn arall yn angenrheidiol i rai o breswylwyr y wlad hon ag ydynt yn dymuno trosglwyddo arian i Canada i ddynion a fudasant oddi yma. Un ffordd i'r cyfryw rai ydyw, galluogi y Mudwr i roddi mewn Ariandŷ yn y wlad hon, swm o arian taladwy yn Canada, ac fel hyn i wylied rhag i'r arian gael eu colli, neu eu treulio yn wastraffus, cyn i'r Mudwr gyrhaedd y Drefedigaeth. Os dymunir cadw yr arian oddiwrth y Mudwr nes iddo lanio yn Canada, rhaid i'r cyfryw dalu yr arian yn Ariandŷ Meistriaid Smith, Payne, a Smiths, i gyfrif Rhaglaw Canada Isaf, gyd âg Ariandŷ Montreal. Cyfarwyddir y Rhaglaw i osod Swyddog, yr hwn a rydd Feichiau digonol, a bydd yn rhwym i dreulio yr arian er lles y Mudwyr yn ystod tri mis wedi iddynt gyrhaedd yno. Yn ystod yr amser hwn, sef tri mis, rhaid i'r Swyddog farnu pa faint o arian, ac ar ba achlysuron, a rydd efe i'r Mudwr. Rhaid i'r sawl a ddymunant gymmeryd mantais o'r ffordd hon i'w harian fod dan lywyddiaeth y Llywodraeth er lles i'r Mudwr, lenwi ac arwyddo dau bapur, yn cynnwys enwau a nodweddiad y Mudwyr ag ydynt i dderbyn yr arian, ynghyd â nôd, neu arwydd, pob Mudwr, ac adroddiad pa faint o arian y mae i bob un dderbyn. Rhaid i bob un o'r Mudwyr gael ysgrifendyst (*certificate*) yn datgan ei enw, a'i rif yn y Gofrestr, a swm yr arian sydd iddo dderbyn. Rhoddir cynllun o'r modd y dylid ysgrifenu y cofrestrau a'r ysgrifendyst. Y cofrestrau a drosglwyddir gan Oruchwyliwr Swyddfa y Trefedigaethau; ac i'r diben hyn dylid eu hanfon yno, o leiaf dair wythnos, cyn i'r Mudwyr hwylio o'r wlad hon, ac ar yr amlen dylid ysgrifenu y gair "*Emigration*," a'i lwybreiddio fel hyn, "*To the Under Secretary of State, Colonial Department, London.*" Ar yr un pryd dylid anfon dangosiad Meistriaid Smith, Payne, a Smiths, am yr arian a dalwyd iddynt ar gyfrif Rhaglaw y Drefedigaeth; ac oni anfonir y dangosiad hwn, ni throsglwyddir unrhyw gofrestr. Ac ni ellir trosglwyddo unrhyw gofrestr, na disgwyl am i'r arian gael eu gosod allan yn y drefn grybwylledig, oni thelir £50. o leiaf gan yr un a arwydda y Gofrestr. Rhaid rhoddi y *certificates* i'r gwahanol bleidiau i'r rhai y perthynont; ond dylid eu selio a'u llwybreiddio fel hyn, "*To the Agent for Emigrants at Quebec,*" neu, "*To the Agent for Emigrants at Montreal.*"

FFURF Y GOFRESTR.

| Enw y Mudwr. | Ei Oed. | Ei Grefft, neu ei Alwad. | Swm o arian i'w rhoddi iddo. | Sylwadau cyffredinol. | Arwydd neu nôd y Mudwr. |
|---|---|---|---|---|---|
| | | | | | |

*D. S.* Yn nechreu y Gofrestr dylid crybwyll enw y Llong yn yr hon y bwriada y Mudwyr forio, a'r diwrnod y disgwylir iddi hwylio o Loegr.

FFURF Y *CERTIFICATE.*

Myfi, A. B. (yma rhydd ei enw a'i gyfenw) ydwyf yn sicrhau mai C. D. cludydd y papuryn hwn, ydyw y gwr a ddarlunir yn y cynllun isod, yn y Gofrestr a anfonwyd genyf fi i Swyddfa y Trefedigaethau; a'r swm o arian a fynegir yw, sef ······ o bunnau, yw y swm arbenig a ddymunaf fi i gael ei dalu i'r crybwylledig C. D.

*(Arwyddnod y dyn sydd yn talu yr Arian dros y Mudwr.)*

| Rhif. | Enw. | Oed. | Crefft neu Alwad. | Swm yr arian a roddir iddo. | Sylwadau cyffredinol. | Arwydd neu nod y Mudwr. |
|---|---|---|---|---|---|---|
| | | | | | | |

# BARDDONIAETH.

## I'R DARAN.

"*Efe a wna daranau â'i lais yn rhyfedd.*"—ELIHU.

BETH sydd o fynydd i fôr
Yn gawrio dros ein goror?
Dychryndod! uwch y rhandir
Mae twrf a chynnwrf, Och hir.
Llamu, hollti, a llemain
Mae mellt o'r cymyl i'r main:
Rhuad pell o gell y gwynt,
Trystio mae 'r creigiau trostynt;
Mynyddau, bryniau ein bro,
Sy'n ateb y sŵn eto.
Onid duwiau sy'n tywallt
Marian dros geulan eu gallt?
Ai carlam meirch y curwlaw
Ar gallestr, nef restr ry fraw?
Peiriant nen, lluchiwr cenllysg,
Echrys pell sy'n dychryn pysg;
Rhieidr Sadwrn yn rhuaw,
Neu drwst afonydd Iau draw;
Cynnwrf cerig y ceunant,
Niagar nef yn agor nant.
Tebyrdd Caergwydion tybiaf
Am blaid yn neiliaid eu NAF:
Rhuthroedd bydoedd o bell
I'r eigion o ryw wagell:
Neu foliant y mil filoedd:
Ai cras a chryf *fŵs* nef oedd?
Abred sydd ym mol wybren;
Neu mae 'r byd yma ar ben:
Ochenaid neu wawch anian
Ar drengu:—bloedd goedd y gwan.
O'u brodir engyl bradwyllt
Yn gwau pelenau tân gwyllt,
Trwy oror tir awyrawl
Sy o hyd ac eisiau hawl:
Gawr d——l am agoryd (oedd
Dros nifwl) drws y nefoedd:
Neu, certh byrth uffern yn cau,
A nâd erwin y dorau.
Ofer ddych'mygion afiach:
Llef yr ION yw 'r llafar iach:
Duw ydyw yn dywedyd
Ar goedd wrth bobloedd y byd,
"Ydwyf ben yr elfenau,
"Ac wyf yn agor yn cau;
"A gallaf a fynaf fi,
"*Fe ddylid fy addoli.*"

ELLIS OWEN.

*Cefn y Meusydd.*

## ENGLYNION AR GODIAD YR HAUL.

TANBEIDIAWL gwrawl agoriad,——eur hol,
Yw 'r Haulawl belydriad,
Achos dydd a llywydd llad,
Iach dirawl burwych doriad.

Mae 'n rymus liwus a llon,——a'i godiad
Yn gedawl i ddynion;
Hael roddiad, ail arwyddion,
O foreu dydd fraint dôn.

Gwasgara trwy wys gwrawl——y t'wyllwch
O'r tyllau echrydawl,
A rhydd ar rŷch eurwych wawl,
Gu loew-wŷch fod goleuawl.

Mor fwyned daw i fynu,——drwy 'r awyr,
Dro'r Aurora wiwgu;
A gyr o'r glyn, dyffryn du,
Hen d'wyllwch wnae ein dallu.

Hen adar nos a hedant,——cryw dyrys,
Cre'duriaid drwg redant
Ffwrdd i'w cell i bell bant,
Mewn lloches yno llechant.

Yr adar bach ar edyn brysg,——lu iesin,
A leisiant yn hyddysg,
Wib ddawn da heb feddu dysg,
Ymgomio wnant yn gymmysg.

Odlant a lleisiant yn llon,——foes eiriau,
Fesurau melusion;
Foddawl dwys ufuddawl dôn,
Ar doriad y wawr dirion.

Ar hoew godiad yr Huan——y gwelir
Mewn goleu wedd anian,
Y blodau, a'r mwynau mân,
Ar arwedd hyfryd eirian.

Pe 'r elliwn mewn pur alwad,——a rhoddi
Yr haeddawl gylymiad
A geiriau mewn moddau mad,
O fwyn siriawl fesuriad;

Nid allwn daenu 'n hollawl——ei wychedd,
A'i iachus ddull tânawl;
Rhydd yn glir yn wir ei wawl
Ar frodir yn hyfrydawl.

*Min Rheidiol.* ISAAC.

## PENNILLION,

*Er Coffadwriaeth am M. Edwards, gwraig Mr. E. Edwards, Castell Pren, Mochnant; yr hon a ymadawodd â'r bywyd hwn yn mis Chwefror*, 1830.

O HYD mae angeu brenin braw
Yn ddychryn dyn â'i ddisglaer gledd,
Mae 'n lladd niferi yma a thraw,
A'u malu mewn drewedig fedd;
Mae 'n ofid sôn am angeu du a'i rym,
A meddwl myn'd dan bwys ei gleddyf llym.

Fe laddodd angeu elyn mawr
Y wraig fwyneiddiaf yn y fro,
Am iddi gael ei thori i lawr,
I lawer mynwes trist y tro;
I'w theulu oll, pwy ŵyr eu colled hwy?
I ereill, pe bai fodd, bu colled fwy.

Un gall a thirion yn ei thŷ
Oedd Mary Edwards fedrus iawn,
Tosturiol, elusengar fu,
O foreu 'i bywyd hyd brydnawn;
'R oedd gwênau 'r Nef, a'r gwynfyd ar ei gwaith,
Bendithiol fu i'w thŷ ar hyd ei thaith.

Rhyfeddod fered ydyw 'r oes,
Ac edau bywyd waned yw;
Y bedd o hyd yn gwaeddi "*Moes*,"
Pob oed a gradd, O! f' enaid clyw;
Ni wrendy angeu ar amddifaid gri,
Na phriod mwyn er colli dagrau 'n lli'.

Mewn hir gystuddiau tawel fu,
Dan barotoi i'r ymdaith bell,
Bod gyd â'i theulu fuasai 'n gu,
Bod gyda Christ sy'n llawer gwell:
Er mwyn ei phlant, a'i phriod, carai fyw,
Ond gwell y lle bod gartref gyda Duw.

Pan oedd yr oerchwys, arwydd nych,
Yn rhedeg hyd ei hwyneb hardd,
Er colli pawb, ei chyfaill gwych
Y Gwr fu 'n chwysu yn yr ardd;
Myn'd ato i fyw drwy boen i hedd oedd well
Nag aur y byd, a chynnyrch India bell.

Gwyn fyd y meirw, fawr a mân,
Sŷdd 'i henaid yn y noddfa glyd,
Er berwi 'r môr a'i donau 'n dân,
A siglo braisg golofnau 'r byd,
Gorphwysant byth heb groes, ing, cur, na phoen,
Pawb ar eu sedd trwy rinwedd gwaed yr Oen.

Pe codid marmor ar ei bedd,
Ac aur lythyrenau arno fyrdd,
A darluniadau teg o'i gwedd,
A'i chofio mewn deng mil o ffyrdd;
Mil harddach fydd ei nefol wedd ryw awr,
Ac ofer fyddai holl deganau 'r llawr.

DEWI AB RHYS.

MOCHNANT, *Mai*, 1832.

---

## DINYSTR SODOM.

"Oblegid ni a ddinystriwn y lle hwn, am fod eu gwaedd hwynt yn fawr ger bron yr Arglwydd."—GEN. 19. 13.

O! MAWR oedd y llygredd a lenwai y ddinas,
A'r llu o rai anfad a wibiai ar bob llaw;
Ac uchel oedd gwaedd a dolefau 'r gwyr diras
Yn dilyn eu chwantau heb arswyd na braw.

A mawr oedd eu pechod, a ffialdd eu brynti,
A dirfawr eu cabledd, arswydlawn eu llef;
A sawr eu hafiendid, eu gwyd, a'u drygioni,
A'u gwaedd a esgynodd, Och fi! hyd y nef.

Esgynodd i'r nef, ac at Ddaw y sancteiddrwydd,
Y Duw sy mor bur nas gall edrych ar ddrwg:
Cynneuodd ei lid, a deffrodd ei lidiawgrwydd,
Fe dyngodd y difâai hwynt yn angerdd ei wg.

A phrin yr aeth Lot o'r tu allan i'r muriau,
Gan symud pob rhwystr i ddigter y nen,
Nes syrthiodd y tân, ac y saethodd y fflaglau,
Ymdorodd cymylau brwmstanaidd uwch ben.

Ac Och mor ofnadwy y cynnwrf a'r terfysg,
A'r gwaeau echryslawn a lanwodd y lle;
Tywalltwyd y farn yn llifeiriant digymmysg,
Anturiant i ffol, ond ni wyddent i b'le.

Fe'u daliwyd yn nghanol eu gwleddoedd a'u maswedd
Attaliwyd eu rhwysg, a newidiwyd eu llef;
Gorchuddient y llawr yn fawr dyrau o gelanedd,
Ah! pwy a all sefyll pan wgo y nef!

Hwy frysiant o gylch yn dyrfaoedd annedwydd,
Ac angeu a edrych yn hyll o bob man;
Os troant i'r maes hwy a leddir yn ebrwydd,
Os rhedant i'r tai, Ow, dilyna y tân.

Ac erchyll yn awr yw eu rhegau a'u llwon
Tra cnoant y llawr mewn echrysboen di wawr,
A rhai a oblygant i'w duwiau marwolion,
Y delwau drylliedig a'u curant i'r llawr!

Boneddig a gwreng, ac anheddawg elynion,
Arglwyddi a chaethion a drengant yn nghyd,
Yr ieuangc a'r hen, y mamau anfadion,
A'r baban diniweid yn cysgu 'n ei gryd.

Y gwartheg ym mhlith y brochnadau a frefant,
Y meirch a orweddant yn dyrau di lun;
Yr adar o'r wybren yn feirw a gwympant,
Yr ensil yn dioddef am gamwedd y dyn.

A dufwg eu distryw esgynodd i fynu,
A fflam eu dinystriad a ruddodd y nen;
Trigolion pell fröydd yn dirfawr ddychrynu,
A bron a thebygu mai 'r byd oedd ar ben.

Tywalltwyd y farn nes dyhuddo cyfiawnder,
Anrheithiwyd y lle âg anrheithiad di ail;
Y boreu ga'dd Sodom yn nghanol eu gwychder,
Y nos nid arosodd un gareg o'i sail!

*Gwrecsam.* GLAN ALUN.

---

# HANESION GWLADWRIAETHOL.

## NEWYDDION TRAMOR.

FFRAINGC.—Dywed y Newyddiaduron fod yr haint, sef y *Cholera Morbus*, yr hwn a fu mor ddinystriol ym mhrif ddinas y wlad hon, wedi lliniaru i raddau mawr iawn. Nifer y meirw ddydd Iau yr 17eg o Fai oedd 18. Syrthiodd amrai o fonedd-igion y wlad hon yn ysglyfaeth i'r pla arswydus hwn.

Yn ein Rhifyn am Ionawr, hysbysasom fod y Duges de Berri yn arfer ei holl egni i godi terfysg a gwrthryfel ym mharthau deheuol y wlad. Ymddengys iddi lwyddo mewn rhai manau; ond gostegwyd y terfysgwyr yn fuan. Dywedwyd yn gadarn bod y bendefiges hon mewn dalfa; ond, yn ol yr hanesion diweddaf, y mae hyny yn anghywir.

Bu farw M. Casimir Perrier, Prif Weinidog y llywodraeth, ar yr 16eg o Fai, ar ol hir nychdod; ac y mae lle i feddwl y bydd amser maith cyn y caiff y deyrnas hon ŵr yn meddiannu rhinweddau M. Perrier i lywio ei helyntion, cystal tramor a chartrefol. Claddwyd ef gyda rhwysg mawr ar ddydd Sadwrn y 19eg.

BELGIUM A HOLLAND.—Dywed llythyrau o Belgium fod y gwledydd hyn yn parhau etto mewn cyflwr tra aflonydd. Dywedir nad oedd un frwydr wedi cymmeryd lle, ond bod yr argoelion o hyny yn dyfod yn debycach bob dydd. Hysbysodd brenin Belgium ei fod ar fedr llywyddio ei fyddin yn bersonol, ac yn penderfynu naill ai marw neu fuddugoliaethu dros anymddibyniaeth y wlad yr oedd efe wedi ei mabwysiadu.

## NEWYDDION CARTREFOL.

### YR IWERDDON.

*Llosgi.*—Cynnaliwyd cyfarfod y'Nghapel y Pabyddion yn *Newtownbarry*, i areithio yn erbyn y Degwm, ac i gynghori y plwyfolion i wrthod talu y Degwm i'r Offeiriaid Protestanaidd. Blaenffrwyth y cyfarfod hwn a amlygwyd ychydig o ddyddiau yn ol, pan y llosgwyd gweirlan y Parch. Mr. M'Clintoch, Offeiriad y plwyf. Yn ebrwydd wedi i'r tân dori allan, tyrfa o ddyhirod a amgylchasant annedd y gwr Parchedig, yn barod i orphen y sawl a ddïangai o'r fflamau, o herwydd amlwg yw y disgwylient i'r tân gyrhaedd y tŷ, yn yr hwn yr oedd Mr. M'Clintoch a'i deulu. Ond llwyddodd bachgen i fyned allan trwy ffenestr, ac a ddïangodd i'r pentref gerllaw; ac yn ebrwydd daeth 300 o Brotestaniaid at y Persondŷ, ac a ddiffoddasant y tân.

*Donegal.*—Yn niwedd Ebrill, yr oedd dau Brotestant yn y farchnad yn Carn, y rhai a gurwyd yn aruthr gan fintai o Babyddion. Gwr ieuangc arall, Presbyteriad, a faeddwyd gan y dyhirod Pabaidd; ac oni buasai i'r swyddogion heddwch ddyfod ato, dïau y lladdasent ef. Ym mhlwyf Clonmanny, tŷ o eiddo dyn o'r enw Dougherty a losgwyd yn ulw, a braidd y cafodd y preswylwyr amser i ddïangc o'r tân. Lladdwyd hefyd geffyl o werth 20 punt. Yr unig drosedd a wnaeth y dyn i ddwyn arno ddigofaint y werinos oedd, ei fod wedi talu ei rent!!

*Gweithred Greulawn.*—Ar Ddydd Sul y Pasc, cafodd gwraig dlawd ei chladdu ym mynwent Kilbride, ym mhlwyf Barrishole, Swydd Mayo; y noswaith ganlynol cymmerwyd ei chorph hi o'r bedd—llusgwyd ef drwy feusydd am ragor na milldir, a thaflwyd ef ar y ffordd o flaen annedd yr Offeiriad Protestanaidd. Yr unig beth a gynhyrfodd yr adynod cythreulig i gyflawni y fath orchwyl oedd, fod y wraig wedi nacâu danfon am Offeiriad Pabaidd ati ychydig cyn ei marwolaeth.

*Saethu.*—Yn nechreu Mai, mintai o'r adynod a elwir "*Whitefeet*," wedi eu harfogi, a ddaethant i dŷ amaethydd o'r enw Tallant, yr hwn sydd yn byw yn Ballylihane, gerllaw Freshford. Rhuthrasant ar Tallant, ac un o honynt a'i saethodd ef yn ei forddwyd, am iddo feiddio cadw ei dyddyn, wedi iddynt hwy ei rybuddio i'w roddi i fynu! Wedi hyny rhuthrasant ar amaethydd o'r enw Kinchela, am yr un trosedd.

Ar derfynau Swydd Kilkenny hefyd, y "*Whitefeet*" ydynt yn dra therfysglyd. Oddeutu yr un amser, tri o ddynion arfog a ddaethant 6 o'r gloch y boreu i dŷ gwr o'r enw Fraine, goruchwyliwr i'r Cadpen Lyster, o Grenan, i'w rybuddio ef i roddi ei dir i fynu, a gadael y wlad. Y blaenor a ymddangosai fel pe dymunai i'w gymdeithion beidio gwneud niweid i Fraine, a dywedodd y boddlonid hwynt, os gadawai efe y wlad cyn hanner dydd. "Gadawaf y wlad cyn pen awr (ebe Fraine) os arbedwch fy mywyd." Un arall o'r dyhirod a barodd iddo droi ei gefn, a myned ar ei liniau; a thra y gwnai hyn, efe a'i saethodd yn ei forddwyd! Aethant oddi yno, a galwasant mewn llawer o dai yn y gymmydogaeth. Ei gymmydogion oeddynt wedi dychrynu cymmaint, fel na feiddient am enyd faith fyned i ymofyn am weinidog at y dyn clwyfus. Oddeutu 11 o'r gloch, daeth y Parch. Mr. Kayne, ond yr oedd Fraine wedi trengu. Ar yr un dydd, pan oedd amaethydd yn myned o Portarlington i Maryborough, cyfarfu â thri dyn, y rhai a archollasant ei ben, ac a'i gadawsant ef yn farw ar y ffordd. Gadawodd wraig â 6 o blant amddifad. Ni wyddis beth oedd yr achos o'r llofruddiaeth yma.

*Haelioni y Protestaniaid a'r Pabyddion.*—Yn 1829—30, casglwyd arian yn yr Iwerddon i ddiwallu angenrheidiau y tlodion, y rhai a orthrymwyd gan newyn. Casglwyd

| | | | |
|---|---|---|---|
| Yn yr Eglwysi Protestanaidd...... | 892 | 14 | 2 |
| Yn Addoldai yr Ymneillduwyr.... | 152 | 10 | 0 |
| | 1045 | 4 | 2 |
| Yn Addoldai y Pabyddion........ | 336 | 2 | 6 |
| Cyfraniadau o dŷ i dŷ............ | 3747 | 3 | 10½ |
| O hyn cyfraniadau y Pabydd. oedd | 102 | 12 | 9 |

Y gweddill oedd arian y Protestaniaid.

MEDDYGDY TUAM—*am y flwyddyn* 1831:—

| | | | |
|---|---|---|---|
| Cyfraniadau y Protestaniaid....... | 136 | 18 | 5 |
| ——— Pabyddion......... | 38 | 7 | 0 |
| | 175 | 5 | 5 |

| | |
|---|---|
| Nifer y Protest. a dderbyniasant gyfferi.. | 64 |
| ——— Pabyddion ...................... | 4494 |
| | 4558 |

## Y CYFARFODYDD BLYNYDDOL YN LLUNDAIN.

### *Y GYMDEITHAS GENHADOL EGLWYSIG.*

Y Deuddegfed ar Hugain Gyfarfod Blynyddol o'r Gymdeithas uchod a gynnaliwyd yn EXETER HALL. Esgob Lichfield a Coventry yn y Gadair. Nid oedd yr Arglwydd Gambier, y Llywydd, yn wyddfodol o herwydd ei afiechyd. Wedi i'r ysgrifenydd erfyn am fendith Duw ar y Cyfarfod, efe a ddarllenodd yr Adroddiad o Weithrediadau y Gymdeithas am y flwyddyn 1831.

Yn yr Athrofa yn Islington yr oedd 17 o Fyfyrwyr yn mis Mai, 1831; ond yn awr y mae yndd[i] 19. Pump o honynt a gychwynasant i'w gwahanol sefyllfaoedd. Y derbyniadau o Mawrth 1831 hyd Mawrth 1832, oeddynt £40,751 18s. yr hyn oedd £5,832 18s. 7c. llai na'r flwyddyn flaenorol. Yr oedd y draul yn llai nag a dybid: ond yr oedd y derbyniadau yn rhy fyr o £3000 i ddwyn y'mlaen weithrediadau y Gymdeithas mor helaeth ag y

maent yn bresennol. Yr oedd y Gymdeithas, gan hyny, mewn anhawsderau; ac oni ymegnïa ei chyfeillion, bydd dan yr angenrheidrwydd o roddi i fyna rai o'i Chymdeithasfâau.

*Y Parch. Dr. Pearson, Deon Salisbury,* a gynnygiodd fod i'r Adroddiad gael ei gyhoeddi. Yr oedd yr hysbysiad a roddai yr Adroddiad am weithrediadau y Gymdeithas yn yr India Ddwyreiniol wedi peri llawer o hyfrydwch iddo. Rhaid iddynt lawenhau yn y llwyddiant a ddilynodd eu hymdrechiadau, nid yn unig y'nghyfieithiad yr Ysgrythyrau i ieithoedd a changen-ieithoedd yr India, ond yn sefydliad cynnifer o Genhadon yn y wlad eang hono. Gofidiai i glywed fod cyllidau y Gymdeithas yn lleihau, pan yr oedd maes ei gweithrediadau yn eangu. Hyderai mai hwn a fyddai y tro diweddaf y clywent hyny. Hyderai na adawent yr ystafell heb roddi gwystl i ymegnïo hyd yr eithaf i symud yr anhawsderau a orthryment y Gymdeithas.

*Y Parch. Mr. Scholefield.* Er fod yr Adroddiad yn achosi teimladau o alar, ni allai lai na theimlo yn ddiolchgar i Dduw am lwyddo cymmaint ar ymdrechiadau y Cenhadon yn y flwyddyn ddiweddaf. Yr oedd ganddynt dystiolaethau lawer fod bendith eu Tad nefol wedi gorphwys arnynt. Yr Archdiacon Corrie a derfynai ei Adroddiad o'r Cymdeithasfâau y'Ngogledd yr India gyd â'r geiriau hyn: "Yr ydym yn llwyddo yma gymmaint o'r bron ag a ddymunech." Yn Nehendir yr India clywant am benrefydd yn ymwrthod âg eilun-addoliaeth, yn dioddef erlidigaeth, ac yn gogoneddu Duw yn y tân. Yn New Zealand y mae y trigolion yn dechreu mwynhau bendithion y sabboth, ac yn aros ar y sabbothau am y Gweinidog i bregethu iddynt air Duw. Un o'r dychweledigion a ddywedodd, "O Massa, genyf fi dwy galon: un galon yn dywedyd wrthyf, myned i weddïo, y llall yn dywedyd i mi beidio myned." Wrth son am gyllidau y Gymdeithas, cynghorodd hwynt i beidio llwfrhau; oblegid pan oedd eglwys Crist yn yr anhawsderau mwyaf, y pryd hyny y denai Duw i'w chynnorthwyo a'i hadferu. Pan fyddont mewn perygl o fethu talu, ni ddylent anghofio fod ganddynt un gyllidfa anhysbyddadwy, sef hollalluogrwydd Duw.

*Y Parch. J. W. Cunningham* a dybiai nad allai neb wrando yr Adroddiad heb ofyn i'w galon ei hun, Ai pall neu esgeulusdra ar fy rhan i ydyw yr achos fod derbyniadau y Gymdeithas yn llai eleni nag oeddynt yn y blynyddoedd o'r blaen? Os yw y Gymdeithas yn glaf, pa fodd yr iachêir hi? Os lleihaodd ei chyllidau, pa fodd y cynnyddir hwynt? Beth oedd achos y lleihad hwn? Diffyg gweddi, zel, ac ymarferiad o'r awdurdod cyfreithlon. Gellid cael llawer ychwaneg o gyfraniadau pe trethid troseddau, a phe cyssegrid y dirwyon i wasanaeth y Gymdeithas hon. Troseddau ydynt yn fwy toreithiog na rhinweddau. Os talent ddirwy am gysgu gormod yn y boreu, am bob gair drwg a ddywedent,* am greulondeb tu ag at weinidogion, ac am anufudd-dod i'n huchafiaid, buan y llenwid cistiau y Gymdeithas â thrysorau.

Wedi i Esgob Calcutta (y Gwir Barch. Daniel Wilson) y Parch. J. H. Stewart, C. Simeon, a'r Anrhydeddus a'r Parch. Baptiste Noel, areithio yn hyawdl, terfynwyd y Cyfarfod gan

*Esgob Lichfield a Coventry.* Ei Arglwyddiaeth a deimlai awydd nid bychan i fynegi i'r Cyfarfod, nad oedd yr hyn a glywsai am leihad cyllidau y Gymdeithas wedi lleihau ei serch ef tu ag at y Gymdeithas. A theimlai mai ei ddyledswydd fyddai ymegnïo hyd eithaf ei allu i hyrwyddo llwyddiant y Gymdeithas; a hyderai fod pob un o honynt yn gyfranog o'r unrhyw deimlad. Er datgan yr angenrheidrwydd o gyflawni diffyg y cyllidau, gosodai ger eu bron yr effeithiau a ddilynai fethiant y Gymdeithas hon yn ei gweithrediadau. Yn y lle cyntaf tristaem dros gwymp cenhedloedd a addysgwyd i ryw radd yn egwyddorion y Bibl i'r cyflwr cyntefig o anwybodaeth ac anwareidd-dra; a byddem yn sicr y byddai eu cyflwr diweddaf yn waeth na'u cyflwr cyntaf. Byddai trigolion New Zealand yn ymwrthod â'r rhinweddau a'r moesau Cristionogol, ac yn ail ddechreu ar eu gorchwyl erchyll o ddistrywio eu cyd-greaduriaid er mwyn cael lluniaeth. Coelgrefydd greulon yr Hindwiaid a ymdaenai eilwaith ar hyd y gwledydd. Yn Affrica ail ddechreuai addoliad y cythraul: ar draeth Môr y Canoldir rhoddid terfyn ar bob ymdrech i ddadwreiddio trefn ddirywiedig a llygredig o'r grefydd Gristionogol. Byddai crefydd Mahomet yn teyrnasu gyd âg iau haiarnaidd dros wledydd eang yn y rhai y llafuria ein Cenhadwyr yn awr gyd â'r llwyddiant mwyaf. Am hyny ymegnïwn i ymchwel oddiwrth gynnifer o'n cyd-greaduriaid y drygau arswdr a'u goddiweddant os bydd i'r Gymdeithas hon ac ereill roddi i fynu eu gweithrediadau. Ymegnïwn i wared ein hunain rhag y pechod, y cywilydd, a'r ammharch o droi ein cefnau ar y gwaith hwn yn yr amser pan y mae Duw yn dechreu coroni ein hymdrechiadau â llwyddiant. Ystyriwn fod Duw, mewn atebiad i weddïau ei weision, wedi ymchwel oddi wrthym yr haint gofidus oedd wedi ymweled â ni, a'i ddanfon at genedl gymmydogaethol. A oddefwn ni i'r flwyddyn yn yr hon yr arbedwyd ni rhag haint y nodau fod yn dyst o leihad y'nghyllidau un o'n Cymdeithasau gwerthfawrocaf? Hyderaf na wnawn. Ymdrechwn, ynte, o blaid y Gymdeithas gyda dyhewyd adnewyddol, a chyda hyder gostyngedig, ond cadarn, ym mendith ein Meistr; a diau y bydd y flwyddyn 1832 yn un o'r blynyddoedd mwyaf ffrwythlawn a thoreithiog mewn cyfraniadau a llwyddiant i Gymdeithas Genhadol yr Eglwys Sefydledig.

---

## CYMDEITHAS Y LLYFR GWEDDI GYFFREDIN A'R HOMILIAU.

Ar ddydd Iau, Mai y 3ydd, cynnaliwyd Ugeinfed Gylchwyl y Gymdeithas uchod yn Exeter Hall. Arglwydd Bexley yn y Gadair.

Yr Ysgrifenydd a ddarllenodd yr Adroddiad am Weithrediadau y Gymdeithas y'ngwahanol barthau o'r byd. Ymwelwyd â lliaws o longau ar afon Llundain, ac anrhegwyd y morwyr â'r Llyfrau Gweddi Gyffredin, ac â'r Homiliau. Llawer o'r rhai a wrthwynebasant i oruchwylwyr y Gymdeithas ddyfod ar fwrdd eu llongau y llynedd, a'u derbyniasant yn llawen eleni. Gofidiai y Cyfeisteddwyr na oddefai eu cyllidau iddynt roddi llyfrau i'r miloedd ydynt yn mudo o'r wlad hon i'r America. Y llyfrau a gyfranwyd yn yr Iwerddon a dderbyniwyd ac a ddarllenwyd gyda diolchgarwch. Yr Adroddiadau a dderbyniwyd o'r America a'r India Orllewinol oeddynt yn anoglawn. Nifer y llyfrau wedi eu rhwymo a ddosparthwyd gan y Gymdeithas yw 280,801, ac 1,645,621 o Homiliau a Thraethodau ereill. Yn y flwyddyn ddiweddaf derbyniadau y Gymdeithas oeddynt £2,171 19*s.* 4*c.* Y draul oedd £2,206 14*s.* 8. Fel hyn yr oedd y draul yn fwy na'r derbyniadau o £36 15*s.* 4*c.* Heblaw hyn yr oedd y Gymdeithas yn ddyledus o £536 15*s.* 10*c.* a chyn Gwyl Ieuan byddai y ddyled yn £1,215 0*s.* 8*c.*

*Y Parch. W. Marsh* a gynnygiodd fod i'r Adroddiad gael ei gyhoeddi. Dywedodd fod cryfder yr Eglwys Sefydledig, fel pob Eglwys arall, yn ymddibynu ar burdeb ei ffydd a'i hathrawiaeth; a thra byddo y rhai hyn yn iach, nid all dim ei hysgogi: ond os cyfeiliorna, nid all ei henaint na'i phrydferthwch cyntefig ei hachub yn awr perygl. Y Gweddïau a'r Ffurfiau, i ddosparthu pa rai yw diben y Gymdeithas hon, a gymmerwyd o'r Ysgrythyr, o ysgrifeniadau y cyn-dadau, ac o'r hyn oedd dda yn Eglwys Rhufain, a rhyw ranau a ychwanegwyd gan y Diwygwyr eu hunain. Y'nglŷn â hyn adroddai ymddiddan rhwng Offeiriad Pabaidd ac Offeiriad o Eglwys Loegr. "Lladron ydych chwi," meddai yr Offeiriad Pabaidd, gan wenu, "oblegid lladratasoch oddi arnom ni y rhan wyaf o'ch Llyfr Gweddi Gyffredin." "Ie," atebai yr Offeiriad Protestanaidd, "a lladron cyfrwys iawn

---

* Gwyddom am un cyfaill sydd yn gwneuthur hyn, a chyfranwyd cryn lawer at y Gymdeithas hon o gell y dirwyon.

ydym ni hefyd; canys cymmerasom y pethau da, a gadawsom y pethau drwg i chwi."

*Y Parch. Mr. Grimshawe* a sylwodd, na bu erioed amser pan y teimlai dynion crefyddol fwy o serch at ein Heglwys nag yn yr amser presennol. A dywenydd oedd ganddo glywed fod y dynion ieuaingc ag ydynt yn awr yn cael eu derbyn i'r Weinidogaeth yn nodedig am wybodaeth a duwioldeb, a gellir disgwyl am ffrwythau toreithiog oddi wrthynt. Gwir oedd dywediad Esgob Lincoln, pe gwahenid yr Eglwys oddiwrth y Llywodraeth, etto hi a barhai yn ei Gweddiau a'i Homiliau. Yr oeddynt yn rhoddi sicrwydd o burdeb ei hathrawiaeth. Llawer o drigolion duwiol a dysgedig y cyfandir a fawr hoffant wasanaeth ein Heglwys ni; a gwyddai am gynnygiad a wnaethid yn Ffraingc i agor addoldy yn Paris i ddarllen Gwasanaeth Eglwys Loegr, a haerid yn gadarn y buasai yn llwyddo.

*Esgob Calcutta*, yn yr India Ddwyreiniol, a gynnygiodd, "Fod yn ddymunol i'r Gymdeithas eangu ei gweithrediadau ym mhlith y morwyr, a chael ei galluogi i roddi anrhegion o lyfrau a thraethodau i'r mudwyr i'r America." Yr oedd ei Arglwyddiaeth yn wyddfodol ar sefydliad y Gymdeithas, ac ar bob cylchwyl pan oedd yn y wlad hon ac mewn iechyd. Teimlai ddyhewyd mawr dros lwyddiant y Gymdeithas, ac ymdrechai gymmaint ag a oddefai gorchwylion pwysig ei swydd oruchel er hyrwyddo ei gweithrediadau.

*Y Parch. E. Sidney* a dystiai fod y morwyr yn teimlo llawer o serch tu ag at Eglwys Loegr. Er egluro hyn adroddai hanes am ymddygiad llongwr ychydig yn ol yn un o long-byrth y wlad hon. Efe a glywsai lawer o son am dynu yr Eglwys i lawr, a deallai yr ymadrodd yn ei ystyr llythyrenol. Un diwrnod aeth at Eglwys y dref, a chan guro y mur a'i droed, a lefodd, "Nac ofna, mi a lynaf wrthyt hyd y maen diweddaf." Aethai (Mr. S.) unwaith ar fwrdd llong, a gofynodd, a oedd rhyw un yn gweddio yno? Atebwyd, Nad oedd neb. Gadawodd Lyfr Gweddi Gyffredin yno: ac y'mhen rhyw amser, pan ddychwelodd y llong, ymwelodd â hi drachefn, a mawr oedd ei ddywenydd wrth glywed fod y Gwasanaeth yn cael ei ddarllen i'r llongwyr bob dydd.

*Y Parch. J. Peers* a ddatganai deimladau galarus y Cyfarfod o herwydd anallu y Gymdeithas i eangu ei gweithrediadau yn yr Iwerddon. Gwyddai pawb am gyflwr truenus y wlad hòno; am y llofruddiaethau, y terfysgiadau, a'r anghydfod, a ddigwyddai yno yn fynych. Dylai yr ystyriaeth o hyn gyffroi cyfeillion y Gymdeithas, cyfeillion yr Eglwys Sefydledig, a chyfeillion crefydd, i ymegnio hyd yr eithaf i alluogi y Gymdeithas i waredu y wlad anffodus hòno o'r fath gyflwr o anwybodaeth ac ofer-goeledd.

*William Marshall, Ysw.* a haerai fod yr hanesion a dderbyniwyd o wledydd tramor yn dra chysurlawn, ac yn ddigon o annogaeth iddynt i ddyfalbarhâu yn eu hymdrechiadau. Gallai efe dystio trwy ei wybodaeth ei hun fod cannoedd o Offeiriaid a Mynachod yn Portugal, y rhai a gelant dan eu gwisgoedd Lyfr Gweddi Gyffredin a Homiliau Eglwys Loegr, gan mor hoff ydynt o'r Gwasanaeth. Yn Eglwys Gadeiriol Oporto cafodd hamdden i weled y Mynachod ieuaingc yn fynych, ac er nad allai ymddiddan â hwynt yn eu hiaith eu hunain, etto cyfeiriodd eu sylw at yr ail orchymyn mewn Bibl Lladin, ac wedi hyny at y delwau oedd o amgylch yr Eglwys. Deallasant ef, a deallodd yntau eu bod yn ystyried iddynt droseddu y gorchymyn hwnw trwy ddefnyddio delwau. Nododd hefyd iddynt yr hyn a ddywedir yn y Bibl am y "Dyn pechod," a chydsyniasant ei fod yn cyfeirio at Eglwys Rufain. Aeth y'mlaen i adrodd llawer o hanesion am y Pabyddion yn Portugal, a drwg genym nad allwn eu dodi o flaen ein darllenwyr.

*Y Parch. S. Wilks* a gynghorai iddynt beidio digaloni o herwydd fod mor ychydig wedi dyfod yno. Bydded iddynt gofio yr hanes am y pysgodwyr, y rhai a lafuriasant drwy y nos heb ddal dim pysgod, ac wrth orchymyn ein Harglwydd cymmellwyd hwynt i ollwng eu rhwyd i'r môr eilwaith, a'r effaith oedd, eu rhwyd a lanwyd. Am hyny annogai hwynt i beidio llwfrhau, ond i ail ddechreu gyda hyder cryf yn Nuw.

*Y Parch. E. Bickersteth* a adroddai araith a glywsai. "Y mae y Bibl yn llyfr da, llyfr da iawn, ie, y llyfr goreu yn y byd; a hyn sydd yn rheswm da, rheswm da iawn, ie, y rheswm goreu yn y byd, paham y dylem daenu y Bibl drwy y byd." Dywedai yntau (Mr. Bickersteth) fod y Llyfr Gweddi Gyffredin yn cynnwys rhai o'r rhanau goreu o'r Bibl, am hyny tybiai fod hyny yn rheswm da, yn rheswm da iawn, ie, y rheswm goreu yn y byd, paham y dylent daenu y Llyfr Gweddi Gyffredin gymmaint ag a ellir.

*Y Cadeirydd* a ddatganai ei obaith y galluogid y Gymdeithas drwy ymdrechiadau ychwanegol yn y flwyddyn hon i anrhegu y mudwyr i'r America â'r Llyfr Gweddi Gyffredin a'r Homiliau.

---

## Y GYMDEITHAS WYDDELIG YN LLUNDAIN.

Dydd Sadwrn, Mai y pummed, cynnaliwyd y Chweched-ar-Hugain Gylchwyl y Gymdeithas uchod yn *Exeter Hall;* Ardalydd Cholmondeley yn y Gadair.

Wedi i'r *Parch. Mr. Webster* erfyn am fendith yr Hollalluog ar y Cyfarfod, efe a ddarllenodd Adroddiad o weithrediadau y Gymdeithas yn y flwyddyn ddiweddaf. Y mae gan y Gymdeithas 692 o Ysgolion Dyddiol, yn y rhai yr oedd 52,767 o Ysgolheigion; o'r nifer yma 24,490 ydynt Babyddion, a'r gweddill yn Brotestaniaid—876 o Ysgolion Sabbothol, ac Ysgolion i hen bobl; nifer yr Ysgolheigion 37,329—Dosbarthau yn darllen yr Iaith Wyddelig, 37; nifer yr ysgolheigion 684—Nifer yr Ysgolion dan y Gymdeithas 1871; nifer yr ysgolheigion 90,085. Yn yr Ysgolion bob dydd y mae 34 o ddosbarthiadau Gwyddelig, yn y rhai yr addysgir 594 o blant i ddarllen yr Iaith Wyddelig. O'r 692 o Ysgolion bob dydd, yr oedd 347 dan reolaeth Offeiriaid Eglwys Loegr; 45 dan Weinidogion ereill; 282 dan reolaeth boneddion a boneddigesau; a 18 ereill dan olygiad neb yn neillduol. Dosbarthwyd 4712 o Fiblau, a 12,832 o Destamentau, yn yr Iaith Saesoneg; yn yr Iaith Wyddelig ddim rhagor na 69 o Fiblau, a 330 o Destamentau. Nifer y Biblau a'r Testamentau a ddosbarthwyd gan y Gymdeithas hon er ei sefydliad yw 273,519. Derbyniadau y Gymdeithas yn y flwyddyn ddiweddaf oeddynt £9237 7s. 1c. Y draul, £8297 8s. 1c. Ond gan fod y Gymdeithas yn ddyledus i'r Trysorydd o £1525 7s. 6ch. yn nechreu y flwyddyn, yr oedd y derbyniadau yn rhy fyr o £585. 8s. 5c.

*Arglwydd Mount Sandford*, wrth gynnyg i'r Adroddiad gael ei argraffu, a ddywedodd fod ganddo ddigonedd o lythyrau yn tystio am lwyddiant y Gymdeithas; ac am deimladau parchus y werinos Babaidd, mewn amryw barthau tu ag ati, am ei hymdrechiadau i wellhau eu cyflwr drwy roddi addysgiad Ysgol i'w plant.

*Y Parch. H. Townsend*, o *Cork*, a allai ardystio, drwy ei wybodaeth ei hun, nad oedd y Pabyddion lleyg yn elyniaethol i addysg ysgrythyrol. Arferai ymddiddan â'r dynion hyn bob dydd, a chafodd hwynt yn barod ac yn ewyllysgar i ddarllen a myfyrio yn yr Ysgolion; ond nid oeddynt yn ddigon eofn i hòni eu hiawnderau. Wrth esgeuluso yr Ysgolion, yr oeddynt yn ymostwng i awdurdod nad oedd ganddynt ddigon o eofndra i'w wrthsefyll. Yr oedd llwyddiant y Gymdeithas yn ddigon o annogaeth iddynt fyned y'mlaen yn eu hymdrechiadau i wasgaru y cymylau dudew sydd yn gorchuddio trigolion yr Iwerddon.

*Arglwydd Radstock* a dybiai y dylai pob Cristion ddyfod ym mlaen i gefnogi y Gymdeithas hon, gan fod y Llywodraeth wedi amddifadu y Cymdeithasau Ysgrythyrol o'r arian a arferent ei dderbyn. Gofidiai yn aruthr fod y Llywodraeth wedi dilyn y drefn newydd, er fod cymmaint o wrthwynebiad iddi oddiwrth holl dduwiolion y deyrnas.

*Y Parch. Mr. Robins* a ddywedai fod gan y Gymdeithas ddau ddiben; sef, yn gyntaf, i sefydlu Ysgolion—ac yn ail, i daenu gair Duw, ac i annog dynion i'w ddarllen. Annogai bawb i gyfrannu yn haelionus at y Gymdeithas hon, er mwyn ei galluogi i weini geiriau y bywyd tragywyddol i'n cydddeiliaid Gwyddelig. Os cafodd eu plant eu hanain eu "maethu yn addysg ac athrawiaeth yr Arglwydd," bydded iddynt oll gofio fod plant yr Iwerddon mewn perygl o gael eu hamddifadu o'r fraint werthfawr hon.

Wedi i lawer o foneddion ereill areithio, diweddwyd y Cyfarfod.

---

## Y SENEDD.

### YSGRIF Y DIWYGIAD.

TY YR ARGLWYDDI.—Dydd Llun, Mai 7. *Iarll Grey* a gynnygiodd fod i'r Ysgrif hon fyned i Gyfeisteddfod o'r holl Dŷ. Wedi i Iarll Shaftesbury gael ei ddewis yn Gadeirydd, Iarll Grey a gyfododd i ddatgan ei ddymuniad na wrthwynebid ef yn yr hyn a gynnygiai o barthed y gyfran gyntaf o'r Ysgrif, yr hon oedd o ddim pwys yn y byd. Wedi hyny cynnygiodd i'r Rhif. 56 gael ei adael allan o'r *clause* cyntaf—ac i'w Harglwyddi ystyried y Bwrdeisdrefi oeddynt i gael eu difreinio, yn ol y drefn yr enwir hwynt.

*Arglwydd Lyndhurst* a dybiai y dylid ystyried pa drefydd oedd i gael eu breinio i ddethol Seneddwyr, cyn penderfynu pa Fwrdeisdrefi oedd i gael eu difreinio. Dylai difreiniad gael ei sylfaenu ar freinioliad; ac os byddai yn angenrheidiol, er lles y wladwriaeth, i gynnysgaeddu trefydd â'r fraint o ddethol Seneddwyr, efallai y byddai raid difreinio rhai lleoedd; ond ni ddylid difreinio mwy nag a freiniwyd. Yr oedd yr Ysgrif hon yn amddifadu lluoedd o ddeiliaid ei Fawrhydi o'u breintiau a'u hiawnderau. Ei Arglwyddiaeth a sylwodd ar yr Ysgrifau a ddygwyd ym mlaen gan Arglwydd Chatham, Mr. Flood, Mr. Grey yn 1797, a Mr. Brougham, i ddangos nad oedd difreiniad yn rhan o honynt. A therfynodd drwy gynnyg fod iddynt ystyried y lleoedd a freinir cyn ystyried y lleoedd a ddifreinir.

*Arglwydd Brougham* a wrthwynebai gynnygiad Arglwydd Lyndhurst. Wrth ystyried y rhesymau a roddodd ei Arglwyddiaeth dros ei gynnygiad—wrth ystyried y blaid o'r hon y deilliodd y cynnygiad,—a'r Arglwyddi oeddynt yn debyg o'i gefnogi—ni allai lai na thybied ei fod wedi ei gyssylltu yn agos â llwyddiant yr Ysgrif. Os cydsyniai eu Harglwyddi â'r cynnygiad, collir yr Ysgrif, neu collir y rhan hono ag sydd yn difreinio y Bwrdeisdrefi.

Arglwyddi Harrowby, Bexley, Ellenborough, Wharncliff—Iarll Caernarfon a Winchelsea, Harewood—Duciaid Wellington, a Newcastle, a areithiasant *o blaid* cynnygiad Arglwydd Lyndhurst. Iarll Grey, Manvers, Arglwyddi Holland a Clifford *yn ei erbyn*.—Wedi hyny ymranodd y Tŷ.

| | |
|---|---|
| O blaid Cynnygiad Arglwydd Lyndhurst | 151 |
| Yn ei erbyn | 116 |
| Mwy o'i blaid | 35 |

### YSGOLION YSGRYTHYROL YN YR IWERDDON.

TY Y CYFFREDIN.—*Colonel Lindsay* a gyflwynodd Eirchiad yn erbyn y drefn o addysgu plant a gefnogwyd gan Weinidogion ei Fawrhydi. Yr oedd yr Eirchiad yn deilwng o sylw difrifol y Senedd. Cydsyniai yn llwyr â'r syniadau a ddatgenir ynddi. Yr Erfynwyr a wrthwynebent i Babyddion gael yr awdurdod o bennodi pa ranau o'r Bibl a ddylai plant Protestaniaid eu darllen yn yr Ysgolion.

*Mr. Hume* a haerai nad oedd y rhan fwyaf o drigolion yr Alban yn erbyn trefn Gweinidogion y Brenhin o addysgu plant.

*Mr. J. E. Gordon* a gefnogai yr Eirchiad. Dylai pob Albanwr yn y Senedd deimlo yn wresog ar y pwngc o Addysg Ysgrythyrol; oblegid i hyny yr oedd yr Alban yn ddyledus am ei holl lwyddiant.

### Y DEGWM YN YR IWERDDON.

TY YR ARGLWYDDI.—Dydd Mercher, Mai 9. *Iarll Grey* a gyflwynodd amrai o Eirchiaid yn erbyn y Degwm yn yr Iwerddon. Yn awr, efallai, fy Arglwyddi, fod rhai o honoch yn disgwyl am y peth yr wyf ar hysbysu. Wedi i Weinidogion ei Fawrhydi gael eu gorchfygu nos Lun, nid oedd ganddynt ond dau beth i'w wneuthur:—i gynghori ei Fawrhydi i'n cynnysgaeddu â'r moddion i sicrhau llwyddiant yr Ysgrif, neu i roddi ein swyddau i fynu. Wedi manwl ystyriaeth, gwnaethom y peth olaf: ac nid ydym yn Weinidogion ond yn unig nes y pennodir ein dilynwyr.

### ANERCHIAD AT Y BRENIN.

TY Y CYFFREDIN.—Dydd Iau, Mai 10. *Arglwydd Ebrington* a ganmolodd Iarll Grey, a'i gyd-swyddogion, am ddyfod â'r Ysgrif Ddiwygiol ym mlaen; ac a feiodd ar ymddygiad gwrthwynebwyr yr Ysgrif yn Nhŷ yr Arglwyddi. Wedi hyny cynnygiodd, Fod Cyfarchiad gostyngedig i gael ei anfon at ei Fawrhydi, yn datgan i'w Fawrhydi "y gofid dwys a deimlai y Tŷ hwnw o herwydd yr hysbysiad o'r cyfnewidiadau a ddigwyddasent yn Nghyngor ei Fawrhydi, drwy i Iarll Grey, a'i gydswyddogion, yn y rhai y rhoddai y Tŷ hwnw lawn hyder, ymadael â'u swyddau. Fod y Tŷ, yn unol â chyngor ei Fawrhydi, wedi trefnu Ysgrif er diwygio y Senedd:—fod deiliaid ei Fawrhydi yn disgwyl, gyd âg awyddfryd digyffelyb, am i'r Ysgrif hon gael ei gwneud yn gyfraith y tir:—a bod perygl mawr y bydd ymdrech i anafu yr Ysgrif yn achos o'r canlyniadau erchyllaf:—bod y Tŷ, gan hyny, yn erfyn ar ei Fawrhydi i beidio dewis neb yn Swyddogion iddo ond y sawl a fyddont yn debyg o ddwyn ysgrif trwy y Senedd mor effeithiol a'r un y cytunwyd arni mor ddiweddar yn y Tŷ hwnw."

*Mr. Sturt*, wrth gefnogi y cynnygiad, a ddywedodd, y dylai pob Seneddwr ddatgan ei syniadau yn yr amseroedd enbyd hyn.

*Syr R. Peel* a dybiai fod y cynnygiad 'yn afreidiol, ac yn debyg o daflu anhawsderau ar lwybr ei Fawrhydi, yr hwn oedd y pryd hwn heb swyddogion. Nid allai efe ddatgan ei hyder yn Ngweinidogion diweddar ei Fawrhydi. Yr oedd yn anghyfreithlawn, ac yn llwyr groes i'n ffurf-lywodraeth, i'n Gweinidogion ymdrechu sicrhau llwyddiant unrhyw ysgrif drwy y fath foddion ag a gynghora y Diwygwyr. Yr oedd y Gweinidogion wedi taflu y wlad i sefyllfa dra pheryglus: a byddai y medrusrwydd mwyaf yn angenrheidiol cyn y gellid ei waredu oddiwrth y peryglon a'i hamgylchai. Am hyn, a llawer o resymau ereill, rhaid oedd iddo ef wrthwynebu y cynnygiad.

Wedi amryw areithiau o blaid ac yn erbyn y cynnygiad, ymranodd y Tŷ, a chafwyd

| | |
|---|---|
| O blaid y Cynnygiad | 288 |
| Yn ei erbyn | 208 |
| Mwy o'i blaid | 80 |

---

### YSGRIF Y DIWYGIAD.

Wedi i Swyddogion y Brenin gael eu gorchfygu yn Nhŷ yr Arglwyddi, hwy a gynghorasant ei Fawrhydi i gynnyddu gymmaint ar nifer yr Arglwyddi ag a sicrhai lwyddiant Ysgrif y Diwygiad. Ond ei Fawrhydi, fel brenin gwladgarawl, a wrthododd gydsynied â chais ei swyddogion; ac oblegid hyn hwy oll a roddasant eu swyddau i fynu. Ar hyn ei Fawrhydi a anfonodd am Arglwydd Lyndhurst, ac a ymgynghorodd âg ef, ac a ddymunodd arno ymddiddan â'i gyfeillion ynghylch cyflwr y wlad. Arglwydd Lyndhurst a alwodd ar Duc Wellington, ac a fynegodd iddo ei ymddiddan â'i Fawrhydi. Y

Duc a gynghorai y brenin i wrthwynebu cais ei hen swyddogion, ac a ddatganodd ei amcan i gynnorthwyo ei Fawrhydi hyd eithaf ei allu. Wedi ymgynghori â'r Duc, ei Fawrhydi a roddodd orchymyn i'r Duc i ddewis swyddogion, dan yr ammod y dygent i'r Senedd y cyfryw Ysgrif er Diwygio y Senedd ag a foddlonai y rhesymol a'r cyfritol o ddeiliaid ei Fawrhydi. Yn ganlynol i hyn y Duc a ymdrechodd i ddarbwyllo Syr R. Peel, ac amrai ereill o'i gyfeillion, i gymmeryd y swyddau dano: ond ni chydsynient. Y peth hyn, ynghyd â'r gwrthwynebiad a ddangoswyd i'r Duc yn nhŷ y Cyffredin, a ddangosodd iddo nad allai wasanaethu ei Fawrhydi fel un o'i swyddogion. Aeth y Duc at ei Fawrhydi, ac a fynegodd iddo yr anhawsderau oedd ar ei ffordd, ac a gynghorodd ei Fawrhydi i alw yn ol yr hen Swyddogion i'w wasanaeth. Hyn a wnaethpwyd, ac Iarll Grey sydd unwaith etto yn Brif-Weinidog y deyrnas. O herwydd hyn y mae yn debyg y llwydda yr Ysgrif i gael mynedfa drwy Dŷ yr Arglwyddi, heb nemawr o gyfnewidiad.

Drwg genym hysbysu fod pleidwyr yr Ysgrif Ddiwygiadol, neu y rhan fwyaf o honynt, wedi archolli mynwes y fenyw oruchaf, a mwyaf rhinweddol yn y deyrnas. Haerant mai y freniues a rwystrodd y brenin i gydsynied â chais ei swyddogion. Ond nid oes y sail leiaf i'r haeriad athrodus hwn. Nid yw ei Mawrhydi yn ymyraeth âg achosion y deyrnas: a hyn yw y trosedd erchyll sydd wedi dwyn arni ŵg y Diwygwyr. Os parha ei Mawrhydi i ymddwyn yn y modd hyn, nid rhaid iddi ymoffdio o herwydd anwiredd a chableddau eu gelynion. Y mae gweddiau miloedd o dduwiolion yn esgyn i fynu o'i phlaid, ac yn dwyn ar ei phen fendithion beunyddiol.

---

*Damwain angeuol.*—Ar ddydd Llun, y 30ain o Ebrill, hen wraig o'r enw Jane Roberts a adawyd mewn tŷ heb neb gyda hi yn Tŷ Nant, yn Swydd Gaernarfon. Pan ddaeth ei merch y'nghyfraith i'r tŷ, gwelai yr hen wraig yn gorwedd wrth y tân, a'i chorph wedi llosgi mor dost ag i achosi ei marwolaeth cyn pen ychydig o oriau.

---

*Effaith Meddwdod.*—Nos Sul, y 29ain o Ebrill, bu John Thomas a'i frawd, a Richard Jones, y rhai ydynt yn byw yn Pont Seiont, yn yfed ynghyd yn Nghaernarfon dan lawer o'r nos. Oddeutu hanner nos cychwynasant tu ag adref: ar y ffordd aethant i ymryson, a'r ddau frawd a gurasant R. Jones â'u dyrnau. Ar hyn tynodd R. Jones gyllell o'i logell, ac a wnaeth archoll dwfn â hi y'mynwes J. Thomas. Rhoddwyd R. Jones y'ngharchar Caernarfon, dan y cyhuddiad o drywanu John Thomas gyda bwriad i'w ladd.

---

*Damwain angeuol.*—Rhyw ddiwrnod yn nechreu Mai gyrwyd gyr o wartheg a tharw i weirglawdd gyfagos i dŷ Catharine Jones o'r Tyddyn Uchaf, Llangybi, Caernarfon. Ychydig wedi hyny aeth Mrs. Jones i'r cae: rhuthrodd y tarw arni, taflodd hi i lawr, a niweidiwyd hi gymmaint fel na fedrai gerdded i'r tŷ. Rhoddwyd hi yn ei gwely, a threngodd boreu dranoeth.

---

*Ych Gwyllt.*—Tra yr oedd hen wr yn gyru ych i gigydd-dŷ yn Glan-yr-afon, Bangor, yr ych a ymgreulonodd, a'r hen wr, ynghyd a llangc ieuangc, a ymdrechasant roddi rhaff am ei gyrn. Cyn iddynt allu gwneuthur hyny, rhuthrodd yr ych ar y llangc, ac a'i taflodd i lawr, a dechreuodd ei gornio; ond llwyddodd crydd o'r enw Robert Humphreys i dynu sylw yr ych oddiwrth y llangc. Rhuthrodd yr ych arno yntau, ac a redodd ar ei ol ar hyd y ffordd. Pan oedd ei gyrn bron a chyffwrdd â chorph R. Humphreys, syrthiodd yr ych i lawr, a thorodd ei ddwy goes: a lladdwyd ef yno heb ychwaneg o drafferth. Ni chafodd y llangc fawr o niweid. Haeddu R. Humphreys lawer o glod am ei ymddygiad gwrol a dyngarawl.

*Troedd Anghyffredin.*—Y mae Capel gan y Trefnyddion Calfinaidd yn y Bontfechan, gerllaw Llanystymdwy, Arfon, lle y cyflawnir addoliad cyhoeddus bob sabboth. Y mae aelodau y gymdeithas neillduol yn arferol o aros yn ol ar nos sulian i'r diben o ymddiddan â'u gilydd ynghylch eu profiadau, &c. Ar y Sul diweddaf yn Ebrill, pan oedd yr aelodau wedi ymgynnull ynghyd ar ol y bregeth, rhywun oddi allan a saethodd ergyd o haels neu slugs drwy ffenestr yr addoldy, a chlwyfodd oddeutu 11 o bersonau. Dychryn a ddaeth ar yr holl wyddfodolion; a chyn iddynt ymadferu o'u dychryn, yr oedd y dihiryn wedi diangc. Cyn gynted ag yr hysbyswyd am y trosedd i'r Ynadon Heddwch yn yr ardal, hwy a anfonasant eu swyddogion ar ol y troseddwr, ac yn gynnar dranoeth daliwyd un Robert Roberts, gwr o'r gymmydogaeth, oblegid rhai amgylchiadau drwg-dybus. Wedi hir holiad arno, yr Ynadon a'i bwriasant ef i garchar dan y cyhuddiad o saethu i'r Capel gyda bwriad i ladd.

---

*Damwain alarus.*—Dydd Sadwrn cyn y Pasc, fel yr oedd gwr, a dwy enethig, yn dyfod o Parkgate i Fflint, daeth y llanw i mewn arnynt, ac a'u hysgubodd hwynt, a cheffyl a throl. Cafwyd hyd i'r ceffyl a'r drol yn agos i Connah's Quay; a chymmerwyd corph y dyn, ac un o'r genethod, yn agos i Fflint. Enw y dyn ydoedd Llewelyn, mab Mr. Moses Edwards, amaethydd o Gaerwys. Yr oedd y trengedig wedi nacâu rhoddi 8c. i ddyn i'w dywys dros y traeth, gan dybied y gwyddai efe y ffordd o'r goreu. Dywedir fod rhai o'r trigolion wedi blingo y ceffyl, ac wedi lladrata arian o logellau y trengedig.

---

Y Cholera Morbus.—Y mae yr haint hwn, y Cholera Morbus, bron wedi diflanu yn y Brif-ddinas: ond yn amrai barthau o'r Iwerddon y mae yn dra dinystriol. Nid gwir oedd y dywediad fod yr haint wedi cyrhaedd tref Fflint.

---

## HYSBYSIAD LLEENYDDAWL.

Yr ydym yn deall fod awdwr athrylithfawr y traethawd ar "*Achosion Ymneillduaeth oddiwrth yr Eglwys Sefydledig yn Nghymru,*" wedi dwyn drwy'r Wasg ail argraffiad o'r llyfr hwnw, gyda diwygiadau ac ychwanegiadau helaeth; yr hyn sydd yn gwneuthur y Gwaith o'r pwysigrwydd mwyaf i Eglwyswyr, ac ereill, yn y Dywysogaeth.

---

## DYRCHAFIADAU EGLWYSIG.

Y Parch. Daniel Wilson, D. D. Ficer Islington, i Esgobaeth Calcutta. Rhydd trwy farwolaeth y diweddar Esgob Turner.

Y Parch. Edward Grey, D. D. i Esgobaeth Hereford. Rhydd trwy farwolaeth y diweddar Esgob Huntingford.

Y Parch. R. Venables, D. D. i fod yn Archdiacon Caerfyrddin. Rhydd trwy farwolaeth y diweddar Barch. M. Payne.

Y Parch. John Jones, i Ficeriaeth St. Dewi, Aberhonddu. Rhydd trwy farwolaeth y Parch. Charles Griffiths. Noddwr, Archddiacon Davies.

---

## BU FARW,

Ar yr 22ain o Ebrill, yn Nghrickhowel, yn y 74 flwyddyn o'i oedran, y Parchedig Henry Thomas Payne, A. M. Archdiacon Caerfyrddin, a Chanon Tŷ Ddewi.

Ar y 14eg o Fai, yn 25 oed, y Parchedig William Griffith, A. C. Ysgolhaig o Goleg yr Iesu, Rhydychain; a chynt Ail Athraw Ysgol Rammadegol Beaumaris. Dioddefodd hir gystudd gyda gwroldeb Cristionogol, a pherffaith ymroddiad i ewyllys Duw.

# Y GWYLIEDYDD.

LLYFR IX.] GORPHENAF, 1832. [RHIF. 111.

## COFIANT

### *Y DIWEDDAR WIR BARCHEDIG* DR. *TURNER, ESGOB CALCUTTA.*

NID oedd y Dr. Turner yn ddyledus am ei lwyddiant a'i ddyrchafiad i deulu o achau ardderchog, nac i gyfoeth, ond i'w ddiwydrwydd, ei ddoniau, a'i dduwioldeb; oblegid collodd ei dad yn ei fabandod, ac nid oedd ei fam mewn amgylchiadau cysurus. Ond ymddygiad addas a chymneddfau galluog Mr. Turner a ennillasant iddo gyfeillion, y rhai a deimlent awydd mawr am ei lwyddiant. Wedi derbyn elfenau dysgeidiaeth mewn Ysgol Rammadegawl, anfonwyd ef i *Christ Church*, Rhydychain, lle y dangosodd y diweddar Ddeon Jackson lawer o gymmwynasgarwch iddo. Cymmerodd yr urdd o Wyryf yn y Celfyddydau ar yr amser arferol, a dewiswyd ef yn hyfforddwr i'r presennol Arglwydd Castlereagh. Cafodd ei ordeinio i swydd y weinidogaeth pan oedd yn 23ain oed. Yn 1823 cyflwynwyd ef i Ficeriaeth Abingdon, yn Swydd Berks, o'r lle y symudodd yn y flwyddyn ganlynol i blwyf Walmslow, yn Swydd Gaerlleon. Wedi ymsefydlu yma, efe a briododd Miss Robertson, chwaer y'nghyfraith i'r Dr. Sumner, Esgob Caerlleon. Rhyngodd bodd i Dduw i'w chymmeryd hi oddi arno ychydig cyn ei ddyrchafiad i Esgobaeth Calcutta. Yn 1829 bu farw y diweddar Dr. James, Esgob Calcutta; a phan gyrhaeddodd y newyddion galarus i'r wlad hon, Arglwydd Ellenborough a gynnygiodd y swydd i Mr. Turner. Ei wraig, ar ei gwely angeu, a'i taer annogai i gydsynio â chais ei Arglwyddiaeth, "i fyned i'r wlad bellenig hono mewn yspryd merthyr; heb dybied yn werthfawr ei einioes, os gallai trwy ryw foddion hyrwyddo gogoniant ei Brynlawdwr, a lles ei gyd-greaduriaid." Hyn a'i cymmellodd i dderbyn yr Esgobaeth: ac wedi iddo gael ei gyssegru, a derbyn cyfarwyddiadau gan Archesgob Caergaint, efe, ar yr 16eg o Orphenaf, 1829, aeth ar fwrdd y llong *Pallas*, yr hon oedd i'w drosglwyddo ef am byth o'i wlad, oddiwrth gyfeillion, ac oddiwrth yr hyn oll oedd anwyl ganddo. Ofnai ei gyfeillion mai nid hir fyddai ei yrfa yn India, oblegid ei lesgedd corphorol. Dyledswyddau pwysfawr ac amrywiol ei swydd oruchel a bwysai yn drwm ar ei feddwl; ac yr ydoedd yn ddwys deimladwy o'i lwyr analluu i gyflawni ei swydd fel y dylai; ond dyrchafai ei galon yn fynych mewn gweddi daer at yr hwn a ddywedodd, "Digon i ti fy ngras i." O herwydd y tywydd tymhestlog gorfu ar y llong fordwyo i Plymouth: yn ystod yr ychydig amser yr arosasant yno, ei Arglwyddiaeth a glywodd y Parch. E. Bickersteth yn traddodi pregeth o blaid y *Gymdeithas Genhadol Eglwysig*. Y diwrnod wedi hyn yr oedd ei Arglwyddiaeth yn wyddfodol mewn Cyfarfod Cenhadol Cyhoeddus yn y dref; a phan yr oedd y Parch. E. Bickersteth yn areithio, cafodd yr Esgob ei wysio ar fwrdd y llong, yr hon oedd ar fedr hwylio o'r porthladd. Bob Sabboth cynnaliai addoliad cyhoeddus yn y llong, lle yr ymddygai y llongwyr yn dra addas: a bu ymdrechiadau yr Esgob yn llesol i amrai o'i gyd-deithwyr. Cyrhaeddodd i India ar y 10fed o Ragfyr, 1829; ac un o'r pethau cyntaf a ddenodd ei sylw yn Calcutta oedd halogiad y Sabboth gan rai a alwent eu hunain yn Gristionogion. Bu ei ymdrechiadau i ddwyn ym mlaen ddiwygiad yn hyn yn ddiflino: efe a wahoddodd ac a annogodd y preswylwyr Cristionogol i ymattal oddiwrth bob gwaith a difyrwch ar y dydd hwn, ac i'w gyssegru ef yn llwyr i wasanaethu yr Arglwydd. I'r perwyl hwn efe a ysgrifenodd anerch-

iad, ac a'i taenodd ym mhlith y Cristionogion, gan alw arnynt i gadw y Sabboth yn sanctaidd yn eu teuluoedd eu hunain. Annogodd hwynt i ommedd rhoddi gwaith i'r trigolion a'r crefftwyr Paganaidd ar y dydd hwnw, ac i brynu nwyddau gan y masnachwyr hyny y rhai a sancteiddient y Sabboth; ac mewn amser cyfaddas anfonodd anerchiad at y Llywydd, i erfyn arno roddi gorchymyn i Swyddogion y Llywodraeth roddi heibio bob math o waith ar ddydd yr Arglwydd, a'i neillduo ef i wasanaeth Duw. Ond er mor ochelgar fu yr Esgob yn ei ymadroddion, er mor glodwiw oedd ei amcan, llawer o'r Cristionogion mewn enw a ddatguddiasant yspryd tra chwerw yn ei erbyn, ac a'u gwrthwynebasant ef hyd eithaf eu gallu. Pan rybuddiwyd yr Esgob o'r dirmyg, y gwawd, a'r athrodiaeth a ddygai ei ymdrechiadau arno, efe a atebodd, "Na wnai y cyfryw ystyriaethau byth ei attal ef rhag cyflawni ei ddyledswydd." Efe a ddyfal-barhaodd yn ei ymegnïadau; a chafodd yr hyfrydwch o ganfod fod ei ymdrechiadau, er maint y gwrthwynebwyd hwynt, wedi llwyddo i gymmell y Cristionogion i dalu mwy o barch i'r dydd Sabboth.

Y peth nesaf a wnaeth yr Esgob oedd sefydlu Cymdeithas Elusengar. Yr oedd Cymdeithas gyffelyb eisoes yn Calcutta; ond gan fod nifer yr Ewropiaid tlodion ac amddifaid wedi lliosogi yn aruthr, ni allai Swyddogion yr Hen Gymdeithas olrhain amgylchiadau y lluoedd a geisient gynnorthwy. Am hyny yr Esgob a'i gyfeillion a dybient fod angen am foddion ereill i gyflawni amcanion haelionus yr Ewropiaid cyfoethog, a'r canlyniad fu sefydliad y Gymdeithas hon, a changhenau iddi ym mhob plwyf yn y ddinas.

Ymdrechodd yr Esgob hefyd i ddarparu mwy o leoedd cyfleus i'r Cristionogion i addoli Duw yn gyhoeddus; ac adeiladwyd tair o Eglwysydd yn y gymmydogaeth: a gwnaethpwyd hwynt heb draul i'r Llywodraeth. Yr ysgolion hefyd a gafodd lawer o ystyriaeth yr Esgob: sefydlodd Ysgolion Mabanod ar ei draul ei hun. Ac nid oedd yn ddïystyr o gyflwr yr ieuengctid, a darparodd foddion i gyfranu iddynt hwy egwyddorion dechreuad gwybodaeth, gan ei fod yn gobeithio y byddai dysgeidiaeth yn offerynol i'w dwyn i wybodaeth o'r grefydd Gristionogol. Ymwelodd â'r holl ysgolion yn Calcutta, a chafodd ddywenydd mawr wrth sylwi ar eu cynnydd mewn gwybodaeth o'r gwybodaethau a'r celfyddydau.

Ar yr 28ain o Fedi, yr Esgob a ymadawodd o Calcutta ar ei ymweliad â'r gwahanol Eglwysydd yn Madras: oddi yno efe a aeth ar hyd y tir i Bombay, ac oddi yno i Ceylon. Ar ol dïoddef poen a lludded anghyffredin ar fôr a thir, efe a ddychwelodd i Calcutta yn mis Mai, 1831. Un o'i gyfeillion a ysgrifena fel hyn:—"Nid oedd ei iechyd yn dda er's amrai o flwyddau; yr oedd dolur tufewnol yn ei flino: ond tra y preswyliodd yn Bengal, yr oedd ei iechyd wedi gwellâu. Eithr ar ei daith gwaethygodd drachefn: ac ar ol ei ddychweliad, yr oedd ei iechyd yn dirywio yn gyflym. Cyn gynted ag y gwybuwyd fod ei afiechyd yn debyg o fod yn angeuol, cynghorwyd ei Arglwyddiaeth i gymmeryd mordaith i Penang, ac i Ddeheudir Cymru Newydd, gan obeithio yr arbedid ei fywyd gwerthfawr. Ond rhyngodd bodd iddo ef, yn llaw yr hwn y mae ein bywyd, mewn un wythnos fer i roddi terfyn i'n holl ddisgwyliadau. Ar ddydd Mercher, Mehefin 29, gwaethygodd i raddau mawr. Yr oedd yn deimladwy fod ei ddiwedd yn nesâu, er na bu gorfod arno aros ond deu-ddydd yn ei ystafell. Gellir yn gyfiawn ddywedyd am dano ef, 'Ystyr y perffaith, ac edrych ar yr uniawn: canys diwedd y gwr hwnw fydd tangnefedd.' Pan oedd llaw angeu yn drom arno, nid oedd dim cyfnewidiad yn ei ymddygiad, na thrallod meddwl yn weledig.

"Yr Esgob a ymddiddanai yn fynych â'r Archdiacon Corrie ynghylch y pethau oeddynt yn gwasgu fwyaf ar ei feddwl. Yr oedd y pethau hyn o'r fath ag a ellid eu disgwyl: ansawdd crefydd yn yr India—amgylchiadau rhai o'r Gweinidogion—ei olygiadau ei hun am wirioneddau yr efengyl, a'r cysuron a weinyddent iddo yn ei gyfyngder presennol. Gyd â'r golygiadau hyn y cyfarfu efe y gelyn diweddaf, fel un a ddisgwyliasai er's enyd faith am ei ymosodiad: ac heb yr arwydd lleiaf o anfoddlonrwydd, efe a ildiodd ei hun i'r ddedfryd a gyhoeddwyd o herwydd trosedd ein rhïeni cyntaf."

Mynych y datganodd, mai sail ei holl obaith oedd iawn anfeidrol Crist: nid oedd un sylfaen arall ond enw Iesu. Ar foreu y 7fed o Orphenaf, tra yr eisteddai yn dawel mewn cadair, a llaw yr Archdiacon Corrie yn cynnal ei ben, ei yspryd a ehedodd o'i gorph i'r trigfanau fry, yn y 46 flwyddyn o'i oed, a'r 2ail o'i wein-Esgobawl.—"Gwyn eu byd y meirw y rhai sydd yn marw yn yr Arglwydd, o hyn allan, medd yr Yspryd, fel y gorphwysont oddiwrth eu llafur; a'u gweithredoedd sydd yn eu canlyn hwynt."

---

## LLAIS O RYBYDD.

Pan ystyriom ymddygiad y rhan fwyaf o ddynion, nis gallwn lai na synu wrth weled cyn lleied sydd o nifer y rhai hyny, ie, yn y wlad hon, sydd yn ymddangos yn awyddus i roddi eu hamser i'r Bod Goruchel, yr hwn sydd er eu hieuenctid wedi eu llwytho â bendithion ac â chymmwynasgarwch. Gyd â'r fath awydd y mae y fath ddynion yn gofalu am y pethau sydd yn darfod wrth eu harfer. Y mae cyfoeth, pleserau, a gwagedd, y byd hwn yn cymmeryd eu sylw, ac y mae y rhan fwyaf yn boddhâu eu hunain mewn pleser gwag a thwyllodrus, ac yn y diogelwch cnawdol hwnw, a ddiwedda mewn siomedigaeth, gwarth, a distryw tragywyddol.

*Amser! amser* gwerthfawr, yr hwn a roddwyd trwy drugaredd i'n galluogi i ymbarotôi i'r nefoedd, sydd yn cael ei ddifrodi mewn boddhâu pob awyd halogedig a phechadurus. Och! *amser* sydd fyr, ac nid yw dyddiau dyn ond megys dyrnfedd. Rhychwant bychan yw—nid yw bywyd ond tarth, ac mor fuan y mae yn diflanu. Y mae angeu a'r farn yn sicr, ac etto mor anystyriol ydyw marwolion difeddwl, y rhai ni wyddant pa beth a ddigwydd mewn diwrnod. Y mae y dynion annuwiol hyn yn barod i feddwl, gyd âg anymddibyniaeth twyllodrus, fod *amser* yn eiddo iddynt hwy—fod ganddynt hawl i wneuthur fel y mynont; a pha mor annuwiol bynag y treuliont eu horiau gwerthfawr, meddyliant y bydd y cwbl yn diweddu yn dda, fel pe na byddai Duw yn ffyddlon i'w air.

. Y mae y dynion ag sydd yn hoffi pleser a boddhad cnawdol, ac o feddyliau bydol, yn tybied, yn ol eu meddwl hwy, nad ydynt yn gwneuthur dim niweid, ac yn meddwl y bydd cystal arnynt hwy ag ar y rhai sydd yn cadw cymmaint o sŵn ynghylch crefydd ac achubiaeth eu heneidiau. Och! dyma un o hudoliaethau mwyaf Satan, eu cadw yn gysglyd â'u pechodau heb eu maddeu, ac yn eu cadwynau caeth. Cyhyd ag y byddont yn foddlon yn eu sefyllfa naturiol fe'u ceidw duw y byd hwn hwynt dan eu lywodraeth. Pa beth a ddywed yr Ysgrythyr, "Canys os byw yr ydych yn ol y cnawd, meirw fyddwch.—Ni chaiff y rhai sydd yn gwneuthur gweithredoedd y cnawd etifeddu teyrnas Dduw."

Bechaduriaid! pa beth a wna cyfeillion annuwiol drosoch yn awr angeu? Pa beth a wna pechod a phleserau gwag y byd hwn drosoch pan fydd Duw yn gofyn eich eneidiau oddi wrthych? A ellwch chwi ostwng llaw yr Hollalluog pan fyddo wedi ei chyfodi yn eich erbyn? A fedrwch chwi attal cleddyf ei ddïaledd, neu ddiffodd fflamau uffern? Bechaduriaid, a fydd cydwybod un amser yn eich anesmwytho? A ydych chwi wedi myned tu hwnt i deimlad? A fedr eich calonau barhau, a'ch penau fod yn gryfion, pan ddelo Duw i'ch trin? Fe wna eich pechodau, ac annuwioldeb eich calon, eich trywanu â llawer o flinderau. Gwybyddwch hyn, am yr holl amser gwerthfawr yr ydych wedi ei gam-arfer mewn gwagedd—y Sabbothau a dorasoch—y breintiau crefyddol a ddarfu i chwi eu hesgeuluso—y trugareddau a ddarfu i chwi eu cam-arfer—y rhybuddion a'r barnau a ddarfu i chwi eu dïystyru, a fyddant sicr o gyfodi yn eich erbyn y dydd olaf ac ychwanegu at eich euogrwydd anfaddeuol. Pa beth a ddywedwch er lleihau eich cosp, pan elwir arnoch o flaen Duw? O! fe fyddwch yn fud ac yn gywilyddus! O! y fath ddydd o gywilydd i bob pechadur anedifeiriol!

Bechaduriaid! fe ddaw y *dydd* hwn o gyfrif! ac fe fydd yn ddiwrnod ofnadwy i'ch eneidiau tlodion. Yn ofer y dïangwch o wyddfod eich Barnwr; sefyll o'i flaen ef fydd raid i chwi; ni fedr y mynyddoedd na'r bryniau eich cuddio oddiwrth anadl ei ddigllonedd. Fe ddaw gauaf eich eneidiau yn fuan; a'r enaid,

os collir ef unwaith, nis gellir ei achub *byth*. Os gwnewch etto droi clust fyddar i wahoddiadau yr efengyl ni wna yr Arglwydd eich hachub. Meddyliwch am yr arswyd, y braw, a'r cywilydd a feddianna eich eneidiau euog, pan y llosgir y ddaear i fynu, a'r nefoedd gan wir wres a doddant, a bydd eich calon yn llesmeirio gan ofn! Pwy a fedr sefyll pan yr ymddangoso efe i roddi dïal i'r sawl nid adwaenant Dduw, ac nid ydynt yn ufuddhâu i efengyl Crist.

Meddyliwch am y pethau hyn yn awr. Deffrowch o gwsg pechod. Nid oes ond cam rhyngoch ac angeu—y mae tragywyddoldeb gerllaw. Curwch, tra gellir agor drws trugaredd. Ceisiwch yr Arglwydd tra gellir ei gael. Dïangwch am eich bywydau, a brysiwch at Iesu Grist, yr hwn a ddaeth i'r byd i gadw pechaduriaid. Cofiwch fod eich eneidiau yn fwy o werth na deng mil o fydoedd, a wnewch chwi esgeuluso y moddion o ddïogelwch mewn peth o gymmaint pwys? Gweddiwch am drugaredd—erfyniwch am i'r Arglwydd agor eich llygaid, i newid eich calon ddrwg, ac i achub eich eneidiau gwerthfawr.

Y mae Iesu Grist yn abl ac yn ewyllysgar i'ch achub hyd i'r eithaf. Ewch ato yn *awr*, ac ni fwria efe chwi allan ddim. "Wele, yn *awr* yr amser cymmeradwy; wele, yn *awr* ddydd yr iachawdwriaeth.—Fel mai byw fi, medd yr Arglwydd Dduw, nid ymhoffaf ym marwolaeth yr annuwiol; ond troi o'r annuwiol oddiwrth ei ffordd a byw: dychwelwch, dychwelwch oddiwrth eich ffyrdd drygionus; canys tŷ Israel, paham y byddwch feirw?—Gadawed y drygionus ei ffordd, a'r gwr anwir ei feddyliau; a dychweled at yr Arglwydd, ac efe a gymmer drugaredd arno; ac at ein Duw ni, o herwydd efe a arbed yn helaeth."

Ddarllenydd Cristionogol! gelli ddysgu oddiwrth yr ystyriaethau uchod, yr angenrheidrwydd o grefydd bersonol, a'r angen mawr sydd o fyned oddi amgylch, gan wneuthur daioni i eneidiau ein cydbechaduriaid annuwiol. Y mae yn ddyledswydd ar weinidogion i lefain yn uchel ac heb arbed; felly y mae yn ddyledswydd ar bob Cristion yn unigol i gryfhâu dwylaw eu gweinidogion, trwy ymdrechu, trwy bob moddion, i ddyfod â phechaduriaid tan sŵn yr efengyl, yr hon y maent bob Sabboth yn cael gorchymyn i'w chyhoeddi, a'r hon sydd yn abl i'w gwneuthur yn ddoeth i iachawdwriaeth.

Edrychwch o'ch amgylch, a gwelwch gynnifer sydd yn byw mewn hollol esgeulusdra o bob dyledswydd grefyddol. Ymegnïwch o ran eneidiau ar ddarfod am danynt; a pha bryd bynag y bydd cyfleusdra i siarad â hwynt, ceisiwch argraffu ar eu medyliau yr angenrheidrwydd o gael eu geni drachefn o'r Yspryd, heb yr hyn ni chaiff neb weled yr Arglwydd. Rhoddwch iddynt draethodau crefyddol, ond yn enwedig na adewch i un o honynt fod heb y Bibl. Fel hyn y dilynwch ôl eich Iachawdwr bendigedig, yr hwn a aeth oddi amgylch gan wneuthur daioni.

Yn ddiweddaf, ddarllenydd, a wyt ti yn ddïeithr i wir dduwioldeb! Meddwl am yr ystyriaethau uchod, a gâd i'r *Llais o Rybydd* hwn dy ddeffro i ddwys ystyriaeth. Ystyria dy gyflwr presennol, heb Dduw, heb Grist, ac heb obaith. Nac oeda yn hwy y gwaith mawr o gael maddeu dy bechodau, ac achubiaeth dy enaid, trwy Iesu Grist. Fe allai mai hwn yw y rhybydd olaf a roddir i ti; gall angeu dy oddiweddyd y fory, a chau dy lygaid mewn tywyllwch tragywyddol. Bydded i'r Arglwydd dy fendithio, a dy droi o dywyllwch i oleuni, ac o feddiant pechod a Satan at y gwir a'r bywiol Dduw.

PRAYDDOG.

---

## ORIAU YSGRYTHYROL.

### ACTAU.

PEN. ii. 35. "*Dy elynion yn droed-faingc i'th draed.*"—Yr ydoedd yn arferiad unwaith i fuddugoliaethwyr roddi eu traed ar yddfau y rhai gorchfygedig. *Jos.* 10. 24. Yn niwedd y gynnadledd, ar ol yr ymgyrch yn erbyn Algiers gan y Saeson, nacâodd y Dey roddi dau garcharor i fynu, nes o'r diwedd y gorfu arno; yna dywedodd, "Y mae eich traed ar fy ngwddf, a pheth a allaf fi ei wneuthur?"

PEN. iii. 2. "*Porth y deml, yr hwn a elwid Prydferth.*"—Yr oedd y porth hwn, yr hwn a chwanegwyd gan Herod, yn 30 o gyfyddau o uchder, ac yn 15 o led, ac wedi ei wneuthur o bres Corinthaidd.

Pen. iv. 19. "*Ai cyfiawn yw ger bron Duw, wrandaw arnoch chwi yn hytrach nag ar Dduw.*"—Dywed Plato am Socrates, pan oedd yr Atheniaid yn ei gondemnio i farwolaeth, iddo ddywedyd, "O chwi, Atheniaid, yr ydwyf yn eich coffeidio, ac yn eich caru; ond myfi a ufuddhaf i Dduw yn hytrach nag i chwi."

Pen. v. 34. "*Gamaliel.*"—Henuriad o'r enw hwn, yr hwn oedd mewn cymmaint bri ym mhlith yr Iuddewon, fel y darfu i *Onkelos*, awdwr y *Targum*, losgi 70 pwys o bêr-aroglau yn amser ei gladdedigaeth.

Pen. viii. 16. "*Bedyddio yn enw yr Arglwydd Iesu.*"—Nid yw esbonwyr yn cyduno yn eu barn pa un a ydyw hyn yn dalfyriad yn lle enwi y Drindod; neu dalfyriad yn y dull o weinyddu y Sacrament i'r Iuddewon, y rhai oeddynt o'r blaen yn credu athrawiaeth y Drindod yn yr Hen Destament. Y mae yn deilwng o sylw, pan y mae gorchymyn yn cael ei roddi i fedyddio yn enw y Drindod, y mae yn perthynu yn neillduol i'r Cenhedloedd. *Mat.* 28. 19.

Pen. ix. 11. "*Heol a elwir uniawn.*"—Y mae yr heol hon etto yn sefyll, a bu Mr. Barker, gwr boneddig yn perthyn i Gymdeithas Genhadol yr Eglwys Sefydledig, yn ddiweddar yno.

Pen. xii. 25. "*Ioan yr hwn a gyfenwid Marc.*"—Y mae yn bur debygol nad hwn oedd Marc yr Efengylwr, ond tybir ei fod yn fab i Mair, yn nhŷ yr hon y cyfarfyddodd yr apostolion i weddïo dros Pedr. Gwel *adn*. 12.

Pen. xiii. 1. "*Simeon, yr hwn a elwid Niger*"—neu ddyn du, fe allai mai Negro ydoedd.

Pen. xvii. 17. "*Yr ymresymodd efe —— yn y farchnad beunydd.*"—Y mae hyn yn hollol gyd-ffurfiol â'r arferion dwyreiniol. Gwneir hyn yn aml iawn yn Arabia. Fe fydd y bobl yn arfer ymgyfarfod yno i ymddiddan â'u gilydd.

Pen. xix. 12. "*Napcynau neu foledau.*"—Yr ydoedd yn arferiad ym mhlith trigolion Arabia, Syria, Palestina, &c. i ddwyn napcynau yn eu dwylaw i sychu ymaith y chwys. Y maent wedi eu gweithio â nodwyddau; a phrif ddifyrwch y benywod ydyw eu gwneuthur.

Adn. 19. "*Gwneuthur rhodreswaith,*" yn ol y Saesoneg, "*Celfyddydau cywrain.*" Y prif gelfyddydau oedd, 1. Astronomyddiaeth, neu ragddywedyd digwyddiadau yn ol dangosiad y sêr.—2. Dewiniaeth; ymddiddan (pa un bynag ai yn wirioneddol neu yn ffugiol) âg eneidiau dynion meirw, neu âg ysprydion uffernol. Yr oedd dewines Endor yn cymmeryd arni y gallai hi wneuthur hyn.—3. Swynyddiaeth; y gallu o weithredu pethau rhyfedd trwy ryw foddion dirgelaidd, neu gymmorth ysprydion; ond y mae yn aml yn cael ei harfer mewn ystyr mor helaeth, fel ag i gymmeryd i fewn y ddwy flaenaf. —Yr oedd y 4edd yn gelfyddyd neillduol i'r bobl hyn, ac a elwid yn Llythyrenau Ephesiaidd; ond am nad ydym yn deall hyn ni cheisiwn ei egluro. Ond yr oeddynt, pa fodd bynag, yn cael eu harferyd megys rhyw swyn-gyfaredd.

Pen. xxi. 38. "*Yr Aiphtwr.*"—Y mae Josephus yn sôn am ryw Aiphtwr a ddaeth i Judea tra yr oedd Ffelix yn Rhaglaw, ychydig o flynyddoedd cyn y cythrwfl hwn. Yr oedd yn cymmeryd arno ei fod yn brophwyd, ac a ddenodd luaws o bobl i'r anialwch; ond fe'u gwasgarwyd yn fuan gan Ffelix.

Pen. xxii. 23. "*Bwrw eu dillad.*"—Y mae Syr J. Chardin yn mynegi am y Persiaid, pan y byddant yn myned i achwyn i'w brenin, yr arferant fyned yn lluoedd dan oer-lefain, a rhwygo eu dillad, a thaflu llwch i'r awyr.

Pen. xxiii. 2. "*Ei daro ef ar ei enau.*" —Dywed Mr. Hanway, pan y dygwyd penaeth gwrthryfelgar o flaen *Nadir Shah*, gan nad oedd ei atebion yn ei foddhâu, efe a orchymynodd ei daraw ar ei enau, yr hyn a wnaed yn y fath fodd ag y daeth y gwaed allan.

Adn. 5. "*Ni wyddwn i, frodyr, mai yr arch-offeiriad oedd efe.*"—Yr oedd Ananias wedi bod rai blynyddoedd o'r blaen yn arch-offeiriad, ond fe'i danfonwyd yn garcharor i Rufain o dan ryw gyhuddiadau o gam-ymddygiad; ac er ei fod wedi ei ollwng yn rhydd, etto nid oedd wedi cael ei ail sefydlu yn ei swydd, ond dewiswyd un Jonathan yn ei le ef. Yr oedd Jonathan y pryd hyn wedi cael ei ladd, a gwr o'r enw Ismael wedi ei ddewis yn ei le, ond nid oedd etto wedi cymmeryd meddiant o'i swydd, ac yn y cyfrwng hwn yr ymwthiodd Ananias i fod yn benaeth y

cyngor, ac mai yn debygol nad oedd ganddo y gwisgoedd arch-offeiriadol am dano.

Pen. xxvi. 11. "*Ac a'u cymhellais i gablu.*"—Dywed Pliny fod yr erlidwyr Paganaidd, nid yn unig yn gwneuthur i broffeswyr Cristionogol ymwrthod â Christ, ond gwneuthur iddynt ei gablu, ac nid oedd yr Iuddewon yn llai ffyrnig.

SIGMA.

---

## TALFYRIAD

### *O ANERCHIAD Y PARCH. P. ROE, PERIGLOR KILKENNY, AT EI BLWYFOLION.*

FY ANWYL GYFEILLION—Er fy nyfodiad cyntaf atoch, ni theimlais un amser mor ddwys y rhwymau sydd arnaf i wasgu at eich cydwybodau y ddyledswydd o chwilio yr Ysgrythyrau Sanctaidd, megys yr unig foddion o wybodaeth iachus, a goleuni sicr yn y byd tywyll hwn—yr unig ffynnon o gysur a chyfarwyddyd i ddyn anwybodus a thruenus—yr unig angor trwy ba un y cymmer afael ar y bendithion tu fewn i'r llèn—yr unig graig ar ba un y gellir gosod gobaith cadarn a dïysgog am fywyd tragywyddol—yr unig fara a bortha yr enaid—yr unig feddyginiaeth i iachâu ei glwyfau, a'r unig balm i esmwythâu ei boenau. Nid rhyfedd fod yr ysgrythyrau hyn yn ergydio fel y maent ar wreiddyn balchder, rhagfarn, a hunanoldeb, ac yn cynhyrfu gwrthwynebiad. Eithr y mae yn rhyfedd fod y gwrthwynebiad hwn yn deilliaw oddiwrth bersonau o wahanol farnau, fel y mae 'r hen frwydr, mewn perthynas i wrthodiad y Messïah, yn cael ei hymladd etto o'r newydd, tra y mae y Pharisead a'r Saducead yn ysgwyd dwylaw ynghyd, tra y mae y Protestant cnawdol â'r Pabydd yn cyduno mewn ysbryd ac amcan, a'r "gwirionedd, megys y mae yn yr Iesu," a drinir megys chwedl ofer. Elw bydol, rhyddid, balchder, a rhwysg, ydynt yn bresennol yr egwyddorion ar ba rai y gweithreda dynion, yn lle cariad Cristionogol. Y ffrwyth a ddygasant sydd ofidus i lygad, a chwerw i dafod, pob un a brofodd fod yr Arglwydd yn dirion, ac a dystia fod ei air yn felus iddo. Gobeithiwn a gweddïwn, fel y del daioni allan o'r holl ddrwg hwn, i'r diben i ddangos rhagor rhwng y proffeswr unigol a'r gwir gredadyn. Nis medrwn ddywedyd pa beth a fydd, neu pa beth yw, neu pa beth nid yw, ewyllys yr Arglwydd tu ag atom, ond y mae yr arwyddion presennol yn peri i ni ofni fod barnedigaethau gerllaw; a thra mae annuwioldeb ac anfoesoldeb mor uchel y'mysg pob graddau, dichon iddo ail gyhoeddi ei fygythiad, "Oni ymwelaf am y pethau hyn? Oni ddïal fy enaid ar gyfryw genedl a hon?" Ei law attaliol ef yn unig a'n cadwodd rhag bod megys Sodom a Gomorrah! Y galanastra ffiaidd yn Nghaerodor, yn gystal ag yn ein hardaloedd ni yn feunyddiol, a ddengys yn eglur fod pechod yn waradwydd pobl. Bywyd Duw yn enaid y gwir gredadyn a esgeulusir yn ormodol yn yr oes hon, am hyny arweinir cynnifer ymaith gan bob awel dysgeidiaeth, heb eu seilio a'u gwreiddio mewn cariad; ac y mae gan elynion crefydd gymmaint achos i sylwi, nid *Gwelwch fel y maent yn caru eu gilydd*, ond *Gwelwch fel y maent yn cnoi ac yn traflyngcu eu gilydd*. Cariad Cristionogol, yn dylifo oddiar egwyddorion Cristionogol, yw y ffordd dra rhagorol, y'mha un y gelwir ni i rodio; ac os ceir ni ynddi, ni syniwn am danom ein hunain yn amgen nac y dylid synied, ond tybiwn ereill yn well na ni ein hunain, a chynnaliwn undeb yr Yspryd y'nghwlwm tangnefedd. Pa fath ragorfraint yw hon, bod yn abl i gynnal gair y bywyd, megys plant Duw, yn nghanol byd pechadurus a throfäus. Ond, ai felly y mae gyda ni? A yw ein ffydd yn esmwythâu pob baich—yn dofi pob blinder—yn distewi pob ofn—yn cryfhâu pob gobaith da? A fedrwn ni appelio at Chwiliwr mawr y calonau bob un o honom, a dywedyd, "Mi a wn i bwy y credais; ac y mae yn ddïammeu genyf ei fod yn abl i gadw yr hyn a roddais ato erbyn y dydd hwnw?" Y mae yn llawen genyf weled yn ddiweddar yn eich plith fwy o barch i air ac addoliad Duw, gan obeithio ei fod yn arwydd o adfywiad gwir grefydd. Paham na ddisgwyliwn weled amser adfywiad? Oni welodd miloedd o'n blaen y cyfryw fendith, yn enwedig ar amserau o erlidigaeth? Onid yw yr addewid yn sicr, "Wele, yr ydwyf fi gyda chwi bob amser hyd ddiwedd y byd? Gorfoledded meibion Sïon (gan hyny) yn eu Brenin." Nid oes achos iddynt ofni; os oes brwydrau celyd yn eu haros, y

maent yn sicr o fuddugoliaeth yn y diwedd; os yspeilir hwynt o'u heiddo, mae ganddynt drysor tragywyddol a wna eu henaid yn ddedwydd; os mordwyant dros fôr tymestlog, dygir hwynt gan eu Harweinydd i'r gilfach y mae glàn iddi, lle ni ddaw yr un ystorm byth i'w cyfarfod. A ydych chwi yn perthyn i'r gymdeithas fendigedig hon? A ydyw gwasanaeth Crist yn hyfrydwch genych? A ydych chwi yn foddlon i'w ddilyn, trwy glod ac anglod, nes ei weled megys ag y mae?

*Cyf.* M. R. Ll.

---

## SEFYDLIAD EGLWYSIG

### YN GYFREITHLON, YN YSGRYTHYROL, AC YN ANGENRHEIDIOL.

*Chwe Ymddiddan rhwng Offeiriad Llanddew a Mr. Thomas, un o'i Blwyfolion.*

### YMDDIDDAN I.

Offeiriad.—Boreu da i chwi Mr. Thomas. Yr ydych yn edrych yn sal; atolwg eisteddwch i lawr; gobeithiaf na ddigwyddodd dim byd anghysurus. A ydyw eich teulu yn iach?

Mr. Thomas.—Yr un fath ag arferol; yr ydym yn mwynhâu bendithion mwy nag a haeddwn, a dymunwn fod yn ddiolchgar am danynt; ond bu fy meddwl yn dra thrallodus yn ddiweddar, a thybiais yn addas osod yr holl achos o'ch blaen chwi.

Off.—Da iawn genyf, Mr. Thomas, os gallaf eich cynghori neu eich cysuro.

Mr. T.—Gwn hyny yn burion, Syr; dangosasoch lawer o gymmwynasgarwch i mi ar amrai achlysuron, a byddwn yn ddyn tra anniolchgar, pe na bawn yn ddwys deimladwy o'm rhwymedigaethau i chwi: a hyn, nid yn unig yn fy achosion bydol, o barthed y rhai y buoch chwi yn gynghorwr ac yn gyfaill goreu i mi, ond mewn pethau sydd lawer mwy pwysfawr: oblegid i chwi, Syr, dan Dduw, yr wyf yn ddyledus am y cyfan a wn i am grefydd, am ei chysuron, ac am y gobaith ysprydol a esyd hi o'm blaen. Genych chwi y'm bedyddiwyd i. Myfi oedd y plentyn cyntaf a fedyddiasoch chwi, wedi i chwi ddyfod i weinidogaethu i'r plwyf yma fel cynnorthwywr i'n diweddar Beriglor, ar ol yr hwn y cawsoch chwi y lle, o herwydd eich duwioldeb, a'ch ymdrechiadau llafurus i gyflawni dyledswyddau y weinidogaeth. Cefais fy nwyn i fynu yn eich Ysgol Wladwriaethol; ac i'r hyfforddiadau da a gefais yno yr wyf gan mwyaf yn ddyledus am fy sefyllfa gysurus bresennol: ac nid wyf wedi anghofio y cynghorion da a'r llyfrau buddiol a roddasoch chwi i mi a'm cyd-ysgolheigion. Rhai o'r llyfrau ydynt etto yn fy meddiant, ac y mae fy mhlant yn arfer eu darllen. Ac yn enwedig nid anghofiaf byth eich ymdrechiadau a'ch llafur i'm parotôi i dderbyn Bedydd Esgob. Yr oeddwn wedi gadael yr ysgol er's pedair neu bum mlynedd, ac wedi ymgyfeillachu â nifer o ieuengctid tyngllyd, meddw, ac anfoesol, a bron wedi anghofio yr holl addysgiadau da a gefais; eithr nid heb lawer o gnofëydd cydwybod, pan y bu eich cynghorion dwys a thaer, wrth fy hyfforddi cyn derbyn fy Medydd Esgob, yn offerynol i'm dwyn i ystyried—yn ostyngedig y diolchwn i Dduw pob trugaredd am hyny—bechadurusrwydd fy ffyrdd, ac enbydrwydd yr yrfa yr oeddwn yn ei rhedeg. Nid anghofiaf byth am un boreu pan y'm harweiniwyd i i'ch parlawr, ac y darfu i chwithau ymddiddan â mi nes yr oedd y dagrau yn dylifo ar hyd fy ngruddiau; o herwydd yr oeddwn i yn ofni y buasech chwi yn fy nwrdio am fy nghamymddygiad: ac ammhëus oeddwn a oddefech i mi fyned o flaen yr Esgob: ond yn lle hyn, siaradasoch mor fwyn a hynaws, ac etto mor daer wrthyf, fel ag yr oeddwn yn teimlo fod pob gair a ddywedech yn trywanu fy nghalon. Aethum adref, a gweddïais yn daer am i Dduw faddeu fy mhechodau, er mwyn Iesu Grist—rhoddi nerth i mi i ddilyn buchedd newydd, ac i fyw er ei ogoniant ef, yn ol yr addunedau a addunedais yn fy medydd. Ond ni threuliaf eich amser, Syr, drwy adrodd yr oll a ddigwyddodd ar yr achlysur hwnw; ysgatfydd eich bod wedi ei ollwng dros gôf; canys yr oeddych, yn ddïau, mor awyddus am lesiant plant ereill ag am fy llesiant i: ac er hyny tybiais fod yr oll a ddywedasoch am flsoedd wedi hyny, wrth ein holi yn yr ysgol, ac wrth bregethu yn yr Eglwys, yn perthyn i mi yn arbenig, a buont yn dra defnyddiol i gadarnhâu fy mhen-

derfyniadau anwadal, ac i'm cymmell o'r diwedd i nesâu at fwrdd yr Arglwydd. Gobeithiaf i mi nesâu ato, nid o ran ffurf neu arfer, ond gyda gwybodaeth gywir o ddiben y Sacrament, a chyda llawer o lesiant a chysur crefyddol. Ac yr wyf yn meddwl y gallaf ddweud na bum i er hyny hyd yn awr yn absennol o'r cymun nac o'r addoliad cyhoeddus, oddieithr pan y'm rhwystrwyd gan afiechyd, neu ryw achos cyfreithlon ac anocheladwy arall. Ac y mae pob blwyddyn newydd, pob mis, a phob awr yn datguddio i mi fwy-fwy o'm rhwymedigaethau i Dduw, ac i chwi, Syr, am yr holl fendithion, ysprydol a thymhorol, yr wyf yn eu mwynhâu. A hyn, Syr, yw un o brif achosion o ddyryswch a thrallod presennol fy meddwl.

Off.—Yr wyf yn teimlo yn dra diolchgar i Dduw, Mr. T. fod fy ngwasanaeth gwael ag sydd yn anhaeddiannol o'r fath anrhydedd, wedi bod yn offerynol, dan ei fendith ef, er adeiladaeth ysprydol i chwi, neu i ryw un arall o'm praidd. Nid i mi, ond iddo ef, y byddo'r gogoniant. Ac os gallaf fi eich cynnorthwyo yn eich cyfyngder presennol, mi a'i gwnaf gyd â'r hyfrydwch mwyaf. Ni allaf ddirnad beth yw yr achos o'r cyfyngder hwnw, nes i chwi agor eich meddwl yn helaethach. Dywedasoch fod eich teulu yn iach; ac os yw eich achosion bydol wedi dyrysu peth, diau y gallwn eu huniawni hwynt yn hawdd. Buoch bob amser yn ddeiliad cywir a ffyddlon i mi; ac nid rhaid i chwi fod dan ddim ofnau o'm plegid i. Y mae genyf hyder perffaith yn eich cywirdeb, am fy mod yn credu eich bod yn wr sydd yn ofni Duw, ac yn gweithredu oddiar egwyddor dda: a phe byddai i bethau ddigwydd ar y gwaethaf, gobeithio y byddaf fi fy hun yn gyfaill i chwi, ac yr ymdrechaf i ddarbwyllo ereill i ymddwyn fel cyfeillion tu ag atoch.

Mr. T.—Na, Syr, nid dim o'r fath beth sydd yn fy nhrallodi. Diolch i Dduw, y mae fy achosion bydol yn myned y'mlaen yn llwyddiannus: pe amgen, atoch chwi, Syr, y daethwn i gyntaf i ymofyn am gyngor. Peth llwyr wahanol sydd yn peri trallod i mi. Mewn gair, Syr, drwg iawn genyf adrodd, na welwch mo honof byth mwy yn yr Eglwys, nac yn y cymmun, ar ol y Sul nesaf.

Off.—Beth! a ydych chwi yn bwriadu symud o'r gymmydogaeth? Drwg genyf am hyny.

Mr. T.—Nid wyf am symud o'r gymmydogaeth, ond am adael yr Eglwys.

Off.—Yr ydych yn fy synu! A ydych chwi yn bwriadu yn ddifrifol droi yn Ymneillduwr?

Mr. T.—Ydwyf, Syr, yn *Ymneillduwr ar egwyddor.*

Off.—Yr ydych yn peri mwy-fwy syndod i mi! Chwi yw y dyn olaf yn fy nhlwyf a ddisgwyliwn i wneuthur y fath beth.

Mr. T. Gellwch ddywedyd hyny yn hawdd, Syr. O fewn llai na thri mis yn ol, buaswn innau yn dywedyd yr un peth: canys os yw rhywun dan rwymau mawr i'r Eglwys Sefydledig, myfi yw y gwr. Tu fewn i'w magwyrydd hi, a thrwy eich gweinidogaeth chwi, y derbyniais yr hyn yr wyf fel Cristion yn ei fwynhau yn awr, ac yn gobeithio am dano rhagllaw. Ac ni bum erioed dros drothwy addoldy Ymneillduwyr, ac ni wn ddim am eu ffurfiau. Y mae fy mhenderfyniad wedi peri i mi ddyhidlo llawer o ddagrau, a threulio llawer noswaith ddigwsg; ond y mae yn awr yn ddiysgog: ni allaf, ni feiddiaf, barhau yn hwy yn aelod o'r Eglwys Sefydledig, er cymmaint y gwerthfawrogaf eich gweinidogaeth, ac er maint yw y lles a dderbyniais oddi wrthi, dan fendith Duw.* Attolwg, Syr, na ddigiwch wrthyf am ddywedyd hyn.

Off.—Nid wyf yn ddig wrthych yn y radd leiaf: ond parasoch fod a syndod i mi tu hwnt i amgyffred. Ond ni anobeithiaf: ysgatfydd eich bod wedi clywed rhyw wrthebiadau i'n ffurfiau, i'n hathrawiaethau, neu i'n gwasanaeth, i'n gweinidogaeth bedydd, neu i'r Drefn am Gladdedigaeth y meirw, neu i Fedydd Esgob, neu i lywodraeth Esgobawl, neu i rai o'r Erthyglau, neu i ffurfiau gweddi, neu ——

Mr. T.—Na, Syr, nid dim o'r fath beth. Gwn fod gwrthebiadau yn cael eu

* Gwybydded y darllenydd nad oes yn yr Ymddiddanion hyn yr un gwrthebiad i'r Eglwys Sefydledig a'r nas cymmerwyd ef, agos air-yn-air, o Gyhoeddiadau yr Ymneillduwyr. Ni ddychymmygwyd ac ni fwyhawyd y gwrthebiadau. Os ymddengys yr haeriad uchod yn rhagfarnllyd, gellir dangos fod llawer o'r rhai a alwant eu hunain "Ymneillduwyr o Egwyddor" yn gwneuthur y cyfryw haeriad.

gwneuthur yn fynych i rai o'r pethau hyn, ac ystyriais rai o honynt, ond ni pharasant fawr o anesmwythder i mi. Rhai o honynt a ymddangosent yn hylwyr ddisail: ac am y gweddill, clywais chwi yn fynych yn eu hegluro yn y fath fodd ag i roddi eithaf boddlonrwydd i fy meddwl. Ac ni chlywais erioed unrhyw sylwad ar y pwngc hwn, a fuasai yn fy nghymmell i droi fy nghefn ar Eglwys a Gweinidog, y rhai a fuont mor anwyl genyf am gymmaint o amser.

OFF.—Rhaid i mi gyfaddef fod fy syndod yn cynnyddu fel yr eloch ym mlaen. Beth, ynte, yw eich gwrthebiad? Yr ydych yn cyfaddef nad oes genych yr un gwrthebiad i mi nac i fy athrawiaeth, nac i athrawiaeth na ffurfiau yr Eglwys: beth, ynte, ydyw? Mynegwch i mi y cwbl yn nghylch y peth hyn.

MR. T.—A ydych chwi yn cofio cynhebrwng fy mrawd yn nghyfraith?

OFF.—Ydwyf: cleddais ef y gwanwyn presennol.

MR. T.—Ymneillduwr oedd fy mrawd yn nghyfraith, a dychwelodd Mr. Morgan, Gweinidog yr Anymddibynwyr, gyda ni ar ol y cynhebrwng. Arferai fy mrawd fyned i wrando Mr. Morgan, a phennododd ef i fod yn gyd-weinyddwr â myfi. "Nid yw yn dda genyf y Drefn am Gladdedigaeth y Meirw," ebe rhyw ŵr ieuangc digywilydd wrth Mr. Morgan; "y mae llawer o Babyddiaeth ynddo." "Paham, Mr. Evans," ebe Mr. Morgan: "nid wyf fi, fel y gwyddoch, yn cymmeradwyo rhai o'r ymadroddion ynddo; ond ar yr achlysur presennol yr oedd yn sobr ac effeithiol: yr oedd yn dyfod o'r galon, ac yn myned at y galon: dylem fod yn rhwydd, Mr. Evans: nid yn erbyn geiriau y gwasanaeth yn unig y mae fy ngwrthebiadau i." "Iё, Mr. Morgan," meddai Mr. Evans, "mi a wn beth yw eich meddwl: yr ydych chwi yn gwrthebu pob math o ffurfiau." "Na, nid felly ychwaith, Mr. Evans; nid oes dim allan o le mewn ffurfiau ynddynt eu hunain, pa un a fyddont ai ffurfiau defodol, neu ffurfiau o weddi a mawl; ac y mae ffurfiau Eglwys Loegr yn gyffredin yn dda, a llawer o honynt yn dra ardderchog; a diau fod aelodau duwiol yr Eglwys yn cael lles wrth eu harferyd, a bod ganddynt resymau cydwybodol am gymmeradwyo y rhai hyny, yn erbyn y rhai y mae genych chwi a finnau wrthebiadau." "Mi welaf fi lle yr ydych chwi," atebai Mr. Evans; "nid ydych chwi yn cymmeradwyo gweinidogion gwneuthuredig gan ddynion; nid yw Gair Duw yn sôn dim am Esgobion." "Drwg genyf eich gwrthebu, Mr. Evans," ebai Mr. Morgan; ond pwngc ydyw hwn na ddarfu i chwi erioed mo'i ystyried: yr wyf fi wedi ei ystyried; ac er nad wyf fi yn gefnogwr disgybliaeth Esgobawl, yr wyf yn rhwydd i gydnabod y gall cred Eglwyswr duwiol, yn nghywirder ei syniadau ef o blaid yr Urdd Esgobaidd, fod mor ddiysgog a'm cred i yn Anymddibyniaeth. Nid wyf yn ystyried fod hyn yn unig yn rheswm digonol am ymneillduo oddiwrth yr Eglwys. Byddai yn ddrwg iawn genyf ddweud mai Gweinidog o wneuthuriad dyn ydyw Offeiriad duwiol y plwyf hwn. Nid allwn yn gydwybodol addoli yn ei Eglwys; ond ni allaf ammeu na alwyd ef gan yr Yspryd Glân i weinyddu swydd y weinidogaeth, a bod ei lafur wedi bod yn dra bendithiol er adeiladaeth ysprydol ei braidd." "O, Mr. Morgan," ebai Mr. Evans, "yr wyf yn deall yn awr, nid ydych chwi yn hoffi bratiau Pabyddiaeth—bedyddfäau, gwên-wisgoedd, a'r clochdai, &c." "Ni wna yr un dyn rhesymol," meddai Mr. Morgan, "na'r un Cristion deallus yn y dyddiau hyn, wneud ymraniad yn Eglwys Crist am bethau mor ddistadl a hyn. Tybiaf nad yw yr Offeiriad yn priodoli mwy o burdeb i'w wênwisg ef, nag a wnaf finnau i'm *gown* du. Fe fu amser pan y byddai ymddadleuon poethion ynghylch y cyfreithlondeb o bennodi defodau, heb fod yn bechadurus ynddynt eu hunain, ac wedi eu hamcanu er adeiladaeth, ond heb eu gorchymyn gan air Duw. Ond nid yw yr un Ymneillduwr yn y ganrif hon yn ymorphwys ar y pyngciau hyn. Pan y bydd sylfaen Eglwys yn ddïysgog, gellir diwygio a gwellhâu y trefniadau: fy mhrif wrthebiad i Eglwys Loegr ydyw ei bod hi wedi ei sefydlu drwy gyfraith. Byddai fy ngwrthebiad mor gryf yn erbyn pob sefydliad eglwysig gwladol, hyd yn nod pe bai yr holl athrawiaeth yn iach, a'r defodau yn ysgrythyrol. Dylai pob gwir ddisgybl i Grist ymneillduo oddiwrth Eglwys Wlad-

ol, a dwyn tystiolaeth yn erbyn crefydd a wneir gan Ysgrif Seneddol."

OFF.—Wel, Mr. Thomas, yr oedd Mr. Morgan yn datgan ei syniadau yn ddigon eglur: ond gobeithiaf na chafodd y fath haeriad rhyfedd a hwn yr effaith leiaf arnoch chwi.

MR. T.—Naddo, ar y cyntaf: a dechreuais ymresymu â Mr. Morgan; ond ni wyddwn ddim am y pwngc, am hyny yr oedd yn rhaid i mi dewi yn fuan. O herwydd ein bod yn gyd-weinyddwyr, dygwyd ni i gymdeithas ein gilydd yn dra mynych, a pharhausom i ddadleu ar y pwngc hwn. Ymhelaethais ar ein hurddiau ysgrythyrol—ein ffurfiau ardderchog —iawn-gyfraniad y gair a'r sacramentau; ond i hyn oll yr atebai yn awr ac eilwaith, "Os cydnabyddaf y cyfan, y cyfan o'r hyn a haera eich hen ysgrifenwyr o blaid eich hathrawiaethau a'ch disgyblaeth, er hyny Eglwys ydych a wnaed gan Ysgrif Seneddol; ac y mae pob Eglwys Wladol yn *Angkyfreithlon*, yn *Anysgrythyrol*, ac yn *Afreidiol:* ac os cymmerwch air Duw yn arweinydd i chwi, eich dyledswydd rwymedig ydyw dyfod allan ac ymneillduo."

OFF.—A ddarfu i'r ymresymiad yma eich argyhoeddi?

MR. T.—Naddo, ar y cyntaf; ond yn raddol coffeidiais yr un farn: ac yr wyf wedi penderfynu ymddwyn yn gysson â hi.

OFF.—Drwg genyf na buasech chwi yn egluro eich meddwl i mi o'r blaen, yna y gallasem ymddiddan ynghylch y pwngc. Yr wyf yn teimlo yn hollol sicr, ar ol dwys ystyried y pwngc am flynyddoedd maith, fod eich cyfaill yn cyfeiliorni ym mhob un o'i gasgliadau, a bod Sefydliad Eglwysig yn *Gyfreithlon*, yn *Ysgrythyrol*, ac yn *Angenrheidiol*. Nid ydych hyd yn hyn wedi clywed ond un ochr o'r ddadl; erfyniaf arnoch glywed yr ochr arall. Na fyddwch ar ffrwst: dichon i chwi wneuthur peth a bar ofid dwfn i chwi a'ch teulu; ymddwyn yn y fath fodd ag a bar drallod mawr i mi a'm plwyfolion duwiol, o herwydd y parch a deimlwn tu ag atoch, ac a rydd faen tramgwydd ar ffordd llawer. Beth bynag, erfyniaf arnoch ymattal dros ychydig: na soniwch am drallod eich meddwl wrth eich teulu; ymogelwch rhag ansefydlu meddyliau ereill; ond deuwch ataf fi oddeutu yr amser yma y foru, ac ni a ymhelaethwn yn mhellach ar y pwngc hwn, a bydd yn ddywenydd genyf ymddiddan â chwi yn awr ac eilwaith, hyd oni ddygir chwi, dan fendith Duw, i weled fod eich holl wrthebiadau yn ddisail.

MR. T.—Bydd yn hyfrydwch i mi dderbyn eich gwahoddiad hynaws: mi a wn eich bod yn ewyllysio yn dda i mi, a bod eich barn ar y pwngc hwn yn gydwybodol. Gweddïwch drosof ar i mi gael fy nghyfarwyddo yn iawn.

OFF.—Gwnaf yn daer; a gweddïwn dros ein hunain a'n gilydd, am i'n cynnadledd fod er gogoniant Duw ac eglurhâd ei wirionedd.

---

CYFIAWNDER FFYRDD RHAGLUNIAETH.

BOZALDAB, Caliph yr Aipht, a fuasai fyw mewn hawddfyd am lawer o flynyddoedd, ac a eneiniasai ei ben bob boreu âg olew llawenydd, pan ddigwyddodd i'w unig fab Aboram, i'r hwn y llanwasai efe ei drysorau âg aur, ac yr ehengasai ei derfynau, gael ei archolli yn ddisyfyd wrth hela, gan saeth o law anadnabyddus, fel ag y bu farw ar y maes.

Bozaldab, yn wallgofus gan ofid ac anobaith, a wrthododd ddychwelyd i'w balas, ac a ymneillduodd i'r ogof dywyllaf yn y mynyddoedd cyfagos. Yno yr ymdreiglodd efe yn y llwch, tynodd y gwallt oddiar ei ben llwydwyn, a thaflodd i'r llawr phiol diddanwch, yr hon a gynnygid iddo gan *Amynedd*. Ni's goddefai i'w gantorion nesáu i'w bresennoldeb; ond gwrandawai ar ysgrech-leisiau adar anhylon y nos, y rhai oeddynt yn ehedeg yn ol ac ym mlaen trwy gelloedd cromenog ei drigfan anial. "A ddichon bod y Duw hwnw yn caru ei greaduriaid," medd efe, "yr hwn sydd fel hyn yn archolli yr enaid â gofid heb ei ddisgwyl, ac yn ei wasgu â chystudd anfeddyginiaethol? Na ddyweded neb ddim ychwaneg wrthyf fi am gyfiawnder a daioni Rhagluniaeth. Y mae yr hwn a ddywedir ei fod yn teyrnasu yn y nefoedd mor bell oddiwrth amddiffyn truain feibion dynion, nes y mae efe yn wastad yn ymhyfrydu yn eu blino a'u cystuddio. Pe bai y bôd hwn yn feddiannol o'r daioni a'r gallu a gyfrif rhai iddo, diammeu yr ewyllysiai ac y gallai efe symud ymaith y drygau hyny sydd yn gwneud y byd yn

garchar o drueni, ac yn lyn o wagedd ac o wae.—Ni thrigaf yma yn hŵy."

Wrth ddywedyd hyn, efe a gododd ei law yn wallgofus, yr hon oedd *Anobaith*, wedi ei harfogi â dagr, i'w tharaw yn ddofn yn ei fynwes, pan, yn ddisymmwth, y saethodd llechedenau goleu-lawn i'w ogof, a rhyw fôd o brydferthwch a maintioli mwy na dynol, mewn gwisgoedd balasar, à choron ammoraidd ar ei ben, a changen o balmwydden yn ei ddeheulaw, a attaliodd fraich y Caliph dychrynedig, ac a ddywedodd, gyda dwyfol wên, "Canlyn fi i ben y mynydd hwn. Edrych oddi yma," ebai yr arweinydd parchadwy, "Myfi yw *Caloc*, angel hedd: edrych oddi yma i'r dyffryn."

Bozaldab a agorodd ei lygaid, ac a welodd ynys ddiffaeth, mwrn, ac unig, yn nghanol yr hon yr eisteddai un o agwedd wael, gwelwlas, a chelaneddog. Marsiandwr oedd efe y'mron marw o newyn, ac yn galaru am nad allai gael nac aeron gwylltion, nac un ffynhonell o ddwfr, yn y diffaethwch anial hwn; ac yn gofyn am nawdd y nefoedd yn erbyn yr anifeiliaid gwylltion, y rhai a wnaent yn awr yn sicr ei ddifa, oblegid ei fod wedi llosgi y tanwydd olaf a gasglasai i oleuo yn y nos er eu dychrynu. Yna efe a daflodd gistan o emau gwerthfawr ar y tywod, megys teganau gweigion ac anfuddiol; ac ymlusgodd, yn wan ac yn crynu, i uchelfa gyfagos, y'mha un yr eisteddai efe bob prydnawngwaith, i weled yr haul yn machludo, ac i godi arwydd-nod i unrhyw lestr a allai ddyfod yn agos at yr ynys.

"Breswylydd y nef," meddai Bozaldab, "na âd i'r truan hwn farw trwy gynddaredd anifeiliaid gwylltion." "Ust, taw," ebai yr angel, "a dal sylw."

Efe a edrychodd drachefn, ac a welodd lestr yn dyfod at yr ynys anial. Pa eiriau a allant ddesgrifio llawenydd y marsiandwr oedd ar lewygu, pan gynnygiodd y cadpen ei drosglwyddo i'w wlad enedigol, os anrhegai ef âg hanner ei emau. Ond nid cynt y derbyniodd y cadpen tosturiol ei ran o honynt nag yr ymgynghorodd efe â dwylaw ei lestr, ac y cytunasant ruthro ar y rhan arall, a gadael yr alltud anffodus yn yr un cyflwr diymwared ag y cawsant ef ynddo. Galarodd, erfyniodd, ac ymbiliodd yn ofer.

"A oddef y nef i'r fath anghyfiawnder gael ei weithredu?" ebai Bozaldab. "Edrych etto," meddai yr angel, "a gwel yr un llong ar fwrdd pa un yr oeddit ti, yr hwn wyt fyred dy olwg, yn ewyllysio i'r marsiandwr gael ei gymmeryd, yn cael ei dryllio yn chwilfriw ar y graig: oni chlywi ysgrechiadau y morwyr wrth suddo yn y dyfroedd? Na ryfyga hyfforddi *Llywiawdwr y byd* yn nhrefn ei ragluniaeth. Fe gaiff y truan acw ei waredu allan o'i gyflwr anghysurus; ond nid trwy y moddion a drefnasit ti. Ei fai ef oedd arian-garwch, yr hyn a'i gwnaeth yn druenus: barnai fod rhyw gyfaredd rhagorol mewn cyfoeth yn erbyn pob ofn, ac i foddhau pob blys ac ewyllys; ond y mae wedi cael ei ddysgu yn awr, nid yn unig i'w ddirmygu, ond i'w ffieiddio hefyd. Bwriodd ei emau ar y tywod, a chyfaddefodd mai anfuddiol oeddynt: cynnygiodd ran o honynt i'r morwyr; a chanfyddodd mai niweidiol oeddynt. Y mae efe wedi gweled yn awr eu bod yn fuddiol neu weigion, yn dda neu ddrwg, yn unig yn ol y bo cyflwr neu dymher y meddiannwr. Gwŷn ei fyd y gwr a ddysgodd ddoethineb oddiwrth adfyd! Ond tro dy lygaid at olwg arall fwy hynod." Yna y Caliph a ganfyddodd balas mawr-wych, wedi ei addurno â delwau ei hynafiaid, o faen jaspis; drysau pa un oeddynt o ifori, yn troi ar golynau o aur, ac yn dangos o'u mewn orsedd ardderchog o adamant, wedi ei hamgylchynu â phenaethiaid deg a deugain o deyrnasoedd, a chenhadon mewn amrywiol wisgoedd, ac o wahanol liwiau, ar yr hon yr eisteddai *Aboram* mab Bozaldab, â thywysoges landeg wrth ei ystlys.

"Raslawn *Alla!* dacw fy mab," ebai y Caliph, "O gad i mi ei gofleidio wrth fy nghalon!" Nid elli gofleidio gweledigaeth ansylweddol," atebai yr angel: "dangos yr wyf yn awr beth a fuasai tynghedfen dy fab, ped arosasai yn hŵy ar y ddaear." "A phaham," meddai Bozaldab, "na adawyd iddo aros? pabam na adawyd iddo fwynhau cymmaint o ddedwyddwch ac awdurdod?" "Ystyria y canlyniad," atebodd yr hwn a breswyliai yn y bummed nef. Bozaldab a edrychodd yn awyddus, a gwelai wynebpryd ei fab, ar yr hwn yr arferasai weled gwên dirion yn wastad, a sirioldeb iechyd, wedi

ei anffurfio yn hagr gan gynddaredd a meddwdod. Drachefn cynhyrfwyd ef â balchder, daeth yn welwlas gan ofn, ac ymddangosai yn wywedig gan anghymmedroldeb; ei ddwylaw oeddynt wedi eu difwyno â gwaed, a chrynai weithiau gan gynddaredd, a phryd arall gan ddychryndod. Ei balas, ag oedd mor ddiweddar yn disgleirio â rhwysgfawredd dwyreiniol, oedd wedi troi yn ddisymmwth yn garchar tywyll du, ym mha un y gorweddai ei fab ar ei hyd ar y palmant, yn rhwym, a'i lygaid wedi eu tynu allan o'i ben. Yn fuan wedi hyny gwelai ei hoff dywysoges, yr hon a eisteddai o'r blaen wrth ei ystlys, yn dyfod i mewn â phiol yn llawn o wenwyn yn ei llaw, yn gwneud i Aboram ei hyfed, ac yna yn ymbriodi â'i ddilynwr yn yr orsedd.

"Dedwydd yw y dyn," ebai Caloc, "yr hwn a waredodd Rhagluniaeth, trwy angel marwolaeth, oddiwrth euogrwydd! oddiwrth yr hwn yr attaliwyd y cyfryw awdurdod ag a fuasai yn ei lwytho â blinder a thrueni tra buasai yn y byd."

"Digon yw," ebai Bozaldab: "Rhyfedd ac anchwiliadwy yw ffyrdd yr Hollwybodol Dduw! Oddiwrth pa ddrygau ofnadwy y gwaredwyd fy mab, trwy farwolaeth ag oeddwn i yn fyrbwyll yn ei barnu yn ammhrydlawn! Marwolaeth mewn hedd a diniweidrwydd, ag a wnaeth ei goffadwriaeth yn fendigedig ar y ddaear."

"Tafl ymaith y dagr," atebodd y cenad nefol, "yr hwn yr oeddit ar ei gladdu yn dy galon dy hun. Tro dy duchan i ddistawrwydd, a'th betrusder i addoliant. A all creadur marwol edrych i lawr i agendor fawr Doethineb Tragywyddol, heb bendro a siomedigaeth? A all meddwl *dyn* ddeall un peth i berffeithrwydd? A all y ffosydd a orchymynaist ti eu hagoryd i dderbyn gorlifiadau blynyddol y Nile, gynnwys dyfroedd y cefnfôr trwch? Cofia nad all perffaith hapusrwydd gael ei roddi i greadur, oblegid fod perffaith hapusrwydd yn briodolaeth mor anghyfranadwy ag yw perffaith awdurdod a thragywyddoldeb."

Yr angel, tra yn llefaru fel hyn, a ledodd allan ei adenydd i ehedeg yn ol i'w nefoedd, ac ysgydwad ei esgyll oedd fel rhuthriad y rhaiadr. C. T.

## CEDRWYDDEN LIBANUS.

Gallasid ymhelaethu llawer ar hanes y Binwydden, a dull ei chwympwyr yn byw, y rhai sydd hynod o'r afradlon a di-Dduw: ond gobeithiaf fod yr hyn a ddywedwyd ar y pen hwn yn ddigon i foddloni yr ymofyngar ym mhlith darllenwyr y Gwyliedydd. Penderfynir o hyn allan i roddi dim yn rhagor ar yr un pen nag a etyb y diben mewn un Rhifyn. Ac yn awr cynnygir i'r Rhifyn am Orphenaf ychydig o hanes Cedrwydden Libanus, am yr hon y mae cymmaint o sôn yn yr Ysgrythyr Lân. Pe byddai i dwf y Gedrwydden gyfatebu i'w rhagoriaethau ereill, byddai yn un o brenau gwerthfawrocaf y goedwig. Y mae 'r Gedrwydden mor chwerw gan bob math o drychfilod, fel na chyffyrddant â hi; ac ymddengys y saif hi yn gadarn yr un er pob digwyddiad, ac amser ei hun. Dywedir gael ei choed yn nheml Apolo, yn Utica, er's dwy fil o flynyddoedd, mor gadarn a phan eu cymmynwyd yn y goedwig; a bod trawst yn ystafell areithio *(oratory)* Diana yn Saguntun, yn yr Hispaen, a ddygwyd i Zante, 200 mlynedd cyn rhyfel-gyrch Trojan. Yr adeiladau mwyaf celfyddgar a benafawl sydd wedi eu corphori â'r Gedrwydden. Y Gedrwydden a gymmerodd Solomon i addurno ei deml yn Jerusalem, megys y gwelir yn yr hanes a rydd yr Yspryd Glân i ni o'r tŷ hwnw a adeiladwyd i Dduw byddinoedd Israel i breswylio ynddo. "A'r brenin Solomon a gyfododd dreth ar holl Israel; a'r dreth oedd ddeng mil ar hugain o wyr. Ac efe a'u hanfonodd hwynt i Libanus, deng mil yn y mis ar gylch: mis y byddent yn Libanus, a dau fis gartref. Ac yr oedd gan Solomon deng mil a thriugain yn dwyn beichiau, a phedwar ugain mil yn naddu cerig yn y mynydd; ac a'i byrddiodd â thrawstiau ac ystyllod o Gedrwydd." Yr un hanesydd dwyfol a ddywed y'mhellach, fod gan yr un Teyrn balas o Gedrwydd y'nghoedwig Libanus. Hanesyddiaeth a'n rhydd ar ddeall, mai o'r Gedrwydden yr adeiladodd Sesostris, y goresgynydd Aiphtaidd, ei longau; un o honynt oedd 280 cufydd o hŷd: yr oedd Delw gawraidd Diana yn nheml yr Ephesiaid hefyd o'r un defnydd. Nid yw Naturiaethwyr yn

gydunol yn eu barnau mewn perthynas i'r pren rhagorol hwn. Y mae coed ereill a elwir Cedrwydd, y rhai sydd yn lled debyg iddynt, ond nid oes a wnelont â'r llwyth Cedrwydd mewn un ystyr; canys y Gedrwydden wen sydd Sypryswydden, a'r goch yn Juniper. Y prophwyd Ezeciel a ddarlunia y Gedrwydden mewn modd tra gorwych. "Wele, Assur oedd Gedrwydden yn Libanus, yn deg ei cheingciau, a'i brig yn cysgodi, ac yn uchel ei huchder, a'i brigyn oedd rhwng y tewfrig. Y cedrwydd yn ngardd Duw ni allent ei chuddio hi: y ffynnidwydd nid oeddynt debyg i'w cheingciau hi, a'r ffawydd nid oeddynt fel ei changhenau hi; ac un pren yn ngardd yr Arglwydd nid ydoedd debyg iddi hi yn ei thegwch." Pa un a fedwyd Cedrwydd Libanus yn rhy lwyr gan 80 mil bwyill Brenin Israel, neu a ddifethwyd hwy o herwydd cyfnewidiadau yr hinsoddau, y gwahanol driniaethau a dderbynient mewn gwahanol wledydd, sydd heb ei benderfynu etto. Modd bynag, hysbysir ni gan deithwyr diweddar, nad oes ond ychydig o honynt yn awr mewn bod, ond bod rhai o'r rhai hyny yn hynod o ran eu maintiolaeth, o gylch 36 troedfedd o amgylchedd, ac yn hollol ffrwythlawn.

Dygwyd Cedrwydden Libanus i amryw barthau o Frydain megys prisgwydd i addurno rhodfeydd, &c. y boneddigion; a thyfasant yn ffrwythlawn ac iraidd; ond hyd yma ni ddewiswyd hi i addurno coedwigoedd er mwyn gwerth ei choed. Y mae yn sicr nad ydynt cyn hawdded i'w magu a'r Binwydden; ond diau mai yr unig rwystr i'w meithrin yw ei thwf araf, yr hwn nad yw yn rhagori llawer ar dwf y Dderwen. Mae rhai Cedrwydd mewn tir a arddwyd iddynt gan Arglwydd Caernarfon, *Highclere*, a thyfasant gyda phob rhwyddineb. O'r Cedrwydd a blanwyd yn yr Ardd Freninol, Chelsea, yn 1683, dwy o honynt a fesurodd 83 mlynedd gwedi 12 troedfedd o amgylchedd ddwy droedfedd oddiwrth y llawr, a'u canghenau a döent 40 troedfedd o dir o amgylchedd. O gylch 27 mlynedd wedi hyny chwanegodd y fwyaf o honynt hanner troedfedd at ei hamgylchedd, yr hyn na wna llawer o Dderw o'r un oedran yn yr un yspaid o amser. Nid yw y tir lle tyfodd Cedrwydd Chelsea mewn un modd yn fras; ond fe ymddengys iddynt gael eu maethu yn rhagorol o dda gan lyn yn y gymmydogaeth; ond pan lanwyd ef i fynu, diflanasant yn gwbl. Y mae amryw riwiau o Gedrwydd Libanus wedi cyrhaeddyd i dwf dirfawr yn Lloegr. Y Dr. Uvedale a blanodd un yn ngardd Maenordy Enfield o gylch y 17eg canrif, ac a fesurodd 14 troedfedd o amgylchedd yn 1789. Yn 1703 hyrddwynt a chwythodd o gylch 18 troedfedd o'i brigyn ymaith, ac er hyny yr oedd 40 troedfedd o honi yn aros. Yn Witton, Middlesex, chwythwyd Cedrwydden anferth i lawr yn y flwyddyn 1779. Yr oedd yn 70 troedfedd o uchder, a'i changhenau yn cysgodi 100 troedfedd o dir o amgylchedd. Ei bonyn a fesurai 16 troedfedd o amgylchedd o fewn saith troedfedd i'r llawr, ac 36 troedfedd yn ei gwahaniad oddiwrth y canghenau mawrion 12 troedfedd oddiwrth y ddaear. Yr oedd 10 o brif ganghenau yn perthyn iddi, a'u hamgylchedd cyfartal oedd 12 troedfedd. Mewn perthynas i oedran a phlanydd y pren rhyfedd hwn, nid yw awdwyr yn cytuno. Rhai o honynt a haerant iddo gael ei blanu yn nyddiau Elisabeth, os nid gan ei llaw ei hun. Cedrwydden arall yn Hillingdon, gerllaw Uxbridge, a dyfodd mewn 116 o flynyddoedd fel y canlyn:— Ei huchder oedd 53 troedfedd; a hŷd ei changhenau o'r dwyrain i'r gorllewin oedd 96 troedfedd, ac o'r deheu i'r gogledd 89 troedfedd. Amgylchedd ei bonyn wrth y ddaear oedd tair troedfedd ar ddeg a hanner; saith troedfedd yn uwch, deuddeg troedfedd a hanner; tair ar ddeg yn uwch, lle y fforchogai, pymtheg troedfedd a chwe modfedd. Perthynai iddi ddwy brif gangen, y naill oedd ddeuddeg, a'r llall yn ddeg troedfedd o amgylchedd. Y gyntaf y'mhen yr hanner llath a ymranai yn ddwy, un yn wyth troedfedd a hanner, a'r llall yn saith troedfedd a deg modfedd. Y canghenau ereill a ymranent yn ddwy, y rhai a fesurent bum troedfedd a deng modfedd yr un.

I. M.

---

## Y DYN FFYDDLON.

Yn hyn y rhagora efe ar bawb ereill, o herwydd iddo ef nid oes dim analluadwy, dim yn anhawdd i'w ddioddef neu i'w

gyflawni. Efe a rodia bob dydd gyd â'i Greawdwr, ac a lefara wrtho yn gyfrinachol, gan fod â'i ymarweddiad bob amser yn y nefoedd, ac edrych ar bob peth daearol islaw iddo ef. Pan el i gyfrinachu â Duw, nid yw yn gwisgo ei ddillad ei hun; eithr efe a'i cymmer allan o wisgfa gyfoethog ei Waredwr, ac yna dichon anturio gwasgu y'mlaen yn hyderus, a cheisio bendith. Ni ddirmygir ei gymdeithas na'i wasanaeth gan yr ysprydion nefol. Y mae yn ymdrin âg achosion bydol fel dieithr, a'i galon sydd gartref yn oesadol. Heb warant ysgrifenedig ni feiddia efe wneuthur dim, a chyda hi efe a feiddia wneuthur pob peth. Ei ryfel sydd yn barhaus a diorphwys, a'i fuddugoliaeth sydd sicr; efe a gyferfydd â'r galluoedd uffernol, ac a'u sathra hwynt dan draed; y darian a ddygir bob amser o'i flaen ef nis gellir ei cholli na'i thrywanu. Os clwyfir ei law, etto ei galon sydd ddïogel. Efe a lithra yn aml, ond anfynych y maeddir ef. Y mae ganddo ddwylaw gwynion, ac enaid glân, addas i Dduw letya ynddi; ei holl ystafelloedd ydynt wedi eu neillduo i'w sancteiddrwydd ef. Galwodd anwiredd yn fynych wrth y drws, gan ymbil am dderbyniad, ond yn aflwyddiannus; neu os myn pechod o drais fod yn lletywr yn ei dŷ, bod yn Arglwydd nis gall. Ei feiau ydynt anaml, y rhai ni fyn Duw (a llefaru yn ol dyn) edrych arnynt. Ei gyfathrach sydd mor uchel, fel yr anturia alw Duw yn Dad, y Gwaredwr yn Frawd, a'r nef yn etifeddiaeth iddo; gan dybied mai nid rhyfyg yw ymddiried mewn gweinyddiad angelion. Ei ddeall a oleuir gan belydr dwyfol wirionedd. Hysbysodd Duw ei feddwl iddo, a'r hyn a ŵyr, efe a feiddia ei gyfaddef. Nid oes mwy o gariad yn ei galon nag sydd o ryddid gan ei dafod. Os saif poenydiau neu angeu ar y ffordd rhyngddo â Christ, efe a'u dibrisia hwynt: os ei rieni ei hun a orweddant yn ei ffordd at Dduw, ei ddïofalwch sanctaidd a'u gwnant yn droedfeingciau. Ei brofiadau a dynasant allan reolau o ymddiried, y rhai a feiddia efe osod y'ngwyneb holl ofnau petrusder. Pan dybio efe yn ddïogel i grybwyll i'r Hollalluog yr hyn a wnaeth a'r hyn a addawodd, engreifftiau ydynt o'i brofiad diymwad. Beth a ddïoddefodd ereill a'r nas dichon Duw ei alluogi yntau i ddïoddef? Os bygythir ei alltudio, yna efe a genfydd y disgybl anwyl yn Patmos; os bygythir ei dori yn ddarnau, efe a genfydd Esaias dan y llif; os bygythir ei foddi, efe a genfydd Jonah yn nofio yn y llyngclyn byw; os bygythir ei losgi, efe a wel y tri llangc yn rhodfa boeth y ffwrn danllyd; os bygythir ei ddifa gan anifeiliaid, efe a edrych ar Daniel yn y ffau seliedig ym mhlith ei gymdeithion dychrynllyd; os bygythir ei labyddio, efe a wel y merthyr cyntaf dan ei grug o feini bedd; os bygythir tori ymaith ei ben, wele acw ben y Bedyddiwr yn gwaedu ar ddysgl Herodias: efe a eilfedda eu poen, eu nerth, a'u gogoniant. Ni flina efe ei hun â gofalon, canys efe a ŵyr nad yw yn byw ar ei draul ei hun. Nid yw yn segur gan esgeuluso 'r moddion, eithr yn eu defnyddio gyda hyder. Y'nghanol pob sôn niweidiol, a phethau rhyfedd, nid yw ei wynebpryd ef yn cyfnewid; canys efe a ŵyr yn mhwy yr ymddiriedodd, ac i ba le y dichon angeu ei dywys. Nid yw mor sicr y bydd farw, ac yr adferir ef, gan faeddu ei angeu trwy ddal ei adgyfodiad yn ei wyneb. Yn olaf, y mae efe yn ddyfal mewn ufudd-dod, yn oludog ar weithredoedd, ac yn siriol a diysgog mewn disgwyliad; yn well oblegid cyfyngderau, er ei fod ym marn y cyffredin yn resynol, eithr mewn barn gywir yn fwy na dyn.

H.

## ARWYDD HYNOD O DDIGLLONEDD DUW.

*(Allan o'r Christian Observer.)*

Mr. Cyhoeddwr,

Yr wyf yn cymmeryd yr hyfdra o anfon atoch yr hanesyn canlynol, am beth hynod iawn a ddigwyddodd yn ddiweddar yn y pentref lle y ganed fi; ond gan ofni iddo gael ei ammeu gan rai o'ch darllenwyr, cymmeraf gennad trwy hyn i sicrhau iddynt ei fod yn wirionedd *diammheuol*. Bu y pleidiau perthynol iddo yn byw am lawer o flynyddoedd yn agos i dŷ fy nhad; ac yn yr amser hwnw arferai ymweled â hwynt yn fynych, am hyny y mae yr amgylchiad crybwylledig yn gwbl hysbys iddo. Ond gellir dwyn y'mlaen, nid yn unig ei dystiolaeth ef, ond hefyd tystiolaeth yr holl deulu

prif breswylwyr Baltonsborough, a'r holl bentrefi cymmydogaethol, er cadarnhâu gwirionedd yr hanes; mor hynod oedd y peth, ag y gwybuwyd yn dda am dano trwy yr holl wlad o amgylch. Yr wyf yn ei anfon atoch chwi, oblegid fy mod yn barnu y gall lesâu achos crefydd yn y dyddiau hyn o anffyddiaeth ac ammeugarwch *(scepticsm)* trwy roddi siampl hynod o ddigllonedd Duw yn erbyn adyn rhyfygus ac anniolchgar, a chadarnhâu y gwirionedd hwnw, yr hwn a wedir mor fynych yn awr, sef fod Rhagluniaeth yn goruwchreoli helyntion dynion.

Oddeutu diwedd y flwyddyn 1831, bu farw un Higgins, amaethydd o Baltonsborough, yn agos i Glastonbury, Gwlad yr Haf; ym mywyd yr hwn y mae rhai amgylchiadau hynod deilwng o'u cofnodi, a'u trosglwyddo i genhedlaethau dyfodol, fel siampl nodedig o ddigllonedd Duw yn erbyn penderfyniadau byrbwyll ac anystyriol, ac ymegnïad ffyrnig yn erbyn trefn Rhagluniaeth. O amser ei brïodas, yn y flwyddyn 1793, daeth Higgins yn dra awyddus i gael mab; ond oblegid i'w wraig ddwyn iddo dair o ferched yn olynol, ac heb un mab, aeth yn anniddan iawn, ïe, ac yn llidiog, gan ei fynych siomedigaethau, ac addunedodd, trwy lw echryslon, os merch a fyddai ei blentyn nesaf na siaradai efe byth â hi. Cyn geni ei bedwerydd plentyn efe yn annuwiol a ail adroddodd yr un llw echryslon: ac, er ei annhraethol lawenydd, ganwyd mab iddo; ond nid oedd y llawenydd hwnw i fod ond byr, canys arfaethwyd i'r mab a ddymunasai efe gymmaint, fod iddo ef yn achos o ofid a dygn alar am flynyddoedd. *Buan iawn* y cafodd yr amaethwr Higgins achos i edifarhau am ei adduned fyrbwyll; canys cyn gynted ag y dechreuodd y plentyn gymmeryd sylw o wrthddrychau o'i amgylch, gwelwyd ei fod yn gochelyd ei dad; ac nis medrwyd byth cael ganddo aros am un mynyd yn ei freichiau. Fel yr oedd y bachgen yn cynnyddu mewn oedran, ac yn dechreu llefaru, ei ochelgarwch tu ag ato oedd yn dyfod yn fwy eglur o hyd; a chanfyddwyd cyn pen hir, tra yr oedd efe yn ymddiddan yn rhydd â'i fam a'i chwiorydd, na ddywedai un gair wrth ei dad, nac *un gair yn ei bresennoldeb.* Ar y cyntaf barnwyd nad oedd ei wyledd ond damweiniol, ac o achos bod ei dad mor aml oddi cartref; ond pan y cyrhaeddodd y bachgen ei gyflawn lafariad, a pharhâu etto yn fud tu ag ato, daeth yn eglur nad oedd Higgins byth i gael yr hyfrydwch o ymddiddan â'i fab.

Aml yr erfyniai y tad helbulus arno siarad ac ymddiddan âg ef, ond nid oedd erfyniadau, bygythiadau, nac addewidion yn tycio; ïe, addawodd iddo hanner ei eiddo os siaradai âg ef; ond ofer oedd y cwbl. Aml hefyd yr annogai ac y dymunai ei fam arno ymddiddan â'i dad: ond ei ateb ef yn wastad oedd, "Na, fy mam, a ydych chwi yn meddwl na siaradwn â fy nhad, pe medrwn? Cyn gynted ag y delo fy nhad yn agos, mae fy llais yn dechreu bloesgi, a chyn y delo i gyrhaedd clywed, mae fy lleferydd yn pallu yn hollol." Peth arall hynod yn hanes y dyn ieuangc hwn oedd, nad allai ymddiddan â neb gwryw mwy na'i dad, ac iddo barhâu felly am bymtheg mlynedd ar hugain o'i oes, hyd farwolaeth ei dad; ond yn union ar ol ei farwolaeth, efe a ddechreuodd siarad â phawb o'i amgylch, yn gystal gwryw a benyw, gan gymmeryd arno ei hun drefnu ac edrych ar ol claddedigaeth ei dad, ac y mae efe etto yn mwynhâu ei *gyflawn* leferydd. Yr oedd bob amser yn blentyn tirion ac ufudd i'w dad ym mhob peth; ond ar ei farwolaeth, sylwyd ei fod yn dangos dideimladrwydd mawr, heb un arwydd o alar. Yr oedd yn pymtheg oed pan ddywedwyd gyntaf wrtho am adduned ei dad, ond ni wnaeth un effaith weledig arno.——Ydwyf, Syr, eich ufudd wasanaethwr,

JOHN WILLOT EASTMENT,
*Surgeon*, M. R. C. S.

*Wincanton, Somersetshire.*

---

## LLONG-DDRYLLIAD.

AR foreu teg yn ddiweddar cychwynodd Llestr prydferth allan o borthladd Llynlleifiad; ac ar ei chychwyniad ar hyd yr afon yn cyfodi i fynu eu llumanau, a'r rhai hyny yn chwyfio yn y gwynt, nes yr oeddynt yn gwenu yn yr olwg arnynt; a'r cerddorion yn canu nes codi calon y mwyaf llesg, a gwneuthur i bob math ar bruddglwyf gilio draw. Ac yna trafaelu yr oeddynt â phob peth o'u tu—y gwynt yn

deg—gorlifiad y môr o'u plaid—a gwyneb yr eigion fel pe buasai yn wydr gloyw—yr haul tanbeidiawl yn pelydru nes gwneuthur i bob darn o haiarn oedd yn y Llong ddisgleiriaw fel pe buasai yn risial gloyw—a'r hwylbrenau mawrion fel rhyw Gadfridogion dewrwych—a phawb ar ei bwrdd megys yn chwareu o'i deutu, rhai yn myned i fynu, ac ereill yn dod i lawr, ac oll yn llon a siriol, o'r Cadben gwrol hyd at y Cogydd bach—a'r holl ymfudwyr lluosog, rhai yn chwiffio ffwgws, ac ereill yn cymmeryd trewlwch, rhai yn yfed gwirodau, ereill yn ymddiddan â'u gilydd pa fodd i farchnata ar ol cyrhaedd y làn, a neb yn meddwl fod un perygl yn agos. Ond oddeutu tri o'r gloch brydnawn fe gyfnewidiodd yr hin. Dechreuodd yr haul ymfoddi yn yr uchelder—cyfododd y gwynt yn gryf, ac yn y fan fe droes yn union i'w herbyn. Tua phedwar neu bump tewychodd y cymylau yn ofnadwy, a dechreuasant wlawio yn aruthrol, nes y bu gorfod i bawb ond y dwylaw ffoi oddiar y bwrdd. Ym mhen ychydig yr oedd holl natur fel pe buasai wedi ymddyrysu—y gwynt yn chwyrnu yn ddychrynadwy, a'r cymylau fel pe buasent yn ymrwygo gan y fath nerth o wlaw oedd yn ymdywallt—a'r môr mawr fel crochan berwedig—a'r Llong hithau yn ymdroi fel meddwyn uwchben yr eigion ofnadwy. Yn fuan dyma gysgodau yr hwyr yn dechreu ymddangos, a hi a aeth yn dywell iawn. Ofer oedd edrych am na haul, na lloer, na sèr; ond yr oedd y ffurfafen yn edrych mor dywell a duaidd a phe buasai goleuni erioed heb fod ynddi. Ar fyr dyma eu dychryn yn cael ei chwanegu fwy-fwy—y mellt mawr yn dechreu ymddangos, "A phŷg-lèn nef yn ffaglau," ac yn eu hiaith yn dywedyd, "Wele ni" Gyda hyn dyma y taranau mawrion yn rhuo yn ddychrynllyd, nes dyrysu pob meddwl, a chreu arswyd ar bob calon; ac i chwanegu at eu dychryn, dyma y Llong yn dechreu gollwng dwfr, a gorchymyn yn cael ei roi gyda brys i drefnu y sugnedyddion, a phawb ar a fedrai weithio i weithio gyda hwynt. Ond er yr holl ymdrech i gyd, y môr oedd yn curo, a'r llong yn cael ei llenwi, fel yr oedd pob gobaith yn pallu, a phob meddwl yn ymddyrysu. Erbyn hyn yr oedd hi yn ddi galon—y nos yn dywell—yr hwylbrenau yn cael eu dryllio—a rhai o'r dynion yn dechreu cael eu lluchio dros y bwrdd gan y corwyntoedd mawrion i'r eigion ofnadwy—y Llong yn esgyn i'r nefoedd, ac yn disgyn i'r dyfnder, a holl ddoethineb y morwyr yn pallu, a'u henaid yn llewygu gan ofn—y dewr yn bloeddio yn chwerw, a thragywyddoldeb yn agor ei ddorau mawr am danynt. Yn fuan dyma y dwfr yn llenwi y cabanau, nes y bu gorfod i'r holl ymfudwyr ddringo i fynu i'r bwrdd. Ac erbyn myned yno, a dechreu galw enw un, a neb yn ateb; galw ar un arall, a neb yn ateb; o'r diwedd rhywun yn gorfod dywedyd, eu bod wedi cael eu golchi dros y bwrdd. Erbyn hyn clywir yr Och fawr, digon a merwino dwyglust y neb a'i clywo. Yn ol aros yno ychydig, gwelid y mellt yn gwau trwy yr eangder—clywid y môr, y gwynt, a'r taranau, fel pe buasent yn ymdrechu â'u gilydd—ac i ychwanegu at eu dychryn, dyma yr hwylbrenau yn dechreu clecian fel ergydion, ac megys yn cael eu dadwreiddio fel cawn o flaen corwynt—a'r morwyr mwyaf medrus yn methu gwybod pa beth i'w wneyd. Yn awr gallwn feddwl fod yno le sobr. Gwelid pob elfen fel pe buasai wedi ymddyrysu—pob gobaith am ymwared wedi ei golli, a dim yn y golwg ond tragywyddoldeb di ben draw.

Yna yr oedd llawer megys wedi gwallgofi—ereill yn parotoi gyferbyn a myned i'r môr—ereill megys yn ymddryllio, ac yn gwaeddi, "O fy Nhad!" neu, "O fy Mam! fy mhlentyn, fy mrawd, neu fy chwaer!" Llawer gwr a gwraig yn ymgofleidio y tro diweddaf am byth—mam yn cofleidio ei phlentyn, a'r don yn dyfod, ac yn ei ysgubo oddiar ei gliniau i'r cefnfôr mawr, a hithau yn ei dychryn yn syrthio i lawr mewn llewyg, a chyn iddi ddadebru dyma don yn dyfod ac yn ei chipio hithau yr un ffordd. Yn y fan, dyma i'r Llong ergyd nes y darfu iddi hanner ymagor, a llawer hefyd o'r ymfudwyr a soddasant i'r gwaelod, ac o'r ychydig ag oedd heb fyned i lawr, yr oedd rhai mewn llewygfeydd, a'r lleill yn bloeddio ddigon a hollti y galon galetaf. A chyn iddynt ond braidd gael anadlu dyma ergyd drachefn iddi, nes yr aeth yn ddrylliau. O'r fath olwg o ddynion oedd i'w gweled ar frigau lluwch y tonau cynddeiriogwyllt, wedi myned ar unwaith heb obaith cael glàn yn fyw byth.

Ar fyr, gyda syndod yn gymmysg a llawenydd, dyma ychydig i'r làn; rhai wedi cael eu gyru gan y tonau, ereill ar ddarnau o'r llong.

O! y fath olwg drychinebus oedd yno! Rhai yn rhy gleifion i ddywedyd dim, ereill megys ar fin trancedigaeth, ereill megys yn gwallgofi am eu perthynasau oedd wedi boddi. Un yn gwaeddi, "Fy Nhad anwyl, mae ef wedi boddi!" arall, "O fy ngwraig anwyl!" arall yn ymddryllio, ac yn llefain, "O mae fy uniganedig innau yn y dyfnder mawr!" llawer gwr yn gwaeddi, "O pa fodd yr âf fi i olwg fy mhlant heb eu mam! ac, O! pa fodd y mynegaf iddynt yr hyn a ddigwyddodd!" O! y fath ochain tòr-calonus oedd yno gan yr ychydig a ddaeth i'r làn am yr ugeiniau oedd ar ol. Ond erbyn i'r newydd o hyn gyrhaedd amrywiol barthau y deyrnas, y fath ochain tòr-calonus oedd mewn llawer teulu. Yr oeddynt fel Rahel gynt, ni fynent eu cysuro am eu perthynasau am nad oeddynt.

Yn awr gwelaf fyned o'r ysgrif yn rhy faith; ond dibenaf ar hyn, gyda dymuno mai ychydig o'r damweiniau hyn a gymmero le ar hyd ororau Cymru. Ac os bydd i'r fath ddamwain echrydus byth gymmeryd lle, cadwed pob Cymro ei ddwylaw yn lân rhag cyffwrdd â dim perthynol i'r llongwyr, na'r llong; gan ystyried fod pob peth perthynol iddynt megys yn werth gwaed; a bod llygaid yr Hwn sydd yn gweled pob peth yn eu gweled; ac y gwna efe hefyd edrych yn fanwl pa fodd y gwnant hwy ymddwyn y'mhob man, a thu ag at bob peth.

DEWI AP GWILYM.

*Glan Afon Rhothellt.*

*D. S.* Nid oes yn y llinellau uchod un cyfeiriad at un llong-ddrylliad mwy na'u gilydd.

---

## LLYTHYR LATIMER.

MR. GWYLIEDYDD—Nis gallaswn lai na gwenu rhywfaint wrth ddarllen, yn eich Rhifyn am fis Mai, lythyr awdwr "Corph Difinyddiaeth," a gyhoeddwyd yn ddiweddar. Beia yn fawr ar "Freuddwyd" *R. Ll.* a ymddangosodd mewn Rhifyn blaenorol, gan feddwl fod cyfeiriad at ei Waith yn y breuddwyd hwnw; a ffroma yn aruthr am y dychymmygir yn y breuddwyd weled un yn myned trwy afon angeu â Chorph Difinyddiaeth ar ei gefn, ond yn gorfod ei adael i fyned gyd â'r llif, ac yn gorfod myned i dir y bywyd hebddo. Ymddengys fod yr awdwr yn hoff iawn o'i Waith; a bod y meddwl y bydd raid iddo ei adael ar ei ol, pan y tramwya i fyd arall, yn dra blin ganddo. Diagwyl, mae 'n debyg, gludo y llyfryn gyd âg ef i wlad y gogoniant—mor gywir, mor berffaith, yw yn ei olwg! anffaeledig! Pa fath Babau ydym ni oll! Da yw fod un anffaeledig i benderfynu pa bethau a dderbynir uchod. Pe gadewid i Gyrph Difinyddiaeth, a gyfansoddwyd gan amryw anffaeledigion y byd hwn, i fyned i mewn i'r nefol drigfanau, byddai yno yn ddiau yr un dadleu ac ymgecru ag sydd yn rhy aml yn y byd isod; ond diammeu na chânt fyned i mewn yno. A da fyddai i'r awdwr hwn i ymdrechu dwyn ei feddwl i foddlonrwydd ar y pwngc hwn; canys er ei holl hoffder o'r Corph Difinyddiaethol a ysgrifenodd, rhaid iddo ei adael ar ei ol pan elo i fyd yr ysprydoedd: a diammeu genyf y bydd iddo ef, ac i bawb ereill, pan elont yno, i ganfod amryw bethau gwag a gwyredig iawn yn y tybiau a goleddasant tra yn y byd tywyll a phechadurus hwn.

Ond peth go ryfedd yw i'r awdwr hwn ddrwg-dybio *R. Ll.* druan, yr hwn sydd mor rydd a'r plentyn na aned o'r bai a roddir arno. Y "Breuddwyd" a'i haflonyddodd, ac a barodd gymmaint cynnwrf yn ei feddwl, a ymddangosodd yn gyntaf yn y "*Christian Observer*," ryw fisoedd yn ol; a chyfansoddwyd ef yn ddiau gan ryw un na wyddai fwy am yr awdwr hwn, a'i lyfryn, nag am wladychyddion y lleuad. Cyfieithiad *R. Ll.* yw y breuddwyd yn y Gwyliedydd, ac nid ei gyfansoddiad. Nis gwn i ddim am lyfr yr awdwr yma; ond y mae 'r amgylchiad hwn yn peri i mi feddwl fod pethau ynddo heb ddim mwy sail iddynt nag i'r ddrwgdybiaeth hon. Os bydd neb un yn *dueddol* i gymmeryd yn ganiatâol, heb ddigonol sylfaen, nid yw hyny yn argoel da o gymmwysderau i ysgrifenu llyfr addas i fyned gyd âg ef trwy afon angeu i fyd arall. Da fyddai i'r gwr dysgedig hwn i beidio coleddu meddyliau *mor fawr* am ei lyfr. Os â ef ei hun i'r bywyd (a gobeithio yr â)

byddled yn ddiogel ganddo nad â ei lyfr byth yno: a daw amser yn ddiau y bydd cywilydd ganddo o amryw bethau a gynnwysa; ac felly y bydd gyda llawer, os nid gyda phawb, o'r rhai a fuont yn ymryson â phethau dadleugar.

Peth arall go hynod yw, i'r awdwr hwn briodoli i *R. Ll.* lythyr a ysgrifenwyd y llynedd at Gyhoeddwr Papur Newydd Bangor, mewn perthynas i'w lyfr. Ni wyddai *R. Ll.* druan ddim mwy am y llythyr hwnw nag am drigolion y purdan. Ysgrifenwyd hwnw genyf fi; a'm diben oedd yr hyn a ddywed yr awdwr ei hun, sef rhwystro ei gyhoeddiad. Yr oeddwn yn canfod yn eglur, oddiwrth yr hyn a ddywedasid yn y Papur uchod am dano, na fyddai yn lyfr cymmwys er gwneuthur daioni. Dadleu ynghylch pethau mor fawr, dyrys, a goruchel, ag etholedigaeth a rhag-arfaethiad, sydd waith na wna les bron un amser—ac, yn amlaf, gwna lawer o ddrwg. Bu gormod o ddadleu eisoes ar y pethau hyn. Doethineb fyddai i bawb a ewyllysiant iechydwriaeth pechaduriaid ymafaelyd mewn gorchwylion gwell a mwy defnyddiol. Nid trwy ddadleu y gellir dwyn dynion i'r un meddwl; ond trwy annog pawb i gredu gair Duw, a byw yn unol âg ef; i ddangos yspryd cariad, ac amlygu dioddefgarwch tu ag at eu gilydd, mewn pethau dihanfodol i iechydwriaeth. Yr oeddwn yn canfod, ac yn clywed, bod mwy o hyn y'mhlith pob enw nag a fu; a phan welais hysbysiad o lyfr yr awdwr hwn, nis gallwn lai na chanfod y byddai y fath Waith yn fwy tebygol na bron un peth arall i yru dynion yn benben drachefn, yn enwedig wrth ystyried yr yspryd hunanol, a'r hyfdra mawr, a amlygasai yr Hysbysiad hwn: a'r un fath dymher a amlyga ei lythyr. Trueni mawr yw bod dynion o ddoniau a dysgeidiaeth yn creu anghydfod, yn lle undeb; yn peri i ddrwg yspryd ymdaenu, yn lle yspryd yr efengyl; ac felly yn cynnorthwyo gwaith tywysog y tywyllwch, yn lle dwyn yn y blaen waith Tywysog y tangnefedd.

Pa faint mwy o les a wnaethai yr awdwr hwn pe cymmerasai mewn llaw waith a fuasai yn tueddu i heddychu dynion o wahanol farnau, i osod allan bwys ac angenrheidrwydd y pethau y cytunant yn eu cylch, ac i annog pawb at y gorchwyl mawr o achub eu heneidiau. Pa faint gwell fuasai hyn na threulio amser a meddwl i gyfansoddi llyfr, o blaid pa un y dengys y fath barodrwydd i daro pawb a ddywedant ddim yn ei erbyn, ac i gyfeirio ei saethau at un a *ddychymmyga* yn unig ei fod wedi rhoi anair iddo. Fy nymuniad o ran yr awdwr hwn, yw, i'w lyfr fyned i dir angof o'i flaen ef ei hun, ac iddo gyfansoddi llyfr arall, er annog pawb i ddewis y rhan dda na ddygir oddi arnynt. Yna tebyg yw, os bydd iddo gludo y fath lyfryn ar ei gefn pan elo at afon angeu, y bydd iddo gael y fraint o'i gario yn ddiogel trwy 'r afon i dir y gwynfyd.——Yr eiddoch, &c.

LATIMER.

---

## AT OLYGWR Y GWYLIEDYDD.

SYR—Dyma i chwi dalfyriad o lythyr a dderbyniais yn ddiweddar oddiwrth un o Genhadon y "Gymdeithas Genhadol Eglwysig" yn *New Zealand*: os bernwch ef yn addas, rhoddwch iddo gongl fechan yn eich Cyhoeddiad canmoladwy.—Ydwyf, yr eiddoch, &c.

GWILYM EDWEN.

CARRLUDD,
*Mawrth* 23, 1832.

## CYFIEITHIAD O LYTHYR O NEW ZEALAND.

ANWYL GYFAILL,

Cyrhaeddais Sydney yn Neheubarth Cymru Newydd ar yr 21ain o Ragfyr diweddaf, ac yma ar y 6ed o Chwefror. Yr wyf yn diolch i'm Tad nefol fy mod mewn cyflawn iechyd yn awr, ac y mae y wlad yn fy moddhâu yn fawr. Nid wyf yn edifarhâu dim am ymadael â'm gwlad enedigol, fy holl gyfeillion, a phob peth oedd anwyl genyf, gan obeithio y rhynga bodd i Dduw fy ngwneuthur yn fendith i rai o'r cenhedloedd truenus hyn, y rhai nis gwybuasant erioed fod ganddynt eneidiau anfarwol, ac ni chlywsant ddarfod i Iesu Grist ddyfod i lawr o'r nefoedd i farw, fel y gallai pechaduriaid a gredent ynddo ef gael byw gyd âg ef yn nheyrnas ei ogoniant yn dragywyddol. Y mae yr Arglwydd wedi gweithredu llawer yma eisoes, lle mae Satan yn llywodraethu ym mhob calon. Niferoedd a glywsant yr efengyl, ac amryw ag oeddynt feirw mewn

camwedd a phechod, a glywsant lais Mab Duw, ac a fywhawyd. Diddenir fi yn fawr wrth wrando arnynt yn fy ystafell fy hun ganol nos, yn canu caniadau Sïon, ac yn gweddïo ar Dduw y nefoedd trwy Iesu Grist yr hwn a'u hachubodd trwy ei werthfawr waed, ac a'u dygodd i ryddid yr efengyl, ac a'u gwnaeth yn etifeddion y nef. Yr wyf yn credu y cyflawnir gweithredoedd mawrion yma cyn bo hir; y mae yma gynnwrf ym mhlith yr esgyrn sychion, ond nid yw Satan yn segur yn gwrthwynebu lledaeniad teyrnas y Prynjawdwr; etto ei holl ymgyrch a fydd yn ofer—gair Duw ni ddychwel ato ef yn wag; y mae yn fywiol ac yn nerthol, yn gwahanu yr enaid oddiwrth bechod. Gall uffern a'r ddaear ymosod yn ei erbyn, a bod eu holl ymdrech yn ofer. Gair Duw nid yw yn rhwym—Satan a'i weision a geisiant ei rwymo; anfoesoldeb, hunangyfiawnder, proffeswyr cnawdol, Cardinaliaid, Pabau, a chythreuliaid, a ymegnïant i'w rwymo, eithr yr holl gythreuliaid yn uffern nis gallant; canys Duw a ragfynegodd y caiff redeg a chael gogonedd, nes y delo pob mab a merch Adda yn gyfranogion o ras yr Arglwydd Iesu Grist, ac a lywodraetha yn eu calonau heb wrthwynebydd. Anwyl Syr, esgusodwch fyrdra fy llythyr, mae fy amser yn brin, a'm galwedigaethau yn lliosog.

Yr eiddoch, &c.

J. P. Waimate.

New Zealand, Medi 11, 1830.

---

## LLYTHYR I'R GWYLIEDYDD.

Syr—Efallai y digiwch wrthyf pe gofynwn i chwi, pwy a osododd yr enw Gwyliedydd arnoch? Modd bynag am hyny, nis gwaeth genyf; ond, meddyliaf nad ydych, mewn un ystyr, yn teilyngu enw mor ardderchog, nac yn haeddiannol o gael eich cyfarch ar yr enw hwnw gan ynfydion yr oes hon. Agorasoch byrth braenllyd eich castell, er mwyn rhoddi lle i benboethwyr eich cylchdaith i anelu eu saethau gwenwynig at y personau sydd wedi ac yn gwneuthur mwy o ddaioni i'r cyffredin na neb Meddygon, Physygwyr, nac Offeiriadon yn y byd, sef *brudwyr a dywedwyr tesni* y Dywysogaeth. Oni bai y rhai boneddigaidd hyn, meddyliaf y buasai Cymru yn meddu ar yr haid lladron a'r drwg-weithredwyr mwyaf eofn ac annatguddiedig o fewn cylch pedwar ban byd. Pa faint o weithredoedd ysgeler a lladradaidd a ddygodd Bella a Sydney o Galedfryn i'r amlwg, yr hyn na allasech chwi, na chymmaint ag un o berchenogion eich Cyhoeddiad wneuthur, pe cawsech Dywysogaeth Cymru am eich llafur; ond hwy, megys gwragedd teimladwy a thosturiol, a symudent unrhyw anhwyldeb o blith eu deiliaid, neu a ddattodent gadwynau 'r gelyn dïafol, am ychydig geiniogau. Ac, O! y fath ddyn buddiol i'r wlad yw Mr. John —— o Rosesmor. Pe byddai ynoch amynedd dyn rhesymol i wrando arnaf yn mynegi y gweithredoedd ardderchog a wnaeth yn ei oes, yr wyf yn sicr nas gallech lai na rhyfeddu—cyfodi eich croes a'i ddilyn bob cam ar hyd ystod eich bywyd. Yr hyn a allasai Ynadon Swydd Fflint dalu i'r boneddig am ei orchestion canmoladwy, oedd ei sicrhau yn Nghastell Fflint; Ow! ow! Nid bychan oedd galar ei ffyddlon gyfeillion tra bu y gwron yn llyffetheiriau eu mympwy traws-arglwyddiaethawl. Dau o'i elynion penaf ei yw y Parch. R. ——, Person Llan——, a'r Parch. H. ——, Person Llan——. A pha ryfedd os bwrw Modlen o'r Cwm ei llygaid drwg dros y gwyr hyn ryw bryd neu gilydd. Ha! pwy a'u gwared oddiwrth eu heffeithiau dirdynawl? nid John, na neb arall o'i frodyr anffaeledig; a rheswm da paham. Meddyliodd eich Beirdd gwrachïaidd eu bod wedi rhoddi dyrnod marwol i'r boneddigion tan sylw yn Eisteddfod y Trallwm; ond nid felly y bu, megys y caf ddangos i chwi ym mhellach. Ac, O! mor ddiolchgar y dylai 'r Cymry fod i angeu am eu gwared oddiwrth *Eurgain Callestr*. Pwy yn y byd mor elyniaethol tu ag at y teulu cymmwynasgar hwn ag ef tra bu. Meddyliodd hwn iddo ddanfon ei saeth trwy galon Miss Betsy, merch hynaf Mr. John —— o Rosesmor; ond ni ddaeth ei amcanion i ben; canys y mae yr hen foneddiges etto yn fyw, a chanddi feibion a merched wedi eu hegwyddori yn yr un gelfyddyd, ac yn ei dilyn gyd â'r llwyddiant mwyaf. Pe buasai Athrofa Llanbedr wedi ei hagoryd i egwyddori

meibion a merched yn y gelfyddyd ragorol hon, meddyliaf na byddai lladron a thwyllwyr Cymru mor aml ag y maent heddyw. Pwy a ddichon ddywedyd y fan lle mae trysorau cuddiedig, a pherlau gwerthfawr, onid hwy? Clywch, nid yn unig parant i'r lleidr, neu 'r yspeiliwr, ddwyn eich eiddo cyfrgolledig yn ol, a gosod arno y nód a ddymunech, ond hefyd hwy a ddangosant i chwi ei wynebpryd mewn drych! Pa beth a ddymunech gael? Pa beth sydd fwy boddhaol na hyn? Cywilyddiwch, o herwydd i chwi erioed erlid y fath bobl, na gosod cymmaint ag un llythyren yn eich gwasg, er cynnyg anurddo eu henwau da.

Y mae genyf lawer yn rhagor i'w osod yn eich erbyn chwi a'ch perchenogion ar y pen hwn, ryw amser i ddyfod, ond y mae yn rhaid i mi yn awr brysuro myned rhagof at yr hyn sydd dra hyfryd genyf són am dano, ac a ddylai gael ei argraffu â llythyrenau aur, ac nid eiddo *mûn* Saunderson o'r Bala.

Fel yr oedd gwr cyfrifol, nid cwbl 60 milldir o Y—— yn dychwelyd o L—— efe a gwympodd oddiar ei farch; ac felly y derbyniodd niwed mawr. Un o'i geraint a brysurodd at eich cymmydog Mr. —— i ymofyn meddyginiaeth. Dywedodd hwnw mai Gaenor, o Ben Rhiw, a'i llygad-dynodd i beri iddo syrthio oddiar ei farch. Mynegodd hefyd i'r ymofynydd, os dymunai teulu y cystuddiedig gael profiad o'i haeriad cynghorai y cystuddiedig i gymmeryd dyrnaid o halen, ac anadlu arno dair gwaith, a'i daflu i'r tân, ac os elai yn ddu, yna yr oedd ei haeriad yn wir; ond os craciai yn tân yna anwir oedd ei haeriad. Gan nad oedd gan Mr. —— gyffyriau digonol addas at y clwyf a roddodd Gaenor merch annwn iddo, gwnaeth y gwr y goreu o'i ffordd at wr nodedig a medrus yn Swydd D——n, yr hwn sydd wedi cael yr awdurdod i symud pob clwyf ac afiechyd o blith ei gyfeillion. Y cystuddiedig a osododd ei amgylchiad ger bron yr *anffaeledig* feddyginiaethydd; ac yn uniongyrchol y meddyg a aeth yn nghyd a gosod ei gyffyriau wrth glwyfau ei ddioddefydd. A pha beth a feddyliwch chwi oeddynt? Un o bennodau St. Paul at yr Ephesiaid, sef y bummed, a gweddiau yr Eglwys Sefydledig!! Y meddyg medrus a ddarllenodd yr holl weddïau yn Ngwasanaeth yr Eglwys, a rhwng pob gweddi efe a ddarllenai y bennod yn yr Ephesiaid. Efe a gyssegrodd lestraid o ddwfr oer, ac a barodd iddo yfed cwpanaid o hono yn awr ac yn y man. Tra yr oedd y gwr yn defnyddio y feddyginiaeth hon, yr oedd y dioddefydd druan yn teimlo ei hun yn cael ei nerthu, a'i anhwyldeb ei symud, ac yn y fan gwnaethpwyd ef yn gwbl iach! A ellwch chwi, neu a allasai *Eurgain*, pan oedd yn fyw, wneuthur y fath wyrth a hon? Ym mha le y mae Docteriaid celfydd y Dywysogaeth? Ym mha le y mae Personiaid Eglwys Loegr a'u gweddïau? A fedrant hwy ddiystyru dynion sydd wedi derbyn gallu i weithredu fel hyn gyda gweddïau eu Heglwys, pryd nas gallant hwy eu hunain gymmaint a symud gwybedyn neu abwydyn gyd â'r un moddion?

Cyn terfynu fy llythyr hwn, rhaid i mi ddywedyd ger gwydd y byd, fod gelyn neillduol arall i'r gwyr rhagorol hyn a'u hachos yn y gymmydgaeth hon, nid llai gwr nac Ebrwyad y Plwyf. Bu i hwn ryfygu cymmeryd Papuryn llesfawr o deulu yn ei blwyf, yr hwn oedd i gadw pob haint, anhwyldeb, rheg, a melldith, o blith y teulu, a'u heiddo, tra byddai o dan eu cronglwyd. Paham y mae Personiaid yn brysurach na neb arall yn chwilio i ddirgeloedd pethau, ac ansawdd teuluoedd eu hardaloedd? Ai cynfigenu y maent wrth lwyddiant nod eu saethau llymion? Nid wyf yn ammeu na bydd i'r gwr hwn brysuro ei hun i ddanfon y Weddi fendigaid, a ladratäodd o'r teulu anffodus uchod, i chwi i'w dirmygu a'i gwawdio. Mynwn iddo ef a chwithau gymmeryd gofal pa beth a wnelech, rhag ofn eich cael yn gwrthryfela yn erbyn lluoedd nas gallwch eu gorchfygu. Os oes rhyw un o ddarllenwyr eich cyhoeddiad yn teimlo rhyw anhwyldeb corphorawl, ac yn dymuno cael gwaredigaeth ebrwydd oddi wrthynt, deued gyda brys i'm tŷ i, a chyfarwyddaf ef, neu hwy, gyd â'r boddlonrwydd mwyaf i balas y boneddig a iachaodd y gwr a gwympodd ar ei ffordd o L—— yn rhad.—Yr eiddoch, &c.

ELYMAS.

ENDOR,
*Mehefin* 19, 1832.

## ATEBIAD I OFYNIAD "ARDDWR O BOWYS."

*Rhif.* 108, *tu dal.* 118.

Y GWYLIEDYDD HYBARCH—Rhoddasoch o'm blaen, yn mis Ebrill diweddaf, lythyr *Arddwr o Bowys.* Cyfaddefaf yn rhwydd bod y llythyr hwnw yn haeddu sylw ereill heblaw y *Mildraethodydd.* Ond gan nad wyf am ymyraeth â materion rhai ereill oddieithr o angenrheidrwydd, a hyny hefyd mor anfynych ac mor lleied ag y bo dichonadwy: nid ymofynaf pa sylw a wnaeth ereill o'r llythyr uchod.

Gosododd fy nghyfaill ger fy mron yn ei lythyr bedwar o ofyniadau; a chyda eich cenad chwi, rhof ateb hyd y medrwyf iddynt yn olynol.

Y gofyniad cyntaf yw, "I ba lwyth o greaduriaid y perthyn y *Draenog?*"

Os nad yw fy nghof yn fy nhwyllo, rhoddwyd hanes y creadur hwn yn y Gwyliedydd, ond y mae yn debyg na welodd *Arddwr o Bowys* ddim o'r hanes hwnw, am hyny rhoddwn yma atebiad i'w ofyniadau.

Y *Draenog* a berthyn i ryw y *pedwar-troed*, a theulu neu lwyth y *gwylltfil.* Anianyddion a ddywedant bod iddo ddau ddant yn yr ên uchaf, yn lled bell y naill oddiwrth y llall; a dau yn yr ên isaf yn agosach i'w gilydd. Y mae iddo ddau ysgythrddant o bob tu. Y mae tri math o *Ddraenogiaid*—un math yn perthyn i Ewrop, un arall yn perthyn i Amerig, a'r trydydd yn perthyn i Asia. Un gwyn di glustiau yw Draenog America; ac y mae clustiau yn crogi i lawr bob tu i ben Draenog Asia. Draenog ein gwlad ni sydd anhardd o ran ymddangosiad. Y mae ynghylch naw modfedd o hýd, o'i drwyn i'w gynffon, ac wedi ei orchuddio o barth y rhan uchaf o'i gorph â chroen pigog; y rhan arall sy flewog. Rhidiant yn y Gwanwyn, a dygant eu rhai bach, dri, pedwar, neu bump, yn nechreu yr hâf. Yr olwg ar y rhai bach sydd wynaidd, ac ychydig o'r pigau a ymddengys y pryd hyn. Ni fedrwyd hyd yn hyn eu dofi. Rhoddwyd yn fynych y fam a'i rhai bach mewn dalfa, a digon o ymborth blasus; ond yn lle eu magu, y fam a'u difethodd hwynt o un i un bob tro. Ni epiliant ychwaith mewn caethiwed.

Mewn perthynas i'r ail ofyniad o eiddo yr *Arddwr*, gellir dywedyd yr ymbortha y Draenog ar ffrwythau megys afalau, &c. ar lawer o wreiddiau, ac ar drychfilod. Ymborthant hefyd gyda hyfrydwch ar gig cyn ac wedi ei drin. Nid yw ond chwedl ddisail fod y Draenog yn sugno gwartheg yn yr haf, ac yn brathu eu tethau. Pwy bynag a gymmero boen i edrych a sylwi ar geg y Draenog, a theth y fuwch, a wêl bod hyn yn beth annichonadwy. Dywedir y dringa i ben pren afalau, neu ellaig, yn y gerddi, ac y bratha ei bigau ynddynt, a dwg hwynt i lawr felly; etto nid yw hyn ond dychymyg. Ni welir hwynt allan o'u tyllau ond anfynych iawn yn y dydd; ond rhodiant o amgylch yn y tywyllwch i ymofyn am ymborth, a phethau angenrheidiol. Llechant y dydd mewn hen geubrenau—o dan hen foncyffion—mewn gwrychoedd—o dan gerig mawrion—ac mewn agenau creigiau. Ni fwytânt ond ychydig; a byddant fyw yn hir iawn heb ddim bwyd. Ni ddarparant yr haf erbyn y gauaf, ac nid ymddengys fod yn perthyn iddynt fawr o ofal dros dranoeth.

I'r ymofyniad nesaf nid yw yn angenrheidiol dywedyd ond ychydig. Y mae y Pathew, y Neidr, a'r Draenog, yn cysgu yn eu llochesau am y tymmor oer o'r flwyddyn. Nid yw yn hawdd dywedyd ym mha le y mae y Draenog yn gwneuthur felly; ond meddylir ei fod yn llechu am y gauaf mewn tyllau yn ngwaelod y gwrychoedd, mewn ac o dan hen geubrenau, &c. a lleoedd ereill cyffelyb.

Y pedwerydd ymofyniad yw, "Paham y rhoddwyd y fath arfogaeth i'r creadur hwn?" &c.

Fe ŵyr yr *Arddwr o Bowys*, yn gystal a phobl Gwynedd, bod y rhan amlaf o greaduriaid wedi eu cynnysgaeddu â rhyw offeryn er amddiffyn eu hunain. Paham y rhoddwyd yr offeryn hwn i un, a'r offeryn arall i'r ail, ac un hollol wahanol etto i'r trydydd, nis gallaf roddi rheswm gwell na dywedyd, felly y rhyngodd bodd i'r Creawdwr. Gŵyr pob un agos o'ch darllenwyr y defnydd a wna y Draenog o'i groen pigog pan yr ymosodir arno gan unrhyw elyn. Pan y gwelo ei fod mewn enbydrwydd, efe a bâr i'w groen pigog ymgau am dano o amgylch, fel nad yw mwy amgen na phellen gronbigog a draenogaidd. Fel yr â malwen i'w chragen er am-

ddiffyn ei hun, felly yr â Draenog i'w god bigog—ei dŵr, a'i darian, ei gleddyf, a'i waywffon ef yw ei groen pigog; ond fe allai na ddylaswn ddywedyd ei gleddyf a'i waywffon, canys nid yw y Draenog yn rhyfela â neb oddieithr i dori ei newyn. Creadur diniweid iawn yw, ac nid oes reswm paham y mae dyn mor elynol iddo oddieithr ei anharddwch, a'r chwedl ddisail uchod. Diau ei fod yn dda a defnyddiol yn ei le, ac yn gweini ryw fodd neu gilydd at ein cysur a'n dedwyddwch ni. Am hyny na fyddwn greulon wrtho.——
Ydwyf, Wyliedydd hybarch,

Y MILDRAETHODYDD.

## YCHYDIG OFAL A ARBED LAWER O GOLLED.

"PAN oeddwn yn y wlad yn ddiweddar," medd Mr. S——, "gwelais esiampl o'r mân golledion hyny sydd yn digwydd i deuluoedd trwy ddiofalwch. Trwy eisiau clicied o isel bris gadawid llidiart cadlas oedd yn arwain i'r meusydd yn aml yn agored. Pob un a elai trwodd a daflai y llidiart i gau ar ei ol; ond gan nad oedd dim i'w dal yn gauad, gadewid hi yn wastad yn curo, weithiau yn agored ac weithiau yn gauad. Felly yr âi yr ieir a'r cywion allan, ac y collid hwynt. Un diwrnod diangodd mochyn allan, a rhedodd i'r goedwig: ac ar ei ol y rhedodd pawb o gwmpas y tŷ—y garddwr, y gogyddes, a'r llaethwraig. Y garddwr oedd y cyntaf a gafodd olwg ar y mochyn; ac wrth ymegnïo i geisio ei ddal ysigodd ei ffer, yr hyn a fu yn achos iddo gadw i mewn am bythefnos. Y gogyddes hefyd, pan ddychwelodd, a gafodd y lliain a adawsai hi wrth y tân, wedi syrthio, ac yn llosgi: ac am fod y llaethwraig wedi anghofio yn ei brys rwymo traed un o'r buchod, yr oedd y fuwch wedi taro ebol bach ag oedd yn y beudy, a thori ei goes. Yr amser a gollodd y garddwr oedd werth pedair neu bum punt, heb sôn am y gofid a ddioddefodd. Y lliain a losgwyd, a'r ebol a friwyd oeddynt werth llawer mwy. Felly o eisiau clicied, yr hon ni fuasai yn costio mwy na thair ceiniog, yr achoswyd y golled o ddeg neu ddeuddeg punt, yn gystal a llawer o drafferth, poen, a blinder."

H. R. T.

## EFFEITHIAU LLESOL Y TESTAMENT NEWYDD.

RHYW amser yn ol yr oedd gweddw dduwiol yn y parth gogleddol o Loegr, ar ba un, o achos y golled a gawsai, y disgynodd y gofal o deulu lliosog o saith o ferched ac un mab. Ei phrif ofal oedd am gael meithrin ei phlant yn rhinweddol a chrefyddol, gyda golwg ar eu hapusrwydd a'u llwyddiant tymhorol ac ysprydol. Ei hymdrechiadau a goronwyd âg eithaf llwyddiant mewn perthynas i'w merched; ond, ysywaeth, y bachgen a drôdd allan yn afradlon, ac yn annïolchgar iddi am ei holl ofal tu ag ato: a'i hunig fab, ei hanwylyd, ïe, fe allai, ei delw, a ddaeth yn ffiangell ac yn groes iddi. Carai gwmpeini a phleserau bydol, nes, ar ol dwyn ei hun i dlodi, y bu gorfod iddo fyned ar y môr. Ei fam, wrth ymadael âg ef, â'i hanrhegodd â Thestament Newydd, â'i henw hi ac yntau yn ysgrifenedig ynddo, gan erfyn arno mewn modd difrifol a theimladwy gadw y llyfr a'i ddarllen er ei mwyn hi. Cludwyd ef ym mhell ymaith dros y cefnfor garw, a blwyddyn ar ol blwyddyn a ymlithrai heibio, heb air o sôn am ei bachgen. Ymwelai yn achlysurol â pharthau o'r ynys, ym mhell oddiwrth ei thrigfan ei hun, yn enwedig y brif ddinas; ac i ba gwmpeini bynag y digwyddai fyned, nid anghofiai holi ynghylch y llestr ar fwrdd pa un yr aethai ei mab, yn awyddus cael clywed rhywbeth am y gwrthddrych anwyl hwnw ag oedd uchaf yn wastad yn ei mynwes. Ar un achlysur mewn cwmpeini yn Llundain hi a gyfarfyddodd â chadben llong, i ba un y gwnaeth ei holiad arferol. Dywedodd wrthi ei fod yn gwybod am y llong, a'i bod wedi ei dryllio—ei fod hefyd yn adwaen gwr ieuangc o'r enw Siarl—a dywedodd hefyd, yn ddifeddwl, ei fod yn llangc mor wyllt ac afradlon ag y byddai yn dda pe bai ef, a phawb o'i fath, yn ngwaelod y môr. Y fam annedwydd, wedi ei thrywanu at ei chalon, a ymneillduodd allan o'r tŷ cyn gynted ag y medrodd dawelu ei theimladau cynhyrfedig; a phenderfynodd dreulio y rhan oedd yn ol o'i bywyd mewn ymneillduedd, ym mha un y gallai ymollwng i'w gofid anobeithiol. "Disgynaf i'r

bedd," meddai hi, "yn galaru am fy mab." Ymneillduodd i le yn agos i làn y môr. Ym mhen rhai blynyddoedd, daeth morwr hanner noeth at ei drws i ofyn ei chardod. Yr olwg ar longwr a effeithiai arni yn wastad, ac ni phallai ddeffroi yn ei mynwes adfyfyriadau haws eu dirnad na'u desgrifio. Gwrandawodd ar ei chwedl. Buasai mewn peryglon mawrion ar y dyfnfor. Mwy nag unwaith y torasai llong dano; ond dywedodd nas gadawsid ef erioed mor ymddifad druenus ag y buychydig flynyddoedd yn ol, pan gollwyd holl gwmpeini y llong, ond ef ei hun, ac un arall, yr hwn oedd wr ieuangc pryd-ferth. Bwriwyd ni ein dau ar ynys anial, y'mha le, ar ol saith niwrnod a noswaith, y cauais i ei lygaid. Druan! nis anghofiaf hyny byth." Ar hyn y dagrau oeddynt yn rhedeg ar hyd ei ruddiau curedig gan hin. "Darllenai ddydd a nos mewn llyfryn bychan, yr hwn, eb efe, a roisai ei fam anwyl iddo, a'r hwn oedd yr unig beth a allodd ei achub. Y llyfr oedd ei gydymaith bob mynyd, galarai am ei bechodau, gweddïai, cusanai y llyfr, ac ni siaradai am ddim ond am ei lyfr, a'i fam; ac yn y diwedd efe a'i rhoddodd i mi, gyda llawer o ddiolch am fy ngwasanaeth gwael. 'Hwda, Jack,' eb efe, 'cymmer y llyfr hwn, a chadw, a darllen ef, a bydded i Dduw dy fendithio—dyma y cwbl sydd genyf.' Ac yna, gan wasgu fy llaw, efe a ymadawodd â'r yspryd mewn heddwch." "A ydyw hyn i gyd yn wir?" meddai y fam, wedi synu. "Ydyw, fy meistres, bob gair o hono." Ac yna, gan dynu allan o'i siaced garpiog lyfr bychan, âg ol traul mawr arno, efe a'i daliodd i fynu, gan ddywedyd, "Dyma y llyfr." Gafaelodd y fam yn y Testament, canfyddodd ei llaw-ysgrifen ei hun, a gwelodd ei henw ei hun, gyd âg enw ei mab, ar ei amlenau. Tremiodd, darllenodd, wylodd, a gorfoleddodd. Yr oedd fel pe clywsai lais yn dywedyd, "Wele, byw yw dy fab." Ac ar ganol cynnwrf ei meddwl, yr oedd yn barod i lefain, "Yr awr hon, Arglwydd, y gollyngi dy wasanaethyddes mewn tangnefedd; canys fy llygaid a welsant dy iachawdwriaeth." "A ymadawi di â'r llyfr hwn, fy nghyfaill gonest?" ebai y fam, yn awyddus yn awr i feddiannu y creirwy gwerthfawr. "Na wnaf, fy meistres, oedd yr ateb, "ddim am un swm o arian—ddim am yr holl fyd. Efe a'i rhoes i mi â'i law wrth farw. Collais gymmaint ag a feddwn fwy nag unwaith er pan gefais ef, heb golli y trysor hwn, gwerth pa un, yr wyf yn gobeithio, a ddysgais i mi fy hun; ac nid ymadawaf âg ef byth, nes ymadael â'r anadl o'm ffroenau."

*Cyf.* C. T.

---

## HYNAFIAETH.

---

### TRIOEDD YNYS PRYDAIN.

*(Parhad o du dal.* 118.*)*

4. Triphost Cenedl Ynys Prydain: Cyntaf, Hu Gadarn a ddaeth a Chenedl y Cymry gyntaf i Ynys Prydain, ac o Wlad yr Haf a elwir Deffrobani y daethant; sef y lle mae Constinoblys: a thrwy Fôr Tawch y daethant hyd yn Ynys Prydain a Llydaw lle ydd arhosasant. Ail, Prydain Ab Aedd Mawr, a wnaeth Wladoliaeth a Theyrnedd gyntaf ar Ynys Prydain, a chynn no hynny nid oedd o Iawn namyn a wnelid o Addwynder, na Deddf namyn y trecha treisied. Trydydd, Dyfnwal Moelmud, ac efe a wnaeth Ddosparth gyntaf ar Gyfreithiau, a Deddfau, a Defodau, a Breiniau Gwlad a Chenedl: ac achaws y pethau hynny eu gelwid hwynt yn Drî phost Cenedl y Cymry.

5. Tair Ciwdawd Addwyn Ynys Prydain: Cyntaf oeddynt Genedl y Cymry a ddaethant gyda Hu gadarn i Ynys Prydain, sef ni fynnai efe wlad a thiroedd o ymladd ac ymlid, eithr o gyfiawnder ac yn nhangnef. Ail oeddynt Al y Lloegrwys a ddaethant o Dir Gwasgwyn, ac a hanoeddynt o brif Genedl y Cymry. Trydydd oeddynt y Brython, ac o Dir Llydaw y doethant a'u hanes o gyssefin Al y Cymry, a'r Tair Hedd-Giwdawd a'u gelwir, am ddyfod o honynt y naill wrth fodd y llall yn heddwch a thangnef; a'r Tair Ciwdawd hynny a hanoeddynt o gyssefin Genedl y Cymry, a chyfiaith cyfiafar y Tair Ciwdawd.

6. Tair Ciwdawd Nawdd a ddaethant i Ynys Prydain, ac yn Nhanc a Chennad Cenedl Cymry y doethant, heb arf heb ossawd: Cyntaf oeddynt Ciwdawd Cel-

yddon yn y Gogledd. Ail oedd yr Al Wyddyl, ac yn yr Alban y maent. Trydydd Gwyr Galedin a ddaethant yn y llongau moelion hyd yn Ynys Wyth ban foddes eu Gwlâd, a chael o honynt Le Tir gan Genedl y Cymry; ac nid oedd iddynt Fraint o Hawl yn Ynys Prydain, namyn y Tir a'r Nawdd a rodded iddynt dan derfyneu, a dodi arnynt nas gellid Braint Cymry cynhenid iddynt hyd ym mhen y nawfed Ach.

7. Tair Ciwdawd Ormes a ddaethant i Ynys Prydain, ac nid aethant fyth ohoni: Cyntaf, oeddynt y Corraniaid, a ddaethant o Wlad y Pwyl. Ail, y Gwyddyl Ffichti, a ddaethant i'r Alban drwy For Llychlyn; Trydydd, y Saeson; sef lle mae y Corraniaid am Afon Hymyr a Glann Mor Tawch; ac yn yr Alban y mae y Gwyddyl Ffichti, yng Nglann Mor Llychlyn: a myned yn un a wnaethant y Corraniaid, a'r Saeson, a dwyn Rhëal y Lloegrwys yn ogyfun â hwynt, o drais a gorfod arnynt, a chwedi hynny dwyn Coron yr Unbennaeth oddiar Genedl y Cymry. Ac nid oes o'r Lloegrwys nad aethant yn Saeson namyn a geir yng Nghernìw, ac yng Nghwmmwd Carnoban yn Neifr a Bryneich. A Chiwdawd gysseffin y Cymry a gadwasant eu Gwlad a'u Hiaith, colli Teyrnedd Ynys Prydain a wnaethant achos Brâd y Ciwdodeu nawdd, ac anrhaith y Tair Ciwdawd Ormes.

(*I'w barhau.*)

---

## COF-ARGRAFF

AM MR. JOHN THOMAS, O LANRWST.

Y mae y darlleniad canlynol ar Fwrdd o Farmor gwyn, yn Eglwys Llanrwst, er coffadwriaeth am JOHN, mab i Mr. Lewis Thomas, o'r Dref hono; er ei fod yn ddi addurn, mae yn hynod addas, ac hardd i'r amgylchiad.

**Sacred to the Memory**

Of JOHN, Son of Mr. L. THOMAS, of this Town,
Who was released from the sufferings of a lingering malady,
which he had endured with Christian resignation and cheerfulness
On the 8th day of April, 1830; in the 25th year of his age,
and summoned to receive the just reward
of his early Piety and Virtue.
In the year 1827 he was admitted a Member
of *Jesus College, Oxford;*
but to the great disappointment of that Society,
which his Talents had promised to adorn,
and to the indescribable grief of his Family and Friends,
to whom he was endeared by the most amiable qualities,
he was prematurely carried off, before his unwearied labours
in the acquisition of Scientific and Classical Knowledge
could be crowned with Academical distinctions;
attached to the literature of his Native Land,
he devoted some of his last days to the successful
translation of a Sermon into the Welsh Language:
But as he sunk, alas! before the adjudication of the Prize,
it was determined that the Premium awarded to him should be appropriated
to the erection of this commemorative Tablet.

It matters little at what hour o'the day
The Righteous falls asleep; death cannot come
To him untimely, who is fit to die;
The less of this cold world, the more of Heaven,
The briefer life, the earlier Immortality.

---

Y CYFIEITHIAD.

**Cyssegredig er Coffadwriaeth**

Am JOHN, Mab i Mr. L. THOMAS o'r Dref hon.
Yr hwn a ryddhawyd oddiwrth boenau afiechyd nychlyd,
a ddioddefodd gyd âg ymroddiad siriol a Christionogaidd,
Ar yr 8fed dydd o Ebrill, 1830; yn y 25ain flwyddyn o'i oedran,
ac a alwyd i dderbyn cyfiawn daledigaeth
o'i forenol Dduwioldeb a'i Rinwedd.
Yn y flwyddyn 1827 fe'i derbyniwyd yn aelod o
*Goleg Iesu, Rhydychen;*
ond er mawr siomedigaeth i'r Gymdeithas hono,
yr hon yr oedd ei Dalentau yn addaw ei haddurno;
ac er tristwch annhraethadwy i'w Deulu a'i Gyfeillion,
i ba rai yr oedd yn anwylaidd iawn oddiar y rhinweddau mwyaf carnaidd,
fe a dorwyd ymaith yn annhrydlon cyn i'w lafur diflino
yn ei gyrhaeddiad o'r wybodaeth Gelfyddgar ac Awduraidd,
gael ei goroni â dyrchafiad y Brif Ysgol:
O gariad at ddysgeidiaeth ei Wlad Enedigol
fe ymneilldnodd rhyw faint o'i ddyddiau diweddaf
i lwyddiannus gyfieithu Pregeth i'r Iaith Gymraeg:
Ond, Och! gan iddo fyned i lawr cyn terfyna y Wobr,
fe benderfynwyd fod y Wobrwy derfynol iddo ef
gael ei phriodoli tu ag at osod y bwrdd Coffadwriaeth hon.

Nid ydyw o fawr bwys pa awr o'r dydd
Yr huna'r Cyfiawn; nid all angeu ddod
Yn annhrydlon, i'r hwn yn barod sydd;
Lleiaf o'r byd oerllyd hwn, mwy o'r nef,
Byraf yr oes, boreuaf Anfarwoldeb.

## COFRESTR O'R LYFRAU CYMREIG.

*(Parhâd o du dal. 121.)*

110. Yr Ymroddiad, neu Babpuryn a gyfieithwyd ddwywaith i helpu y Cymru unwaith allan o'r hunan a'r Drygioni. 12°. .................... 1657
111. Y Discybl a'i Athraw o newydd .................... *Ibid.*
112. Llyfrgell y Cristion Ifainc, &c. Gan R. Ll. 8°. Mwythig .......... 1713
Pregeth, gan R. Lloyd .................... ——
113. Llawlyfr y Gwir Gristion. 12°. Mwythig .................... 1716
114. Archaologia Britannica. Gan Edward Lloyd, M. A. F°. Oxon ...... 1707
115. Gair o'r Gair, neu Sôn am Sŵn. Gan Morgan Llwyd. 24°. Llundain 1656
Llyfr Gweddi Gyffredin. O Gyfieithiad W. Salesbury. F°. Llundain 1567
———————— a 4°. Llundain .................... 1586
¶ ———————— ac wedi ei adgyweirio. 4°. Llundain .......... 1634
———————— a F°. Llundain .................... 1664
———————— a F°. Llundain .................... 1710
Y Llyfr Gweddi Gyffredin y Cydymmaith Gorau, &c. O Gyfieithiad E. E. 8°. Rhydychen .................... 1693
———————— ac 8°. Mwythig .................... 1711
116. Gwyddor uchod. O. G. M. 12°. Llundain .................... 1657
117. Cynffwrdd i'r Gwan Gristion, neu 'r Gorsen ysyg mewn Pregeth. Gan Dafydd Maurice, D. D. & Dorrington. 8°. Rhydychen .......... 1702
118. Pregeth yn erbyn Schism, &c. Jasper Mayne, D. D. O Gyfieithiad R. V. 4°. Caer Ludd .................... 1658
119. Barddoriaeth neu Brydyddiaeth, y Llyfr Kyntaf. Capten William Midleton. Thomas Orwin ai Printiawdh yn 8°. Llundain ............ 1593
———————— ac heb y Rhagymadrodd. 24°. Mwythig ........ 1710
120. Psalmæ y brenhinol brophwyd Dafydd, gwedi ei Cynghanedhu mewn mesurau Cymreig. (Gan W. Midleton, a H. Salesbury.) 4°. Llundain .................... 1603
121. Hysbys Rwydd a Di Honglad am y blynyddodd tros byth wrth yppini ar arwydd y bo y Flwiddyn yn Dechre. Gan Einion Morgan. 12°. Llundain .................... 1693
122. Bloeddnad yr Utcorn Diweddaf. John Morgan, Ficer Aber-Conwy, & John Williams. 8°. Mwythig .................... 1704
123. Myfyrdodau Becheddol ar y Pedwar peth Diweddaf, sef Angau, Barn, Nef, ac Uffern. 12°. Llundain .................... 1714
124. Cywydd i'r Merthyron. 12°. Llundain .................... 1716
125. Myfyrdodau Comfforddus i Gristnogion. 8°. Llundain .......... ——
126. Ymarferol-waith i'r Elusen Ysgolion, yn egluro Natur Conffirmasion. Robert Nelson, Esqr. O Gyfieithiad Moses Williams. 12°. Llundain .................... 1711
127. Boreuol a Phrydnhawnol Weddi i Deulu. O Gyfieithiad M. Williams. 12°. Llundain .................... 1711
128. Cydymmaith i Ddyddiau Gwylion ac Ymprydiau Eglwys Loegr. O Gyfieithiad Thos. Williams, M. A. Eglwyswr Dinbech. 8°. Llundain 1712
129. Mynegai 'r Bibl Cyssegrlân, &c. Gan William Nichols, M. A. O Gyfieithiad Samuel Williams. 8°. Llundain .................... 1717
130. Cyfeillach beunyddiol â Duw yn Gynddelw neu Ensampl yn muchedd Sanctaidd Armele Nicholas, &c. O Gyfieithiad Iago ab Dewi. 8°. Mwythig .................... 1714
131. Trugaredd a Barn, &c. J. O. h. y. James Owen, Gweinidog yr Efengyl. 8°. Llundain .................... 1687
———————— a Llundain .................... 1715
Bedydd Plant o'r Nefoedd, neu Draethawd am Natur a Diben Bedydd yn profi trwy Ddeuddeg o Resymmau Scrythuraidd y dylid Bedyddio Plant y Ffyddloniaid. 12°. Llundain .................... 1693
132. Ychwaneg o Eglurhâd am ffydd Plant bychain, neu Atteb i wrthrysymmau Mr. Keach a Mr. Norcot yn erbyn Bedydd Plant,, ac amddeffyniad o'r rhesymau tros eu bedyddio hwynt, &c. 12°. .......... 1702
133. Hymnau Scrythurol, yn cynwys Achosion perthynasol o foliant yng Weinidogaeth y Sacrament o Swpper yr Arglwydd, &c. 8°. ...... 1705
134. Câs gan Gythraul, &c. Gan T. P. 12°. Amwythig .......... 1711

Godidowgrwydd, Rhinwedd, ac Effaith yr Efengyl. 8°. Mwythig .... ——
135. Ufudd-dod i Lywodraeth a Chariadoldeb, wedi eu Gosod allan mewn Pregeth a adroddwyd yn Eglwys St. Pawl, yng Ngardd y Myneich, ar Ddydd-gwyl Dewi, sef y Dydd Cyntaf o Fawrth, 1715. 8°. Llundain .... 1716
136. Yr un yn Gymraeg a Saisneg. 8°. Llundain .... 1716
137. Cerbyd Iechydwriaeth, neu Prif-byngciau Crefydd Gristonogawl wedi eu egluro a'u gosod allan, 1. Yn gyntaf, mewn Sententiau a Rheolau awdurdodol: 2. yn nesaf, mewn cydymddiddan trwy Ymholion ac Attebion. 12°. Llundain .... 1657
Yr un yn Seisneg .... *Ibid.*
138. Canwyll Grist. Gan Vavasor Powel. 12°. Llundain .... 1653
——— ——— a Llundain .... 1677
139. Pregethau a osodwyd allan trwy awdurdod i'w darllein ym mhob Eglwys Plwyf, a phob Capel, er adeiladaeth i'r bobl annysgedig. O Gyfieithiad Edward James. 8°. Llundain .... 1606
140. Pregeth ynghylch yr hen Ffydd, &c. 8°. Caerlleon .... 1714
141. Pregeth ar *Act.* 16. 30, 31. O Gyfieithiad R. Llwyd. 12°. Mwythig .. 1716
142. Agoriad yn agor y ffordd i bob Dealltwriaeth cyffredyn i wneuthur dosbarthiad rhwng y Grefydd y mae 'r bobl a elwyr Qwakers yn eu chyfaddeu ar Gwyrdroeadau Camosodiadau, a drwg enllib eu hamryw Wrthwynebwyr; yn gystal ar eu Gwyddorion a'u Harferion. Efog annogaeth i bob Dyn i ystyried eu ffyrdd a'u Crefydd, ac i ddychwel yn brysur at yr Arglwydd. 8°. .... 1703
143. Adroddiad cywir o'r pethau pennaf ar a wnaeth ac a ddywedodd Yspryd aflan ym Mascon yn Burgundy, &c. Gan Francis Peraud. Wedi ei Gyfieithu yn Gymraeg gan Stephen Hughes, o Abertawe. 8°. Llundain .... 1681
144. Agoriad byrr ar Weddi 'r Arglwydd. Gan William Perkins. O Gyfieithiad R. Holland. 12°. Llundain .... 1677
145. Egluryn Phraethineb, sef Dosparth ar Retoreg, un o'r Saith Gelbhydbyd yn dyscu Ihuniaith ymadrodh a'i pherthynasau. 4°. Llundain. Vide Davisu Grammat. Brit. p. 213. .... 1593
146. Undeb yn orchymmynedig i ymarfer. Gan Daf. Phillips, D. D. Person Maenor Dewi, yn Sir Benfro. O Gyfieithiad Samuel Williams. 8°. Llundain .... 1710
——— ——— a Llundain .... 1712
147. Cannwyll y Cymru, &c. Gan Rhys Prichard, Ficer Llan Amddyfrwys, yn Neheubarth. 8° Llundain .... 1646
——— ——— a Llundain .... 1681
——— ——— ac yn bedair rhan. 8°. Llundain .... 1672
148. Euchologia, neu yr Athrawiaeth i arferol Weddïo. Gan Ioan Prideaux, Esgob Caerfrangon. O Gyf. Rowland Vaughan, Esqr. 8°. .... ——
Y Salmau Cân. Gan Edmund Prys, Archdiacon Meirionydd. 8°. Llundain .... 1648
149. Gemmau Doethineb. Gan Rees Prytherch. 12°. Mwythig .... 1714
150. Llyfr y Resolution. O Gyfieithiad Doctor Davies. 12°. Llundain .... 1632
——— ——— ac yn 8°. Llundain .... 1684
——— ——— a 12°. Mwythig .... 1711
151. Linguæ Cymraecæ Institutiones accuratæ. Joannes David Rhæsus Monensis Lanvaethæus Cambrobritanus Medicus Senentis. F°. London .... 1592
152. Teg Resymmau Offeiriad Pabaidd, wedi eu hatteb gan Brotestant o Eglwys Loegr. 8°. Llundain .... 1686
153. Rhybudd a rhybuddiwr, & Tyngu .... ——
154. Y Rhybuddiwr Crist'nogawl, &c. 8°. Rhydychen .... 1689
——— ——— a Llundain .... 1706
155. Almanaccau am y Blynyddoedd 1714, 1715, 1716, 1717. Gan Ioan Rhydderch, Philomath. 8°. Mwythig .... ——
156. Dosparth byrr ar y rhan gyntaf i Ramadeg Cymraeg, lle cair llawer o Byngciau anhepcor i un a chwennychau na Doedyd y Cymraeg yn ddilediaith, na'i Scrifenu yn iawn. Gan Gryffythius Rubertius, h. y. Gr. ab Rhotbert. 8°. Mediolani .... 1567

*(I'w barhâu.)*

# BARDDONIAETH.

## EFELYCHIAD O HORACE,

### LLYFR III. ODE 9.

***Ymddiddan rhwng Madog a Rhonwen.***

MADOG.

PAN oeddwn gan ti yn dderbyniol,
Heb undeg mwy hardd-deg ei raen;
Yn gallu 'th gofleidio yn anwylaidd,
Nid ydoedd un Brenin o'm blaen.

RHONWEN.

Tra 'r oeddit i mi yn ddiffuant,
Heb roddi ar arall dy serch,
Yr oeddwn yn fwy fy nghymeriad,
Mwy enwog nac Efa wen ferch.

MADOG.

*Cordelia* sy'n awr yn fy llywio,
Cyfarwydd â'r delyn fwyn giir;
A throsti nid ofnwn i farw,
Pe einioes f'ai iddi hi 'n hir.

RHONWEN.

A *Thudur* a'm hennyn â chariad,
A'm cymmell i'w garu 'r un modd;
A dwywaith gwnawn drosto ef farw,
Pe iddo hir einioes f'ai 'n rhodd.

MADOG.

Ond beth pe dychwelai 'n hen gariad,
A'n rhwymo â chadwen fwy cre';
Pe cauwn *Cordelia* oddi allan,
A gwahodd fwyn *Rhonwen* i'w lle?

RHONWEN.

Er fod *Tudur* na'r sêr yn ddisgleiriach,
A thithau 'n ysgafnach na'r plu,
Mwy garw na'r cefnfor tymhestlog,
Gwnawn farw, gwnawn fyw gyda thi.

CYNHAFAL.

---

## BLOEDD UWCH GWLAD CYMRU.

TON—"TRYMDER."

O GYMRU deg, fy ngwlad, fy ngwlad!
O Gymru deg!
Ger dy fron y ceir dy frad
O Gymru deg!
Gwel dy feibion llon yn llu
Ar fin garwfôr dyfnfôr du,
A'i dònau 'n furnau o bob tu,
O Gymru deg!
Duw o'r nef darana 'n awr,
Gyr ei luoedd geirw i lawr,
Ar eu hol mae llanastr mawr,
O Gymru deg!

Hoffusaf fro! fy ngwlad, fy ngwlad!
O Gymru deg!
Ystyr lef JEHOFAH Dad,
O Gymru deg!
Gwelai 'r hen dduwiolion gynt
Doster barnau Duw a'u hynt
Yn y ddistaw awel wynt,
O Gymru deg!
Gwelai Noah 'r dylif mawr
Yn y dafnau gwlith hyd lawr,
Pan y rhodiai foreu wawr,
O Gymru deg!

Wele 'r farn sy ger dy fron,
O Gymru deg!
Gwesgir gwae i'th nwyfiant llon,
O Gymru deg!
Yr araf awel isel fwyn,
Chwareuai 'n esmwyth frigau 'r llwyn,
Erchyll *bla* yn awr mae 'n ddwyn,
O Gymru deg!
Gwel y cledd yn goch gan waed—
Ymdrech blin benaethiaid gwlad—
Tincian eirf, a bloeddio i'r gâd,
O Gymru deg!

Gwlad fy serch! fy ngwlad, fy ngwlad!
O Gymru deg!
'Ddaw diwedd llwyr i'r dyddiau llad?
O Gymru deg!
A faethir gwraidd twmpathau brwyn
A gwaed dy ie'ngctyd yn ddi gwyn,
Fel yn nydd Caradog fwyn?
O Gymru deg!
A glywir bloedd amddifaid blant
Ar golli 'u rhiaint, pan y cânt
Gan y pla eu dwyn i bant?
O Gymru deg!

Hawddgaraf dud, fy ngwlad, fy ngwlad!
O Gymru deg!
Ymostwng i'r JEHOFAH Dad,
O Gymru deg!
Aed dy lais a chwyd dy lef
Etto i fynu ato Ef
Sydd yn awr ar orsedd nef,
O Gymru deg!
Dettry ei lid fe dry ei law,
Fe geidw 'r drom gyfion-farn draw,
Ei ail ni fu, nid oes, ni ddaw,
O Gymru deg!

Mae Ef yn gadarn nerthol IOR,
O Gymru deg!
A'i drugareddau fel y môr,
O Gymru deg!
Am hyn cei wel'd dy feib yn llon
Mewn hawddfyd etto ger dy fron,
Heb boen na chroes is awyr gron,
O Gymru deg!
Gwên Duw ar wlad yw 'r goreu lwydd—
Ei fendith Ef fo it' yn rhwydd—
Ei ofn a'i barch fo yn dy wydd,
O Gymru deg!

CYMRO.

---

## ANGEU.

OCH! weled fel mae Angeu 'n taro i lawr,
Y gwan, y cryf, tylawd, boneddig wawr,
Hen, ac ieuangc, a chanol oed un wedd,
A yrr heb rus i barthau distaw 'r bedd.

Nid rhyw wag ffol dderbyniwr wyneb yw,
Ni edrych ef ar alwad o un rhyw;
Nid uchel ddysg, nac uchel swydd ychwaith,
A ettyl neb pan ddelo pen eu taith.

Nid doniau beirdd, eurdlysog, eres lawn,
Coronau aur, na llys ardderchog llawn;
Nid golud, parch, na dim rhyw ddaoedd byd,
A'i lluddias ef eu rhoi 'n y gladdfa glyd.

Yr hyna' erioed, a'r ie'ngaf glywyd sôn
Am dano, trwy holl greadigaeth IOR,
Gorweddynt oll ym mhriddgell daear lawr.
Nes clywant sain treiddiadwy 'r udgorn mawr.

Pa le mae 'r *Llanc* oedd ddoe yn fywiog iawn,
Mewn uchel fri, ac uchel ddysg, a dawn!
Mae heddyw 'n fud, ac isel iawn ei ben,
Mewn llety llaith, ar wely gwael o bren.

Mae 'r *Llances* falch oedd ddoe ar gwr yr allt,
Yn lliwio 'i grudd, ac yn crych-blethu 'i gwallt!
Hon sydd yn awr er maint ei glendid cu,
Mewn agwedd wael yn nyfnder daear ddu.

Mae 'r *Cybydd* certh oedd ddoe yn meddu stôr
O gyfoeth mawr—trysorau tir a môr!
Hwn heddyw sydd yn isel iawn, heb gael
Dim mwy i'w ran na hen Gardotyn gwael.

Pa le mae 'r *Fam* oedd ddoe yn rhoddi bron
Yn serchog iawn i faethu 'i Maban llon?
Heddyw mae hon, er ei holl ofal dwys
Mewn distaw wlad tan irad gauad gwys.

Mae 'r *Plentyn* gwyn, hyfrydwch mwya 'i Fam
A'i Dad—oedd ddoe yn chwareu 'n ddi nam?
*Angeu* a'i rhoes tan drwch o ddaear len,
Trwy glefyd blin awch erwin y *Frech wen!*

Gan *Angeu* mae aneirif eang lu
O weision wrth ei alwad o bob tu,
I dori i lawr feibion Adda a'u hil,
A'u rhoi 'n y llwch o fesur cant a mil.

Gan ei fod ef fath Ymerawdwr mawr,
Yn teithio trwy holl gyrau 'r ddaear lawr;
Fywiolion oll, yn unfryd boed ein cri,
Cyn delo hwn yn barod caffer ni.

DRYW BACH.

EMYN

*A gyfansoddwyd ac a ganwyd ar y Dydd Ympryd, Mawrth* 21, 1832.

O DDUW trugarog gwrandaw di
  Ein gweddi edifeiriol;
A maddeu 'n pechod er ei faint,
  Rhag profi 'r haint ddinystriol.

Dy law a godaist, gwyddom hyn,
  I'n herbyn am ddrygioni;
O attal hon, na chospa 'n gwlad,
  Er mwyn dy rad ddaioni.

O dyro edifeirwch gwir
  I ni o gywir galon;
Na ddel dialedd ar ein rhan,
  A meirw 'n annuwiolion.

Yn nghanol barn dangosaist ti
  Dosturi yn oestadol;
Tosturia felly wrth ein llef,
  A chlyw o'r nef ni'n eiriol.

PETER LLWYD.

ENGLYN

*A wnaed wrth ddarllen Ysgriflyfr Michael Prichard Bardd a Hynafiaethydd o Lanllyfni, Arfon.*

YN nydd MICHAEL gwael fu gwedd—y Beirddion,
  Heb urddas na mawredd;
 Yr oes hon maent ar y sedd,
 Benaf ym mysg y Bonedd.——GUTYN PERIS.

# HANESION GWLADWRIAETHOL.

## Newyddion Tramor.

### GWRTHRYFEL YN FFRAINGC.

NID cynt y darfu i'r pla arswydus hwnw, y *Cholera Morbus*, linaru yn ei gynddeiriogrwydd ym mhrif ddinas Ffraingc, ag oedd yn tori i lawr y trigolion wrth y cannoedd a'r miloedd, nag yr ymwelwyd â hi â phla dychrynllyd arall, sef terfysg a gwrthryfel. Er's rhai misoedd yn ol bu y blaid weriniaethol (*Republican*) yn dra aflonydd megis yn disgwyl am gyfleusdra i ddadymchwelyd llywodraeth Louis Phylip, ac i sefydlu gwerin-lywodraeth yn ei lle.

Bore dydd Mawrth, y 5ed o Fehefin, y blaid hon a gynnygiodd ar ei gorchwyl ar yr achlysur o gladdedigaeth cyhoeddus y Cadflaenor Lamarque, yr hwn a fuasai gynt yn ymladd dan faner Buonaparte, ac yn dra adnabyddus am ei ymlyniad wrth egwyddorion gweriniaethol. Dymuniad y bobl oedd cael cario corph y Cadflaenor ar eu hysgwyddau; ond gan fod hyny yn groes i'r drefn orchymynedig, bu dadleu mawr rhwng y werin a'r swyddogion, a gorfu arnynt gydsynio â chais y bobl: ond ni fu dim colli gwaed y tro hwn. Ond dechreuodd ail ddadleuaeth, pan geisiodd y bobl ddwyn y corph hyd at bont Austerlitz, lle yr oeddynt wedi codi esgynlawr (*platform*) i'r diben o draddodi areithiau ar yr achlysur. Cynnygiodd y swyddogion ddal amryw o'r rhai ag oedd yn blaenori yn y terfysg, ond methasant; yna ymosododd y milwyr ar y lliaws â'u cleddyfau, a'u harfau tân. Nid oedd gan y bobl ddim arfau i amddiffyn eu hunain yn y dechreu ond cerig a phriddfeini, a'r cyffelyb; ond y'mhen ychydig cawsant gynnorthwy ereill, pan drechasant y milwyr gan eu curo yn ol, ond nid heb ladd amryw o bob ochr. Wedi hyn cymmerasant yr arfau oddiar rai o'r Gosgorddion Gwladol (*National Guards*) ac a ymosodasant ar yr Ariandŷ (*Bank*) a llwyddasant i'w gymmeryd; ond daeth ychwaneg o filwyr, ac adgymmerasant ef.

Yn y cyfamser yr oedd niferoedd o'r werinos wedi codi attal-gaeau ar hyd y Boulevardes a lleoedd ereill, ond daeth y milwyr â'u magnelau i'w hymlid ymaith: ond llwyddasant mewn lleoedd ereill yn y ddinas i'w cau eu hunain i fynu mewn amddiffynfëydd, ac oddeutu un-ar-ddeg o'r gloch y nos galwyd y milwyr ymaith, a pheidiodd y saethu. Mor fuan a thri o'r gloch bore ddydd Mercher, ymosod-

wyd ar y bobl yn eu hamddiffynfeydd gan y milwyr, a gyrwyd hwynt allan; ond parhausant i ymladd ar hyd y dydd gyda ffyrnigrwydd eithaf, hyd bump o'r gloch y prydnawn, pan ffoisant am ddïogelwch i Eglwys St. Mair, a'r tai cyfagos. Pan welsant fod pob gobaith o lwyddo wedi darfod, cynnygiasant i roddi eu hunain i fynu ar ammodau; ond gwrthodwyd hyn, a bygythiwyd hwynt, os na roddent eu hunain i fynu yn ddiammodau, cyn pen deng mynyd, y byddai yr eglwys a'r tai yn cael rhuthro arnynt yn ddiarbed. Ond yn gymmaint a'u bod yn dïystyru y bygythiad, ym mhen y deng mynyd, gosodwyd y magnelau i danio drachefn ar furiau amddiffynfëydd y gwrthryfelwyr, ym mha rai y gwnaethpwyd adwyau mawrion yn fuan. Trwy y rhai hyn rhuthrodd y milwyr arnynt, ac a wnaethant laddfa fawr yn eu plith.

Dydd Iau, Mehefin 7. Y mae tawelwch yn awr wedi ei adferu, ond nid heb dywallt llawer o waed. Ymddengys yn awr yn eglur fod y werinos wedi colli pob gobaith o lwyddo; ac nad allant yn fuan ail godi.

PORTUGAL.—Brawychwyd Don Miguel yn fawr yn ddiweddar, wrth ddyfodiad rhai o longau Lloegr i'r afon Tagus. Danfonodd lythyr i erfyn ar iddynt beidio cael eu defnyddio o blaid ei frawd a'i wrthwynebwr Don Pedro, eithr eu symud o'r golwg. Caniatâwyd ei erfyniad yn hyn, a danfonwyd gorchymyn ar iddynt gael eu hangori allan o geg yr afon. Yn y fan hòno y maent i aros, nes y gwelir pa fodd yr ymddyga yr Hispaen; ac os bydd un milwr o'r deyrnas hòno yn myned dros y terfynau i gynnorthwyo Don Miguel, dywedir y bydd i fagnelau llongau Lloegr gael eu gosod ar waith o blaid Don Pedro. Wrth hyn yr ydys yn barnu na fydd i'r Hispaeniaid ymyraeth yn yr ymrafael.

GWLAD GROEG.—Yr hanesion diweddaraf o'r wlad hon ydynt yn dra anghysurus. Y mae 'r holl wlad mewn cythrwfl, ac y mae yn gofyn cryfder mwy na chyffredin cyn y gellir ei thawelu. Y mae ansawdd y trefniadau a wnaethpwyd yn ddiweddar yn Llundain yn tueddu i hyny, os bydd i'r Tywysog Otho fyned yno yn ddioed, a chymmeryd mewn llaw lyw y llywodraeth, ynghyd â'r cynghorwyr a bennodwyd i'w gynnorthwyo; a disgwylir y bydd iddo fyned yno y'mhen ychydig ddyddiau.

YR AIPHT.—Dywed llythyr o Alexandria, dyddiedig Mai 3, fod buddugoliaeth drwyadl newydd ei hennill ar fyddin y Sultan. Nid oes yr un ammheuaeth bellach pa fodd y dibena y rhyfel hwn, yr hyn a fydd yn ddïau er mantais ac anrhydedd Mahomet Ali.

## NEWYDDION CARTREFOL.

### YR IWERDDON.

*Y Degwm.*—Gellir dywedyd fod yr holl wlad yn awr mewn cyflwr o wrthryfelgarwch; a bod y trigolion yn penderfynu gwrthsefyll y degwm. Hyn a darddodd oddiar esgeulusdra Gweinidogion y Brenin, a gau dosturi y Rhaglaw yn lleihâu cosp yr holl droseddwyr a gafwyd yn euog. Yn Cork, gwelir dros 20,000 o ddynion yn tramwyo yr heolydd, er mawr ddychryn y dinasyddion. Yn Carlow ymgynnullodd miloedd o adynod i wrthwynebu gwerthiad gwartheg a gymmerwyd yn lle degwm. Yr Offeiriaid Pabaidd sydd yn annog y werin anwybodus i droseddu cyfreithiau y wlad, ac i beri i'r holl Brotestaniaid fod mewn ofn am eu heinioes. Ond rhai o'r Newyddiaduron Gwyddelig a haerant nad yw gwrthwynebiad y terfysgwyr at y degwm ond esgus yn unig, nes y caffont orchymyn gan eu blaenoriaid i gyfodi mewn gwrthryfel. Gwr boneddig o Swydd Kildare, a ysgrifena fel hyn:—“Y Protestaniaid yn y Swydd hon a erlidir yn y fath fodd, fel nad all trigolion rhai parthau gael nac ŷd nac ymborth gan y gwerthwyr yn y farchnad. Ni feiddia y pobyddion werthu bara iddynt; a phe gwerthai y darllawydd lestraid o ddïod iddynt, ni oddefid i'r cludydd ei gario i'r Protestaniaid. Un o honynt, sef gwraig dlawd, wedi methu cael ymborth yn y farchnad agosaf at ei chartrefle, a aeth i farchnad Edenderry i brynu cloron a phethau ereill; eithr ar ei thaith adref goddiweddwyd hi gan nifer o'i chymmydogion gwrthryfelgar, y rhai a wasgarasant ei chloron ar hyd y ffordd, a gadawsant ei cheffyl a'i throl i fyned ymaith, ac a ladratasant arian a nwyddau oddi arni. Oni fydd i'r Rhaglaw anfon milwyr i'n hamddiffyn, ni bydd dichonadwy i ni gyfanneddu yma.”

## Y SENEDD.

### YSGRIF Y DIWYGIAD.

TY YR ARGLWYDDI.—Dydd Llun, Mehefin 4, *Iarll Grey* a gynnygiodd fod i'r Ysgrif hon gael ei darllen y drydedd waith.

*Iarll Harrowby* a haerai na chafodd eu Harglwyddiaethau ddim cyfleusdra teg i ystyried trefniadau yr Ysgrif hon; oblegid os meiddient ymddwyn yn groes i ewyllys Iarll Grey, gwyddent yn burion beth a wnai efe. Haerai nad oedd yr angen lleiaf am y peth a fygythiai efe; fod Gweinidogion ei Fawrhydi wedi meithrin plaid a sathrai y llywodraeth dan ei thraed. Bydd yn ammhossibl i neb lywodraethu y wlad ond y rhai a ymgrymant i'r cymdeithasau anghyfreithlon a sefydlwyd drwy barthau o'r deyrnas.

*Iarll Grey* a haerai fod yr Ysgrif hon yn angenrheidiol er diwygio yr annhrefn a ddaethai i mewn, ac er adferu i'r deiliaid eu hiawnderau. Amddi-

ffynodd ei ymddygiad fel Prif swyddog ei Fawrhydi, a datganodd ei obaith y cydunai pawb i adferu heddwch, llwyddiant, a thangnefedd yn y wlad.

*Arglwydd Wharncliffe* a ddatganai ei dyb fod Gweinidogion y Brenin wedi dwyn y wlad i gyflwr tra pheryglus. Haerai fod nifer mawr o wyr cyfrifol y deyrnas yn erbyn yr Ysgrif. Er ei holl wrthebiadau i'r Ysgrif, hyderai y dilynid hi gan lwyddiant parhaus, a gobeithiai y tarddai oddi wrthi yr holl les a ddisgwylid.—Ymranodd y Tŷ, a chafwyd

| | |
|---|---|
| O blaid yr Ysgrif ................ | 106 |
| Yn ei herbyn ...................... | 22 |
| Mwy o'i phlaid ............ | 84 |

Dydd Iau, Mehefin y 7fed, yr *Arglwydd Gangheliwr*, *Iarll Grey*, *Arglwyddi Holland* a *Durham*, ac *Ardalyddion Lansdowne* a *Wellesley*, a ddaethant i Dŷ yr Arglwyddi ychydig wedi pedwar o'r gloch, i'r diben o ddatgan cydsyniad ei Fawrhydi â'r Ysgrif er Diwygio y Senedd. Wedi hyny gwysiwyd Aelodau Tŷ y Cyffredin, ond nid oedd rhagor na 40 yn wyddfodol.

Yr *Arglwydd Gangheliwr*—"Fy Arglwyddi a Boneddigion, gan nad yw yn rhyngu bodd i'w Fawrhydi ddyfod yma i ddatgan ei gydsyniad âg Ysgrif y Diwygiad Seneddol, ei Fawrhydi a archodd i ni ddatgan a chyhoeddi ei gydsyniad â'r unrhyw."

Nid oedd rhagor na 16 o Arglwyddi yn wyddfodol y pryd hyn.

---

## DYLED Y DEYRNAS.

Pe rhoddid dyn ar waith i gyfrif y ddyled wladol, a chaniatâu iddo gyfrif 100 nryll bob mynyd am ddeuddeng awr o'r dydd, cymmerai 30 mlynedd i'w chyfrif yn benaduran—600 mlynedd i'w chyfrif yn sylltau—a 14,410 mlynedd i'w chyfrif yn *gopper*. Pe gosodid y sylltau yn rhes, cyrhaeddent ddeng waith o amgylch y ddaear, neu unwaith at y lleuad (240,000 o filltiroedd.) Ei phwysau yn aur sydd yn 5625 o dunelli—yn arian, 89,000—ac yn *gopper*, 21,400,000. Byddai raid cael 100 o ysgraffau, a phob un o honynt yn 56 o dunelli, i'w chario yn aur—1600, i'w chario yn arian—a 382,000, i'w chario yn *gopper*;—a phe gosodid y rhai hyn o flaenau eu gilydd, cyrhaeddent 5000 o filltiroedd. I'w chario yn *gopper*, byddai raid cael mwy na 21,000,000 o drollau, pob un yn dunell—i'w chario yn arian, agos i 90,000 o drollau—ac i'w chario yn aur, 5625 o drollau.

---

## SARHAD I'W FAWRHYDI.

Drwg genym orfod dywedyd fod ymosodiad tra annynol a gwaradwyddus wedi cael ei wneuthur ar berson ei Fawrhydi yn ddiweddar ar redegfa *Ascot Heath*. Ychydig cyn cyfrwyo y ceffylau i redeg, pan oedd y Brenin yn edrych allan trwy ffenestr yr orsaf, taflwyd dwy gareg o ganol y dyrfa ato, a tharawyd ef yn lled drwm ar ei dalcen âg un o honynt. Ymddangosodd ei Fawrhydi yn union drachefn yn y ffenestr, a derbyniwyd ef â llefau uchel o lawenydd.

Daliwyd y troseddwr yn fuan gan y rhai oedd yn agos ato, a dygwyd ef i mewn i ystafell yn yr orsaf. Ei ymddangosiad oedd debyg i gardotyn cyffredin, a choes bren ganddo. Addefodd nad oedd cyssylltiad rhyngddo â neb—ei fod ryw dro yn ol wedi anfon cais-ysgrif at ei Fawrhydi o barth rhyw gamwri dychymmygol a dderbyniasai—fod ei Fawrhydi wedi gwrthod cymmeryd sylw yn y byd o hono; ac, oblegid hyny, ei fod yntau wedi penderfynu ymddial arno, ac wedi rhoddi tair careg yn ei logell at y cyfleusdra cyntaf.

Y mae yr adyn mewn carchar yn awr, yn disgwyl y gosp y mae ei drosedd yn ei haeddu.

Ymddygiad y Brenin oedd dra chanmoladwy, ac nid all y derbyniad a gafodd gan y dyrfa ar ol y sarhad gwaradwyddus a gawsai lai nag argyhoeddi ei Fawrhydi y bydd i'w ddeiliaid ffyddlon y'mhob rhan o'i lywodraeth deimlo y triniad ammharchus hwn fel pe buasai wedi ei wneuthur iddynt hwy eu hunain.

---

*Ymosodiad gwaradwyddus ar y Dug Wellington.*—Ar ddydd Llun, Mehefin 18, cylchwyl ymladdfa Waterloo, fel ag yr oedd y Dug Wellington yn myned i ddinas Llundain, dilynwyd ef gan dorf o ddyhirod, gan ei hwtio, a'i luchio â baw, a phethau bryntion ereill; ac oni buasai i'r ceisbyliaid, a'r boneddigion sydd yn byw yn nghymmydogaeth *Lincoln's Inn*, eu hattal, diau y derbyniasai niwed mawr. Y mae hyn wedi tynu sylw arianwyr, marsiandwyr, a'r holl ddinasyddion mwyaf parchus, y rhai sydd yn brysur yn arwydd-nodi Cyfarchiad i'r Dug, yn datgan eu gofid am y driniaeth a gafodd.

---

## BIRMINGHAM.

Dyfyniad o lythyr oddiwrth wr boneddig o'r dref uchod. "Rhai dynion gwybodus a deallgar a'm hysbysasant fod y colledion mewn ardrethi, a gwaith, a thrwy feddwdod, am y chwech wythnos diweddaf yn y dref hon uwchlaw £30,000 yn yr wythnos. Ni welais erioed y fath derfysg. Holl aelodau y Cymdeithasau (*Political Unions*) a wisgant ysnodenau gleision yn eu gwasgodau. Yn yr hwyr yr heolydd ydynt yn llawn o lafurwyr yn cyrchu at yr amrywiol leoedd yr ymgynnullant eu cyfeillion."

*Ymddiddan rhwng Masnachydd yn Birmingham âg un o'i Weithwyr, yr hwn a fu gynt yn ddyn sobr a diwyd, ond yn awr yn meddwi, ac yn colli ei Waith er mwyn bod yn wyddfodol yn Nghyfarfodydd yr* Unions.

*Masnachydd.* Wel, Peter; yr ydych yn edrych yn anhapus heddyw: beth yw yr achos?

*Peter.* Achos, yn wir! digon o achos i wneud neb a fynoch yn anhapus, gan ein bod ni y tlodion yn cael ein gorthrymu gymmaint.

*M.* Pwy sydd yn eich gorthrymu chwi, Peter? Yr ydych yn cael yr un cyflog am eich llafur ag oeddych yn ei gael am lawer o flynyddoedd; ac, heblaw hyny, yr ydych yn cael faint a fynoch o waith. Yr ydych y pryd hwn yn ennill rhwng dwy bunt a thair yn yr wythnos; a thybygaf fi nad oes dim achos i chwi fod yn annedwydd.

*P.* Y mae hyny yn bur wir: ond ystyriwch fel y'n gorthrymir gan y gwyr mawr melldigedig.

*M.* Gwyddoch o'r goreu, Peter, nad wyf fi yn foddlawn i neb o'm gweithwyr ddefnyddio y fath iaith; ac nid ydych chwi yn arfer bod mor danbaid: attolwg beth a feddyliwch wrth y gwyr mawr melldigedig?

*P.* Wel, nis gwn yn iawn; ond diau y gallai Attwood fynegi i chwi—meddwl yr ydwyf fi mai y cyfoethog ag sydd yn cadw y prisiau i fynu: a dyna hefyd y Dug gwaedlyd. Dymunwn wybod pwy a all oddef yr holl bethau hyn?

*M.* Iaith anweddus etto, Peter. Yr ydych wedi myned yn waeth o lawer yn ddiweddar, ac y mae yn ddrwg genyf oblegid hyny. Attolwg, pa beth a wnaeth y Dug i chwi, i'ch cymmell i siarad mor arw am dano?

*P.* Beth a wnaeth! Pa fodd yr ymddygodd tu ag at y milwyr yn yr Hispaen? Oni wnaeth efe iddynt ymladd, ac oni chrogodd efe un neu ddau am ddim ond am iddynt feddwi; ac oni chafodd efe fwy o wobr nag a gawsant hwy?

*M.* Do, Peter; meddwasant, a thorasant i dai yr Hispaenwyr—y dynion o blaid y rhai yr oeddynt yn ymladd: ac heblaw hyn, rhybuddiwyd hwynt yn fynych, a hysbyswyd iddynt, os troseddent drachefn, y gwneid siampl o honynt, er mwyn rhwystro ereill, ac er mwyn cadw disgyblaeth ym mhlith y milwyr. Gofynaf i chwi, Peter, pa fodd y gallai Cadfridawg lywio byddin, pe goddefid i'r milwyr feddwi ac esgeuluso eu dyledswydd? Byddai yr un

tath a phobl y dref hon yn ymdrechu i lywodraethu Gweinidogion y Brenin.

*P*. Efallai y byddai felly. Ond onid yw y trethi yn ein gwasgu i'r llawr?

*M*. Ni wybum i erioed, Peter, eich bod chwi yn talu trethi.

*P*. Ydwyf; onid wyf fi yn talu tri swllt o rent yn yr wythnos?

*M*. Ond ni ddymunech fyw mewn tŷ sydd yn perthyn i ryw un arall, yr hwn a dreuliodd lawer o arian wrth ei adeiladu, heb dalu rhent am dano?

*P*. Paham y dylai y tlodion dalu rhent? Treth yw hyny, meistr; ac nid ydym ni yn bwriadu talu rhent mwyach: pe gwyddech chwi y cwbl a amcanwn ni, y tlodion, ei wneuthur ar ol i'r *Reform Bill* ddyfod yn gyfraith, synech fwy o lawer nag yr ydych yn awr. Nid yw y *Reform Bill* ddim ond sylfaen y castell.

Yna terfynodd yr ymddiddan. Ond gellir gofyn pa fodd y gellir cael rhenti, pan goledda y tlodion y cyfryw dybiadau. Diau fod y rhan fwyaf o weithwyr y dref hon, a threfydd ereill, yn disgwyl y byddont oll yn foneddigion wedi i'r Senedd gael ei diwygio.

## Y PLA AR FWRDD Y LLONG BRUTUS.

Ar y 18fed dydd o Fai cychwynodd y llong Brutus o Lynlleifiad ar ei mor-daith tua Quebec. Yr oedd ynddi 330 o deithwyr, y rhai oeddynt yn mudo i Canada. Yr oedd y morwyr yn ddyfal ac yn ufudd, a'r goruchwyliwr yn wr hynaws a dealigar. Yr oedd yno Feddyg ac Offeiriad ar fwrdd y llong, a phob peth yn addaw mordaith gysurus. Yr oedd yr hin yn dawel ac yn hyfryd, a threuliwyd yr wythnos gyntaf yn siriol. Ar y 25ain o Fai yr oedd afiechyd yn y llong. Ar ddydd Sul, y 27ain, darllenwyd Gwasanaeth yr Eglwys y'ngwydd yr holl ymdeithwyr, a phregethodd yr Offeiriad oddiar y geiriau hyn: "Yr awr hon y mae yn aros ffydd, gobaith, cariad." Boreu dranoeth yr haul a gyfododd yn ddigymmylog; ond cyn ei fachludiad, angeu a ddechreuasai ar ei orchwyl. Dyn ym moreuddydd ei fywyd a'i iechyd a gymmerwyd yn afiach yn ddisymmwth: a buan yr ymddangosodd arwyddion y *Cholera Morbus*. Y meddyg a weinyddodd y cyfferi addas, a'r dyn a adferwyd i'w iechyd. Yn fuan wedi hyn cipiwyd gwraig ymaith gan y pla; dilynwyd hi gan blentyn bychan. Y clwyf a ledaenodd drwy y llong, a chyn y Sabboth canlynol yr oedd 13 o gyrph wedi cael eu bwrw i'r dyfnder. Dydd Llun nifer y lladdedigion a gynnyddodd yn arswydus: a phan welodd Goruchwyliwr y llong fod ei gynnorthwydd, a rhai o'r morwyr, wedi trengu, tybiodd fod yn bryd iddo edrych am ymgeledd, ac ymdrechodd fordwyo tua Cork; ond gan fod hyn yn anmhossibl, dychwelodd tua Llynlleifiad, a chyrhaeddodd yno ar y 13eg o Fehefin. Nifer y trengedigion oedd 79, a threngodd dau ar ol eu dyfodiad i'r porthladd. Cyn gynted ag y clywodd Swyddogion y dref am gyflwr anghysurus y teithwyr ar fwrdd y llong, hwy a anfonasant ymgeledd cymmwys iddynt: symudwyd hwynt i long arall, lle y maent yn awr yn aros.

## LLOFRUDDIAETH ERCHYLL.

Yn *Leicester* yn nechreu y mis diweddaf cyflawnwyd un o'r llofruddiaethau erchyllaf a glywyd sôn am dano erioed yn y wlad hon. Enw y llofrudd yw James Cook, llyfr-rwymwr yn y ddinas uchod, ac enw y llofruddiedig oedd Mr. Paas, masnachydd o Lundain. Ymddengys fod Cook wedi derbyn nwyddau gan Mr. Paas, yr hwn a alwodd gyda Cook i ymofyn tâl. Aethai Mr. Paas i fasnachdy Cook yn y boreu, yr hwn a ofynodd iddo alw yn y prydnawn. Pan ddaeth Mr. Paas yno eilwaith, Cook a archodd i'w was fyned allan; wedi hyny aethant i ymddiddan ynghylch y cyfrifon. Yr oedd Cook yn gwybod fod Mr. Paas yn arferol o ddwyn swm o arian gyd âg ef; a thybir nad oedd yr esgus a wnaethai yn y boreu rhag talu ond dyfais i ddenu y gwr boneddig anffodus i'w weithdy yn yr hwyr. Pa fodd bynag Cook a'i lladdodd âg erfyn a ddefnyddir gan rwymwyr llyfrau. Llifiodd y corph ychydig uwchlaw y lwynau, torodd y gweddill yn ddarnau, a llosgodd hwynt yn y tân. Tynwyd sylw y trigolion at weithdy Cook wrth ganfod goleuni mawr ynddo, megys pe buasai ar dan. Rhuthrasant i mewn, ac ar y tân gwelsant ddernyn mawr o gig arno. Nid oedd Cook yno y pryd hyny, eithr anfonwyd am dano, ac efe a ddywedodd mai dernyn o geffyl ydoedd a brynasai efe i'w gi. Anghredwyd ei haeriadau, a chymmerwyd ef i fynu: ond ar ddymuniad ei dad goddefwyd iddo fyned i'w dŷ ei hun. Erbyn boreu dranoeth yr oedd Cook wedi diangc. Dilynwyd ef i Lynlleifiad, a phan oedd ar fedr myned ar fwrdd llong i fordwyo i'r America, lle y diangc pob math o ddynion drwg, cymmerwyd ef yn garcharor gan un o Swyddogion Heddwch y dref. Dygwyd ef ger bron Pilf Ynad y dref, a bwriwyd ef i garchar y noson hòno, a thranoeth cludwyd ef ar y cerbyd i Leicester, lle y cyrhaeddodd yn y prydnawn. Yr oedd ei ymddygiad ar y ffordd yn dra anweddus. Wedi ei ddyfodiad i Leicester, holwyd ef gan Mr. Burridge, a chyfaddefodd iddo losgi y corph cyfan. Caiff ei brofi yn y Sesiwn nesaf am lofruddio Mr. Paas. Nid oes hanes ond am ddau adyn a fuont yn euog o'r unrhyw drosedd a Cook, sef llosgi y corph er mwyn celu y llofruddiaeth. Un a ddigwyddodd 70 mlynedd yn ol, a'r llall ychydig o flynyddoedd yn ol yn yr Iwerddon.

*Tymhestl aruthr.*—Ar y 12fed o Fehefin digwyddodd tymhestl arswydus yn Llynlleifiad. Yr oedd taranau uchel, a mellt, ynghyd â gwlaw a chenllysg yn parhau trwy y dydd. Tarawodd mellten un o'r masnachdai yn y dref, a genethig ag oedd yn edrych trwy ffenestr a darawyd yn ddall, ac archollwyd hi mor dost fel nad oes ond gobaith gwan am ei hadferiad i'w hiechyd.

Yn Walton hefyd digwyddodd anffawd angeuol ar yr un dydd. Rhai o weinidogion Mrs. Leyland, o Wilton Hall, oeddynt yn lladd mieri mewn cae pan ddechreuodd y dymhestl, a dau o honynt a aethant i ymgysgodi dan bren, gan gymmeryd eu pladuriau gyda hwynt. Tra y safent yno, un o honynt a darawyd yn farw yn y fan gan fellten, a chafodd y llall ei archolli mor dost fel nad oes gobaith am ei fywyd. Ni ellir crybwyll yn rhy fynych am y mawr berygl o fyned dan goedydd i ochel rhag tymhestloedd, yn enwedig os byddant yn uchel, gan mai hon yw y sefyllfa fwyaf beryglus a all fod.

Ar yr un dydd, bu tymhestl fawr yn Nghaerlleon. Nid yw y trigolion hynaf yn cofio am dymhestl mor aruthr oddieithr yr un a ddigwyddodd ar y 18fed o Fehefin, 1826. Yr oedd hi yn taranu ac yn melltenu yn ddychrynllyd, y gwlawogydd yn ymdywallt yn ddibaid, a'r dyfroedd mor ddwfn yn yr heolydd fel y gallai cwch nofio yn hawdd ar hyd-ddynt. Oddeutu hanner dydd yr oedd yr holl adeiladau yn y ddinas yn ymsiglo, ac ofnid ar y cyntaf fod yr elfen felltenawg wedi taraw clochdy Eglwys St. Ioan; ond dinystriwyd rhan o simnai a thô Ysgoldy Ardalydd Westminster: nid oedd un o'r plant yn y lle, onidê ni wyddis faint a fuasai y galanastra.

*Llosgi Tŷ yn wirfoddol.*—Gwr o'r enw Mr. Smithiers, ag sydd yn cadw llettyfa yn Heol Rhydychain, yn Llundain, a osododd ei dŷ ar dân ar y nos Sul diweddaf yn Mai, i'r diben o dwyllo yr *Insurance Society*. Yr oedd amryw o letywyr yn eu gwelyau pan roddwyd rhybydd iddynt fod y fflamau yn amgylchynu eu gorweddle: rhai o honynt yn eu braw a ddiangasant drwy y fflamau, ereill a ddringasant ar nen y tai cyfagos, ac un neu ddau a syrthiasant i'r tân. Llawer o'r rhai cyntaf a drengasant o'r briwiau a dderbyniasent ar y noswaith hòno. Tybiwyd ar y cyntaf mai trwy ddamwain y dechreuodd y tân; ond ar yr ymholiad ar y

cyrph meirw, cafwyd digon o dystiolaeth i ddangos mai gwr y tŷ a osododd y lle ar dân. Cafodd yntau ei losgi yn erchyll, a bu yn gorwedd yn un o'r yspyttai: ond y mae yn awr yn ddiogel mewn carchar, lle yr erys tan y Sessiwn.

---

*Damwain alaethus.*—Dydd Llun, y 18fed o Fehefin, bu farw Mr. Thomas Bicknell, o'r *Penrhyn Arms*, gerllaw Bangor, yr hyn a ddigwyddodd o herwydd anffawd a gyfarfu âg ef yn y modd canlynol y dydd Sadwrn o'r blaen. Yr oedd Mr. Bicknell wedi bod yn afiach am euyd o amser, ac yn dechreu ymadferu i'w iechyd cyssefin. Dydd Sadwrn, yr 16ed, aeth Mr. Bicknell allan gyda Mrs. B. mewn cerbyd, a thra yr oeddynt yn myned yn arafaidd tu a'r *Bulkeley Arms*, daeth yr echel-bin allan, a syrthiodd yr olwyn ymaith. Yr oedd Mr. Bicknell y pryd hyn yn gogwyddo ar yr ochr hòno i'r cerbyd. Tafiwyd ef allan o'r cerbyd—yr oedd ei ben, a rhan uchaf ei gorph, rhwng y mur a'r cerbyd, ac yn y cyfiwr hwnw llusgwyd ef am ychydig o ffordd. Cludwyd ef yn ebrwydd i'r *Bulkeley Arms*, a daeth meddyg ato cyn gynted ag oedd modd. Rhwymwyd ei ddoluriau, a dygwyd ef adref i'w dŷ ei hun. Yr oedd ei ben yn llawn o archollion, a'i glust ddehau wedi ei thori ymaith; ac nid oedd y gobaith lleiaf iddo gael ei fywyd. Bu fyw am ddeuddydd, pan y rhoddodd angeu derfyn ar ei boenau. Yr oedd Mr. Bicknell yn wr tra pharchus yn ei gymmydogaeth; gadawodd wraig a phedwar o blant i alaru ar ei ol.

---

*Gwaredigaeth Ragluniaethol.*—Bore dydd Mercher, yr 20fed o Fehefin, fel yr oedd John Davies, Ysw. Fronheulog, Mr. Smith, o Sir Forganwg, a'r Parch. John Elias, yn dyfod o'r Fronheulog mewn cerbydan i Gymmanfa Flynyddol y Methodistiaid Calfinaidd yn y Bala, buont mewn enbydrwydd am eu heinioes trwy i freichiau y cerbydan dori ar y goriwaered oddeutu dwy filltir a hanner i'r dref. Diangodd Mr. Smith yn ddianaf trwy iddo allu neidio allan, ac ni chafodd Mr. Davies fawr o niweid; ond drwg genym ddywedyd i Mr. Elias gael ei archolli yn drwm ar ei ben, trwy i'r cerbydan gael ei lusgo am encyd cyn i'r march ddyfod yn rhydd. Ac wrth i wr dieithr ar geffyl geisio ei atal, rhedodd y march yn ei erbyn, ac aeth darn o'r breichiau ag oedd y'nglŷn wrtho i ystlys y ceffyl, fel y trengodd ar y ffordd. Dygwyd Mr. Elias yn ol i Fronheulog, lle y mae yn gorwedd tan ei glwyfau; ond trwy ddaioni rhagluniaeth ni thorwyd un asgwrn iddo, ac yr ydys yn disgwyl y bydd iddo yn fuan hollol wellhau.

---

*Marwolaeth trwy Feddwdod.*—Ychydig ddyddiau yn ol bu farw gwr ieuaingc, yn 22 oed, yr hwn oedd Ysgrif-was (*Clerk*) yn un o'r Swyddfeydd masnachol mwyaf cyfrifol yn y brif-ddinas. Ymddengys iddo ddychwelyd i'w lety yn lled hwyr, ar ol bod yn treulio y prydnawn gyda chyfaill iddo, yn nhŷ yr hwn yr yfasai efe i ormodedd. Nacasai adael i neb ei gynnorthwyo i ddiosg ei ddillad oddiam dano; ac wedi ei adael yn unig, efe a dafiodd ei hun ar y gwely, heb ddiosg ei ddillad, na dattod y cadach oedd o amgylch ei wddf. Cafwyd ef boreu dranoeth yn gorph, a barnwyd iddo farw o achos tyndra ei gadach.

---

Un diwrnod ar ol ystorm ddychrynllyd yn Buckhold-wood, Lydart, Troy-park, a manau ereill, yn Sir Fynwy, canfuwyd fod y llawr a'r coed wedi eu gorchuddio â math o bryfed, tebyg i nadroedd. Yr oeddynt rhwng chwech a saith modfedd o hyd, oddeutu praffder rhawn ceffylau, yn wyn ac yn loyw. Y mae amrywiol bersonau yn y cymmydogaethau hyn wedi eu cadw megys rhyfeddod mawr.

---

Yn y cythrwfl diweddar yn ninas Paris, cyfrifir fod dim llai na 150 o argraffwyr rhwng y rhai a laddwyd ac a glwyfwyd.

*Gorchest Ryfeddol.*—Ychydig ddyddiau yn ol, gwr ieuangc o'r enw Thomas Rees, oddeutu 18 oed, un o'r gweithwyr yn Ngweithfeydd Haiarn Pen y Daran, Merthyr, a gododd oddiar y llawr dri darn o haiarn, i gyd yn pwyso 540 o bwysau: yr oedd dau o'r darnau yn pwyso 240 o bwysau bob un, a'r llall 60 pwys.

---

*Ffrwythlonedd ar Feibion.*—Yn Mhlwyf Cerig y Druidion y mae yn byw un Evan Evans, a'i wraig, ac iddynt naw o feibion olynol, ac yn fyw oll, heb fod yr un ferch yn eu mysg, o'u blaen nac o'u hol ychwaith.

---

Dywedir fod swm yr aur a'r arian a drosglwyddwyd yn ddiweddar o'r India Ddwyreiniol i'r wlad hon yn werth CAN MYRDDIWN O BUNNAU, y rhan fwyaf o hono yn arian. Yr achos o'r fath drosglwyddiad dirfawr a gyfrifir i brisiau isel eiddo, ac yn ganlynol i'r ennill sydd i'w gael wrth gyfnewid.

---

*Clwyf y Gynddaredd.*—Cynnaliwyd celain-ymholiad, ar y 13eg o'r Mis diweddaf (Mehefin) yn Yspytty Llundain, ar gorph un Edward Bontle, 46 oed, yr hwn a fu farw yno dan yr amgylchiadau canlynol:—James Riddell, brawd y'nghyfraith y trengedig, a dystiodd fod yn ei feddiant lwynog, yr hwn a fu yn ei gadwraeth oddeutu dwy flynedd —ei fod yn dra dof—a bod y trengedig, a'i blant, yn arfer chwareu gyd âg ef megys ci. Yn nechreu Mai diweddaf yr oedd y trengedig ar fedr ei werthu i wr boneddig; ond wrth iddo roddi ei law yn y cut, i'w dynu allan, brathwyd ef yn ei law yn dost gan y llwynog. Cynghorai y tyst hwn ef i gyrchu at feddyg; ond efe a nacaodd, a'r brathiad a iachaodd. Bu farw y llwynog yr un diwrnod ag y brathwyd y trengedig. Dydd Sul y 10fed o Fehefin, clafychodd y trengedig. Aeth y tyst hwn gyd âg ef mewn cerbyd i'r Yspytty: a thra yr oeddynt ar y ffordd, ymestynai allan o'r cerbyd yn fynych, gan waeddi, ei fod agos a mygu. Cwynai yn dost fod arno syched mawr, a'i fod mewn dirfawr boen.—Mr. Evans, un o law-feddygon yr Yspytty, a dystiodd, pan ddygwyd y trengedig at y drws, iddo nacàu dyfod i mewn, ac iddo redeg i'r ardd, ac ymbil am gael dyfod i mewn trwy y ffenestr; dygwyd ysgol at y ffenestr, ac yna fe aeth i mewn yn llonydd. Pan ddygid ato un math o wlybwr, effeithiai hyny arno yn dra arswydus. Nid allai lyncu dim, ac ni oddefai i neb ddynesu ato; a thranoeth efe a fu farw.—*Rheithfarn*, Marw o'r clwyf a elwir *Hydrophobia*.

---

Ychydig ddyddiau yn ol cafwyd breichiau plentyn ieuangc mewn amgylchiadau ag oedd yn peri drwg-dybio ei fod wedi cael ei lofruddio. Cafwyd un braich yn *Billingsgate Dock*, a'r llall wrth y *Three Cranes Wharf*, yn Llundain. Yn y dechreu tybiwyd fod yr aelodau hyn wedi cael eu defnyddio gan law-feddygon i'r diben o'u difynio (*anatomical purposes*): ond wedi hyny, pan gafwyd y coesau a'r morddwydydd yn y *London Docks*, barnwyd fod llofruddiaeth wedi cael ei gyflawni, a bod yr aelodau wedi cael eu darnio oddiwrth eu gilydd i'r diben o gelu y weithred ysgeler, ac i luddias iddi ddyfod i'r amlwg. Yr oedd y coesau a'r morddwydydd wedi eu hacio mewn modd tra anfedrus; ac wrth eu dangos i law-feddyg, efe a farnodd nad oeddynt wedi cael eu tori ymaith gan neb cyfarwydd yn y gelfyddyd o ddifyniaeth.

---

## BU FARW,

Yn ddisyfyd, ar y 24ain o Fai, Mrs. Jones, gwraig y Parch. J. Jones, A. M. Ebrwyad Treffynnon.

Mrs. Parry, gweddw y diweddar Barch. R. Parry, Vicer Eglwys Fach.

Yn Rhyl, yn ddisymmwth, ar y 15fed o Fehefin, Miss Roberts, chwaer y Parch. T. G. Roberts, A. M. Periglor Llanrwst.

# Y GWYLIEDYDD.

LLYFR IX.] AWST, 1832. [RHIF. 112.

## HANES BANGOR.

*(Parhad o du dal. 113.)*

MAE haneswyr yn rhoi ar ddeall i ni fod yn Mangor unwaith gastell lled helaeth yn sefyll o du y dwyrain i'r dref, ar ben y bryn ar gyfer yr ysgoldŷ. Eithr gan mor lleied o'i ôl sydd yn aros yn awr, nid yw yn hawdd penderfynu ei sefyllfa na'i faintioli. Dywed un hanesydd ei fod yn cymmeryd i fynu dua chwarter cyfar o dir; ac y mae haneswŷr ereill o enwogrwydd yn ei ddysgrifio yn fanylach, gan ddywedyd fod yr ochr dde-ddwyrain iddo yn mesur chwe ugain llath; yr ochr dde-orllewin driugain a chwech, yn cyrhaedd at y diphwys; a'r tu gogledd-ddwyrain yn ddeugain llath, ac yn terfynu yr un modd: ond y tu arall, yr oedd sefyllfa naturiol y lle yn hebgor muriau. Dywedir hefyd fod pridd-gloddiau a chnepellau creigiau yn cyssylltu y muriau gogledd-ddwyreiniol a'r rhai deheu-orllewinol. Mynegir ym mhellach mai Huw Lupus, *alias* Huw Fras, o Gaer Lleon, a adeiladai y castell hwn i'r dyben o ddwyn y'mlaen ei ddistryw yn erbyn y Cymry, dan Edward y Cwncwerwr, tua 'r fl. 1070. Nid yw hysbys pa hyd y safodd yr amddiffynfa hon; eithr tebygol ddarfod gadael iddi adfeilio yn raddol, pan nad oedd mwyach angen am dani. A chan nad oes weithian ond mor lleied o olion yr adeilad yn aros, mae lle i gasglu mai gwaith coed ydoedd gan mwyaf, fel amrywiol gastelli ereill y mae genym hanes am danynt, ac mor lleied olion o honynt; ac os dadleuir ddarfod cludo y cerig o'r castell hwn i adeiladu tai y dref, fel y byddai yr angen am danynt, beth a ddywedir am rai ereill nad oes dim tai wedi eu hadeiladu yn agos i'w sefyllfa?

Fe gafodd Eglwys Gadeiriol Bangor ei dinystrio amrywiol weithiau drwy gynddaredd gwrthwynebol bleidiau yn amser rhyfeloedd cartrefol. Yn y fl. 1071 dymchwelwyd hi gan y Normaniaid.[1] Ac yn y fl. 1210, pan wnaeth y brenin Ioan ymgyrch yn erbyn y Cymry yn amser y tywysôg Llywelyn ab Iorwerth, yr ydym yn darllen iddo groesi yr afon Gynwy yn mis Awst, ac anfon mintai o'i filwyr y'mlaen i losgi Bangor, yr hyn hefyd a wnaethant yn effeithiol, gan ddala Rhobert o'r Mwythwig (fel y'i gelwid, yr hwn oedd yn esgob yno y pryd hwnw) a'i gymmeryd oddi ger bron yr allor, a'i ddwyn yn garcharor i wersyll y Saeson; ac yno y bu ryw hyd mewn dalfa, hyd oni phwrcaswyd ei ryddid â dau cant o hebogiaid.[2] Bu yma ddinystr drachefn meddir[3] yn amser y breninoedd Harri y trydydd a'r pedwerydd; a mwy difrod fyth yn amser cynhyrfiadau Owain Glyndwr,[4] tu a'r fl. 1402. Ar ol y difrod hwn dywedir fod yr Eglwys Gadeiriol tua phedwar ugain mlynedd a deg yn adfeiledig, pan yr adgyweirid y gafell gan yr Esgob Dean (neu *Deny*) yr hwn pan bennodid ef i fyned i esgobawd Caer Sefer *(Salisbury)* a adawai ei fugeil-ffon a'i feitr, y rhai oeddynt dra gwerthfawr, i'w olynwr yn Mangor, ar yr ammod o fod iddo ymrwymo i ddwyn y'mlaen, a chwbl orphen yr adgyweiriadau a ddechreuasai efe.[5] Ond y mae yn ymddangos mai gwaith go serfyll a wnaed yma y pryd hwn, gan fod yn angenrheidiol ei adnewyddu mor gynted ag y'mhen tua deng mlynedd ar hugain ar ol hyny.[6] Canys yr ydym yn darllen ddarfod i gorph yr Eglwys a'i chlochdŷ gael eu hadeilio drachefn yn y fl. 1532, sef yn nheyrnasiad ein cydwladwr Harri VII. a phan ydoedd y Dr. Thomas Skeffington yn esgob yno, yr

[1] Evans's Description, p. 432. [2] Powel's Wales, 231. [3] Ibid 433. [4] Pennant's Tours, iii. 82, & 337. [5] Evans's Description, p. 433. [6] MS.

hwn a ddangosai ddirfawr awyddfryd yn yr achos, fel y dywedir fod ei fwriad ar dderchafu y clochdŷ can ucheled arall[1] ag ydyw, oni buasai i angeu attal ei amcan. Trosglwyddid ei goffadwriaeth drwy y cerfiad canlynol ar y tu gorllewinol i'r clochdŷ:—

"THOMAS SKIFFINGTON EPISCOPUS BANGORENSIS,
HOC CAMPANILE ET HANC ECCLESIAM FIERI FECIT,
ANNO PARTUS VIRGINIS MCCCCCXXXII."

Canmolir haelioni yr esgob hwn ym mhellach tu ag at y lle, drwy gyfleu yma dair o glychau, a darmerth un arall yn ei lythyr cymmun.

Mae traddodiad tra hydreigl am un o'r esgobion dilynol, sef y Dr. Arthur Bulkeley, ddarfod iddo, o fudr drachwant, drosi a maeliera llawer o diroedd yr esgobawd, a gwerthu pump o glychau yr Eglwys; ac iddo gael ei daraw â dallineb barnol am ei ymddygiadau;[2] ond y mae awduron[3] diweddarach, o barch i goffadwriaeth y Dr. ac i anrhydedd ei hiliogaeth, wedi arferyd cryn lafur i'w ddiheuraw o'r fath gyhuddiad, gan brofi anwirdeb y chwedl oddiwrth law-ysgrifiau eglurlawn o ysgrifelliad y Dr. ei hun hyd o fewn ychydig ddyddiau i'w farwolaeth, y'nghadw yn Mangor ar ei ol. Ac am y däoedd y cyhuddid ef o'u traws-feddiannu, efe a drefnodd eu hadferiad yn ei lythyr cymmun, gan adael hefyd foddion ychwanegiadol tu ag at adgyweiriad yr eglwys, a lleihad dyledion yr esgobaeth.

Ffenestri yr adeilad a gyfluniid ac a wydrid yn ol arferiad yr amseroedd, ac yn ol dyhewyd yr amrywiol ewyllyswyr da, y'mysg pa rai y côf-enwir y Dëon Kyffin, a theulu y Penrhyn.[4] Dywedir hefyd i'r Esgob Humphrey Llwyd, yr hwn a lenwai y gadair yn y fl. 1673, anrhegu y lle â chyfan-rif o glychau newyddion.[5]

Mae yr Eglwys Gadeiriol hon yn sefyll ynghanol y dref, yn cael ei hamgylchu gan fonwent led helaeth, ac ynddi amryw goed yn tyfu, yn cysgodi rhodfëydd prydferth. Yr adeilad sydd yn sefyll yn bresennol yw yr un a wnaed yn amser yr Esgob Skeffington, fel y crybwyllwyd yn flaenorol. Hyd yr Eglwys o ddwyrain i orllewin yw 214 troedfedd. Hyd y croes adenydd o ogledd i dde 96 tr. Lled corph yr adeilad, 60 tr. Uchder o'r llawr i'r grib, 34 tr. Uchder y clochdŷ, 60 tr.[1] Bu amryw adgyweiriadau ar yr adeilad o dro i dro wedi yr amser uchod: yn amser y diweddar Esgob Majendie gwnaethpwyd gwelliadau nid bychain; a neillduwyd gwahanol ranau o'r Eglwys i gynnal dau wasanaeth, un yn Gymraeg a'r llall yn Saesoneg. Dywedir mai yn amser yr Esgob Skeffington yr adeiledid yr Esgobty presennol; eithr ddarfod ei adgyweirio a'i helaethu yn ddirfawr gan yr Esgob Warren, tu a'r fl. 1790.[2]

Mae traddodiad fod gynt, yn agos i borth y fynwent, adeilad yn sefyll, yr hon a ystyrid megys math o garchardŷ esgobawl. Eithr hwn, wedi y Diwygiad, a ollyngwyd i adfeilio; ac nid oes yn bresennol ddim olion o hono.[3]

Claddwyd yn yr Eglwys yma o bryd i bryd amryw enwogion hygof. O du aswy yr allor, dywedir gladdu y dewr-ddoeth dywysog Gruffydd ab Cynan, yr hwn a fu farw yn y fl. 1137,[4] sef y drydedd o deyrnasiad y brenin Stephan, yn y 82ain o'i oedran, a'r 57ain o'i deyrnasiad ar Wynedd. Ei fab hefyd, Owain Gwynedd, a gleddid yn nhalcen asgell ddeheuol yr Eglwys;[5] a chlywais fod côf-arwydd o hono yn weledig hyd heddyw, neu hyd yn ddiweddar sut bynag. Hwn ydoedd Dywysog mawrfri, ac a wladychasai 32 ml. gan farw yn 1169. Mynegir gladdu yma Gadwaladr, mab arall i Gruffydd ab Cynan; ond nis gwyddys y fan. Mae claddfa yr enwog Rhisiard Kyffin yn hysbys yma, dan yr enw *Bedd y Dëon du* (o herwydd tywyllni ei wynebpryd mae yn debyg). Hwn ydoedd Ddëon llafurus yn yr eglwys hon[6] yn amser Rhisiard III. a Harri VII. ac a fu farw ar y 13eg o Awst, 1502. Y dywededig Esgob Skeffington ydoedd hefyd yn Abad Beaulieu yn Swydd Southampton, ac yn ei lythyr cymmun dymunai i'w gorph gael ei gladdu yn y lle hwnw, ond bod i'w galon gael ei dodi mewn twll yn y mur,

---

[1] Pennant, 82, Willis, 21. [2] Godwinus De Presulibus. [3] Willis, p. 102. [4] Pennant, iii. 82. [5] MS. Ond Catheral yn ei hanes o Wynedd a briodola hyn i'r Esgob Rowlands.

[1] Essays on Gothic Architecture, p. 138. [2] Pennant's Tour, p. 80, (note). [3] Ex Archivis Ecclesiæ Cathedralis Bangoriensis. [4] Sebright, MSS. [5] Pennant, iii, p. 82. [6] Ibid.

gerllaw delw Ddeiniol yn Eglwys Bangor; ac felly y gwnaed.[1]

Ar y mur gogleddol gosodid i fynu ddwy gerf-ddelw er coffadwriaeth am yr Esgobion enwog Vaughan a Rowlands; ond y terfysgwyr yn amser gwrthryfel Cromwel a dorasant ymaith benau[2] y ddwy; eithr safodd y gweddillion o honynt yno hyd y fl. 1810, pan y'u symudwyd ymaith.—Yr Esgob Vaughan a enid yn Nyffryn yn Llëyn, ac a etholid i esgobaeth Bangor yn 1595; symudwyd i esgobaeth Caerlleon yn 1597, ac oddiyno i esgobaeth Llundain yn 1604; yr hyn a ddengys ei fawr gymmeriad gyd â'r brenin Iago I. yr hwn a arferai ei alw yn "brydferthwch sancteiddrwydd" gan mor brydweddol ei ddynsawd. Bu yn Llundain hyd y fl. 1607, ac yno y'i claddid. Yr Esgob Rowlands a fu farw yn Mangor yn 1616, lle hefyd y claddid ef. Yr Esgob Wiliam Roberts yr un modd a gleddid yn Nghangell Fangor, am yr hwn y dywedir iddo adael can punt tu ag at adgyweirio y lle; a'r arian a ddefnyddid i brynu organ newydd yno. Yr Esgob Humphrey Llwyd a gleddid yn medd yr Esgob Rowlands, yn 1689.[3] Yma hefyd y claddid yr enwog Esgob Lewis Bayley, awdwr y llyfr nodedig a elwir "Ymarfer Duwioldeb;" efe a fu farw yn 1631, a'i orweddfa sydd o du deheuol yr allor, yn medd yr Esgob Meiric.[4]

Y dywededig Esgob, Henry Rowland, yn ei lythyr cymmun, a amserid y dydd cyntaf o Orphenaf, 1616, a adawai diroedd tu ag at adeiladu a chynnal yma elusendŷ i chwech o hen bobl dlodion, pob un i gael dau swllt yn yr wythnos tu ag at eu lluniaeth, a chwe llath o frethyn i'w dilladu unwaith bob blwyddyn. Y Prelad hwn a sefydlai ysgol rad yn Motwnog[5] yn Llëyn, capelfa yn perthyn i Foillteyrn, ei blwyf genedigol ef. Sefydlai hefyd ddwy frawdoriaeth yn Ysgoldŷ yr Iesu, yn Rhydychen. Ac aeth i gryn draul i adgyweirio cronglwyd yr Eglwys Gadeiriol yn Mangor, a darparu yno bedair neu bump o glychau newyddion, fel y crybwyllwyd eisoes, y rhai, wrth gydmaru yr hanesion, a ymddengys gael o honynt eu hail-fwrw yn amser yr Esgob Humphrey Llwyd, yr hwn meddir a chwanegodd un gloch fwy na'r lleill.[1]

O du deheuol y gangell y mae côf-arwydd muriawl am yr Esgob Robert Morgan, yr hwn ydoedd brïodor o Swydd Dref Faldwyn, ac a etholid i'r Esgobaeth hon yn y fl. 1666, ac a fu farw yn 1673, yn 66 oed.

Bernir gladdu yr Esgob Edward Gruffydd yn gyfagos i fedd yr Esgob H. Rowland; a cherllaw hyny y mae gorweddfa yr Esgob Nicholas Robinson, prïodor o Gynwy, a fu farw yn 1585.[2]

*(I'w barhau.)*

[1] Pennant, iii, p. 81. [2] Ibid, p. 83. [3] Catheral's N. Wales, p. 136. [4] P. B. Williams's Guide, p. viii. [5] Cathral's N. Wales, p. 136.

[1] P. B. Williams's Guide, p. ix. [2] Ibid.

---

## PREGETH AR IOAN iii. 5.

"Oddi eithr geni dyn o ddwfr ac o'r Yspryd, ni ddichon efe fyned i mewn i deyrnas Dduw."

Nid oes un athrawiaeth wedi ei datguddio i ni yn yr efengyl yn fwy teilwng o'n hystyriaeth nag athrawiaeth yr adenedigaeth, yr hon y mae ein Hiachawdwr bendigedig yn sôn am dani yn y testun, ac o'r hon y mae yn rhaid i ni fod yn gyfranogion cyn cael derbyniad i deyrnas Dduw. Dywed rhai nad oes ar ddyn eisieu unrhyw gyfnewidiad, ac mai ffolineb a phenboethni yw haeru y fath beth; tra y mae eraill yn cwbl gredu yr athrawiaeth, ac yn ei chamddefnyddio, trwy gasglu oddi wrthi achos o ddigalonrwydd ac anobaith, yn lle cysur ac annogaeth. Y mae rhai yn druenus am eu bod mewn gwan obaith am gymmorth yr Yspryd Glân, tra y mae ereill yn rhyfygu am dano heb iawn sail, ac yn canfod dim gwahaniaeth rhwng eu gwag hyder eu hunain, a sicrwydd addewidion Duw. Nid anfuddiol, gan hyny, fyddai gosod ger eich bron ychydig ystyriaethau ar bwngc mor bwysig a dirgeledig. Oddiwrth ymddiddan ein Harglwydd â Nicodemus, gallwn weled, nid yn unig yr angenrheidrwydd o adenedigaeth ysprydol, ond hefyd pa fath yw effaith yr Yspryd ar galonau dynion. Nid cynt y cyfaddefodd Nicodemus, o herwydd gweled y gwyrthiau a wnaethai yr Iesu, mai Dysgawdwr ydoedd, wedi dyfod oddiwrth Dduw, nag y dechreuodd ein Harglwydd ei ddysgu ef yn nirgeled-

igaethau yr efengyl, ac yn natur ei deyrnas ef, gan ddywedyd wrtho fel hyn:—"Oddi eithr geni dyn drachefn, ni ddichon efe weled teyrnas nefoedd." Nicodemus a atebodd, "Pa fodd y dichon dyn ei eni, ac efe yn hen?" "Iesu a atebodd ac a ddywedodd, Yn wir, yn wir, meddaf i ti, Oddi eithr geni dyn o ddwfr ac o'r Yspryd, ni ddichon efe fyned i mewn i deyrnas Dduw."

Oddiwrth y geiriau hyn, cymmeraf achlysur i sylwi ar ddau beth:—

I. *Angenrheidrwydd* a *natur* y cyfnewidiad a ddarlunir yma gan ein Harglwydd dan gysgod yr enedigaeth newydd.

II. Yr *amser* y mae'r cyfnewidiad hwnw *yn dechreu.*

Y mae ein Harglwydd, yn yr adnod ar ol y testun, yn dangos yr achos paham y mae 'n rhaid ein geni drachefn: "canys," medd efe, "yr hyn a aned o'r cnawd sydd gnawd." Cymmaint yw llygredigaeth y natur ddynol, fel nad allwn fod yn ddeiliaid cymmwys o deyrnas Dduw heb ein hadgenhedlu o ddwfr ac o'r Yspryd Glân. Pechod Adda, ein cynnrychiolwr, a barodd hyn. Pan ddarfu i'r Hollalluog greu dyn ar y cyntaf, efe a'u creodd ef yn fôd perffaith, o ran ei gorph a'i enaid. Ewyllys Duw oedd ei ewyllys ef. Yr oedd ei ddibenion yn bur, ei serchiadau yn nefolaidd, ei fywyd yn sanctaidd, a'i holl weithredoedd yn rhyngu bodd ei Greawdwr. Ond pan syrthiodd trwy anufudd-dod, mawr ac annhraethol fu'r canlyniadau, nid yn unig i Adda ac Efa, ond i'w holl hiliogaeth; i ni, fy mrodyr, a'n plant, o ddechreu hyd ddiwedd amser. Yr oeddym ni gynt yn ysprydol, ond yn awr cnawdol ydym. Yn y cyflwr truenus hwn y mae pob un o honom yn dyfod i'r byd. Yr y'm ni oll wrth natur yn estroniaid i Dduw, yn ddaearol, anianol, a chythreulig. Ar bethau daearol y rhoddasom ein serch: daearol yw ein chwantau, ein dymuniadau, ein gofalon, ein gobaith, ein hofnau, a'n hymdrechiadau. Y byd a'i bethau, ei gyfoeth, ei anrhydedd, ei bleserau, a'i amrywiol faglau, sydd yn llywodraethu arnom, ac yn ein rhwystro yn wastad rhag rhedeg yr yrfa ysprydol a osodwyd o'n blaen. Nid yw dynion, yn eu cyflwr naturiol, byth yn meddwl am Dduw, oddi eithr i duchan yn ei erbyn, neu i gablu ei Enw sanctaidd. Ac fel y mae pawb, wrth natur, yn *ddaearol*—felly, yn yr un modd, *cnawdol* ydynt: ymroddant yn gwbl i foddhau eu chwantau, ac i ymhyfrydu mewn nwydau drwg; megys, malais, cenfigen, casineb, balchder, llid, ymddïal, a phob math o ddrygioni.

Peidiwch a meddwl fy mod yn camliwio y pethau hyn, neu yn darlunio eich cyflwr wrth natur yn waeth nag ydyw: a chofiwch fy mod yn sôn am gyflwr dynolryw cyn i Haul Cyfiawnder lewyrchu arnom, a datguddio i ni y cyfryw wybodaeth am Dduw ag sydd yn cael rhyw effaith hyd yn nôd ar y gwaethaf o ddynion. Nis gellir gwadu nad all fod *rhyw* dda yn y dyn anianol mewn perthynas i'w gydddynion. Gall fod yn gymmwynasgar i'w gymmydogion, er ennill eu clod; gall fod yn sobr, ac yn gymmedrol, er mwyn ei iechyd; ac yn ddiwair, yn foesol, ac onest, er mwyn elw. Ond, er hyn i gyd, gall y cyfryw un fod ym mhell iawn oddiwrth deyrnas Dduw: gall fod yn ol am yr unig beth a'i gwna yn gymmeradwy yn y farn; sef, cariad tu ag at Dduw, a ffydd ddiysgog yn ei Fab ef. Mynega yr Ysgrythyr yn fynych ddarfod i bawb o honom fyned megys defaid ar gyfrgoll, gan ddyfod yn elynion i Dduw, ac yn gaethweision pechod; ac nad oes modd i'n cymmodi âg ef, ond trwy ei ras yn Nghrist, a thrwy gymmorth ei Lân Yspryd.

Ymddengys angenrheidrwydd y cyfnewidiad ysprydol yr y'm yn sôn am dano yn eglurach, pan ystyriom ym mhellach beth yw arwyddocâd y geiriau, "*teyrnas Dduw.*"—Y mae yr ymadrodd "teyrnas nefoedd" yn ymddangos yn fynych yn y Testament Newydd, ac yn cynnwys y tri ystyr canlynol:—1. Yr eglwys allanol a gweledig, neu yr holl gorph Cristionogol ym mhob oes a rhan o'r byd.—2. Crefydd y galon, neu rinweddau ffydd ac ufudddod.—3. Dedwyddwch y byd a ddaw.—Wrth yr ymadrodd "teyrnas Dduw," yn y testun, y meddylir yr eglwys weledig ac allanol, yr hon a sefydlwyd gan Grist, a'i apostolion, yn y byd hwn, er parotôi ei bobl i gyflwr ysprydol yn y byd tragywyddol. Y mae 'r deyrnas hon yn cynnwys rhai o bob math, drwg a da, sef pawb a'r a dderbyniwyd i'r eglwys, ac a fedyddiwyd yn enw y Tad, a'r Mab, a'r Yspryd Glân. Mae gair Duw, fel y

gwyddoch, yn cyffelybu teyrnas nefoedd i faes lle yr hauwyd gwenith, ac efrau—a lle y cyd-dyfodd y ddau hyd y cynhauaf. "Drachefn, cyffelyb yw teyrnas Dduw i rwyd a fwriwyd yn y môr, ac a gasglodd o bob rhyw beth; a didolwyd y rhai drwg o blith y rhai da." Yr y'm yn cael ein geni, a'n derbyn i'r deyrnas hon trwy ddwfr bedydd. "Oddi eithr geni dyn drachefn o ddwfr, ni ddichon efe fyned i mewn i deyrnas Dduw." Hyny yw, oddi eithr *bedyddio* dyn, ni ddichon efe fod yn aelod o eglwys weledig Crist. Ond y mae'n rhy wir, ysywaeth! fod llawer iawn yn perthyn i'r eglwys filwrus ar y ddaear, y rhai ni byddant byth yn aelodau o'r eglwys orfoleddus yn y nefoedd. Fe fedyddiwyd llawer â dwfr, y rhai ni fedyddiwyd, ac ni fedyddir byth, â'r Yspryd. Y mae llawer yn cyrchu i addoliad cyhoeddus yr eglwys, yn perthyn i'w chymdeithas, yn proffesu, yn cymmuno, ac yn galw eu hunain yn Gristionogion, y rhai, er hyny, yn amser profedigaeth, a giliant, a ymddieithrant oddiwrth Dduw, ac ni byddant gadwedig. Ond etto, y mae'n rhaid ein geni drachefn o ddwfr ym meddydd, o herwydd mai dyna yr amser ein gwneir yn Gristionogion, ac ein derbynir i gyfammod â Duw, ac yr addawn rodio yn ei lwybrau, ac ufuddhau i'w orchymynion, holl ddyddiau ein heinioes.

Trown yn awr at ail ystyr y geiriau "*teyrnas Dduw;*" sef, *effaith gwir grefydd ar y galon*, neu *ufudd-dod ffydd.* Mae'r gwir Gristion nid yn unig wedi ei dderbyn i deyrnas Dduw, ond yn cynnyddu ynddi. I'r perwyl yma y gosodwyd ordinhadau a moddion gras yn yr eglwys weledig; sef, fel y cynnyddai y Cristion mewn duwioldeb, a phob daioni: ac megys ein genir, ac yr ydym yn byw yn yr eglwys weledig hòno, trwy ordinhadau allanol; felly y mae yn rhaid i ni gael ein hadgenhedlu, a pharhau i fyw yn yr eglwys ysprydol, trwy ddirgel a grasol ddylanwadau Glân Yspryd Duw; ac ni bydd ein crefydd allanol o ddim lles i ni, oni bydd yn offerynol i'n dwyn i'r cyflwr ysprydol hwnw, yn yr hwn y deuwn yn raddol yn gymmwys i'r nef. Diben ordinhadau allanol yw ein tywys at Grist, fel ein cyfiawnheid trwy ffydd yn ei waed ef. Nid oes dim, frodyr, ond crefydd ddiragrith, crefydd y galon, ac nid proffes y gwefusau, a ddichon orchfygu cariad at y byd, ac ofn angeu. Dyma yr unig beth a'n galluoga i ymhyfrydu yn yr hyn a orchymynodd Duw, ac i gasâu ac ymwrthod â'r hyn a waharddodd. Crefydd ysprydol yw yr unig beth a'n tuedda i ymbarotôi erbyn barn, ac a'n gwna "yn gymmwys i gael rhan o etifeddiaeth y saint yn y goleuni." Gwelwch yma yr angenrheidrwydd o grefydd ysprydol yn yr enaid, neu yr achos bod yn rhaid ein geni drachefn cyn cael derbyniad i deyrnas Crist, a chymmwysder i'r nef. Am hyny, frodyr, yn anad pob dim, ymwrolwch am y grefydd hon, ceisiwch eich hadgenhedlu, ymdrechwch am fyned i mewn trwy'r porth cyfyng i'r nef; a thra y byddoch byw ar y ddaear, gwyliwch yn wastadol, am na wyddoch na'r dydd na'r awr y daw Mab y dyn.

Af rhagof bellach i ystyried y trydydd peth a arwyddoceir wrth yr ymadrodd "*teyrnas Dduw;*" sef, *Gwynfydedigrwydd y nef*, neu y cyflwr hwnw yn y byd anweledig, lle ni bydd na drwg, na phechod, na galar, na marwolaeth mwyach. Ni wyddom ni ddim am natur yr ystâd hòno, ond a ddatguddiwyd i ni yn yr Ysgrythyr. Yno y canfyddwn yn eglur fod yn rhaid i ni gael ein hadnewyddu yn hollol cyn bod yn weddus gyfranogion o honi. Yr ydym wrth natur yn blant digofaint; rhaid ein gwneud yn blant Duw; rhaid ein gwneud yn greaduriaid newydd mewn perthynas i'n hymarweddiad, ein hegwyddorion, a'n serchiadau, cyn y byddom gadwedig. Megys y mae'n rhaid ein geni drachefn trwy fedydd cyn cael derbyniad i'r eglwys weledig; felly y mae yn rhaid ein hadgenhedlu o'r Yspryd, cyn y byddwn wir aelodau o'r eglwys anweledig; ac y mae yn rhaid i'r un Yspryd ein hadgenhedlu, a thrigo ynom hyd angeu, cyn y byddwn addas i'r deyrnas hòno uchod, i'r hon y dygir y rhai cyfiawn ar ol marw.

Onid yw yn eglur, ynte, fod cyfnewidiad calon yn angenrheidiol er ein parotôi i fwynhau presennoldeb Duw y Creawdwr, cymmundeb â Christ y Pryniawdwr, a chymdeithas yr ysprydion a berffeithiwyd? Oddi eithr i ni gynnyddu mewn gras a sancteiddrwydd, nis gallwn gyrhaedd yr etifeddiaeth wynfydedig sydd y'nghadw i'r ffyddloniaid yn y nefoedd. Ond yn

gymmaint a bod ein nerth yn wan, ein natur yn llygredig, a'n hadduned au yn ansafadwy, ein gobaith yn llesg, a'n ffordd yn llawn o rwystrau—y mae yn rhaid i ni wrth nerth a chymmorth oddi uchod, fel yr adnewydder ein gobaith, ac yr ail ennyner ein heneidiau i redeg yr yrfa a osodwyd o'n blaen. Os na chawn ni hyfrydwch wrth addoli a gwasanaethu Duw ar y ddaear, mae'n amlwg nad oes dim pleser i'w ddisgwyl wrth ei folianau ef yn y nefoedd. Os byddwn feirw yn y cyflwr y'n ganed ynddo, y mae yn rhaid i ni fod yn golledig am byth. Mae'n rhaid i ni fod yn dduwiol yn y byd hwn, cyn y byddwn ddedwydd yn y nesaf. Mor wir, ynte, yw geiriau yr Iesu, "bod yn rhaid eich geni chwi drachefn."

*(I'w gorphen yn y nesaf.)*

---

## GWELEDIGAETH Y DDELW AUR.

Dechreuai y ganwyll ddylu wrth losgi ger fy mron; yr oedd hi yn tynu yn brysur at hanner nos; y rhai oll a fuasent yn gymdeithion i mi yn y dydd, oeddynt yn awr wedi eu cloi ym mreichiau cwsg; ac, oddi eithr meinlais y cricedyn, a churiad arafaidd cysson yr awrlais (yr hwn, fel cnul, a'm coffâi yn ddifrifol am ymadawiad amser) yr oedd pob peth arall o'm hamgylch mor ddistaw a'r bedd.

Wrth geisio trefnu fy meddyliau i'w hysgrifenu ar lawr, dechreuasant ballu; collais fy ngwybodaeth ar wrthddrychau o'm hamgylch, a thybiais fod holl gynneddfau fy meddwl ar gael eu diddymu; ond fe'm cynhyrfwyd yn ddisymmwth wrth weled fy hun wedi fy nhrosglwyddo i ganol rhyw wastadedd ëang mawr. Mewn mynydyn ffoisai cysgodion nos; torodd yr haul allan yn ei ogoniant mwyaf, gan adfywio, â'i belydr disgleirwych, wyneb anian.

Gan ryfeddu a synu wrth y cyfnewidiad, mi a sefais yn llonydd, nes clywed twrf cythryblus o'm hol; yna troais, a gwelais dyrfa ddirfawr o bobl wedi ymgynnull ar y gwastadedd.

Pan ddaethum ataf fy hun ddigon, neseais at y dyrfa ddirfawr, yn yr hon y canfyddais fod pobl o bob gradd a sefyllfa, sef ymerawdwyr byd, ac oddi yno i wared at drigolion y bwthyn clai. Sylwais fod pob un yn dal yn ei law fath o ysplenddrych, gan syllu yn ddyfal â hi ar ryw wrthddrych a ddisgleiriai o bell.

O'r diwedd, gan faint fy awydd i wybod beth ydoedd, ymwthiais yn egnïol trwy y dyrfa, er fy mod yn lled ofni cael fy nhrin yn erwin am fy hyfdra; ond ni sylwai neb arnaf nemawr, gan mor ddyfal yr oeddynt yn syllu ar y gwrthddrych o'u blaen; yn unig fe'm gwthiwyd o'r neilldu yn awr ac eilwaith, pan ddigwyddodd i mi ddyfod rhyngddynt hwy a'u gwrthddrych.

Ar ol tynu yn nes, canfyddais mai syllu yr oeddynt ar ryw ddelw, yr hon oedd yn fechan iawn, etto yn amlwg i bawb, gan ei bod yn sefyll ar golofn dra uchel: yr ydoedd wedi ei lliwio â'r lliwiau gwychaf, ac wedi ei gorchuddio â helaethrwydd o addurniadau o amryw fath, yr hyn a barai iddi ymddangos yn ysplenydd o bell; ond erbyn tynu ymaith ei haddurniadau gwychion, yr oedd hi yn hell ac yn anolygus i'r eithaf.

Gwelais yn ebrwydd fod y ddelw wrthun hon yn wrthddrych addoliad gan y tyrfaoedd o amgylch, y rhai, gan syllu arni trwy eu gwydrau, a'i canmolent yn fawr dros ben, gan ymegnïo i ragori ar eu gilydd yn eu rhoddion, eu hoffrymau, a'u defosiynau iddi; ac er bod pawb yn ei haddoli hi, yr oedd gwahanol raddau o ddynion yn cyflawni eu haddoliad mewn gwahanol ffyrdd.

Sylwais yn gyntaf ar ymerawdwyr a breninoedd; llawer o'r rhai, ar ol edrych ar yr eilun yn y dull arferol, a ddyrchafent eu golwg ar diriogaethau eu gilydd, ac ni phetrusent yspeilio eu gilydd, os gallent: ac, os na allent, yspeilient eu deiliaid; ac ar ol pentyru trysorau lawer, offryment hwynt yn gydwybodol iawn yn aberth i'r eilun. Y sawl a lwyddasent i yspeilio eu brodyr, a briodolent eu llwyddiant i'w chyfarwyddyd a'i llywodraeth hi; a'r sawl a orchfygasid, nid ewyllysient weled dim bai ar yr eilun; ond cyfrifent eu hafiwyddiant i'r dduwies Damwain.

Y rhan fwyaf o lawer o'r penau coronog yma a ddilynid gan ddirfawr heidiau o greaduriaid, a elwid llyswyr. Adweinid y rhai hyn yn gyffredinol wrth fod eu gliniau a'u tafodau yn hynod o ystwyth, a gwên bob amser ar eu geneuau tra byddent ym mhresennoldeb eu penaduriaid; ond cyn gynted ag yr elent o wydd

y mawrion hyn, gellid meddwl fod rhyw anian rewllyd wedi eu dal; eu haelodau a'u gyddfau a grebychent yn y fan, fel na fedrent braidd ymgrymu, na throi eu llygaid i edrych ar unrhyw beth islaw iddynt. Y llyswyr hyn a dderbynient gan eu meistriaid breninol yn fynych lawer o arian, yr hyn yn dra selog a osodent wrth draed yr eilun.

Troais oddiwrth y rhai hyn, a gwelais nifer o wŷr, tebyg i rai o radd a sefyllfa uchel yn y byd, yn ymddiddan yn eithaf rhydd a difalch gyd â'r gwaelaf o'r dyrfa; a'r rhai a ymddiddanent â hwynt a ennillid gan eu tiriondeb, a lenwid â hoffder tu ag atynt, ac a'u cynnalient hyd eithaf eu gallu, gan gyduno i'w codi i'r swyddau mwyaf dyrchafedig. Y boneddigion hyn, ar y llaw arall, a ymrwyment i amddiffyn eu pleidwyr rhag gorthrymder; felly, tra yr oedd y naill yn haelionus yn eu haddewidion, yr oedd y lleill yn llawn mor awyddus i dalu am danynt; a chan fod elw y fasnach hon yn cael ei ddwyn at wrthddrych eu haddoliad, y ddelw a gyfoethogid yn ddirfawr trwy hyny.

Yn y dyrfa ddirfawr hon gwelwn, ym mysg llawer ereill, rai yn gwisgo gynau duon, ereill rai gwynion gyda llewys llawnion, ac ereill heb ddim gynau; y rhai a dderbynient gyflogau am eu gwaith yn areithio yn erbyn y ddelw, a rhybuddio yr edrychwyr rhag ei haddoli. Etto y rhai hyn, cyn gynted ag y gwnaethent yr hyn a alwent eu dyledswydd, a ymlithrent i blith y dyrfa, a dynent allan eu gwydrau, ac a edrychent, a ryfeddent, ac a addolent y ddelw, mor ostyngedig a'r lleill.

Er hyny rhai o honynt a argyhoeddent y bobl o amgylch yn ddidderbyn wyneb am eu delw-addoliaeth, gan ddal i fynu y ddelw yn wrthddrych gwawd a dirmyg, a cheisio darbwyllo eu gwrandawyr i edrych ar yr anghenfil heb gynnorthwy eu gwydrau: llawer o'r rhai'n, pan welsant hi yn ei gwrthuni naturiol, a'i ffieiddiasant gymmaint, nes ymadael â'i gwasanaeth hi am byth.

Eithr y rhai a gyflawnent eu swydd yn ffyddlawn, a ddiystyrid yn fawr gan y rhan fwyaf o'u brodyr, ac a elwid, o ran dirmyg, Dychymmygwyr, Penboethion, Methodistiaid, Bloeddwyr, &c. ond gan na wyddwn, yn fy mreuddwyd, beth a feddylid wrth y geiriau hyn, tybiais mai enwau rhyw fwystfilod dychrynllyd oeddynt, a bod y sawl a'u defnyddient yn methu cael geiriau ereill digon drwg i ddangos eu casineb.

Ac nid llawer llai y diystyrid y gwŷr hyn gan y rhan amlaf o'r dorf o amgylch; y rhai, er na wyddent (tybygwn) fwy na minnau beth a feddylid wrth y geiriau hyny; etto meddylient, fel finnau, mai rhyw enwau dychrynllyd oeddynt, a barnai llawer eu bod yn gyfiawn a theilwng iddynt; tra yr oedd ereill yn barod iawn i roddi enwau a ddeallent yn well, y'mysg y rhai yr wyf yn cofio eu bod yn ddiarbed yn eu galw hwynt yn weilch dichellddrwg, cenawon twyllodrus, rhagrithwyr, &c.

Gwelais hefyd fod llaweroedd, o bob sefyllfa yn y byd, yn ymffrostio yn hyderus y gallai y ddelw eu hachub hwynt rhag chwyldroad natur, yr hyn (yn ol eu traddodiadau) y sicr gredent ei fod yn prysur agosâu, ac y difethid miloedd yn y dinystr cyffredinol; ond credent bob amser, hyd fynyd eu hymadawiad, y byddent hwy eu hunain yn ddiangol. Eithr pan fyddai eu cyrph wedi treulio gan afiechyd, a'u dwylaw yn crynu, fel na allent ddal yr yspienddrych, yna gorfu iddynt edrych ar y ddelw yn ei gwrthuni naturiol: ac un o honynt, yn dychlamu o fraw, a lefodd, "Dyma fi ar gymmeryd naid yn y tywyllwch:" un arall a ddywedodd, "Mi a wn fy mod yn suddo i dragywyddol ddinystr." Dyn, yn agos i'r fan lle yr oeddwn yn sefyll, a dderbyniodd gennadwri oddiwrth frenin dychryniadau, i'r ystyr canlynol—"O ynfyd, y nos hon y gofynir dy enaid oddi wrthyt; am hyny bydd barod i gyfarfod â'th Dduw." A'r mynydyn hwnw, dyna saeth wenwynig, o ryw ddirgel fan, yn ei frathu at y galon, ac efe a syrthiodd ar y ddaear, gan ymdreiglo mewn gofid, ac ymdrybaeddu mewn poen. Wrth syrthio, torodd ei wydr yn chwilfriw. Yna efe a waeddodd, "Och! ai y peth erchyll acw ydyw y ddelw a addolais gyhyd? ai yr eilun gwrthun acw y gobeithiais a'm hachubai? ys truan o ddyn wyf fi, prynais fy mhrofiad yn rhy ddrud, o gymmaint ag y tâl fy enaid; y mae hwnw yn golledig byth." Weithian fe ddiffygiodd natur, a'r adyn truenus, gan roddi i fynu yr ymdrech anfuddiol, a felldithiodd y ddelw, ac a drengodd.

*(I'w barhau.)*

## HUNAN-YMHOLIAD.

Eglwys Gristionogol sy gymdeithas o ddynion neillduedig a sanctaidd. Pob aelod neillduol a ddylai adnabod y gwirionedd, ac ymdrechu er ei ledaeniad. Dylai pob Cristion fod yn ddarluniad ac arddangosiad o Gristionogaeth; ac o ran sancteiddrwydd a phurdeb buchedd yn "llythyr a ddarllenir gan bob dyn."

Wrth ystyried pa fath ddynion a ddylem ni fod, nid anfuddiol fyddai i ni fynych holi ein hunain yn y drefn ganlynol:—A ydwyf fi yn casâu, a ydwyf fi yn ymwrthod, a ydwyf fi yn rhyfela yn wastadol yn erbyn pob math, gradd, ac ymddangosiad o bechod? A ydwyf yn ystyried ei ddrygedd anianol, a'i anniolchgarwch, fel peth uniongyrchol wrthwynebus i natur y Duw tragywyddol, cyfiawn, a da? A ydwyf fi yn ymddiried yn unig yn aberth a theilyngdod Crist am faddeuant a chyfiawnhad? A ydwyf fi yn wastad yn erfyn arno ef am ddoethineb, nerth, a diddanwch? A ydwyf fi yn myfyrio yn ei air, i ddysgu ei ewyllys a'm dyledswydd? A ydwyf fi yn profi fy hun yn ddisgybl a chyfaill i Grist, trwy gadw ei holl orchymynion? A ydwyf fi yn ei garu ef uwchlaw pob gwrthddrych arall yn y byd? A ydyw ei anrhydedd ef yn anwylach genyf na'm bywyd? A ydwyf fi yn foddlon i ymadael â phob peth er ei fwyn? A roddais i fy hun yn gwbl iddo ef? A ydyw ei gyfeillion ef yn gyfeillion i mi, a'i elynion ef yn elynion i minnau? A ydwyf fi yn cymmeryd ei achos ef yn achos i mi? Ac a ydwyf fi yn gweddïo ac yn llafurio am wastadol ledaeniad a sefydliad ei deyrnas? A ydyw gelyniaeth wreiddiol fy nghalon wedi ei distrywio? A ydwyf fi yn rhyfeddu, yn parchu, yn addoli, ac yn ufuddhau iddo ef? A ydyw ei weithredoedd, ei air, ei gymmeriad, ei enw, ei ddydd, ei wasanaeth, a'i bobl, yn hyfryd genyf? A ydwyf fi yn gweled y prydferthwch, dymunoldeb, a'r gogoniant o sancteiddrwydd, neu gyd-ffurfio âg ewyllys Duw? I ba raddau yr wyf fi yn cyd-ffurfio âg ewyllys Duw, a'i orchymynion, mewn tuedd, dymuniadau, tymher, a gwisgoedd?

Os oes genyf sail i gredu fod Duw wedi rhoddi i mi gyfran o ras, pa foddion wyf yn arferu i gynnyddu mewn gras, i gyrhaedd ysprydolrwydd meddwl, mewn buddugoliaeth ar bechod a'r byd, mewn tebygolrwydd i Grist, ac mewn cymmwysder i fwynhau llawenydd a diddanwch y nef?

Pa fodd y mae crefydd yn fy enaid, ai cynnyddu ai adfeilio? A ydwyf fi yn dyfod yn feunyddiol yn fwy crefyddol, yn fwy eiddigeddus (*zealous*), yn fwy amyneddgar a gostyngedig, yn fwy caredig, elusengar, a thyner galon? neu, ynte, a ydwyf fi yn fwy bydol, yn fwy hunanol, yn fwy trachwantus, yn mwynhau llai o hyfrydwch mewn cymmundeb â Duw, ac yn fwy difid pan bechwyf i'w erbyn?

Boed i ni ddifrifol holi ein hunain yn y pethau pwysig uchod, gan gyfeirio ein heirchion, gyd â'r Salmydd, at ein Crewr Hollwybodol, gan ddywedyd, "Chwilia di fi, a gwel a oes ffordd annuwiol genyf, a thywys fi yn y ffordd dragywyddol."

*Cyf.* R. Jones, *Llanllyfni.*

---

## DECHREUAD A CHYNNYDD EILUN-ADDOLIAETH.

Un o'r gwirioneddau mwyaf pwysfawr ar a ellir ei ganfod trwy holl gorph y Bibl yw, bod "dyn wedi myned yn ol am ogoniant Duw." Mae yn ddiammeu fod dyn wedi bod mewn sefyllfa yn yr hon yr oedd yn alluadwy iddo dynu ei holl gysur oddiwrth ogoniant Duw. Ond ar ol iddo syrthio, yr oedd meddwl am y gogoniant tanbeidiawl oedd yn Hanfod y Jehofah yn creu arswyd a dychryn trwy yr oll o hono. Ac ar ol i'r dyn fyned i'r cyflwr isel yma, y gwirionedd am dano yn awr yw, "Hwy a chwiliasant allan lawer o ddychymygion." Ac yn wir mae y dychymygion a ddychymygwyd, oes ar ol oes, braidd yn afrifed. Ond ni fydd i mi, yn yr ysgrif hon, olrhain yr un o honynt, namyn y dychymygion am wrthddrychau addas i'w haddoli. A chan eu bod yn barnu fod y Duw ag oedd wedi ei ddigio yn ogymmaint trwy y trosedd yn ngardd Eden yn rhy ofnadwy i'w wynebu yn ddi gyfrwng, coleddu barn a ddarfu iddynt mai angenrheidiawl oedd ymofyn cyfryngau i gyfryngu rhyngddynt â'r Bod anfeidrol. A thrwy y cyfryw, yr oeddynt yn gobeithio y byddai eu deisebion yn gymmeradwy, a'u haddoliadau yn dderbyniol. A chan y

byddant yn aml yn codi eu golygon tu a'r nefoedd serenog, barnu a fu iddynt y gallai y rhai hyny wneuthur i fynu eu diffygion. Yr oedd crediniaeth yn eu mysg fod yr Haul, a'r Lleuad, a'r sêr, a'r planedau, yn drigfanau rhyw ysprydion; a bod y rhai hyn yn preswylio ynddynt, ac yn eu llywodraethu, yn gyffelyb ag y mae yr enaid mewn corph dyn. A chan mai y planedau oedd yr agosaf atynt o'r holl gyrph nefawl, dewisasant hwy yn flaenaf; a dechreuwyd gweddïo arnynt, ar iddynt erfyn ar Dduw drostynt am bob peth ag yr oeddynt hwy yn sefyll mewn angen am dano. A chan y byddai y planedau yn eu cyfodiad a'u machludiad mor aml islaw ag oeddynt uwchlaw y terfyngylch, aeth yn radd o ddyryswch yn eu plith pa fodd y gwnaent eu haddoli pan y byddont yn anweledig. Ond penderfynu a wnaethant wneuthur delwau, a'u cyssegru i'r planedau hyn; ac hefyd dodi arnynt y cyffelyb enwau ag a oedd ganddynt ar y planedau (neu o'r hyn lleiaf sydd yn awr) sef, Sul, Llun, Mawrth, Mercher, Iau, Gwener, Sadwrn,Ië, yr oeddynt yn credu fod eu haddoliadau mor dderbyniol o flaen y naill a'r llall. Ac fel hyn y dechreuodd eilun-addoliaeth yn y byd. Llawer hefyd a gymmerasant achlysur oddiwrth ddisgleirdeb a mawr ddefnyddioldeb yr Haul i'w addoli. Gan fod amrywiol lwythau y ddaear yn methu cyduno pa fath ddelw a fyddai debycaf o'i foddloni oreu, myned a wnaethant a gwneuthur delwau, pob cenedl fel y gwelai yn dda, a'u cyssegru i'r Huan arddercbawg. Ac yn y dull yma cyssegrwyd i'r Haul wahanol ddelwau gan wahanol genedlaethau y ddaear. Ond prif dduwiau cynnrychiol yr Haul oeddynt Baalpeor, Baalzebub, Chemosh, Moloch, Phoebus, &c. Ac o radd i radd, ac o oes i oes, ymledaenodd y pla yma dros y rhan fwyaf o'r byd cenhedlig.Ië, aeth yn lled foreu yn dra uchel ei ben ym mysg y genedl Iuddewig, y rhai oeddynt unig bobl gyfammodol yr Arglwydd y pryd hyny. Mor foreu a dyddiau Josiah cawn eu bod yn cyssegru meirch a cherbydau yn y deml i'r Haul. Wedi hyny cawn eu bod yn ymgrymu i'r Haul ar ei waith yn cyfodi yn y dwyrain, a'u cefnau tu a'r deml. Dangosodd yr Arglwydd lawer gwaith, yn enwedig i genedl Israel, ei fod yn hollol gasau eilun-addoliaeth. Lladdwyd tair mil o herwydd addoli y llo aur gerllaw mynydd Sinai. Am eu heilun-addoliaeth hefyd, ynghyd â'u godineb â merched Midian, y lladdwyd pedair mil ar hugain o honynt drachefn. Ac ar ol iddynt sefydlu yn ngwlad Canaan, bu hyn yn achos i'r Arglwydd eu cospi yn llym amryw droiau, yn enwedig o herwydd addoli y lloi aur oedd yn Dan a Bethel. Wedi hyny, ym mhen yspaid, daeth crediniaeth i'w plith fod gan ddynion da, wedi marw, allu i erfyn drostynt ar Dduw am faddeuant. Ac o oes i oes aeth y traddodiad yma mor llygredig, fel y gwnaethant amryw dduwiau drachefn, ac a'u cyssegrasant i gynnrychioli y rhai hyn.Ië, dywedir fod gan y Groegiaid tua deng mil ar hugain o wahanol dduwiau. Dechreuodd y grefydd hon ym mhlith y Caldeaid; oddi yno ymledaenodd dros wledydd y dwyrain dan yr enw Sabiaid, ac oddi yno i'r Aipht, a thir Groeg, lle hefyd y bu yn fwyaf blodeuog, oddi yno i'r Hispaen, a'r Eidal, Ffraingc, a'r Iwerddon, a'r Fêl Ynys, &c. Ac er syndod, y gwyr mwyaf dysgedig oedd y rhai mwyaf eilun-addolgar; a'r trefydd enwocaf, megys Caldea, Athen, a Jerusalem, oedd y llawnaf o eilun-addoliaeth. Dywed y Dr. Lightfoot fod 460 o synagogau yn Jerusalem yn amser ein Iachawdwr, ac heb fawr ond eilun-addoliaeth yn gael ei gyflawni ynddynt oll!!

Er fod hyn wedi cael ei ddarostwng yn ein gwlad ni ragor oedd ychydig ganrifoedd yn ol, pan yr oedd Derwyddiaeth wedi llenwi ein tir o benbwygilydd, a'n henafiaid yn methu o eisieu gwybodaeth. Er i hyn gael ei ymlid o'r wlad hon gan yr efengyl; etto, y mae llawer gwlad eang a bras yn ein byd ni etto yn ymdroi mewn tywyllwch ac eilun-addoliaeth. Edrychwn i Siam, Sumatra, Bornea, a Madagascar eang, a China fawr, yr hon sydd yn cynnwys tros 300,000,000 o drigolion, yr hon a arddangosir dan yr enw Draig yn Llyfr y Datguddiad, nid oes trwy yr holl Ymerodraeth fawr yma i gyd nemawr o wir addoli Duw, yna y mae yn rhaid fod yma eilun-addoliaeth, oblegid ni chafwyd cenedl erioed nad oedd ynddynt reddf naturiol i addoli rhywbeth. Trown ein golwg etto i'r Iwerddon, Ffraingc, Hispaen, a Phortugal, &c. lle y mae Pabyddiaeth

yn uchel ei ben. Pa beth yw yr achos bod yn eu Heglwysydd luniau Mair a Phetr, &c. wedi eu cerfio ar y parwydydd, a hwythau yn gweddïo arnynt, onid grym eilun-addoliaeth? Eglwys Groeg hefyd nid yw nemawr well. Edrychwn etto yn nes adref nag at eglwysi gwladol unrhyw wlad:—Pa beth yw yr yfed i ormodedd, a'r bwyta hyd lythineb, sydd yn ein gwlad ni? onid gwneuthur duw o'r bol? A pha beth yw hyny ond eilun-addoliaeth? Yr holl drachwantu, a'r meddyliau bychain am, a chrwydredig oddiwrth Dduw, ynghyd â'r anghof parhaus o hono, onid eilun-addoliaeth yw dechreuol a gwreiddiol achos o'r holl bethau hyn? Yn awr, onid yw yn addas dywedyd "fod trueni dyn yn fawr arno;" ac hefyd, hwy a "chwiliasant allan lawer o ddychymygion."

Dewi ap Gwilym.

*Glan Afon Rhythellt.*

---

## TRIOEDD IECHYD.

### IECHYD Y CORPH.

Tri pheth sydd angenrheidiol er cynnal iechyd y corph, sef, Cymmedroldeb, Ymarfer corphorol, a Glanweithdra.

Y mae Cymmedroldeb i'w arferu mewn tri pheth, sef mewn bwyta, yfed, a chysgu.

Ymarfer corphorol sydd o dri math, nid amgen gweithio, cerdded, a marchogaeth.

Y mae Glanweithdra i'w ystyried ar dri golygiad, glanweithdra y croen, glanweithdra y dillad, a glanweithdra yr annedd.

### IECHYD YR ENAID.

Y tri Gweithredydd nefol er iechyd enaid dyn:—Y Tad, yn meddwl yn ei drugaredd am fyd o golledigion; y Mab, trwy dywalltiad ei werthfawr waed, yn agor drws y nefoedd; yr Yspryd Glân yn cymmwyso yr iachawdwriaeth at eneidiau pechaduriaid.

Y tri achos o iechyd yr enaid:—Yr achos *cynhyrfiol* oedd cariad y Tad yn trefnu iachawdwriaeth; yr achos *haeddiannol* ydoedd gwaith Crist yn prynu iachawdwriaeth, trwy gymmeryd arno ddynol gnawd, cyflawni y gyfraith yn ei fywyd, a dioddef ei gosp hi yn ei farwolaeth; trwy orchfygu angeu, esgyn i'r nefoedd, ac eiriol dros droseddwyr ar ddeheulaw y Mawredd; yr achos *offerynol* yw ffydd, o weithrediad yr Yspryd Glân, yr hon sydd yn derbyn yr iachawdwriaeth, yn cofleidio Crist yn holl gyflawnder ei ras, ac yn ei holl swyddau, yn Brophwyd, yn Offeiriad, ac yn Frenin, yn unig a holl-ddigonol Waredwr.

Tri pheth y cynnysgaeddir y credadyn â hwynt yn yr iachawdwriaeth, sef Cyfiawnhad, Sancteiddiad, a Gogoneddiad.

Y credadyn a gyfiawnheir ger bron Duw a'i gyfraith, ger bron ei gydwybod ei hun, a cher bron y byd.

Y credadyn a sancteiddir yn ei gorph, yn ei enaid, ac yn ei yspryd.

Y credadyn a ogoneddir yn ei enaid ar ol ymadael o'r corph; yn ei gorph wedi adgyfodi o'r bedd; ac yn ei enaid a'i gorph wedi eu haduno i dragywyddoldeb.

Gras ar y ddaear ydyw gogoniant wedi ei ddechreu.

Gogoniant yn y nefoedd ydyw gras wedi ei berffeithio.

Y mae yr enaid yn werthfawrocach na'r corph; y nefoedd yn well lle na'r ddaear; tragywyddoldeb yn fwy nag amser; a Duw Tri yn Un yn fwy na'r cwbl.

Trygarn.

---

## ADARIAETH.

### AT OLYGYDD Y GWYLIEDYDD.

Gan i mi ganfod, mewn amryw Rifynau o'ch Cylchgrawn, hanesion anianawl, tybiais na fyddai y llythyrau canlynawl yn annerbyniawl gan eich darllenwyr; yn y rhai y cynnwysir darluniad o bob aderyn ag sydd yn cyfanneddu yr Ynys hon yn barhaus, ac hefyd y rhai sydd yn mudaw yma, ac a welir ond am ychydig fisoedd yn y flwyddyn. Canlynais, gyd âg ychydig amrywiaeth, hanesion Bewick, yr hwn a gyhoeddodd ddau lyfr yn yr iaith Saesonaeg, gan ddarluniaw pob un a ellir ei alw yn aderyn Brythonig, ac y mae ei ddarluniad yn hynawd am ei gywirdeb yn mhob rhan o hono; dilynodd yntau ôl traed ein henwawg gydwladwr Pennant, heb anghofiaw trefn y clodwiw Penaniaydd Linneus. Yn fy llythyrau dyfodawl, anfonaf atoch hanes pob aderyn ar ei ben ei hun, yn cynnwys gwahanawl liwiau ei

blu, ei faintioli, a phob pêth perthynawl iddo. Yn y Rhestr gosodais yr enwau Saesonaeg gyferbyn â'r rhai Cymraeg, rhag bod dim camgymmeriad yn nghylch un o'r adar; a chwennychaf i'r enwau yn y Rhestr gael eu hystyried fal enwau sefydledig adariaethawl; ond etto sylwaf, wrth fyned ym mlaen â'r darluniad, ar yr amrywiawl enwau eraill, wrth ba rai y gelwir hwy mewn rhai manau o'r Dywysogaeth.

LLEWELYN CONWY.

PENARTH, ABERGYFFIN,
*Mehefin* 20, 1832.

## LLYTHYR I.

ADAR ydynt yr ail ddyraniad yn nhrefniannau yr anianyddion, adnabyddus oddiwrth y plu y sydd yn gorchuddiaw eu cyrph. Y mae Linneus wedi eu dosparthu hwynt i chwech o lwythau, ac adrenir pob llwyth i dylwythau: y mae pedwar llwyth yn cynnwys adar y tir, a'r ddau eraill adar y dwfr. Enwau y llwythau ydynt, 1. Hebogau; 2. Piod; 3. Golfanod; 4. Ceiliogod; 5. Rhydyddion; 6. Nofiedyddion.

1. Yn y llwyth cyntaf, sef yr Hebogau, y cynnwysir tri tylwyth; y Gweilch, y Dylluanod, a'r Cigyddion. Adweinir hwy wrth eu pigau a'u hewinedd ceimion; ac ymborthant ar gig ac abwy.

2. Yn yr ail lwyth mae dau dylwyth; y Piod a'r Cnoccellau; a nodeb y llwyth hwn yw pig lled gul, ac ychydig gamder.

3. Y mae 'r trydydd llwyth, sef y Golfanod, yn cynnwys deg o dylwythau: 1. Gylfinbraffau; 2. Breision yr ŷd; 3. Pilaon; 4. Ehedyddion; 5. Tinsiglau; 6. Gwibedogod; 7. Cantorion; 8. Penloynau; 9. Gwennoliaid; 10. Colomenod. Nodebau y trydydd llwyth ydyw 'r big yn fônbraff a blaenfain, y ffroenau yn hirgrwn, llydain, ac yn noethion.

4. Yn y pedwerydd llwyth, y Ceiliogod, y mae dau dylwyth; sef, y Ceiliogod priodawl, a'r Cwtiaid. Yn y rhai hyn mae 'r big yn grwm fel bwa, a bysedd y traed yn rhwymedig gan bilen yn y bon, a phlu y gynffon yn ychwaneg na deuddeg o rifedi.

Adrenir adar y dwfr i ddau lwyth, sef, y rhai â thraed noethion, a'r rhai cyfandroed.

5. Adweinir y pummed llwyth, y Rhydyddion wrth eu coesau, a'u pigau hirion, ac eu bod yn ddigyfandroed; cynnwysir yn y llwyth hwn amryw dylwythau, fel y gwelir yn y rhestr.

6. Yn y chweched llwyth, sef y Nofiedyddion, y mae y tylwythau canlynawl; 1. Cwtieir; 2. Gwyachod; 3. Carfylod; 4. Gwylogod; 5. Trochyddion; 6. Ysgraenau; 7. Gwylanod; 8. Hwyaid; 9. Mulfrain. Y rhai hyn a adweinir wrth eu pigau ânfiniawg, ac eu bod yn gyfandroed.

## Adar y Tir.

### I. LLWYTH YR HEBOGAU.

| | | |
|---|---|---|
| 1 | Eryr melyn ...... | *Golden eagle* |
| 2 | Eryr tinwyn ...... | *Ringtailed eagle* |
| 3 | Eryr cynffonwen .. | *Whitetailed eagle* |
| 4 | Môreryr .......... | *Sea eagle* |
| 5 | Pysgeryr ......... | *Osprey* |
| 6 | Boncath .......... | *Common buzzard* |
| 7 | Bod y mêl ........ | *Honey buzzard* |
| 8 | Bod y gwerni .... | *Moor buzzard* |
| 9 | Barcud .......... | *Kite* |
| 10 | Hebog marthin .... | *Goshawk* |
| 11 | Llymysten ........ | *Sparrowhawk* |
| 12 | Hebog chwyldro .. | *Jer falcon* |
| 13 | Hebog dramor .... | *Peregrine falcon* |
| 14 | Hebog lâs ........ | *Hen harrier* |
| 15 | Hebog dinwen .... | *Ringtail* |
| 16 | Hebog wlanawg .. | *Lanner* |
| 17 | Cudyll coch ...... | *Kestrel* |
| 18 | Gwalch lleiaf .... | *Merlin.* |

*DYLLUANOD.*

| | | |
|---|---|---|
| 1 | Dylluan fawr .... | *Great eared owl* |
| 2 | Dylluan gorniawg.. | *Long eared owl* |
| 3 | Dylluan glustiawg.. | *Short eared owl* |
| 4 | Dylluan wen ...... | *White owl* |
| 5 | Dylluan frech .... | *Tawny owl* |
| 6 | Coeg ddylluan .... | *Little owl.* |

*CIGYDDION.*

| | | |
|---|---|---|
| 1 | Cigydd mawr .... | *Great ash coloured shrike* |
| 2 | Cigydd cefngoch .. | *Red backed shrike* |
| 3 | Cigydd glâs ...... | *Woodchat.* |

### II. LLWYTH Y PIOD.

| | | |
|---|---|---|
| 1 | Cigfran ........... | *Raven* |
| 2 | Bran dyddyn .... | *Carrion crow* |
| 3 | Bran lwyd ...... | *Hooded crow* |
| 4 | Ydfran ........... | *Rook* |
| 5 | Corfran .......... | *Jackdaw* |
| 6 | Pioded ........... | *Magpie* |
| 7 | Bran big coch .... | *Red legged crow* |
| 8 | Ysgrechawg ...... | *Jay* |
| 9 | Drudwen ......... | *Starling* |
| 10 | Mwyalchen y graig | *Ring ouzel* |
| 11 | Mwyalchen ........ | *Blackbird* |
| 12 | Tresglen lwyd .... | *Misselthrush* |
| 13 | Socan eira ........ | *Fieldfare* |
| 14 | Bronfraith ........ | *Throstle* |
| 15 | Coch asgell ....... | *Redwing* |
| 16 | Côg ............... | *Cuckoo* |
| 17 | Delor llwydwyn .. | *Wryneck.* |

*CNOCCELLAU.*

| | | |
|---|---|---|
| 1 | Lloercen .......... | *Green woodpecker* |
| 2 | Cegid ............. | *Witwal* |
| 3 | Coblyn lleiaf ...... | *Lesser spotted woodpecker* |
| 4 | Delor y cnau ...... | *Nuthatch* |
| 5 | Cropiedydd ....... | *Creeper.* |

## III. LLWYTH Y GOLFANOD.

### 1. GYLFINBRAFFAU.

1 Gylfingroes ....... *Crossbill*
2 Gylfinbraff ........ *Grossbeak*
3 Rhawngoch mwyaf *Pine grossbeak*
4 Llinos werdd ...... *Green linnet*
5 Coch y berllan .... *Bullfinch.*

### 2. BREISION YR YD.

1 Bras yr ŷd ....... *Bunting*
2 Llinos felen ...... *Yellow hammer*
3 Golfan y gors .... *Black headed bunting*
4 Golfan yr eira .... *Snow bunting*
5 Bronrhuddyn y mynydd........ *Greater brambling.*

### 3. PILAON.

1 Aderyn y tŷ ...... *House sparrow*
2 Golfan y mynydd.. *Mountain sparrow*
3 Asgell fraith ...... *Chaffinch*
4 Llinos fynydd .... *Mountain finch*
5 Peneuryn ......... *Goldfinch*
6 Dreiniawg ........ *Siskin*
7 Llinos ............ *Linnet*
8 Melynawg ........ *Canary finch*
9 Llinos bengoch .... *Greater redpole*
10 Llinos bengoch leiaf *Lesser redpole.*

### 4. EHEDYDDION.

1 Meillierydd ........ *Sky lark*
2 Ehedydd y maes .. *Field lark*
3 Ehedydd cribawg .. *Grasshopper lark*
4 Esgudogyll ........ *Wood lark*
5 Corhedydd ........ *Tit lark.*

### 5. TINSIGLAU.

1 Sigldin y gwys .... *Pied wagtail*
2 Tinsigl lwyd ...... *Grey wagtail*
3 Tinsigl felen ...... *Yellow wagtail.*

### 6. GWIBEDOGOD.

1 Gwibedog brith.... *Pied Flycatcher*
2 Gwibedog manawg *Spotted Flycatcher.*

### 7. CANTORION.

1 Eaws ............ *Nightingale*
2 Bronrhuddyn...... *Redbreast*
3 Llostrhuddyn ...... *Redstart*
4 Brych y cae ...... *Hedge sparrow*
5 Gwrachell y coed.. *Passerine Warbler*
6 Llwyd y gors...... *Reed Fauvette*
7 Penddu .......... *Black cap*
8 Barfawg .......... *White throat*
9 Helyg-ddryw felen *Yellow willow wren*
10 Dryw yr helyg .... *Willow wren*
11 Helyg-ddryw leiaf *Least willow wren*
12 Dryw eurgopawg.. *Golden crested wren*
13 Dryw ............ *Wren*
14 Cynffonwen ...... *Wheatear*
15 Clochdar yr eithin.. *Winchat*
16 Tinwyn y garn .... *Stonechat.*

### 8. PENLOYNAU.

1 Penloyn .......... *Greater titmouse*
2 Pela glas bach .... *Tomtit*
3 Pela llwydwyn .... *Cole titmouse*
4 Pela penddu ...... *Marsh titmouse*
5 Lleian gynffonhir .. *Long tailed titmouse*
6 Pela barfawg...... *Bearded titmouse.*

### 9. GWENNOLIAID.

1 Gwennol.......... *Chimney swallow*
2 Gwennol y glenydd *Sand Martin*
3 Gwennol fronwen.. *Martin*
4 Gwennol y dwfr .. *Swift*
5 Troellwr .......... *Night jar.*

### 10. COLOMENOD.

1 Cuddan .......... *Wild pigeon*
2 Ysguthan ......... *Ring dove*
3 Colomen Mair .... *Turtle.*

## IV. LLWYTH Y CEILIOGOD.

1 Ceiliawg cyffredin *Common cock*
2 Ceiliawg coed .... *Pheasant*
3 Ceiliawg Freinig .. *Turkey*
4 Paen ............ *Peacock*
5 Ceiliawg brith .... *Pintado*
6 Ceiliawg mawr .... *Wood grouse*
7 Ceiliawg du ...... *Black grouse*
8 Cochiad .......... *Red grouse*
9 Grugiar wen ...... *White grouse*
10 Petrusen .......... *Partridge*
11 Sofliar ............ *Quail*
12 Rhegen yr ŷd...... *Corn crake*
13 Ceiliawg y gwerni *Great bustard*
14 Ceiliawg y gwerni lleiaf .......... *Little bustard.*

### CWTIAID.

1 Cwtiad mawr ...... *Great plover*
2 Cornchwiglen...... *Peewit*
3 Chwilgorn y mynydd *Golden plover*
4 Cornicell .......... *Grey plover*
5 Hutan ............ *Dotterel*
6 Môrhedydd ........ *Sea lark.*

---

## Adar y Dwfr.

## V. LLWYTH Y RHYDYDDION.

1 Llwyd y tywod.... *Sanderling*
2 Cwtiad hirgoes .... *Long legged plover.*

1 Pioden y môr .... *Oyster catcher.*

1 Rhegen y dwfr .... *Water crake*
2 Rhegen y gors .... *Water rail.*

1 Mwyalchen y dwfr *Water ouzel.*

1 Glas y dorlan .... *Kingfisher.*

1 Llwybig .......... *Spoonbill.*

1 Garan ............ *Crane*
2 Chwibon ......... *Stork.*

### CREYRAU.

1 Creyr glas ........ *Heron*
2 Creyr gwyn ...... *Great white heron*
3 Creyr llwydwyn .. *Night heron*
4 Creyr copawg leiaf *Egret*
5 Aderyn y bwn .... *Bittern*
6 Aderyn y bwn leiaf *Little bittern.*

### GYLFINHIRION.

1 Gylfinhir ........ *Curlew*
2 Coegylfinhir ...... *Whimbrel.*

### GIACHOD.

1 Cyffylawg ........ *Woodcock*
2 Ysnid fwyaf ...... *Great snipe*
3 Ysniten .......... *Common snipe*
4 Myniar leiaf ...... *Jack snipe*
5 Myniar goesgoch .. *Knot.*

### RHOSTOGOD.

1 Rhostawg ........ *Godwit*
2 Rhostawg coch .... *Red godwit*
3 Rhostawg lleiaf.... *Lesser godwit*
4 Coeswerdd ........ *Greenshank*
5 Coesgoch manawg *Redshank*
6 Coesgoch .......... *Redshank.*

*PIBYDDION.*

| | |
|---|---|
| 1 Pibydd torchawg | *Ruff* |
| 2 Pibydd y traeth | *Shore sandpiper* |
| 3 Pibydd gwyrdd | *Green sandpiper* |
| 4 Pibydd llwydwyn | *Ash coloured sandpiper* |
| 5 Pibydd | *Sandpiper* |
| 6 Pibydd du | *Black sandpiper* |
| 7 Pibydd manawg | *Spotted sandpiper* |
| 8 Pibydd coesgoch | *Red legged sandpiper* |
| 9 Pibydd coch | *Red sandpiper* |
| 10 Pibydd rhuddgoch | *Dunlin* |
| 11 Llygad yr ych | *Purre* |
| 12 Pibydd lleiaf | *Little stint.* |
| 1 Hutan y môr | *Turnstone* |
| 1 Iar y ddwfr | *Water hen.* |

VI. LLWYTH Y NOFIEDYDDION.

*CWTIEIR.*

| | |
|---|---|
| 1 Cwtiar | *Coot* |
| 2 Cwtiar fwyaf | *Greater coot.* |
| 1 Pibydd llwyd llydandroed | *Grey phalarope.* |

*GWYACHOD.*

| | |
|---|---|
| 1 Gwyach gorniawg | *Great crested grebe* |
| 2 Gwyach glustiawg | *Eared grebe* |
| 3 Gwyach ddulwyd | *Dusky grebe* |
| 4 Gwyach wddfgoch | *Red necked grebe* |
| 5 Gwyach leiaf | *Little grebe.* |
| 1 Cambig | *Avosette.* |

*CARFYLOD.*

| | |
|---|---|
| 1 Berasgell | *Great auk* |
| 2 Llurs | *Razorbill* |
| 3 Carfyl gylfinddu | *Blackbilled auk* |
| 4 Pal | *Puffin* |
| 5 Carfyl bach | *Little auk.* |

*GWYLOGOD.*

| | |
|---|---|
| 1 Gwylawg | *Guillemot* |
| 2 Gwylawg leiaf | *Lesser guillemot* |
| 3 Gwylawg ddu | *Black guillemot* |
| 4 Gwylawg fanawg | *Spotted guillemot.* |

*TROCHYDDION.*

| | |
|---|---|
| 1 Trochydd mawr | *Great northern diver* |
| 2 Trochydd llwydwyn | *Imber* |
| 3 Trochydd llwydwyn lleiaf | *Lesser imber* |
| 4 Trochydd brych | *Speckled diver* |
| 5 Trochydd gwddfgoch | *Red throated diver* |
| 6 Trochydd gwddfddu | *Black throated diver.* |

*YSGRAENAU.*

| | |
|---|---|
| 1 Môrwennol | *Common tern* |
| 2 Môrwennol leiaf | *Lesser tern* |
| 3 Ysgraen ddu | *Black tern.* |

*GWYLANOD.*

| | |
|---|---|
| 1 Gwylan ddu a gwyn | *Black backed gull* |
| 2 Gwylan y penwaig | *Herring gull* |
| 3 Gwylan lwyd | *Wagel* |
| 4 Gwylan | *Common gull* |
| 5 Gwylan y gweunydd | *Winter gull* |
| 6 Gwylan benddu | *Black headed gull* |
| 7 Gwylan goesgoch | *Brown headed gull* |
| 8 Gwylan benwen | *Kittiwake* |
| 9 Gwylan Gernyw | *Tarrock* |
| 10 Gwylan ddulwyd | *Brown gull* |
| 11 Gwylan droed-ddu | *Black toed gull* |
| 12 Gwylan gynffonhir | *Arctic gull* |
| 13 Gwylan y graig | *Fulmer* |
| 14 Gwylan Manaw | *Shearwater* |
| 15 Gwylan y weilgi | *Stormy petrel.* |
| 1 Hwyad ddanneddawg | *Goosander* |
| 2 Trochydd ddanneddawg | *Dun diver* |
| 3 Trochydd bronggoch | *Red breasted merganser* |
| 4 Lleian wen | *Smew* |
| 5 Lleian bengoch | *Red headed smew.* |

*HWYAID.*

| | |
|---|---|
| 1 Alarch gwyllt | *Wild swan* |
| 2 Alarch dôf | *Mute swan* |
| 3 Gwydd Ffreinig | *Swan goose* |
| 4 Gwydd dorchawg | *Canada goose* |
| 5 Gwydd yr Aipht | *Egyptian goose* |
| 6 Gwydd frongoch | *Red breasted goose* |
| 7 Gwydd wyllt | *Grey lay goose* |
| 8 Gwydd ddôf | *Tame goose* |
| 9 Gwydd dalcen wen | *White fronted wild goose* |
| 10 Gwydd ffa | *Bean goose* |
| 11 Gwyran | *Barnacle goose* |
| 12 Hwyad fwythblu | *Eider duck* |
| 13 Hwyad felfedawg | *Velvet duck* |
| 14 Môrhwyad ddu | *Scoter* |
| 15 Adiad | *Mallard* |
| 16 Hwyad ddôf | *Tame duck* |
| 17 Hwyad gambig | *Hook billed duck* |
| 18 Hwyad benddu | *Scaup duck* |
| 19 Hwyad yr eithin | *Shieldrake* |
| 20 Hwyad lydanbigl | *Shoveler* |
| 21 Hwyad frongoch | *Red breasted shoveler* |
| 22 Corshwyad lwyd | *Gadwall* |
| 23 Chwiwell | *Wigeon* |
| 24 Hwyad glochaidd | *Bimaculated duck* |
| 25 Hwyad bengoch | *Pochard* |
| 26 Hwyad lostfain | *Pintail duck* |
| 27 Hwyad lost gwennol | *Long tailed duck* |
| 28 Hwyad lygad aur | *Golden eye* |
| 29 Hwyad gopawg | *Tufted duck* |
| 30 Hwyad addfain | *Garganey* |
| 31 Corhwyad | *Teal.* |

*MULFRAIN.*

| | |
|---|---|
| 1 Mulfran | *Cormorant* |
| 2 Mulfran gopawg | *Crested cormorant* |
| 3 Mulfran werdd | *Shag* |
| 4 Mulfran lwyd | *Soland goose.* |

[Terfyn y Rhestr.]

---

## YR YWEN.

Nid yw yr Ywen wedi diangc heb sylw y melwyr a haneswyr Prydain. Yr Ywen gyffredin sydd un o frodorion Ewrop, Gogledd Amerig, ac ynysoedd Japan. Yr oedd yr Ywen gynt yn un o goed cyffredin Prydain, Iwerddon, ac hefyd yr Alban. Dywed yr hen fuddugwr, Cæsar, ei fod gynt yn bren tra chyffredin yn Ffraingc; a'i fod hefyd i'w gael yno wedi ei doi â daear, yn welyau tewion mewn amryw barthau o'r wlad hono. Ei fonyn a'i gangenau a dyfant yn dra sythion, ac efe a fwrw ei risglyn yn flynyddol; ei goed sy gelyd, trefnus, a pharhäol. A chan hyny, y mae efe yn hynod o ddefnyddiol ym mhob cangen o gelfyddyd. Cyn i ddrylliau tân ddyfod yn arfau dinystriol rhyfel yr oedd yr Ywen yn dra defnyddiol i wneuthur bwa a saethau. Yr oedd y fath ofyn am

dano y pryd hyny i wneuthur bwâau, yn gymmaint felly, fel ag yr oedd y llongau oeddynt yn trefnidio y pryd hyny i Venice o dan orfod i ddwyn deg boncyff o hono i wneuthur bwâau am bob bonyn o Malmsey. Yr oedd yr Ywen, yr amser gynt, yn bren cyssegredig; un pren mawr neu yn rhagor a fyddai ym mhob mynwent. Mewn claddedigaethau byddai canghenau mawrion yn cael eu dwyn gan y galarwyr uwch ben y corph, a thrachefn eu bwrw i'r bedd o dan yr arch. Y talfyriad dilynol o gyfreithiau yr hen Gymry a ddengys y gwerth a roddid ar yr Ywen y pryd hyny; ac hefyd, y gwahaniaeth a osodwyd rhwng Ywen gyssegredig yr Offeiriad a *Misletoe* sanctaidd y Derwydd.

"Cangen *Misletoe*, triugain ceiniog,
Derwen, chwech ugain ceiniog,
Prif gangen Derwen, deg ceiniog ar hugain,
Pren Ywen (heb ei gyssegru) pymtheg ceiniog,
Pren Afalau melus, triugain ceiniog,
Pren Afalau surion, deg ceiniog ar hugain,
Pren Draenen, saith geiniog a dimeu; a phob pren wedi hyny, pedair ceiniog."

Yn ol cyfraith a gyfansoddwyd gan Iorwerth IV. yr oedd yn rhaid i bob Sais a Gwyddel, a fyddai yn preswylio gyda Saeson gael bwa o'r un uchder ag ef ei hun, wedi ei wneuthur o'r Ywen, Onen, Wych-hazel, neu *Laburnum.* Eu dyfais yn defnyddio eu bwa hir oedd eu prif falchder. Ymffrostient am nad oedd neb ond hwy yn unig a allai blygu yr arf angeuol hwnw. Ymddengys fod rhyw fedr neillduol yn y Sais yn defnyddio ei fwa; canys nid oedd yn arferyd ei holl nerth gewynawl i dynu llinyn ei fwa â'i law ddehau, ond efe a roddai holl nerth ei gorph rhwng ei ddau gorn, ac a dynai y llinyn â'i law aswy. Un o Feirdd Seisnig yr oes hono a ganodd ar y frwydr a roddodd derfyn i einioes Richard III. eirian cyffelyb i hyn:

"Anelwch saethyddion eich saethau at y pen."*

Cafwyd amryw o'r coed hyn wedi cyrhaedd cryn faintiolaeth ym Mrydain, Iwerddon, a'r Alban; ond etto nid oes ond ychydig o honynt yn aros yn y ddwy deyrnas ddiweddaf heddyw. Cyfrifwyd Ywen y Frenines Mary, yn Crookstone, yr Alban, yn un ragorol; yn fwy felly o herwydd ei bod wedi ei chofrestru yn hanes y Dywysoges yn fwy na dim arall. Cafodd Pennant fonyn Ywen, yn mynwent Fortingal, Swydd Perth, wedi i amser ei threulio hyd y plisgyn allanol, heb ond ychydig o ddail ar un rhan o'i brigyn. Meddyliai iddi fesur 60 troedfedd o amgylchedd, neu 18 troedfedd o dryfesur.

Crybwyllir am rai tra mawreddig yn Nghymru a Lloegr. Dywed Evelyn i Ywen Crowhurst, Kent, fesur 30 troedfedd o amgylchedd; fod yn mynwent Braburne, yn yr un Swydd, un yn mesur 20 troedfedd o dryfesur; ond bod ei brigyn wedi ei ddinystrio gan dymestl.

Dywed yr un hanesydd fod un led gyffelyb yn Sutton, gerllaw Gaergrawnt. Yn Hedsor, Swydd Buckingham, yr oedd Ywen, os nad yw yn awr mewn bod, mewn perffaith iechyd, yn gyfiawn 29 troedfedd o dryfesur. Y mae yn y coedwigoedd o amgylch Hedsor weddillion rhai o anferth faintioli, gwraidd y rhai, dywedir, eu bod yn batrieirch y coedwigoedd, ac a ymblethant o amgylch y clogwyni ym mhob dull a modd.

Pan feddylir am y twf dirfawr a gyrhaedd yr Ywen, ei chryfder, ei pharhad, a harddwch ei choed, nis gellir llai na galaru o herwydd ei bod yn cael eu diwreiddio o'n gwlad, pan nad oes eraill megys cnydau cylchynol yn eu dilyn. Yr oedd yr arferiad o dori brigyn yr Ywen i amryw luniau dychymygol mewn arferiad mawr yn yr 16 a'r 17 canrifau. Y mae amryw o'n mynwentydd yn awr yn meddu ar y coed hyn wedi eu tori i amryw luniau creaduriaid; megys adar ac anifeiliaid.

Yn Bedford, Middlesex, y mae pren neillduol, canghenau yr hwn, yn flynyddol, a dorir ar lun paenod; yn nghyd â'r flwyddyn y dechreuwyd y drefn fuddiol hono o wneuthur cynllun iau paenod; meddyliaf mai 1708. *Pliny*, yn ei lythyrau, a ddywed, y byddai y Rhufeiniaid yn arferol o dori eu coed bythol-wyrddion ar luniau adar, anifeiliaid, &c. Dengys Arglwydd Bacon, yn ei draethodau, ei anfoddlonrwydd i dori lluniau creaduriaid mewn *Juniper*, "pe byddai," eb efe, "ond er boddhau plant."

I. M.

LL—N—G, }
*Gorphenaf* 6, 1832. }

* Oddiwrth *saeth* y tarddodd y gair *saethu.* Bwâau a saethau oeddynt brif eirf rhyfel yr hen amser gynt.

LLYTHYR AMDDIFFYNOL

*ROBERT WILLIAMS, FRON DEG, BANGOR.*

Mr. Gwyliedydd—Gan fod eich drws etto heb ei gau i'm herbyn, gobeithio y rhoddwch le i mi o dan eich cronglwyd unwaith etto i amddiffyn fy hun. Mae yn awr dri o lythyrau yn erbyn fy Llyfr wedi ymddangos yn eich Rhifynau diweddaf, ac etto mae awdwyr y tri yn addef na welsant erioed mo'r gwaith!!! Ni buaswn mwyach yn rhoddi fy mhin ar bapur ar yr achos hwn, oni buasai y llythyr olaf o eiddo *Latimer*, yr hwn yw tad y drwg o'r dechreuad! ac mi a feddyliwn, wrth rediad neu ddull cyfansoddiadol yr iaith yn y tri llythyr hyn, mai yr un-un yw eu hawdwr; neu, ynte, mae 'n amlwg fod y tri mewn undeb â'u gilydd yn elynion trwyadl i'm llyfr; a hyny heb achos cyfreithlawn, yn gymmaint a'u bod yn ei gondemnio yn eu hanwybodaeth hollol! a pha beth yw hyn, Mr. Gwyliedydd, onid cyfraith y pastwn, heb na rheol na rheswm yn perthyn iddi? Ond gan fod y gwaith wedi ei brofi a'i gymmeradwyo gan wyr llawer amgenach na hwy, y rhai a'i darllenasant yn fanwl drosto, bid sicr i chwi, Mr. Gwyliedydd, na chymmeraf byth mo'm baeddu dan draed y coeg-fygylwyr hyn.

Pe cymmerent eu llwon nad oedd y breuddwyd hwnw ddim yn cyfeirio at fy Llyfr, ni chredwn mo'nynt byth! canys mae 'r peth yn rhy hysbys ynddo ei hun, heblaw fod y llythyrau hyn yn eu hamcan, eu bwriad, a'u hergydion, yn hollol gytun â'r hyn a gynnwys y breuddwyd hwnw â llythyr cyntaf *Latimer* i Gyhoeddwr Papur Newydd Bangor, yr hyn sydd yn cadarnhau 'r peth uwchlaw pob ammheuaeth. Ond gan fod y gwyr hyn yn methu dioddef dëonglyd eu breuddwyd, wele hwy, mewn awr o bwys, yn gwadu gwirionedd y peth â'u holl rym: a rhaid myned o *lan y môr* i Lyn Tegyd, a manau ereill, fel i ymofyn dŵr i ddiffoddi angerdd y tân a gynneuasant â'u dwylaw eu hunain!! Rhyfedd! na fuasai *R. Ll.* yn ei lythyr olaf, yn addef mai cyfieithiad o'r Saes'neg oedd y breuddwyd hwn? Yn lle hyny, wele! rhaid cael *Latimer* i egluro 'r peth dros *R. Ll.* yn ei lythyr sydd yn awr o'm blaen! yr hyn sydd yn dangos eu bod hwy yn deall eu gilydd yn burion yn yr achos hwn: ac os ymddangosodd y breuddwyd hwn yn y "*Christian Observer*," megys ag y dywed *Latimer*, oni allasai y gwr hwn, yn hawdd iawn, ei gyhoeddi yn gyntaf yn yr iaith hòno, a'i gyfieithu drachefn i'r Gymraeg, i'r diben i roddi mantell dros ei ddichell? Yn wir, gan mai yn yr iaith Saes'neg yr ysgrifenodd *Latimer* ei lythyr cyntaf yn erbyn fy llyfr cyn iddo ddyfod o'r wasg, paham nas gallasai ef ysgrifenu y breuddwyd hwn yn yr iaith hòno hefyd, os ymddangosodd ef o gwbl yn y "*Christian Observer*?" Bum yn benthyca y Cyhoeddiad hwn gan gyfaill hyd yn ddiweddar iawn, ac ni welais i ddim tebyg i'r geiriau sydd mewn dadl ynddo.

Ond i ddychwelyd, "*Ymogelwch* (meddynt) *rhag heresi y Morganiaid.*" Minnau a ddywedaf, *Ymogelwch rhag gau-gred neu heresi yr Antinomiaid, sydd yn uchel ei phen yn Nghymru yn y dyddiau hyn!*—Na feddylied neb mai at y duwiolion y mae 'r geiriau hyn yn cyfeirio, ond at *y rhai sydd yn proffesu duwioldeb ac yn gwadu ei grym hi;* y rhai, meddaf, yr wyf yn gwybod am lawer o honynt yn brofiadol, sydd yn arddel crefydd Crist, ac etto wedi colli pob rheol a theimlad cydwybodol yn eu masnach â'r byd, fel pe bai ganddynt hawl i dwyllo eu cymmydogion, a bod eu ffydd yn Nghrist yn ddigon i'w hachub yn y diwedd! Cefais, yn wir, fwy o fantais nag odid i neb yn Nghymru i ddal sylw ar hyn yn fy masnach gynt â'r byd yn lled helaeth, drwy fy mod, er's tros ddeg ar hugain o flynyddoedd, wedi bod yn olygwr ar amryw fath o weithydd yn amrywiol barthau o'r Dywysogaeth; a chefais fy siomi mewn llaweroedd oedd yn proffesu crefydd yn fwy na neb! ac etto, hwynt-hwy, yn ol eu tyb eu hunain, oeddynt unig anwyliaid y nef! Nid wyf yn dywedyd o ba enw yr oeddynt, ond gocheled pob enw rhag meithrin y fath grefydd a hon. Hyn, yn wir, Mr. Gwyliedydd, oedd yr unig achos a barodd i mi ysgrifenu y Llyfr a ysgrifenais, a Duw a ŵyr hyny yn dda.

Mewn perthynas i'r adnodau y mae yr ail lythyr yn cyfeirio atynt yn *Ezec.* 36. 26, 27. sef, "Rhoddaf i chwi galon newydd, yspryd newydd hefyd a roddaf o'ch mewn chwi; a thynnaf y galon gareg o'ch cnawd chwi, ac mi a roddaf i chwi galon

gig. Rhoddaf hefyd fy Yspryd o'ch mewn, a gwnaf i chwi rodio yn fy neddfau, a chadw fy marnedigaethau, a'u gwneuthur." Mae llawer un yn zelog iawn dros y geiriau hyn, ac yn barod iawn i'w defnyddio fel i gau geneuau pawb sydd o wahanol farn iddynt hwy, tra maent eu hunain, o bossibl, heb deimlo yr effaith o honynt yn wirioneddol ynddynt eu hunain. Ond i egluro eu hystyr—pwy bynag a ddarlleno y bennod hon drwyddi caiff weled yn eglur fod y geiriau uchod yn cyfeirio at, ac yn cymmeryd i mewn, yr holl genedl Iuddewig yn ddiwahaniaeth; yn gymmaint a'u bod hwy oll y pryd hyny, o'r lleiaf hyd y mwyaf o honynt, yn etholedig bobl i Dduw: ac yr oedd yr Arglwydd, yn eu hadferiad cyffredinol o'u heilun-addoliaeth, wedi eu cynnysgaeddu â moddion gras, a chynnorthwyon ei Yspryd i'r fath raddau ag y dylasent effeithio ar bob un o honynt yn yr ystyr yma; canys fe ddywedir wrthynt mewn manau ereill o'r Ysgrythyrau, "*bwriwch oddi wrthych eich holl gamweddau, a gwnewch iwch' galon newydd ac yspryd newydd,*" *&c.** Yr oeddynt, yn wir, eisoes fel wedi eu hail-greu, neu eu hail-eni, mewn cydmariaeth i'w cyflwr gwrthgiliedig yr oeddynt ynddo o'r blaen pan oeddynt yn addoli pren a maen; ac felly yr oedd yr Arglwydd, yn unol â'i drefn osodedig ei hun, yn disgwyl i'r grasusau a'r bendithion adnewyddol hyny gael yr effaith dyladwy arnynt. Gwel *Esa.* 5. 3, 4. Gwel hefyd y *Corph o Dduwinyddiaeth* sy mewn dadl, tu dal. 124, 187, &c.

Nid llon'd dwrn o bobl oedd etholedigion Duw yn y cyn-oesoedd, nage, yr oeddynt, o ran eu lluosowgrwydd, yn amlach nag y gellid eu rhifo. 1 *Bren.* 3. 8. Ond y rhai oeddynt yn glynu wrth yr Arglwydd yn ei drefn ddoeth, sanctaidd, a da, oedd gwir etholedigion Duw yn y diwedd, (*Deut.* 4. 4.) er fod y drefn ynddi ei hun yn ddigonol i achub pob enaid o honynt, yn gystal a'r eiddom ninnau yn y dyddiau hyn. Yr oedd y genedl hon, hyd yn nod yn ei mabandod yn yr anialwch, yn ugain can mil o rifedi;* agos i dair gwaith gymmaint o rifedi o drigolion ag sy drwy holl Dywysogaeth Cymru! a phwy a all ddywedyd nad oedd Yspryd Duw, drwy ei ragluniaethol a'i oruchwyliaethol ras, yn ymryson â phob enaid o honynt, ac yn eu dysgu yn y ffordd y dylasent rodio ynddi? Gwel *Neh.* 9. 20. *Ps.* 95. 10. *Esa.* 48. 17. "Y rhai hyn a fwytasant bawb o honynt yr un bwyd ysprydol; ac a yfasant bawb o honynt yr un ddiod ysprydol (canys hwy a yfasant o'r Graig ysprydol a oedd yn canlyn, a'r Graig oedd Grist)." 1 *Cor.* 10. 3, 4. Ond beth pe buasai rhai o'r athrawon, sydd yn Nghymru yn y dyddiau hyn, yn sefyll yn lle Moses ar y graig yn Horeb gynt, ni chawsai y rhan fwyaf o'r trigolion hyny ddafn o ddwfr na thammaid o fara y bywyd ganddynt, os buasai yn bossibl, mewn un modd, eu hattal rhagddynt; canys y mae 'r Iachawdwriaeth fawr yn Nghrist, yr hon oedd y Graig hono yn ei gysgodi, yn cael eu hattal yn aml mewn anghyfiawnder, hyd yn nod, yn Nghymru fechan!

Yn nesaf, mae *Latimer* yn ceisio dychymygu am danaf "fod yn hoff iawn genyf fy ngwaith fy hun, a bod y meddwl y bydd raid i mi ei adael ar fy ol, pan y tramwyaf i fyd arall, yn dra blin genyf; ac, o ganlyniad, fy mod yn disgwyl cludo

* Yn yr un modd y dywed Apostol mawr y Cenedloedd wrthynt hwythau hefyd, fel rhai wedi eu hadferyd o Baganiaeth i Gristionogaeth (sef nyni yn bresennol sydd yn mwynhau breintiau gwerthfawr yr efengyl) "gweithiwch allan eich iachawdwriaeth eich hunain trwy ofn a dychryn; canys Duw yw yr hwn sydd yn gweithio ynoch ewyllysio a gweithredu o'i ewyllys da ef." *Phil.* 2. 13, 14. Oblegid megys ag y cafodd y genedl Iuddewig ei galw yn lwynau eu tadau, Abraham, Isaac, a Jacob, o dywyllwch paganaidd, i fwynhau eu breintiau gwerthfawr, a chynnorthwyon Yspryd Duw o dan yr hen oruchwyliaeth; felly y galwyd ninnau, y Cenedloedd Cristionogol, yn lwynau ein *cyn-dadau*, o dywyllwch Paganaidd yn amser yr Apostolion, i fwynhau breintiau a chynnorthwyon Yspryd Duw sydd yn annrhaethol fwy, o dan yr oruchwyliaeth newydd. Diau y gall Duw weithredu heb foddion, ond sicr yw mai yn yr iawn ymarferiad o'r moddion y mae ef i'w gael bob amser yn ol ei addewidion ei hun. Gall ef beri i'n meusydd ddwyn ffrwythau toreithiog er cynnal dyn ac anifail heb lafur dyn yn y gwaith; a dyma y ffordd debycaf, medd rhai, i ddwyn anrhydedd a gogoniant i Dduw, yn enwedig mewn ystyr ysprydol, sef peidio a llafurio o gwbl. Ond er mai Duw sydd yn rhoddi nerth i'r llafurwr a had i'r hauwr, etto, os yw ef, fel y gwas diog, yn diystyru y moddion yn y mwynhad o honynt, nid yw ef yn gwneuthur unrhyw les iddo ei hun, nac yn dwyn dim gogoniant i Dduw yn y diwedd; felly hefyd mewn ystyr ysprydol, canys nid yw y pethau tymhorol oll ond cysgod o bethau ysprydol, a diau fod Yspryd Duw, mewn gwahanol raddau, yn cymmell pawb i'w ogoneddu ef yn y mwynhad o'u breintiau a'u grasusau o dan yr oruchwyliaeth newydd, cystal ag o dan yr hen oruchwyliaeth gynt, canys nid oedd y naill ond cysgod o'r llall.

* See Dr. A. Clarke on *Exod.* 16. 6. and Butterworth's Concordance, Preface, page 7.

y Llyfryn gyda mi i wlad y gogoniant." Och, freuddwydiwr ynfyd! Er fod y galon yn fwy ei thwyll na dim, etto ni bu y fath feddyliau a rhai'n erioed yn meddiannu fy mynwes, oblegid *ni ddygasom ni ddim i'r byd, ac amlwg yw na allwn ddwyn dim allan chwaith.* Onid oes le i ammeu, gan fod y gwr hwn yn medru dychymygu y fath bethau am ereill, fod meddyliau o'r fath am dano ei hun yn ei feddiannu ef yn aml? Drachefn, efe a ddywed, y "daw amser y bydd cywilydd genyf o amryw o bethau a gynnwysa fy Llyfr." Dyma freuddwyd etto! canys pa fodd y daeth ef i wybodaeth o'r pethau hyn, ac yntau, yn ol ei addefiad ei hun, erioed heb ei weled, na gwybod beth yw ei sylwedd!! Os bydd arnaf gywilydd o ddim y mae yn ei gynnwys, y mae hyny i'w brïodoli i'r awdwyr benthyciol hyny yn y gwaith, y rhai y mae efe yn eu pleidio yn ei Lythyr cyntaf at Gyhoeddwr Cronicl Gwynedd: ei unig reswm, oblegid iddo ymdrechu rhwystro i mi gyhoeddi y Llyfr y pryd hyny yw, "am na wnai dadleu yn nghylch pethau mor fawr, dyrys, a goruchel, âg etholedigaeth a rhagarfaethiad ddim lles." Ond pa fodd y gwyddai ef fod fy Llyfr yn cynnwys y fath ddadleuaeth, a'r awdwr heb ei gyhoeddi? Onid yw yn eglur iawn mai oddiar elyniaeth tu ag ataf, o'r dechreu i'r diwedd, y mae dychymygion a breuddwydion ofer y gwr hwn wedi tarddu yn gwbl? Drachefn, medd ef, "Doethineb fyddai i bawb a ewyllysient iachawdwriaeth pechaduriaid ymaflyd mewn gorchwylion gwell a mwy defnyddiol. Nid trwy ddadleu y gellir dwyn dynion i'r un meddwl, ond trwy annog pawb i gredu gair Duw, a byw yn unol âg ef." Dyma yw sylwedd fy Llyfr yn gwbl, a'm prif ddiben yn ei gyhoeddi, yr hyn a ŵyr ei ddarllenyddion yn dda; a chan na welodd *Latimer*, yn ol ei dystiolaeth ei hun, lythyren o hono erioed, wele ddau Englyn sydd yn niwedd ei Ragymadrodd yn cadarnhau hyny:—

Pob enwau, pawb yn unwedd,——mwyn unant
Mewn anian tangnefedd,
A daenu dysg hyddysg hedd,
A rhad Ion ar hyd Wynedd.

Prysured, dened y dydd——i bob enw,
I bawb uno â'u gilydd;
Gwawl anwyl, gwiw lawenydd,
Heb ei fath i bawb a fydd. R. W.

AWST, 1832.

Ond i ddiweddu—Y gwirionedd diduedd yw, y mae *Latimer*, er yn ceisio cadw wyneb (fel dyn deublyg ei feddwl) yn y Gwyliedydd, yn *Galfin* trwyadl, yr hyn a ellir ei brofi oddiwrth ei Lythyr cyntaf at Gyhoeddwr Papur Bangor (yr hwn sydd yn fy meddiant); felly amlwg yw mai oddiar yr *yspryd cul, hunanol, a phleidiol* hwnw, y mae ef yn ceisio ei briodoli i ereill, yr enynodd ei ddigllonrwydd mor greulon i'm herbyn! ac er na ŵyr efe ddim am fy Llyfr amgen na'i fod yn caru iachawdwriaeth pob dyn, etto, ei "ddymuniad yw iddo ef fyned i dir angof o'm blaen." Minnau a obeithiaf y pery ef cyhyd â gwaith Eliseus Cole, neu unrhyw lyfrau ereill cyffelyb iddo sydd y'Nghymru; ac y bydd ef, mewn rhan-fawr, yn foddion oesol a pharhäol i dynu i lawr y *Grefydd Antinomaidd* a osodasant i fynu yn ein gwlad.

Mae 'n ymddangos fod cryn hunan-dŷb yn *Latimer* gan ei fod ef yn arddelwi yr enw hwn yn lle ei enw bedydd arno ei hun; ond mae 'n debygol mai cywilydd yn fwyaf neillduol, a barai hyny. Pa fodd bynag, mae ef, fel y Pabydd, yn ymdrechu â'i holl egni i gadw y bobl mewn anwybodaeth; neu, o leiaf, na chânt wybod dim ond un tu i'r ddalen mewn perthynas i'w cyflyrau tragywyddol! ond y mae arnaf chwant terfynu yn ngeiriau G. Peris, gan ddywedyd,

Dihunwch blant y dyfnder du
'N ol bod yn cysgu cy'd;
Mae 'r dydd yn gwawrio oddi fry,
Mae bron cwmpasu 'r byd.

Agos i mi ollwng dros gôf eiriau St. Paul, y mae un o'r gwyr hyn yn cyfeirio atynt, pan gafodd yr Apostol "ei gipio i'r drydedd nef," ac a welsai yno "bethau ammhossibl eu traethu." Yr wyf fi yn cyfaddef fod pethau benthycol yn gynnwysedig yn fy Llyfr ym mhell uwchlaw gwybodaeth St. Paul! ond pwy yw awdwyr y pethau hyny? onid rhai o'r un egwyddororion a'r tri-wyr hyn? y rhai oeddynt yn proffesu eu bod yn gwybod holl gyngor Duw! (Gwel fy Llyfr tu dal. 278.) Ond yn hytrach na threiddio i'r un pellderau a'r gwyr hyny, mae Apostol mawr y Cenedloedd, gyda syndod annrhaethol, yn addef ei fod uwchlaw dynol wybodaeth; gan ddywedyd, "O ddyfnder golud doeth-

ineb a gwybodaeth Duw! mor anchwiliadwy yw ei farnau ef! a'i ffyrdd mor anolrheinadwy ydynt! canys pwy a wybu feddwl yr Arglwydd? neu, pwy a fu gynghorwr iddo ef." *Rhuf.* 11. 33, 34.——Yr eiddoch, Mr. Gwyliedydd, yn wirioneddol

ROBERT WILLIAMS.

---

## SEFYDLIAD EGLWYSIG

### YN GYFREITHLON, YN YSGRYTHYROL, AC YN ANGENRHEIDIOL.

### YMDDIDDAN II.

OFFEIRIAD.— Prin y buoch o fy meddwl Mr. T. er pan welais chwi ddoe, ac ni pheidiais a dyrchafu erfyniadau at orsedd gras ar eich rhan. Dwys-ystyriais y pwnc pwysfawr dan ein sylw, a thybiais mai y ffordd oreu i'w drin, fydd ateb gwrthebiadau eich cyfaill, y naill ar ol y llall. Ei wrthebiad cyntaf oedd, fod sefydliad Eglwysig wladol yn *anghyfreithlon*, er iached y byddo ei hathrawiaeth a'i disgyblaeth.

MR. THOMAS—Ië.

OFF. Yn y gwrthwyneb i hyn, yr wyf yn dilys gredu, fel y dywedais ddoe, fod sefydliad eglwysig gwladol yn *gyfreithlon*, yn *ysgrythyrol*, yn *llesol*, ac yn *anghenrheidiol*. Ond bydd y peth cyntaf yn ddigon i ni ymdrin âg ef yn yr ymddiddan hwn. Y mae Sefydliad Eglwysig yn *gyfreithlon*.

MR. T. Nid ydych, ynte, yn bwriadu ystyried Eglwys Loegr yn neillduol.

OFF. Nac wyf: yr ydych chwi yn gwrthebu pob Sefydliad Eglwysig: hyn yw dadl Mr. Morgan, a phob un o'r rhai hyny a alwant eu hunain yn Ymneillduwyr ar egwyddor: nid ydynt yn beio mwy ar ein Heglwys ni nag unrhyw Sefydliad Eglwysig mewn gwledydd eraill, pa un a fyddo Protestanaidd ai Pabaidd.

MR. T. Yr ydych yn adrodd y ddadl yn gywir, ond yr un pryd dylwn ychwanegu fod Ymneillduwyr, heblaw y gwrthebiad uchod yn gwrthebu rhanau o athrawiaethau a disgybliaeth: ond nid yw y pethau hyn yn perthyn i'n hymddiddan presennol.

OFF. Nac ydynt, a chadwn yn agos at y pwnc mewn dadl. Ar yr un pryd byddai yn ddywenydd genyf sylwi ar unrhyw wrthebiadau neillduol a glywsoch chwi yn erbyn ein Heglwys: oblegid po mwyaf yw fy ngwybodaeth am ei hegwyddorion, mwyaf yn y byd y carwyf hi: a pho mwyaf yr ystyriaf y gwrthebiadau a ddygir yn erbyn ei hathrawiaethau neu ei disgyblaeth, mwyaf yw y sicrwydd a deimlwyf eu bod yn ddisail, a bod ei hathrawiaethau a'i disgyblaeth yn iach ac yn ysgrythyrol. Y coffadwriaeth am ei Diwygwyr a'i merthyron sydd yn anwyl genyf tu hwnt i amgyffred.

MR. T.—Ac nid ydynt yn llai anwyl genyf fi, Syr; ac os gellwch ddangos i mi fod y Bibl yn cefnogi egwyddor Sefydliad Eglwysig, byddaf fi yn un o'i chynnalwyr cadarnaf. "Myfi a ddeuaf gyda chwi am fod Duw gyda chwi." Profwch i mi, anwyl Syr, fod Sefydliad Eglwysig yn *gyfreithlon*.

OFF.—Yr unig anhawsder, yn fy marn i, yn profi hyny, yw canfod unrhyw *reswm i ddangos fod Sefydliad Eglwysig yn anghyfreithlon*. Un o'r hen ysgrifenwyr enwog, sef yr Esgob Stillingfleet, a ddywed, "Wrth yr Eglwys Sefydledig, yr wyf yn deall y gymdeithas hòno o Gristionogion, y rhai a gydunant yn yr unrhyw gyffes ffydd, yr unrhyw ddeddfau disgyblaethol, a'r unrhyw reolau o addoliad cyhoeddus:" a dengys fod y dyb hon yn un gysson yn nghylch ein Sefydliad Eglwysig ni, yr hon sy gynnulleidfa o ddynion wedi ymuno er eu cyfarwyddiad a'u llywodraethiad yn ol rheolau y grefydd Gristionogol. Ac efe a ddywed, "nad allai efe ganfod," ac nid allaf finnau ychwaith, "paham nad all cymdeithas wladol, yr hon sydd yn cyduno yn yr unrhyw athrawiaeth, a than yr unrhyw lywodraeth a disgyblaeth, fod yn wir ac yn briodol yn eglwys, yn gystal a rhyw gynnulleidfa neillduol;" oblegid, fel y sylwa efe, "nid yw bychandra na helaethder yn cyfnewid ansawdd y peth."

MR. T.—Ond nid yw eich Eglwys chwi fel hyn yn wladol. Ystyriwch gynnifer o Ymneillduwyr o bron bob enw dan y nefoedd sydd yn y wlad hon.

OFF.—Peth arall ydyw hyny, a chawn sylwi arno mewn un o'n hymddiddanion. Yn awr soniaf yn unig am *gyfreithlondeb* Eglwys Sefydledig. Pe bai y nifer lluosocaf o drigolion y wlad hon y fory yn Bresbyteriaid, neu yn Babyddion—a phe byddai i awdurdodau cyfreithlon y deyrnas, sef y brenin a'r ddau Senedd-dŷ, yn tybied mai un o'r ddau enwad uchod oedd y goreu, ac yn ei sefydlu trwy gyfraith—yna myfi a fyddwn yn Ymneillduwr. Gan

fy mod yn dilys gredu fod yr Ysgrythyr o blaid disgyblaeth Esgobawl, ni allwn yn gydwybodol fod yn Bresbyteriad; a chan fod genyf wybodaeth o athrawiaethau anysgrythyrol Eglwys Rufain, gorfyddai arnaf ymneillduo oddiwrth un mor lygredig: ond hyn a ymddibynai ar amgylchiadau, heb haeru fod y peth yn anghyfreithlon, yn unig am ei fod *yn sefydledig*.

Mr. T.—Ond ai peth cyfreithlon yw i freninoedd, a'r senedd, ymyraeth âg eglwys Crist?

Off.—Atebaf chwi y'ngeiriau yr Esgob Stillingfleet:—"Os oes y cyfryw Gristionogion yn y byd ag a dybiant fod Tywysog yn rhan hanfodol o eglwys Gristionogol, bydded i Mr. Baxter (gwyddoch mai un o'r hen Anghydymffurfwyr oedd Mr. Baxter) eu gwrthwynebu hwynt: eithr nid wyf fi yn un o honynt; oblegid yr wyf yn credu fod eglwysi Cristionogol cyn bod tywysogion Cristionogol, ac y parhaent felly pe na byddai yr un tywysog. Credaf fod awdurdod yr agoriadau yn beth gwahanol oddiwrth swydd yr Ynad gwladol." Nid yw ein Heglwys yn caniatâu dim awdurdod *ysprydol* i'r llywodraethwr dinasaidd. Y mae yr 37 Erthygl yn gwadu hyn yn arbenig. Ond os yw Duw yn gweled yn dda i ddefnyddio moddion dynol er hyrwyddo ei ogoniant, a lles crefyddol dynolryw, pa un bynag fyddont ai tywysogion ai dynion ereill, dylem fod yn ddiolchgar iddo ef, ac yn barchus o honynt hwy. Nid yw arferiad o foddion ddim yn bychanu ei ofal rhagluniaethol ef. Y mae moddion yn angenrheidiol, pa un ai gweinidogion, ai ynadon, neu air Duw neu ei sacramentau, am ei fod ef wedi eu pennodi, nid am nad all efe wneuthur hebddynt hwy.

Mr. T.—Ond onid barn y duwiolaf ym mhob oes oedd, fod sefydliadau crefyddol gwladol yn anghyfreithlon?

Off.—Nagê; ac ni chlywid am y gwrthebiad hwn hyd yr oes ddiweddaf. Ni ddarfu yr ymneillduwyr cyntaf erioed farnu hyny: a chredaf na feddyliodd hanner cynnulleidfa Mr. Morgan am y gwrthebiad hwn ar y cyntaf. Digwyddodd iddynt efallai anhoffi rhywbeth yn ein Gwasanaeth, neu ein Hoffeiriad, neu hoffasant Weinidogaeth Mr. Morgan yn fwy; ac yn y modd hyn gwrthgiliasant at yr Ymneillduwyr: ond tyb newydd ydyw hon, "fod pob sefydliad crefyddol, pa fath bynag a fo, yn anghyfreithlon." (Dyfyniad o waith Ymneillduwr enwog yw y geiriau hyn, er fy mod yn tybied mai sefydliadau *gwladol* oedd efe yn ei feddwl; oblegid, pe cymmerid ei eiriau yn eu hystyr helaethaf, hwy a dynent i lawr y Capelydd yn gystal a'r Eglwysydd.) Na, Mr. Thomas, ni thybiodd yr hen Anghydffurfwyr erioed y dylai pawb ymneillduo oddiwrth Eglwys Sefydledig, fel yr haera Ymneillduwr arall, "hyd yn nod os athrawiaethau yr efengyl yw yr athrawiaethau a bregethir, ac os yw ymarweddiad y Gweinidogion yn gysson â'u pregethau."

Mr. T.—Darfu Mr. Morgan ddarllen gwaith yr awduron uchod i mi; a mynegodd i mi fod y ddau yn byw yn Lloegr, ac yn Ddoctoriaid mewn Duwinyddiaeth.

Off.—Ni ddygaf awdwr yn erbyn awdwr, onidê byddwn barod i ddyfynu un o sylwadau yr ardderchog Mr. Burke, "fod y nifer mwyaf o drigolion Lloegr (y'mhell oddiwrth dybied fod Sefydliad Eglwysig yn *anghyfreithlon*) yn barnu nad yw yn gyfreithlon iddynt fod heb yr un." Ond awn at air Duw. Ystyriwch fel yr oedd yr eglwys a'r wladwriaeth wedi eu huno ym mysg yr Iuddewon dan yr hen oruchwyliaeth; ac i'r fath raddau ag a fyddai yn awr yn ammhossibl, ac, yn wir, yn annymunol.

Mr. T.—Ond peth arbenig i'r Iuddewon oedd hyny.

Off.—Nid wyf yn haeru y dylai ein Heglwys a'n gwladwriaeth ni gael ei rheoli yn gymmwys yn yr un modd: ond cyfeiriaf eich sylw at hyn er mwyn egluro yr egwyddor: oblegid os yw Sefydliad Eglwysig yn anghyfreithlon ynddo ei hun, a fuasai y Jehofah yn pennodi y fath Sefydliad? A agorasai efe y fath ddrws i gam-arferion, neu a roddasai efe esgus i'r fath efelychiad pechadurus? Pe buasai Sefydliad Eglwysig o bob math yn bechadurus ynddo ei hun, ni chefnogasid ef erioed gan y Llywodraethwr goruchel.

Mr. T.—Cydnabyddaf fod Sefydliad Eglwysig yn gyfreithlon dan yr Hen Destament, ond nid dan y Testament Newydd.

Off.—A pha fodd y profwch hyny? A ddywedodd ein Harglwydd, neu ei ddis-

gyblion hyny? A warafunodd yr Apostolion i lywyddion neu lywodraethwyr ffurfiö Sefydliadau Cristionogol y'mysg eu deiliaid, a gwneuthur y cwbl a allent er sicrhau cyflawniad dyledus o addoliad cyhoeddus? A dystiolaethodd Crist, neu ei apostolion, mai peth anghyfreithlon, o dan yr oruchwyliaeth efengylaidd, fyddai i freninoedd fod yn dad-maethod a breninesau yn fam-maethod i eglwys Crist?

Mr. T.—A maethod braf a fu rhai o honynt! Edrychwch ar y frenines waedlyd Mari.

Off.—Ië; ond yr oedd yn feius ddauddyblyg; oblegid nid ymfoddlonodd ar arferyd ei hawdurdod cyfiawn. Yr oedd hi yn euog o anoddefgarwch a chreulondeb. Heblaw hyn, hi a arferodd hyd yn nod ei chyfiawn awdurdod o blaid Eglwys *lygredig*. Ei rhagflaenydd Iorwerth VI. a wnaeth ddefnydd priodol o'i awdurdod. Y mae llywodraeth Gristionogol yn rhwym i hyrwyddo gwir grefydd: ac os metha ei haelodau ganfod pa beth yw gwir grefydd, nid yw hyny yn perthyn dim i'r pwngc dan sylw. Y mae tad yn rhwymedig i hyfforddi ei blant; ac nid yw yn wrthebiad i hyn i haeru fod llawer o dadau wedi eu cam-hyfforddi. Y mae euogrwydd yn gorwedd ar benau y sawl a gam-arferant unrhyw dalent a ymddiriedwyd iddynt; eithr nid yw hyn yn profi y dylent hwy ddodi eu talent mewn napcyn, neu ei chuddio yn y ddaear.

Mr. T.—Gwelaf gywirdeb y gwahaniaeth hwn: ac os gellwch ddangos i mi fod sefydliad gwladol o eglwys yn *ysgrythyrol*, ni ddywedaf fod llawer un anysgrythyrol wedi ei sefydlu.

Off.—Yr ydych yn dywedyd os gallaf fi ddangos fod hyn yn gyfreithlon, ond dylech chwi yn hytrach ddangos i mi paham y mae yn anghyfreithlon. Pa un o gyfreithiau Duw y mae yn ei wrthwynebu? Pe buasai y Sanhedrim Iuddewig yn cael eu troi at y grefydd Gristionogol tra y parhaodd sefydliadau Moses, pa anghyfreithlondeb a fuasai yn eu gorchwyl yn gwneuthur eu synagogau yn demlau Cristionogol? Ped argyhoeddasid yr Ymerawdwr Nero trwy weinidogaeth Paul, a dybiwch chwi y buasai yr apostol yn ei feio am sefydlu addoliad yr unig wir a'r bywiol Dduw, a'r hwn a anfonodd efe, Iesu Grist, yn lle creulonderau ofer-goelus y Groegiaid a'r Rhufeiniaid? A phaham na wrth-dystiasai y Cristionogion cyntaf yn erbyn y drefn newydd? A oedd neb o honynt yn ddynion o syniad ysprydol? A oedd neb o'n Diwygwyr a'n Merthyron ein hunain, y rhai oeddynt sefydlwyr ein Heglwys Sefydledig, yn wyr o syniad ysprydol? Nid wyf yn mynegu enwau, er mwyn profi pethau: ond gan eich bod yn tybied fod y gwrthebiadau yn erbyn cyfreithlondeb Eglwys Sefydledig wedi cael allan er's oesoedd lawer, ac yn cael eu dwyn ym mlaen gan wyr tra chrefyddol ac ysprydol, nid yw yn anaddas i mi ddangos mor ddisail yw eich tyb.

Mr. T.—Ond oni ddarfu i'r Diwygwyr, mewn gwledydd ereill, wrth-dystio yn erbyn Sefydliadau Eglwysig gwladol?

Off.—Pwy? Pa bryd? Pa wledydd?

Mr. T.—Ni wn i ddim; ond yr oedd genyf ryw dyb o'r fath.

Off.—Y mae eich tyb yn dra anghywir; oblegid pwy oedd yn gefnogwyr cadarnach i Sefydliadau Eglwysig na Knox yn Scotland, a Chalvin a Beza ar y Cyfandir? Yr oeddynt hwy, fel y Puritaniaid yn Lloegr, yn achwyn fod llywodraeth ddinasaidd eu gwledydd hwy yn elyniaethol i'r hyn a olygent *hwy* yn wir grefydd—yn nacâu cyd-weithio yn yr hyn a haerent hwy oedd achos Duw: ond ni ddychymmygasant erioed, pe cynnygiasai y llywodraeth eu cynnorthwyo, y dylasent wrthod eu cynnorthwy fel peth anghyfreithlon. Calvin ei hun a haerodd, ped ymddygai yr Esgobion fel gweision cywir i Grist, "nad oedd yr un *anathema*" (y cyfryw yw ei ymadrodd cadarn) "a'r nad oedd yr Ymneillduwyr yn ei haeddu." Dilynwyr Cyffes Augsburg, â'r hon y cytuna y rhan fwyaf o'r eglwysi Protestanaidd ar Gyfandir Ewrop, a dystiant fod gorfod arnynt, yn dra anewyllysgar, ymneillduo oddiwrth eu Heglwysydd Gwladol, nid am fod Sefydliad Eglwysig Gwladol yn anghyfreithlon ynddo ei hun, ond "am fod yr Esgobion Pabaidd yn erlid y bobl dlodion â chreulonderau annhraethadwy." Yr oeddynt yn enbyd yn erbyn ymneillduo, os nad oedd angenrheidrwydd anhepgorol. Melancthon, Luther, a Bucer, oeddynt yn gefnogwyr Sefydliad Eglwysig; a gallaf ychwanegu, er nad yw hyny

o ddim pwys yn y ddadl bresennol, o an *Esgobaethawl.*

Mr. T.—Ai hyn oedd barn gyffredin y Diwygwyr?

Off.—Ië; ac o herwydd hyn ni phetrusodd yr Esgob Stillingfleet haeru—"Yr oedd yr *holl* hen Anghydymffurfwyr yn tybied eu bod yn rhwymedig i gymmuno yn Eglwys Loegr; a golygent fod ymneillduad oddi wrthi yn *bechod*, er yr holl lygredigaethau a dybient hwy oedd ynddi." "Profais hyn," meddai yr Esgob, "gyd â'r fath dystiolaeth, yn y traethawd blaenorol, ag y gall y rhai a'i gwadant wadu hefyd fod yr haul yn tywynu." Wrth ymneillduo oddiwrth Eglwys Rufain, yr hon oedd yn gywilyddus lygredig, ardystiai y prif Ddiwygwyr iddynt wneuthur hyny yn unig "fel y tynent dŷ i lawr am fod y nesaf ato ar dân:" nid am y tybient fod adeiladu tai yn waith anghyfreithlon. Y gwyr hyn a wylasant ac a alarasant o herwydd diffygiadau gwir-hanfodol, neu dybiedig, y rhan fwyaf o'r Sefydliadau Eglwysig Gwladol ag oedd y pryd hyny: ond ni freuddwydiasant erioed, fel eich cyfaill Mr. Morgan, fod yr *egwyddor* yn anghywir yn gystal â'r trefniadau. Ni ddymunasant hwy am ddim ond am "ffangell o fân-reffynau" i buro y deml wladol: ni haerasant erioed y dylid dinystrio yr adeilad ei hun.

Mr. T.—Gwelaf fod llawer mwy o bethau i'w dywedyd o blaid cyfreithlondeb Sefydliad Eglwysig nag a dybiais i; a'ch cyfeiriad chwi at y "ffangell o fân-reffynau" a'm hadgofia o noswaith ddigwsg a dreuliais yn ddiweddar wrth ddwys ystyried ei ymddygiad Ef at yr hwn yr arwain y cyfeiriad ein meddwl, yr Hwn oedd ein hesampl mawr. Yr oeddwn wedi bod yn ymddiddan â Mr. Morgan y prydnawn hwnw ar y pwngc dan sylw: ac yn yr hwyr, wedi dyrchafu fy erfyniadau at orsedd gras am i Dduw fy nghyfarwyddo yn y pwngc pwysfawr hwn, daeth i fy meddwl paham y cyrchai ein Harglwydd i Eglwys Sefydledig gwlad ei enedigaeth, os yw pob Sefydliad Eglwysig yn anghyfreithlon? Dyma brawf y gallant fod, *dan rai amgylchiadau* o leiaf, yn gyfreithlon: nid oes rhagor o dystiolaeth groes i hyny dan yr oruchwyliaeth efengylaidd. Yna y cofiais, ac nid heb ddagrau, yr oriau hyfryd a llesol i'm henaid a dreuliais ym mynwes ein Sion wladol, a than eich gweinidogaeth lafurus a charuaidd chwi: a gofynais i mi fy hun, a oeddwn i yn dilyn esampl Crist wrth ymneillduo, heb un rheswm arall ond fy ammheuon yn unig ynghylch cyfreithlondeb Sefydliadau Eglwysig: a dechreuais syniad pa beth a ddywedai ein Harglwydd pe bai efe yn sefyll yn y deml, ac yn cyhoeddi geiriau bywyd tragywyddol; a phed atebai y bobl yn yr ymadroddion a ddyfynodd Mr. Morgan, "er ei fod yn pregethu yr efengyl, a hyny yn ffyddlawn, ac er ei fod yn ymarweddu yn gysson â'i bregethau," nad allent yn gydwybodol gyrchu i'w wrando, oblegid "fod ganddynt wrthebiad i Sefydliad Eglwysig, a'u bod yn gweled *anghyfreithlondeb* pob sefydliad crefyddol pa fath bynag a fyddo." Tybiais y buasai efe, efallai, yn gwahaniaethu rhwng Sefydliadau Iuddewig a Sefydliadau Cristionogol; a hyn a'm boddlonodd am fynyd: ond er hyny gwelais yn eglur nad allai pob sefydliad crefyddol pa fath bynag a fo, "fod yn anghyfreithlon." Os haerir fod y peth a'r nad oedd yn bechadurus gynt, yn bechadurus yn awr, dylid dwyn rheswm da am hyny. Y cyfryw oedd fy syniadau: a'n hymddiddan presennol sydd wedi dwyn i'm côf, ac yr wyf yn dra thueddol i ardystio nad allaf gyduno yn gydwybodol â haeriad Mr. Morgan; ond er hyny meddyliwyf yn awr *nad yw y Testament Newydd yn cefnogi Sefydliad Eglwysig*, a hyn yn unig a'i gwna ef yn anghyfreithlon.

Off.—Nid wyf yn cydsynied â chwi. A oes genych archiad arbenig yn y Testament Newydd i'r gwragedd gyfranogi o'r Cymmun?

Mr. T.—Nac oes.

Off.—A ydyw y peth gan hyny yn anghyfreithlon?

Mr. T.—Nac ydyw: yr un rheswm sydd i'r gwragedd ddyfod ag i'r dynion; a diau yr amcanwyd i wragedd fod yn gyfranogion o hono.

Off.—Wel, ynte, os nad oes yr un ymadrodd arbenig yn gorchymyn trefnu Sefydliad Eglwysig, nid yw yn canlyn fod y fath beth yn anghyfreithlon, mwy nag a fyddai gwaith gwragedd yn cyfranogi o'r Cymmun. Ond nid tystiolaeth yr Ys-

grythyr yw y pwngc dan sylw heddyw. Ymddiddanwn ar hyny y tro nesaf. Y cwbl a ddywedaf yn awr yw, fy mod yn meddwl i mi ddangos nad oes dim anghyfreithlondeb mewn Sefydliad Eglwysig ynddo ei hun; a gobeithiaf brofi, yn ein hymddiddan nesaf, nad yw hyny yn groes i'r Ysgrythyr.

---

## CANIADAU SELMA.

### CYFIEITHIAD O WAITH OSSIAN, BARDD GAELIG O'R DRYDEDD GANRIF.

CYNNWYSIAD.

Cyfarchiad i'r seren brydnawnol. Cyfeiriad at Fingal a'i amseroedd. Minona yn canu ger bron y breuin gân yr annedwydd Colma; a'r beirdd yn rhoddi anghraifftiau ereill o'u hamrywiol ddoniau awenyddawl, yn ol arferiad blynyddawl a sefydlwyd gan freninoedd yr hen Albaniaid.

SEREN y ddisgynedig nos! teg yw dy oleuni yn y gorllewin! dyrchefi dy ben yn ddianaf o'th gwmwl; ardderchawg yw dy gamrau ar dy fryn. Pa beth a ganfyddi yn y gwastadedd? Y gwyntoedd tymhestlawg a ostegwyd. Trwst y ffrydlîf a ddaw o bell. Tonau rhuadwy a ddringant yr anghysbell graig. Ednogiaid y prydnawn a chwareuant ar eu hadenydd eiddil; sibrwd eu llwybr sydd ar y maes. Pa beth a weli di, lewyrch prydweddol? Ond yr ydwyt yn gwenu ac yn myned ymaith. Y gwenyg a ddeuant gyda llawenydd o'th amgylch: golchant dy wallt hygarawl. Bydd wych, ti baladr distaw! Boed i oleuni enaid Ossian gyfodi.

Ac efe a gyfyd yn ei nerth! Gwelaf fy nghyfeillion gynt—eu cynnulliad sydd ar Lora, megys yn nyddiau blynyddoedd ereill. Fingal a ddaw megys colofn ddyfrllyd o niwl! ei wroniaid ydynt o'i amgylch; ac wele brif feirdd cerdd, y llwyd-walltawg Ullin! yr ardderchawg Ryno! Alpin, a'r llais pêrgeiniawl! mwynaidd alarnad Minona! Pa fodd y'ch newidiwyd, fy nghyfeillion, er dyddiau uchel-wledd Selma! pan yr ymdrechasom, fel aweloedd y gwanwyn, pan yr ehedant dros y bryn, ac y crymant yn olynol y gwan-chwibanawl laswellt.

Minona a ddaeth allan yn ei thegwch; gyda golwg prudd, a llygad deigrynawl. Ei gwallt a lifodd yn arafaidd ar y chwa, a ruthrai yn anfynych o'r bryn. Eneidiau y gwroniaid oeddynt drist pan y dyrchafodd hi ei llais pêrseiniawl. Mynych y gwelasynt feddrod Salgar, tywell drigfan Colma a'r gannaid fynwes.—Colma a adawyd yn unig ar y bryn, gyd â'i holl hyfrydlais cân! Salgar a addawodd ddyfod; ond y nos a ddisgynodd o amgylch. Gwrandewch lais Colma, pan yr eisteddodd yn unig ar y bryn!

*COLMA.* Y mae hi yn nos. Ydwyf yn unig, digarad ar fryn y tymhestloedd. Y gwynt a glywir ar y mynydd. Y llif a ffrydia dros y graig. Un bwth ni'm derbyn o'r gwlaw; digarad ar fryn y gwyntoedd!

Cyfod, Loer! o'r tu ol i'th gymylau. Sŷr y nos, cyfodwch. Arweiniwch fi, rhyw lewyrch, i'r man lle y gorphwysa fy anwylyd oddiwrth yr helwriaeth yn unig! Ei fwa yn ei ymyl yn llac; ei gwn yn cyhwfan o'i amgylch. Ond rhaid imi eistedd yma yn unig wrth graig yr aber fysoglyd. Y ffrŵd a'r gwynt a ruant yn uchel. Ni chlywaf lais fy anwylyd. Paham yr addoeda Salgar, pa'm flaenor y foel, ei addewid? Llyma y graig, a llyma y pren, llyma y ffrŵd ruadwy! Addewaist gyd â'r nos i fod yma. O! pa le yr aeth fy Salgar? Gyda thi mi a ddiangwn oddiwrth fy nhad: gyda thi oddiwrth fy mrawd uchelfryd. Ein gwehelyth a fuant yn hir yn elynion; nid ydym ni yn elynion, O Salgar!

Llonydda am ychydig enyd, O Wynt! Ffrŵd, bydd fud am ychydig! clywer fy llais o amgylch. Boed i fy nghrwydrwr fy nghlywed! Salgar! Colma yw yr hon sydd yn galw. Dyma y pren a'r graig. Salgar, fy nghariad! wele fi yma. Paham yr oedi dy ddyfodiad? Wele! y lloer tawel yn dyfod allan. Y ffrŵd sy ddisglaer yn y cwm. Y creigiau ydynt lwydion ar y llethr. Nis gwelaf ef ar y trum. Ei gwn nis deuant o'i flaen gyda mynegiad o'i agos ddynesiad. Yma rhaid i mi eistedd yn unig!

Pwy a orwedd ar y rhos yn fy ymyl? Ai fy nghariad a fy mrawd ydynt? Yngenwch i mi, O fy anwyliaid! I Colma ni atebant ddim! Yngenwch i mi, yr wyf fi yn unig! Fy enaid a ddryllir gan ofnau! Och! y maent yn feirw! Eu cleddyfau ydynt gochion o'r frwydr. O fy mrawd, fy mrawd, paham y lleddaist fy Salgar? pa'm, O Salgar, y lleddaist fy mrawd? Anwyl oeddych eich dau i mi! pa beth a ddywedaf yn eich clod? Ty di

oeddit deg ar y bryn ym mysg miloedd! efe oedd ofnadwy mewn rhyfel. Llefarwch wrthyf; gwrandewch fy llais; clywch fi, feibion fy nghariad! Y maent yn fud, yn dermud byth! Oer, oer yw eu mynwesau o glai! O! o'r graig ar y bryn, o goppa yr anunion lethr, llefarwch, chwi ysprydion y meirw! llefarwch, myfi nid ofnaf! Pa le yr aethoch i orphwys? Ym mha ogof o'r graig y caf fi y trengedig? Nid oes un llais gwan ar yr awel; un ateb hanner-buddedig yn y dymhestl!

Eisteddaf yn fy nhrallod; disgwyliaf am y boreu yn fy nagrau! Darperwch y bedd, chwi gyfeillion y meirw. Na chauwch ef nes y del Colma. Fy mywyd a ehed ymaith fel breuddwyd; paham yr arosaf ar ol? Yma y gorphwysaf gyda fy anwyliaid, wrth ffrydlif y seinfawr graig. Pan y daw nos ar y bryn; pan gyfyd yr uchel wyntoedd; fy yspryd a saif ar y chwa, ac a alara am farwolaeth fy anwyliaid. Yr heliwr a'm clyw o'i fwth. Efe a ofna ond a gâr fy llais! Canys melus fydd fy llais i'm cyfeillion; hyfryd oedd ei chyfeillion i Colma!

Gyfryw oedd dy gân, Minona, arafwylaidd fwyn ferch Torman. Ein dagrau a syrthiasant am Colma, a'n heneidiau oeddynt brudd! Ullin a ddaeth gyd â'i delyn! rhoddodd i ni gân Alpin. Llais Alpin oedd hyfryd; enaid Ryno oedd baladr o dân! Ond hwy a orphwysasent yn y tý cyfyng, a'u llais a ddarfuasai yn Selma. Ullin a ddychwelasai, rhyw ddydd, o'r helwriaeth, cyn i'r gwroniaid syrthio. Efe a glywodd eu hymryson ar y foel; eu cân oedd fwyn ond galarus! Galarent am gwymp Morar, y cyntaf, ym mhlith marwol ddynion! Ei enaid oedd fel enaid Fingal; ei gledd fal cleddyf Oscar. Ond efe a gwympodd, a'i dad a alarodd; llygaid ei chwiorydd oeddynt lawn o ddagrau. Llygaid Minona oeddynt lawn o ddagrau, chwaer yr ardderchawg Forar! Hi a giliodd oddiwrth gân Ullin, mal y lloer yn y gorllewin, pan y rhagwêl y gwlaw, ac y cuddia ei theg ben mewn cwmwl. Tarewais y delyn gyd âg Ullin: cân y galar a gyfododd!

*Ryno.* Y gwynt a'r gwlaw a aethant heibio; tawel yw y canol-ddydd llon. Dros y gwyrddion fronydd ehed yr anwadal Haul. Coch trwy y nant garegog llifa ffrydlif y bryn. Melus yw dy drydar, O ffrŵd! ond melusach yw y llais a glywaf. Llais Alpin ydyw, mab y gân, yn galaru am y meirw! Crymedig yw ei ben oedranus; coch yw ei lygad deigrynawl. Alpin, ti fab cân, paham yr wyt yn unig ar y fron dawedog! Paham y cwynfani mal awel yn y goedwig, mal tòn ar y tywyn unig!

*Alpin.* Fy nagrau, O Ryno! ydynt am y meirw; fy llais am y rhai a aethasant heibio. Tal wyt ti ar y bryn, hawddgar ym mysg meibion y dyffryn. Ond ti a gwympi fel Morar; y galarwr a eistedd ar dy fedd. Y bryniau ni'th adnabyddant mwyach; dy fwa a orwedd yn dy gyntedd yn llac!

Ti oeddit fuan, O Morar! megys iwrch yn yr anialwch; ofnadwy fal goruchionen o dân. Dy lid oedd fal y dymhestl. Dy gleddyf mewn rhyfel fal mellt yn y maes. Dy lais oedd mal ffrŵd wedi gwlaw; mal taranau ar belleuig fryniau. Llawer a syrthiasant trwy dy fraich; yswyd hwynt yn ffaglau dy ddigofaint. Ond pan ddychwelaist o ryfel, mor heddychol oedd dy wedd! Dy wynebpryd oedd fal yr Haul wedi gwlaw; fal y Lleuad yn nistawrwydd y nos; tawel fal mynwes y llyn, pan ostegir yr uchel wynt.

Cyfyng yw dy annedd yn awr! tywell yw man dy breswyliad! A thri cham y cylchynaf dy fedd, O tydi, yr hwn oeddit mor fawr gynt! Pedwar maen, gyd â'u penau o fwsogl, yw yr unig goffadwriaeth o honot! Pren heb arno brin ddeilen; hir laswellt, yr hwn a chwibana yn y gwynt, a nodant i lygad yr heliwr feddrod y nerthol Forar. Morar! ydwyt isel yn wir. Nid oes i ti un fam i'th alaru; un rïan â'i dagrau o gariad. Marw yw yr hon a'th esgorodd, trengedig yw merch Morglan.

Pwy yw hwn ar ei ffon? Pwy yw hwn sydd â'i wallt yn wyn gan henaint; sydd â'i lygaid yn gochion gan ddagrau? sydd yn crynu ar bob camrau? Dy dad ydyw, O Morar! na thad i un mab ond tydi. Clywodd am dy fri mewn rhyfel; clywodd am alon a wasgarwyd. Clywodd am enwogrwydd Morar; paham na chlywodd am ei archoll? Wyla, tydi dad Morar! wyla; ond dy fab ni'th glyw. Dwfn yw cwsg y meirw, isel eu gobenydd o lwch. Dim

mwy ni chawn glywed dy lais; dim mwy ni ddeffrown wrth dy alwad! Pa bryd y bydd hi yn foreu yn y bedd? i beri i'r cysgadur ddeffro! Ffarwel, ti ddewraf o ddynion! Tydi orchfygwr yn y maes! ond y maes ni'th wel di mwyach! a'r goedwig dywell ni oleuir gan ddisglaerder dy arfau. Ni adewaist un mab. Y gân a geidw dy enw. Amseroedd i ddyfod a gânt glywed am danat; cânt glywed am y syrthiedig Ferar!

GLAN ALUN.

---

## COF-ERGREIFF.

MR. GWYLIEDYDD—Clywais fod gwr boneddig gwladgarawl, i'r hwn y mae y GWYLIEDYDD dan y rhwymedigaethau mwyaf, yn chwennych gweled ar ei ddalenau bigion o'r Bedd-ergreiff ag sydd ar gaffael yn Eglwysydd a Monwentydd Cymru. Canfyddaf hefyd, ar amlen eich Rhifyn am fis Mehefin, eich bod chwithau yn galw ar Offeiriaid y Dywysogaeth i'ch cynnorthwyo i wneuthur hyny o orchwyl. A meddyliwyf y byddai hyny, nid yn unig yn dderbyniol, ond hefyd yn dra buddiol, mewn amryw ystyriaethau. Yr wyf yn danfon i chwi ddau. Y cyntaf, yn Lladin, sydd yn Eglwys Croes Oswallt. Cynnwys hysbysrwydd a all fod er buddioldeb i'r Plwyfydd a enwir ynddo. A'r ail, yn Saesonaeg, sydd ym Mynwent Llanwddyn, ac sydd hynod oblegid ei fod er coffadwriaeth am un o'r dynion hynaf yn y dyddiau diweddar hyn: a thraddodiad y gymmydogaeth ydyw, y dylasai ei oed fod yn 118, yn lle 113.

Dywedir fod y gwr boneddig a goffheir gan y cyntaf o enedigaeth o Blwyf Llandrillo yn Rhos: ac iddo gael ei wneuthur yn Ficer Croes Oswallt, ac yn Rector Darowen, gan y duwiol Esgob Beveridge, yn y flwyddyn 1707: ac iddo adael arian i addysgu ieuengctid y Plwyfydd hyny. Ond y mae genyf achos i feddwl nad ydyw yr arian hyny ddim wedi, neu yn cael eu defnyddio i'r perwyl y gadawyd hwynt. Disgwyliaf y bydd i Beriglorion y Plwyfydd hyny (yn enwedig Periglor dysgedig Plwyf ei enedigaeth) i'r rhai y perthyn y peth, chwilio i mewn iddo, a chyhoeddi hyny yn eich Cylchgrawn defnyddiol. Gwel hanes am R. D. Vicarius de Ruabon yn Brown Willis' St. Asaph, Vol. I. p. 229. A chan i'r enwog a'r clusengar R. D. yr hwn ydoedd o deulu clodwiw Llanerch a Gwysaney, deilyngu gosod i fynu y fath goffadwriaeth o'i gyfaill T. O. meddyliwyf fod hanes y T. O. hwn ("*Laudatus a laudato viro*") yn haeddu cael ei wneuthur yn fwy hysbys trwy gyfrwng y Gwyliedydd.——Yr eiddoch, &c.

T.

Od basin hujus Columnæ
S. E.
THOMAS OWEN, M. A.
E Parochiâ de LLANDRILLO IN RHOS,
In Agro Denbighensi Oriundus,
Et hujus Ecclesiæ per septennium Vicarius.
In quo brevi temporis spatio
Diuturnæ apud Posteros laudis
Æternæ cum Christo gloriæ
Mercedem sibi comparavit,
Egenos sublevando, ignaros erudiendo,
Errantes reducendo, stabiles confirmando,
In omnibus officii sui muneribus
Assiduus, indefessus,
Gravis, idem et comis;
Heredes parvi sui Census Pauperes
Præcipue voluit ad normam Ecclesiæ Anglicanæ
Educandos,
Liberos Scilicet hujus Parochiæ in viginti, }
Eos itidem de Llandrillo in viginti, } Libris
Eos denique de Darowen in Com. Montgomery in decem. }
Obiit Oct. 14. Anno salutis humanæ 1713,
Suæ Ætatis 42.
Amicitiam in Ære memorari cupiit,
R. D. Vicarius de Ruabon.

---

### In Memory

OF LEWIS EVANS, LATE OF LLECHWEDD-DU,
WHO DEPARTED THIS LIFE
MARCH 22, 1784.
AGED 113.

Make haste to Christ, make no delay,
There's no one know's his dying day;
Go hence my friend and shed no tears,
We must lie here till Christ appears;
And when he comes, we hope to have
A joyful rising from the grave.

Lewis Evans is said to have come in his younger days from the Parish of Garthbibio to reside with a Mr. John Jones, who then kept the Inn at Llanwddyn. Some of L. E. 's children said that his age ought to be 118:—3 inserted instead of 8.

The above named John Jones was Coachman to Lady Llysyn (Arglwyddes Llysyn.)

# BARDDONIAETH.

## CYWYDD Y DARAN.

Un awr deg, ar hanner dydd,
Duai awyr gan dywydd
Prudd-dywyll, rhwng gwyll a gwawl,
Ac aruthr ŵg awyrawl,
Yn bygwth barn, drygfarn drom,
Arswydus fel ar Sodom.
Dwfr a thân yn ymwanu
Ym mol dwfn y cwmwl du:
Tywynu mellt fel tân mawr
Llinynog trwy 'r holl nenawr.
Ar ol y dieithrol dân
Trwy y dwr tŷr y daran,
Fel tori clogwyni gant,
Llef aruthr a llifeiriant.
Certh dremio mewn cyffro caid
Daearol greaduriaid;
Rhag hynt mellt, rhag gwynt mawr,
A dylif dros y dulawr,
Rhag cael gwân, rhag gwlaw ac ôd,
Gwasga pob byw i gysgod.
A'r coronog ŵyr crynant,
Mor weiniaid a'u deiliaid ânt.
Aml fforchawg folltawg fellten
Traidd yn wyllt trwy y ddu nen.
Dyrch dy ben i'r nen annuw,
Dwyrea di wadwr Duw,
A chenfydd y gwreichionfellt,
Llawer mwy Llywiwr y mellt!
A'i allu troes y mellt draw
Ar ogwydd rhag dy rwygaw.
Duw a enfyn ei dân-fellt,
A pharodd fod ffordd i fellt.
Mae trwy nef lân dân yn dô,
Mae 'r eigiawn yn ymrwygo,
A chryn yn nyffryn a nant,
Dolefau a dylifiant.
Twrf, twrf, twrf, tyrfau, terfysg,
Sŵn mawr a lleisiau i'n mysg.
Ai dur gerbydau eres
A dyrdd ar brif-ffyrdd o bres?
O beth! ai mynyddau byd
A chwalodd gan ymchwelyd,
Ar ogwymp i fôr eigion,
A bair dwrf a berw i'w dòn?
Ai 'r Haul a holl gylch y rhod,
O'r ddeutu sydd ar ddatod?
Ai anian sy'n diflanu
O'i bod i'r diddim y bu?
Nagê—gweision uthron Naf
Leisiasant o'i lŷs isaf.
Tew darthr ynt, a dwr, a thân,
Mal beichiog gwmwl bychan;
Parod ar air eu Perydd,
Mewn hwyl yn disgwyl bob dydd:
Chwimwth ar ei orchymyn
Boddhant Dduw, rhybuddiant ddyn.
Faint mwy uthrol fai dolef
Rhyw luon uwch o'r ail nef?
Neu floedd o'r drydedd nef lân,
O enau Naf ei hunan?
O fythol ryfeddol Fod!
Ei arfaeth sy ddiorfod.
Mae pob peth, bid beth y bo,
Yn addwyn weision iddo.
Terfynir twrf y wiwnef;
Fe baid ar ei amnaid Ef.
I'w ffordd pob cwmwl a ffŷ,
Daw hinon wedi hyny.

Gutyn Peris.

---

## BREUOLDER EINIOES DYN,

### NEU ANSICRWYDD BYWYD, A SICRWYDD MARWOLAETH.

*Gosteg o Englynion Unodl Union.*

Ansicrwydd ebrwydd obryn—i'r bywiawl,
Yw 'r bywyd ar linyn,
Marwolaeth amryw elyn,
Yw sicrwydd dy aflwydd dyn.

Nid oes i'r einioes ronyn—o heddwch,
Na haeddiant i'w dilyn,
Cyfyd gofid fel gwyfyn,
Eiddil daith i ddileu dyn.

Tarth boreu, toraeth Berwyn,—oer anial,
Yw 'r einioes ar gychwyn,
Dirwyna, nid yw ronyn,
Bwa tòr yw bywyd dyn.

Ef yn byw heddyw yn hoywddyn—lluniaidd,
Llawenaf ar ddyffryn,
Mae'n adwyth mewn mynydyn,
O'i fawredd oll yn farw ddyn.

Er donian, geirian o'i goryn—mydrawl,
A medrus ddoeth englyn,
Hysbys mai megys mygyn,
Dian a dim ydyw dyn.

Er miloedd o aur melyn,—a thiroedd,
A thyrau amddiffyn,
Modd eglur a meddyglyn,
Nawdd nid oes yn nyddiau dyn.

Ymborthant am a berthyn—holl ofal,
A llafur i'w ganlyn,
Rhod amser ac offeryn,
Esmwythdra a ddifa ddyn.

Mal y saether aderyn—o'i rydid,
Neu rwydo pysgodyn,
Gwîb ydyw a gwybedyn,
Deall ei dwng nid all dyn.

Fel awel, neu falu ewyn,—neu niwl,
Anolo yn esgyn,
Hyd ei yrfa ei derfyn,
Hefelydd y derfydd dyn.

Dyfwrir mai diferyn—dwg ei ryw,
A dagreawl wlithyn,
Barug ydyw bargodyn,
Bod a dim yw bywyd dyn.

Yr astud, er a estyn——gwybodaeth,
Gwe byd hyd y mymryn,
Gwybod arfod ei derfyn
Ochain dwys! ni ddichon dyn.

Fel diwedd ar flodeuyn——y gwywa,
A gwe y pryf copyn,
Gwawn ydyw gwan ei edyn,
Byd i ddim yw 'r bod o ddyn.

PETER LLWYD.

## CAN A GALAR.

### COFIANT AM MR. JOHN THOMAS, MAB I MR. LEWIS THOMAS, O LANRWST.

MAE braw a llawenydd, gwên gymmysg a galar,
O golli Mab Addysg oedd lon ac yn lân;
Mae cwyn fod ei ddwyrudd yn argel mewn daear,
Bod nef lle mae 'i enaid wna i'r gŵyn droi yn gân.

Yn dnodd haul disglaer o nen *Pentre 'r Foelas*,
Ys clwyfwyd yr awen yn angeu y Bardd,
Eiddyblwyd yr ergyd am ei ŵyr oedd *John Thomas*,
Pan grinwyd y rhosyn oedd wridog a hardd.

Mae sibrwd y ffrydlif a'i throellau murmuraidd,
Mae awel ar goedwig yn cyd-ellio cŵyn,
Am un uchel mewn addysg a phêr awen lwysaidd,
Er hyny oedd ddifost, a thirion, a mwyn.

Archwaethodd o ddyfnder pob gwybod ac addysg,
Haul ydoedd, machludodd cyn gwel'd hanner dydd,
Yn nghanol gwyll angeu rhoed goleu digymmysg,
I'w arwain i Salem llawn heddwch y sydd.

Trwy well drych na'i gyfieithiad mae 'n gwel'd y *Messia*,
Tlws *Bregeth* Rhydychain a lyngcwyd yn awr:
E welodd ryw fydoedd aneirif o'r gloywa',
Pob gwrthddrych yn fwyfwy, a'r lleiaf yn fawr.

O! bu dy hyfrydlais yn ddifyr i'r galon,
Dy fyfyr, dy ddoniau, dy ddysg oedd les gwlad:
Wyf finnau fal ereill, o barch yn rhoi cwynion,
Ond chwerwder y profiad sy'n mynwes dy dad.

Dy golofn,* er harddeg, a dyna y dagrau
Oblegid dy guddio gan werdd fantell llawr:
Wrth gofio dy 'hedeg i'r disglaer ororau,
Ymdodda ein cwynion, cawn mwy ganu mawr.

ROBERT PARRY, *neu* ROBYN DDU ERYRI.

* *Am Argraff y Colofn gwel y Gwyliedydd, Rhif.* 111. *tu dal.* 210.

## MYNYDD GILBOA.

CERBYDAU a chadfeirch â banllef rhyfela
Ynt gyflym ac erchyll ar fryniau Gilboa;
Mal crinddail yr Hydref o flaen y lem awel
E gwympodd y cedyrn yn nghanol y rhyfel!

Yn erbyn gwyr Israel y frwydr drymhaodd,
Saul a archoliwyd—eu brenin a drengodd!
Daeth nos, a gorchuddid alanas y cedyrn,
Mal taran a ballodd, distawai yr udgyrn.

Ond wele wawl drwy 'r cymylau melynion,
Ac haul yn ymgodi ar danbaid olwynion;—
Och waedlyd alanas!—Ow erchyll olygfa!—
Y miloedd syrthiedig hyd fynydd Gilboa.

Y glaswellt mathredig yw gwely y milwyr
Oedd ddoe mor fawryddig yn nechreu y frwydyr;
Doe, hyll ddialedd a chwyddai eu bronau—
Heddyw yn ddinerth a gwael gelaneddau.

Eryrod yr aelgerth, a fwltur y bryniau,
A ddenwyd i'r fathrle gan arogl angau;
Ymborthant yn wancus ar gyrph y lladdedig,
A bron yr arbedant y truain clwyfedig.

Y gwr a gofleidid yn nhraserch ei gymhar
Garuaidd, sydd farw ar oerlawr y ddaear;
Crafangau yr eryr ei fynwes a rwyga,
A'r fwltur ar frasder ei gnawd a loddesta.

Ac yno 'r oedd mab yr un weddw drallodus,
Ond doe y gadawodd gartrefle cysurus;
A blaidd yr anialwch, gan chwyrnu yn greulon,
Sy'n gwledda ar archoll y cledd yn ei ddwyfron.

Anwylferch yn ymyl ei thad oedd yn wylo
Wrth ddal ei ben clwyfus a'i gochwaed yn llifo;
Daeth hefyd anwylyd wallgofus, a hithau
Gusanodd y gruddiau oedd welwon yn angau!

Tarian y cedyrn mewn dirmyg a ddygwyd,
Ac Israel gan ddienwaededig orchfygwyd;
O'r ochain galarus a'r gwaeddi sydd yna,
Heb gysur ond adsain dwys elltydd Gilboa.

O waedlyd Gilboa! boed arnat byth felldith,
Lle trengodd y brenin a'i bobl yn dryfrith;
Y gwlith na ddisgyned na gwlaw ar dy faesydd,
Boed feirwon dy braidd, a gwywedig dy ffrwythydd!

GWENFFRWD.

# HANESION GWLADWRIAETHOL.

## Newyddion Tramor.

PORTUGAL.—Daeth yr hanes fod byddin Don Pedro, o'r diwedd, wedi tirio gerllaw Oporto, yn cynnwys 7500 o wyr, o ba nifer y mae 400 yn Saeson, ac oddeutu yr un nifer yn Ffrangcod. Cymmerasant y ddinas Oporto heb y gwrthwynebiad lleiaf gan filwyr Don Miguel, y rhai a giliasant tua chanol y wlad, ar ol dinystrio y bont o gychod a wnawd ar draws yr afon. Bu ychydig ymladd rhwng y ddwy blaid. Ac oddeutu yr amser hyn darfu un o gatrodau Don Miguel daflu eu capiau i fynu i'r awyr, gan floeddio o blaid Donna Maria, merch Don Pedro, ond amgylchynwyd hwynt yn ebrwydd gan filwyr ereill i Don Miguel, a lladdwyd hwynt agos i gyd oll. Derbyniwyd milwyr Don Pedro gyd â'r croesawiad mwyaf gan drigolion Oporto, ac i bob ymddangosiad y mae ei achos yn debyg o lwyddo.

FFRAINGC.—Nid oes dim matterion o bwys wedi digwydd yn ddiweddar yn y wlad hon. Dywedir fod masnach yn

gwaethygu yn feunyddiol, o achos lledaeniâd y *Cholera*, yr hwn sydd etto yn dra dinystriol mewn rhai parthau o'r wlad. Dywedir fod y briodas ag oedd i gymmeryd lle cyn hyn rhwng y Brenin Leopold, o Belgium, âg un o Dywysogesau Ffraingc, gyd â'r rhwysgfawredd mwyaf, wedi ei hoedi. Ond er mwyn arbed cost a thraul afreidiol y mae i gael ei chyflawni yn y modd distawaf ar y seithfed o Awst.

Belgium.—Daeth llythyrau o Holland, ychydig ddyddiau yn ol, yn hysbysu nad oes dim tebygolrwydd etto y bydd i heddwch gymmeryd lle rhwng Holland a Belgium, os na bydd i'r Cynghreirwyr gydsynio âg ammodau y cytundeb a gynnygid gan Frenin Holland. Dywedir fod y *Cholera* yn lledaenu yn ninas Hague, un o brif ddinasoedd Holland.

---

## Newyddion Cartrefol.

### YR IWERDDON.

Dublin, Gorphenaf 3. Taenwyd llawer o bapurau yn cynnwys yr hysbysiad canlynol:—"Ni weithiwn ni, y werin, o 16 i 60, i neb a'r sydd yn talu degwm, neu drethi." Y dynion a gyflogwyd gan y Parch. Mr. Hamilton i ladd ei wair a ymadawsant o'r cae, gan dystio na weithient hwy ddim ychwaneg iddo. Y mae gan y Parch. Mr. Turner, Gweinidog Babrothery, dros 60 erw o wair, ac ni all gael neb i'w ladd.—Cynnaliwyd Cyfarfod lliosog ar Fryn Rathcoole, o fewn wyth milltir i Ddublin. Cyfarchwyd y gwyddfodolion gan Marcus Costella a Thomas Reynold, dau o wrthryfelwyr, a chydunwyd ar benderfyniadau cryfion yn erbyn yr amaethwyr a'r boneddigion hyny a barhaent i dalu degwm, yn groes i ewyllys y werin. Tranoeth canwyd udgorn drwy y plwyfydd cymmydogaethol, ac yn y man pob gweithiwr ar dir yr amaethwyr a nacasant gydsynied â gorchymyn y gwrthryfelwyr, a gymmerodd ei arfau ac a aeth adref. Pan gyrhaeddodd yr amgylchiadau hyn i glustiau y llywodraeth, taenwyd cyhoeddiad breninol fod y cyfryw gyfarfodydd yn anghyfreithlon, a bod yn rhaid i'r Ynadon a'r Swyddogion eu gwasgaru, a dal y blaenoriaid. Y mae y dyhiryn Reynolds wedi ei ddal, ac wedi rhoi meichiau am ei ymddangosiad i gael ei brofi am ei wrthryfel yn erbyn y gyfraith.

Penderfynodd y llywodraeth i adael i'r milwyr fyned i weithio y cynhauaf i'r boneddigion hyny na allant gael gweithwyr ereill.

*Arglwydd Cloncurry.*—Ei arglwyddiaeth, mewn llythyr at gyfarfod o wrthwynebwyr degwm, a ddywed fel hyn:—"Fy nghyfeillion, yr wyf fi yn feistr-tir, a gobeithio nid un drwg iawn ychwaith. Cofiwch fy mod i yn dywedyd, pe diddymid y degwm y fory, gwnai naw o bob deg o'r meistritir ychwanegu hyny at y rhent: a byddai cyflwr y tlodion yn waeth o lawer nag ydyw yn awr."

*Chwilio am Arfau.*—Ar nos Sul, yr 8fed o Orphenaf, rhwng 9 a 10 o'r gloch, aeth pedwar o wyr arfog i dŷ Nicholas Scholfield, yn agos i Tipperary, a dechreuasant chwilio am arfau, pan aeth un o'r meibion i ofyn i bump neu chwech o'r cymmydogion ddyfod i'w cynnorthwyo hwynt. Y cymmydogion a amgylchasant y tŷ, ac a alwasant ar y gwyr arfog i roddi eu hunain i fynu, y rhai a saethasant allan o'r tŷ, ac a laddasant ddau, ac a archollasant ddau ereill: yna diangodd y pedwar arfog: dilynwyd hwynt, ond aethant dros yr afon, ac ymguddiasant mewn cae o wenith.

Y mae ychwaneg o'r boneddigion sydd yn cyffroi y werin i nacau talu degwm wedi cael eu cymmeryd i fynu gan y Llywydd, yr hyn sydd wedi rhoddi achlysur arall i O'Connell i gablu Gweinidogion presennol ei Fawrhydi. Ymddygiad bygythiol y Llywydd sydd eisoes wedi brawychu llawer o'r terfysgwyr teithiol, y rhai ydynt yn awr yn fwy gochelgar yn eu hymadrodd.

Mewn cyfarfod o Ynadon a Boneddigion, a gynnaliwyd yn ddiweddar yn Balbriggan, cyfranwyd £700 er cynnal a chefnogi y gweithwyr hyny a wasanaethant eu meistriaid yn ffyddlon, er holl fygythion y terfysgwyr. Rhai o'r Offeiriaid Pabaidd ydynt wedi ymdrechu darbwyllo eu praidd o'u ffolineb yn myned ym mlaen fel y maent yn awr. Un o'r Offeiriaid a dderbyniodd bapuryn yn ei rybuddio rhag ymyraeth â'r peth hyn; a'r Sul canlynol rhai o'r dyhirod a ymosodasant arno.

Y mae yn deilwng o sylw, mai ar Ddydd yr Arglwydd y cynnelir y rhan fwyaf o'r cyfarfodydd yn erbyn y degwm. Nid rhyfedd fod dynion, a droseddant mor ddigywilydd gyfreithiau eu Creawdwr, yn gwrthryfela yn erbyn eu brenin daearol.

### Y CHOLERA MORBUS.

Yr hanesion am ledaeniad y clefyd arswydus hwn, yn y rhan hon o'r deyrnas, ydynt yn peri ofnau y syrth miloedd yn ysglyfaeth iddo. Gwnaeth eisoes alanastra mawr yn yr holl brif ddinasoedd.

---

### Y SENEDD.

#### CADW Y SABBOTH.

Ty y Cyffredin.—Gorphenaf 3, *Syr A. Agnew* a gyflwynodd erfyniad oddiwrth nifer o drigolion Llundain a Westminster,

am i'r Senedd drefnu moddion er attal troseddiad o'r pedwerydd gorchymyn, ac er peri mwy o barch i Ddydd yr Arglwydd.

*Canghellwr y Trysorlys* a dybiai na fyddai trefniadau Seneddol o barthed cadw y Sabbath o fawr les. Er hyny barnai fod y cyfreithiau presennol yn nghylch parchu y Sabboth yn dra anghysson, a gobeithiai y symudid yr anghyssondeb.

*Mr. G. Lamb* a wadai fod trigolion y Brif ddinas yn talu llai o barch i'r Sabboth yn awr nag yn y dyddiau gynt; ac erfyniai ar y Senedd ommedd gwneuthur dim a dueddai i droi y Sabboth siriol yn ddiwrnod o brudd-der Puritanaidd.

*Mr. Hume* a gynnygiai y dylid ymofyn ynghylch gweithredoedd y cyfoethogion ar y Sabboth yn gystal ag eiddo y tlodion.

Wedi hyny pennodwyd cyfeisteddwyr, y rhai ydynt yn chwennych cael hysbysiadau o wahanol barthau y deyrnas am y troseddau mwyaf ysgeler yn erbyn y pedwerydd gorchymyn.

## ADDYSG YSGRYTHYROL YN YR IWERDDON.

Gorph. 5, *Mr. J. E. Gordon* a gyflwynodd erfyniad oddiwrth y gwyddfodolion mewn cyfarfod yn *Exeter Hall* ychydig yn ol, wedi ei arwyddo gan uwchlaw 4000 o ddynion, ym mhlith y rhai yr oedd 14 o Ardderchogion, 22 o Seneddwyr, a 137 o Weinidogion, Eglwyswyr, ac Ymneillduwyr. Mr. Gordon a areithiodd yn hyawdl yn erbyn gweithrediadau y Gymdeithas newydd a sefydlwyd dan nawdd y Senedd er rhoddi addysg i blant tlodion yr Iwerddon. Dangosodd yn eglur fod yr Offeiriaid Pabaidd wedi rhoddi enwau llawer o Brotestaniaid wrth erfyniadau am ysgolion newydd yn eu hamrywiol ardaloedd, y'ngwrthwyneb i ddymuniad, ac heb wybodaeth y cyfryw Brotestaniaid.

## DEGWM YN YR IWERDDON.

*Mr. Stanley* a gyfododd i ddwyn yr achos pwysfawr hwn dan ystyriaeth y Senedd. Un o'i ymadroddion ef ar yr achlysur o'r blaen a gam-ddeallwyd yn ddirfawr. Dywedasai fod y llywodraeth yn bwriadu llwyr ddiddymiad Degwm yn yr Iwerddon, ac felly y bwriada; ond pan haerodd ef hyny, ni feddyliodd fod i'r Offeiriaid gael eu hamddifadu o'u heiddo, ond y derbynient werth y Degwm mewn rhyw ffordd arall. Gofynai genad i ddwyn tair o Ysgrifau i mewn. Yr Ysgrif gyntaf a orchymynai yn bennodol i bob plwyf wneuthur cytundeb â'r Offeiriad am y Degwm am ryw nifer o flynyddoedd. Cynnygiai i roddi awdurdod i'r Rhaglaw i ddewis gwyr addas i bennodi gwerth y Degwm yn y plwyfydd hyny nad allo yr Offeiriaid a'r plwyfolion gytuno. Yr ail Ysgrif a bennoda genhadon awdurdodedig y'mhob Esgobaeth, y rhai a gasglant holl gyllidau yr Offeiriaid, ac a'u cyfranant iddynt yn ol y gyfran gyfartal a dderbyniant yn awr. Y drydedd Ysgrif a allluoga berchenogion tiroedd i brynu y Degwm, i dalu ei werth i'r cenhadon Esgobaethol, y rhai a brynant diroedd gyd âg ef.

*Mr. Shiel* a wrthwynebai yr holl Ysgrifau. Ni fyddent mewn grym am flwyddyn yn yr Iwerddon: cynhyrfent y werinos i ymgynnull ynghyd, ac i wneuthur pethau na ddylent.

*Mr. O'Connell* a achwynai yn erbyn cynghorwyr Rhaglaw yr Iwerddon am anfon dalwyr-lladron i gymmeryd i fynu y boneddigion hyny a flaenorasant yn y cyfarfodydd yn erbyn y Degwm. Wedi pigo gwallau yn Ysgrifau Mr. Stanley, datganodd y drefn a ddymunai efe ddwyn i mewn ynghylch meddiannau yr Eglwys. Yn ei farn ef dylai Gweinidogion pob Sect gael eu cynnaliaeth o'r eiddo a berthyn i'r Eglwys Sefydledig yn unig. Dymunai weled pob Gweinidog yn meddiannu tŷ a thyddyn a'i cadwai uwchlaw tlodi, fel na byddai angen iddo ymddibynu ar neb o'i blwyfolion am ei fywioliaeth. Am y Degwm, yr oedd y Gwyddelod wedi penderfynu peidio ei dalu mwyach, ac ni thalent ef ychwaith, er gwaethaf holl drefniadau ac ymdrechiadau y llywodraeth.

*Arglwydd John Russell* a feiai yn llym ar ymdrechiadau terfysglyd Mr. O'Connell. Os cymmodiad y ddwy blaid oedd ei wrthddrych, yr oedd yn dilyn llwybr anarferol i gyflawni ei amcanion. "Pan y darfu i mi," ebe ei Arglwyddiaeth, "ychydig o flynyddoedd yn ol ddadleu am adferiad o'u breintiau i'r Pabyddion, ychydig a dybiais y buasent, wedi cael meddiant o honynt, yn ymegnïo i ormesdeyrnasu, yn lle ymfoddloni ar fod yn gyd-radd â'u cyd-ddeiliaid. Ychydig a dybiais y buasent yn cam-ddefnyddio eu breintiau i'r fath raddau ag i beri iddynt ymdrechu i wneuthur y blaid oedd uchaf o'r blaen yn ysglyfaeth i'w dymuniadau anghyfreithlon. Gellid yn hawdd ganfod mai eu hamcan oedd, nid cael trefniadau cyfreithlon trwy foddion cyfreithlon er symud y drygau a'u gorthryment, ond cael pob peth yn ol eu hewyllys eu hun, a chymmell y llywodraeth i'w dilyn yn eu gweithrediadau dinystriol. (*Bonllefau*). I oddef y pethau hyn a fyddai yn niweidiol i'r Iwerddon, ac yn ddinystriol i iawnreolaeth yr holl deyrnas. A feiddiai rhyw un haeru, pa bryd bynag y tybiai y werinos eu bod yn ddigon cryf i wrthsefyll un-

rhyw gyfraith, y dylai y llywodraeth roddi y goreu iddynt, a diddymu y gyfraith hòno? Yr oedd yn ddiau yn anrhydedd i fod yn aelod o unrhyw Senedd, ond gwell genyf fi ennill fy mara trwy lafur fy nwylaw, na bod yn aelod o Senedd a ymddygai oddiar yr egwyddor hòno."

*Arglwydd Ebrington* a gefnogai yr Ysgrifau hyd eithaf ei allu. Gofidiai yn ddwys o herwydd yr yspryd gwrthryfelgar sydd yn ymdaenu ar led drwy yr Iwerddon, a chondemniai y cymdeithasau a ffurfiwyd yn erbyn y sawl a ddewisont dalu yr hyn a fo ddyledus arnynt i'r Offeiriaid. Pe goddefid i'r cymdeithasau anghyfreithlon hyn barhau, ni byddai eiddo neb yn ddiogel. Dylai y boneddigion, a gwyr cyfrifol ereill, gynnal a chynnorthwyo y llywodraeth; oblegid hawdd gwybod mai y peth nesaf a wnai y gwrthryfelwyr fyddai gwrthod talu rhent i'r meistri-tiroedd absennol; ac wedi hyny nid hir y byddent cyn ymosod ar feddiannau y boneddigion a gyfanneddant yn eu plith. Ar yr un pryd, rhaid oedd iddo dystio nad oedd neb yn fwy awyddus nag efe am weled diwygiad llwyr a pharhaus yn yr Eglwys Sefydledig yn yr Iwerddon.

*Syr Robert Peel* a ddatganai ei farn y dylent oll gyduno i fynegi eu digllonedd yn erbyn y gormesdeyrn sydd yn awr yn yr Iwerddon. Yr oedd rhai o'r dynion a alwent eu hunain yn gyfeillion rhyddid yn cefnogi y gormesdeyrn. Rhyddid! pa ryddid? ai rhyddid oedd hyn? pan y byddai dyn yn ewyllysgar i ufuddhau i'r gyfraith, yna y gwneid cydfwriad yn ei erbyn yn ebrwydd. Hyn a ddygai i'w gof ddywediad Madame Roland, pan, ar ei ffordd tu a'r dienyddle, y gwelodd golofn i Ryddid, "O Rhyddid, gynnifer o droseddau a gyflawnir yn dy enw di!" A oddefir i'r fath annhrefn barhau, i fagad o derfysgwyr amddifadu dyn o'i eiddo, a'i blant o'u hiawnderau? Hyn a derfynai mewn aflywodraeth ac anrheithiad cyffredin: a galwai ar y llywodraeth i ymegnïo yn ddibaid i'w roddi i lawr. Gan ei fod yn dymuno darostwng pob terfysg a brad, cefnogai yn wresog yr holl Ysgrifau hyn. O bob dirgel-frad, y gwaethaf oedd hwnw a weithredai er amddifadu dynion o'u hiawnderau. Os parhai y brad yn erbyn eiddo, os goddefai y Senedd iddo gael yr oruchafiaeth, sicr yw na bydd dim eiddo yn ddiogel, ac y bydd yn analluog i roddi y gyfraith mewn grym.

Wedi i amryw ereill areithio o blaid ac yn erbyn yr Ysgrifau, cyfrifwyd y Tŷ, a chafwyd

| | |
|---|---|
| O blaid cynnygiad O'Connell ........ | 32 |
| Yn ei erbyn .......................... | 124 |
| Mwy o blaid cynnygiad Mr. Stanley | 92 |

## TRAUL Y DEYRNAS.

Ymddengys, oddiwrth gyfrifon awdurdodedig, fod derbyniadau y deyrnas hon, am y flwyddyn derfynedig ar y pummed o Orphenaf, 1832, yn llai na derbyniadau y flwyddyn flaenorol, o agos i *ddwy filiwn a saith gan mil o bunnau!*

Diau fod y lleihad hwn yn tarddu oddiar ddiddymiad rhai o'r trethi. Etto, fod y lleihad yn llawer mwy nag a ddychymmygodd y Llywodraeth sydd yn amlwg oddiwrth gyfaddefiad Canghellwr y Drysorfa yn y Senedd, y byddai *traul* y deyrnas eleni yn *fwy* o un miliwn a dau can mil o bunnau na'i *derbyniadau.*

*Crynodeb o dderbyniadau y deyrnas am* 1831 a 1832.

| | 1831. | 1832. | Cyn. | Llei. |
|---|---|---|---|---|
| Customs | 16,307,295 | 14,844,911 | . . | 1,462,384 |
| Excise | 15,644,559 | 14,658,716 | . . | 985,843 |
| Stamps | 6,504,213 | 6,552,829 | 48,616 | . . . |
| Post Office | 1,397,617 | 1,346,000 | . . | . . . |
| Trethi | 4,935,709 | 4,905,941 | . . | 51,067 |
| Amrywiaeth | 585,020 | 403,568 | . . | 29,766 |
| | 45,373,813 | 42,711,965 | 48,616 | 2,529,06[illegible] |
| Y cynnydd . . . . | | | | 48,616 |
| Lleihad yn y derbyniadau | | | | £2,480,460 |

---

## SESSIWN CHWARTEROL SWYDD DINBYCH,

A gynnaliwyd yn Rhuthyn, ar y 3ydd a'r 4ydd o Orphenaf. Y Parch. R. Newcome oedd y Cadeirydd, yr hwn, wrth gyfarch yr Uchel Reithwyr, a grybwyllodd fod Ysgrif y Senedd ynghylch Rheolaeth Cymdeithasau Cyfeillgar, yr hwn oedd i derfynu yn y mis hwn, wedi cael ei helaethu am ddwy flynedd yn rhagor: a'r Cymdeithasau Cyfeillgar hyny a omeddant, yn y cyfamser, gydymffurfio â threfniadau yr Ysgrif Seneddol, a olygir yn Gymdeithasau anghyfreithlon. Dymunai hefyd alw eu sylw at yr Ysgrif Seneddol ynghylch y Clefyd arswydus sydd yn taenu ar hyd y wlad, ac sydd yn gwneuthur cymmaint o alanastra mewn tref gyfagos. Cynghorai i Swyddogion pob Plwyf, yn yr hwn y torai y clefyd allan, hysbysu hyny yn ebrwydd i Gyfrin Gyngor y brenin, y rhai a anfonent iddynt bob cyfarwyddyd o barthed rhwystro ei ymledaeniad. A diau y gwnai yr unrhyw ddoeth Ragluniaeth, yr hwn a oddefodd i'r clefyd ddyfod i'n plith, lwyddo y moddion a arferwn er ein cadwedigaeth."

*Lladrata Llieiniau.*—George Foley a James Tenterdine a gyhuddwyd o ladrata llieiniau, o eiddo James Temling, yn lletty Edward Shay, yn Abergele, ar y 1af o Fai diweddaf. Euog. *Chwe mis o garchar.*

*Lladrata Glo.*—Jane Griffiths, hen wraig dros 60 oed, o'r Mwnglawdd, a gafwyd yn euog o ladrata glo o'r Coedpoeth, o eiddo John Burton, Ysw. ac ereill. *Mis o garchar.*

*Terfysg yn Yspyttŷ Ieuan.*—John Richards, David Williams, John Roberts, a Margaret ei wraig, ac Ellen Richards, a gyhuddwyd am iddynt hwy (ynghyd â John Evans, Crydd, a Margaret ei wraig, Owen Jones, a Chatharine Richards, y rhai sydd etto heb eu cymmeryd i fynu) ar y 18fed o Ionawr diweddaf, ymgynnull yn derfysglyd yn Llan Yspyttŷ, gan ymosod ar Samuel Robinson a John Williams, dau o swyddogion y Sirydd, a'u cymmell hwynt i ryddhau eu carcharor John Evans.

Mr. Horne oedd cyfreithiwr y Cyhuddwyr, a Mr. Peers a ymddadleuodd o blaid John Richards a David Williams.

Mr. Horne, wrth gyfarch y Rheithwyr, a ddywedodd fod y carcharorion yn cael eu cyhuddo o droseddi erchyll, sef rhwystro swyddogion y brenin rhag rhoddi y gyfraith yn ei grym. Yr oedd y profiad presennol o bwys mawr i lwyddiant masnachwyr, a

heddwch y wlad. Ond crybwyllai yr amgylchiadau oddiar y rhai y cododd y cyhuddiad presennol; ac nid ammheuai y gallai eu profi hwynt, er boddlonrwydd llwyr i'r Rheithwyr, gan dystion geirwir. Yr oedd Crydd o'r enw John Evans, un o breswylwyr Llan Yspyttŷ, yn ddyledus o £20. i Mr. Twiston, Lledr-fasnachydd, yn Ninbych. Gan nad allai Mr. Twiston gael ei arian ganddo, gorfu arno geisio *writ* yn ei erbyn, yr hon a ymddiriedwyd i Samuel Robinson a John Williams, dau o swyddogion y Sirydd, Wilson Jones, Ysw. Ar y 18fed o Ionawr diweddaf daethant i Yspytty oddeutu wyth o'r gloch yn y boreu. Aeth J. Williams at dŷ John Evans, tra y safai y swyddog arall nid yn nepell oddi wrtho, a phan ofynodd ai hwnw oedd tŷ J. Evans, atebwyd, Nage. Ond gan ei fod yn ammeu y gwirionedd o hyn, rhoddodd ei law ar ysgwydd J. Evans, a dywedodd, "Yr wyf yn eich dal yn enw y Brenin." A phan oedd yn chwilio yn ei logell am y *warrant* neidiodd J. Evans a'i wraig ato, a thaflasant ef i lawr. Ar hyn J. Evans a gyfododd, ac a ddiangodd dros y bont i Swydd Gaernarfon; y ddau swyddog a frysiasant ar ei ol, ac a'i cawsant wedi ymguddio mewn melin. Erbyn hyn yr oedd tyrfa fawr o'r trigolion wedi ymgasglu wrth y felin—a phan oedd y Swyddogion yn arwain J. Evans tu â'r bont dilynwyd hwynt gan y dyrfa, a rhai o honynt yn taflu cerig atynt. Braidd yr aethant dros y bont pan y daeth tyrfa arall i'w cyfarfod hwynt dan flaenoriaeth John Richards, yr hwn a ymafaelodd yn nwylaw y Swyddogion, gan ymdrechu rhyddhau y crydd, a chan haeru na chaent fyned âg ef ymaith. Ar hyn, y Swyddogion a alwasant ar ddyn o'r enw Harry Isaac i'w cynnorthwyo hwynt. "Cynnorthwy!" meddai ef, "rhoddaf i'ch llofruddio chwi." Y terfysgwyr a gymhellasant y Swyddogion i fyned â J. Evans i'w dŷ ei hun—a thra yr oeddynt yno, curwyd a throediwyd hwynt yn ffyrnig gan John Roberts a'i wraig, ac ereill, y rhai a daflasant gerig drwy y simdde, gan obeithio y disgynent ar ben y Swyddogion. Oddeutu yr amser hwn daeth un arall i gefnogi ac i gynnorthwyo y terfysgwyr, sef Dafydd Williams, yr hwn a ddylasai wybod amgenach pethau, a rhoddi esampl gwell i'r trueiniaid anwybodus o'i amgylch. Yr Ysgol feistr a ddarllenodd y *warrant*, ac a ddywedodd nad oedd gan y Swyddogion awdurdod i ddal J. Evans yn Swydd Gaernarfon, a chynghorodd y Crydd i beidio myned gyda hwynt. Pan welodd y Swyddogion fod eu bywyd mewn perygl os arosent yno, yr oeddynt ar fedr ymadael, eithr nid cyn i J. Evans addaw dyfod atynt dranoeth i Bentre'r Foelas. Ond pan oedd y Swyddogion yn myned trwy y Llan bagad arall o bobl a ymosodasant arnynt, ac a darawodd un o'r Swyddogion yn ei dalcen â chareg, nes oedd y gwaed yn llifo. Y cyfryw yw yr amgylchiadau dan y rhai y cyflawnodd y carcharorion y troseddau y cyhuddid hwynt o'u plegid. [Yna Mr. Horne a sylwodd yn fanwl ar y gyfraith o barthed y troseddau hyn.] Os bydd *tri* o ddynion yn ymgynnulledig er cefnogi eu gilydd mewn peth anghyfreithlawn, y gyfraith a'u golyga hwy yn euog o *derfysg*, ac yn agored i gosp drom. Nid angenrhaid yw llefaru yn faith i'ch darbwyllo, foneddion, fod gweithredoedd o'r fath hyn yn anaddas ac yn wrthun. Yn wir, pe goddefid y cyfryw bethau—pe caniateid i ddynion rwystro swyddogion heddwch yn y cyflawniad o'u dyledswydd, ni byddai nag eiddo na phersonau yn ddiogel mwyach. A drwg genyf eich hysbysu mai nid anfynych y taflir anhawsderau ar ffordd swyddogion heddwch yn y parthau hyny. Nid oes ond ychydig er pan yr anfonais i *subpena* i un o drigolion Yspytty i ymddangos yma fel tyst, yr hwn a ddywedodd ei fod ef yn dirmygu y dernyn papur a'r sawl a'i hanfonodd, ac na ddeuai efe ddim yno. Arnoch chwi, Foneddigion, yr ymddibyna ddangos i'ch cydwladwyr mai nid cyfraith pen pastwn a wna y tro yn y wlad hon—fod deddfau y deyrnas yn gofyn ufudd-dod gan bob gradd o ddynion. A gobeithiaf y rhydd eich rheithfarn heddyw rybudd i bawb i ymogelyd rhag trosedd mor erchyll a gwrthryfela yn erbyn cyfreithiau ein gwlad."

*John Williams*, a *Samuel Robinson*, a gadarnhasant yr holl bethau a adroddwyd uchod. Gwadasant iddynt fygwth saethu y bobl oedd wrth y felin. Bu J. Williams yn sal am bythefnos ar ol y camdriniaeth a gafodd yn Yspyttŷ.——*Croes-holwyd* gan Mr. Peers. Ni ddarfu Dafydd Williams eu curo, ond annogodd y dyrfa i'n gwrthwynebu.

Ar ran y carcharorion J. R. a D. W. dygwyd tystion ym mlaen i brofi iddynt hwy glywed Dafydd Williams yn dyweyd wrth y Swyddog, "Os darfu chwi ddal J. Evans yn Swydd Ddinbych, yr oedd genych awdurdod i'w ddal ef tu draw i'r afon." Tystiwyd hefyd fod D. Williams yn yr Ysgoldŷ o 9 hyd 12. Ar ran J. Richards profwyd ei fod wedi cynghori J. Evans i fyned gyd â'r Swyddogion i Ddinbych.

J. C. Williams, Ysw. a ail-adroddodd y dystiolaeth i'r Rheithwyr, ac a geryddodd yn llym ymddygiad anweddus un o'r tystion, sef *Harry Isaac*.

Ar ol hir ystyriaeth, y Rheithwyr a gawsant *Dafydd Williams* yn *Ddieuog*; y lleill yn *Euog o'r terfysg a'r ymosodiad*.——Dedfryd, *Tri mis o garchar i John Richards, a dau fis bob un i'r lleill.*

---

## CYMDEITHAS CYMMEDROLDEB BRYTANAIDD A THRAMOR.

Cynnaliwyd dau Gyfarfod perthynol i'r Gymdeithas glodwiw hon: yn y cyntaf Esgob Llundain oedd y Cadeirydd, yr hwn a areithiodd yn dra ardderchog ar yr achlysur. Amrai o enwogion ereill a ddatganasant eu syniadau ynghylch dibenion a defnyddioldeb y Gymdeithas.

*Mr. Cruikshank* a alwodd sylw y Cyfarfod at fasnach y gwirod, yr hwn a alwai efe yn niwed gwladol. Dangosai fod y masnach hwn yn dinystrio eiddo. Yn 1830, pan ddechreuodd y Gymdeithas hon ei gweithrediadau o ddifrif, talwyd ardreth ar ddeg miliwn ar hugain o alwyni o wirod; gwerth yr hyn, fel nwyddau cartrefol (yr oedd ardreth fwy ar wirod tramor) oedd saith swllt y galwyn; a'r cwbl a fyddai yn ddeng miliwn, a phum can mil o bunnau. Ond nid hyn yw y cyfan: yr oedd y gwirod yn cael ei gymmysgu; gellid cyfrif fod y bedwaredd ran o ddwfr yn cael ei roddi at bob galwyn o wirod; yr hyn sy chwe miliwn o bunnau yn rhagor oddiwrth eiddo neu lafur yfwyr gwirod. Tybiwch fod awr o amser yn cael ei golli at bob chwarter pint (*quartern*) o wirod a yfir, a bod llafur pob awr yn werth dwy geiniog; yna bydd y cwbl yn werth naw miliwn a chwe chan mil o bunnau. Fel hyn y dinystriwyd gwerth chwe miliwn ar hugain a chan mil o bunnau o eiddo a llafur. Y mae masnach y gwirod yn niweidiol hefyd i amaethyddiaeth. Cyfeiliornad oedd haeru fod y masnach hwn yn achosi mwy o alwad am ŷd. Os golygwn mai dwy filiwn ar hugain yw nifer trigolion y deyrnas hon; a bod naw miliwn yn cael digon o ymborth: yna yr oedd tair miliwn ar ddeg a allent fwyta ychwaneg, neu well, ymborth nag y maent yn ei gael yn bresennol: ac os gallai y rhai hyn gael gafael ar

bedair ceiniog yn yr wythnos yn rhagor, a arbedwyd oddiwrth wirod, byddai hyn yn swm mawr, yr hyn a dreulid felly ar nwyddau amaethyddol. Ar ol y cwbl, ar y tir y seiliwyd masnach a llwyddiant y wlad hon.

*Mr. Carr* a adroddodd lawer o hanesion ynghylch gweithrediadau y Gymdeithas hon. Mewn tref yn yr Iwerddon yr oedd 22 o dafarndai, ac un masnachdy pobydd, yr hwn nid yw yn cael ond ychydig o fasnach! a pha fath raid fod moesau y trigolion? Mewn lle arall yr oedd 60 o fasnachdai, heb un llyfr-werthwr yn eu mysg: ac ni ellid prynu *sheet* o bapur ond yn y tafarndy. Yr oedd hyn yn brawf o'r anwareidd-dra sydd yn dilyn ol gwirod. Yn *Liskeard*, yn Ngherniw, yr oedd y dyrfa mor fawr fel na allent nesâu at y bwrdd i roddi eu henwau i lawr, a galwodd y Cadeirydd arnynt i ddywedyd eu henwau, ac yr ysgrifenai yntau hwynt: yn y modd yma cofrestrwyd 96. Y'mhlith y nifer yr oedd un meddwyn diffaith. Y'mhen pedair wythnos derbyniwyd llythyr, a'r wraig a dystiodd fod ei gwr heb droseddu rheolau y Gymdeithas. Yr oedd y fath gyfnewidiad yn ei arferion a'i ymddygiad, fel nad ymddangosai yr un dyn.

*Y Parch. J. Campbell* a ddyfynodd rai ymadroddion o ysgrifeniadau y diweddar Barch. R. Hall: "Y rhan fwyaf o'r llofruddiaethau a'r troseddau a gyflawnir yn ein byd a darddant oddiar feddwdod. Nid oes neb a ddichon wrthsefyll llosgiadau y dyfroedd poethion. Y mae meddwyn yn gaeth-was i nwydau ac i bechod, ac yn gymmaint hunan-leiddiad a phed ymgrogai neu y saethai ei hun."

Y Gymdeithas hon a wnaeth lawer o les yn nhrefydd Lloegr: onid oes modd eu sefydlu ym mhlith gweithfaoedd Cymru?

---

## ANERCHIAD

*Yr Ymneillduwyr at y Brenin ar ei waredigaeth oddiwrth yr adyn a geisiodd ei ladd yn Ascot.*

Ar ol i'r Anerchiadau o Rydychen a Chaergrawnt gael eu cyflwyno i'r Brenin ar ei orsedd, cyflwynwyd un oddiwrth Ymneillduwyr Llundain, a'r ardaloedd cymmydogaethol, ond ni dderbyniwyd hwn gan y Brenin ar ei orsedd. Y digwyddiad hwn sydd wedi peri llawer o syndod i'r Ymneillduwyr: ond pan ystyrir pwy oedd blaenoriaid y genadwri hon, nid oedd lle i ddisgwyl yr anrhydeddai y Brenin hwy i raddau mawr. Un o'r blaenoriaid oedd y *Parch.* Mr. Aspland, pregethwr Sosinaidd, yr hwn, mewn cyfarfod cyhoeddus yn Hackney, a chwydodd gableddau a chelwyddau digyffelyb yn erbyn ein grasusaf Frenines Adelaide. Ac un o'i gefnogwyr gwresocaf oedd y Dr. Pye Smith, yr hwn a ganmolodd ymddygiad Mr. Aspland ar ol iddo gablu y Frenines. Pe buasai gan y ddau ŵr hyn y radd leiaf o foneddigeiddrwydd ni buasent yn rhyfygu ymddangos ger bron eu Brenin. Ni allai ei Fawrhydi fod yn llwyr anhysbys o'u hymddygiad; ac am hyny ni allai lai nag ystyried eu presennoldeb hwy yno fel sarhad iddo ef a'r Frenines.

## Y CHOLERA MORBUS.

YMDDENGYS fod yr haint gofidus hwn wedi cyrhaedd amrai o ddinasoedd Lloegr a Chymru, yn dra angeuol. Ugeiniau o'r rhai ydynt yn holl-iach un diwrnod cyn tradwy yn gorwedd yn y bedd. Y mae wedi tori allan eilwaith yn ei rym dinystriol yn Llundain, ac nid yw yn cyfyngu ei ddifrod ym mysg y werinos yn unig, ond y mae amryw o'n mawrion wedi syrthio yn ysglyfaeth iddo. Nid ydyw y Llywodraeth yn barnu yn addas gyhoeddi hysbysiad neillduol yn ei gylch, gan feddwl y byddai hyny yn creu ofn ac arswyd afreidiol yn y wlad, ac yn effeithio canlyniadau niweidiol i'n masnach, yn enwedig i'n masnach morawl. Dywedir bod nifer y marwolaethau yn Llundain, yn unig, oddeutu 30 bob dydd. O fewn i chwech o blwyfydd yn y brif ddinas, yn yspaid un mis, sef o Fehefin 16 i Orphenaf 13, y mae y marwolaethau yn 66 o wrrywiaid, a'r un nifer o fenywod, yn rhagor nag yr oedd o fewn yr un yspaid o amser yn y flwyddyn 1831, ac yr ydys yn meddwl fod y cymhariaeth galarus hwn yr un mewn plwyfydd ereill yno. Bu farw Mr. Herschell, mab y Dr. Herschell, Archoffeiriad Iuddewig, o'r Cholera, bore ddydd Gwener, yn Llundain, ar ol chwe awr o saldra, yr hwn a ddaeth i'r wlad hon i ymweled â'i dad. Yn Spitalfields y mae y swyddogion plwyfol wedi cloddio bedd oddeutu 12 troedfedd o hyd, 9 troedfedd o led, ac 16 troedfedd o ddyfnder, i dderbyn cyrph y rhai a fyddant farw o'r clefyd hwn. A chladdwyd yno, ddydd Llun, yr 16 o Orphenaf, 6, dydd Mawrth 13, dydd Mercher 8, dydd Gwener 9. Yn Nghaer Efrog torodd allan mor ofnadwy ag i beri oediad y Sessiwn am ychydig. Oddeutu ugain mil a glafychodd, a llai na'r drydedd ran a fu farw o hono.

---

*Gocheliad yn well nag Iachâd.*—Y mae Clwy'r Geri (*Cholera Morbus*) yn dechreu trwy boen yn yr ymysgaroedd, yn aml trwy boen bychan, ond weithiau yn fawr. Achosir hyn yn fynych trwy gymmerwyd bwyd anghymmwys, naill ai mewn rhyw, neu mewn maint, am hyny gochelwch bob bwydydd anhawdd i'r cylla eu treulio, megys cig wedi ei *ffrio*, neu wedi ei drin ddwywaith; pob llysiau oerion, megys cucumerau, llysiau anaeddfed, ac hyd yn nod pys berwedig. Bwytewch hen fara, a chig defaid a gwartheg yn hytrach na chig lloi a thyrchyn. Peidiwch ag yfed diodydd surion, megys cwrw sur, porter, neu *cider*, ac yn eu lle yfwch gwrw gwan a newydd, neu ychydig *gin* a dwfr. Os yw y rhai hyn uwchlaw eich moddion, yfwch *dŵ ginger;* peidiwch ag yfed dwfr drwg, neu ddwfr oer, pan fyddoch wedi chwysu. Peidiwch a meddwi, oblegid y mae y meddwyn yn ddarostyngedig iddo o flaen neb ym mhob gwlad yr ymwelodd y clefyd hwn â hi. Gochelwch, os bydd modd, weithio mwy nag yr ydych yn alluog. Ymgedwch rhag awyr y nos, a'r gwlith trwm sydd yn disgyn ar ol dyddiau poethion. Nac ymdrochwch mewn dwfr oer, ac na chymmerwch gyfferi rhy gryfion. Byddwch dymherus ym mhob peth, ac nac ofnwch. Cludwch ymaith bob tomenydd yn achos i'ch tai, ac hefyd bob llysiau neu wreiddiau wedi braenu. Cedwch eich ffenestri yn agored y dydd, gwyngalchwch eich tai, a chedwch eich cyrph yn lân, a'ch plant hefyd, ac nac ymwelwch â'r cleifion yn ddiachos. Dylai y rhai gwan eu hiechyd, ac o ymysgaroedd tyner, wisgo darn o wlanen am eu canol. Os bydd arnoch ychydig boen yn eich ymysgaroedd, danfonwch am y meddyg; ac os ydych yn byw yn y wlad, a gorfod aros ychydig cyn iddo allu dyfod, cymmerwch 30 neu 40 diferyn o *laudanum*, ychydig o *fagnesia*, a gwydraid o *brandi* neu *gin*, wedi eu cymmysgu ynghyd.

---

*At Amaethwyr, Boneddig a Gwreng.*—Bydd dda gan lawer o'n cydwladwyr glywed, yn enwedig prif ffermwyr Cymru, fod un Mr. B.

Phillips, o *Wackley Lodge*, yn agos i Ellesmere, Sir Amwythig, wedi dwyn i berffeithrwydd, ar ol llawer o olrhain a thraul, math o wasg i wasgu caws, neu unrhyw beth arall ag sydd yn gofyn dirwasgiad. Y mae ei wneuthuriad ar ddull hollol newydd: a gellir chwanegu trymder y pwysiad o un dunnell i bump, a'i leihau fel y gwelir achos. Ei ddefnydd yw haiarn, ac nid ydyw yn cymmeryd hanner y lle a gymmerir gan y wasg gyffredin; a phan y'i gosodir i fynu, y mae ar unwaith yn ddefnyddiol ac yn addurniadol—a phan na bydd ei heisieu, gellid ei thynu i lawr yn ddidrafferth, a'i chadw o'r ffordd. Y mae yn ddywenydd genym fod etto yn ein gwlad ambell ŵr boneddig gwladgarawl ag sydd yn defnyddio eu hamser a'u doniau er lles ein ffermwyr, y rhai a esgeulusir yn ormodol yn y dyddiau hyn, ar ffyniant pa rai y mae llwyddiant ein teyrnas, i raddau mawr yn ymddibynu, a'n dymuniad diffuant yw, y bydd i Mr. Phillips gael ei gyflawn wobrwyo am ei ymdrechiadau clodwiw. Yr ydym yn deall fod y boneddion canlynol ym mhlith ei gefnogwyr, ac wedi prynu rhai o honynt, sef, Syr Robt. Wmes. Vaughan, Barwnig, Syr Rowland Hill, Barwnig, W. Sparling, Ysw. John Deighton, Ysw. Mr. Stanway, Mr. Oakley, Mr. Lewis, a Mr. Nixon.

---

*Dysgeidiaeth yn yr America.*—Sefydlwyd Ysgolion yn ddiweddar yn yr America i roddi dysg yn rhad, o barth arian, ar yr ammod i'r ysgolhaig weithio am dair awr neu bedair yn y dydd, wrth ryw gelfyddyd neu amaethyddiaeth, er lles neu elw i'w athraw. Ac fel hyn y mae lles y naill a'r llall yn gyd-blethedig, gan fod yr athraw yn cael ei obrwyo, a'r tlotaf yn cael ei ddysgu yn ddi gost. Y mae y drefn hon yn dwyn i'n meddwl gyflwr yr apostol Paul; canys pa beth a ddaethai o hono, a siarad mewn dull dynol, oni buasai ei fod wedi dysgu y gel yddyd o wneuthur pebyll, tra yr oedd yn dysgu wrth draed yr enwog Gamaliel? Yn yr amseroedd hyn, yn enwedig, pan y mae sylfeini y ddaear yn cael eu siglo, pa mor angenrheidiol ydyw dwyn yr ieuengctid i fynu mewn gwybodaeth o ryw gelfyddyd ennillgar, fel y gallont "weithio trwy lonyddwch, a bwyta eu bara eu hunain." 2 *Thes.* 3. 12. Dyledswydd arbenig rhieni yw dwys wasgu ar feddyliau eu plant y rhan hwn o'r Catecism, sef "Fy nyled at fy nghymmydog yw....dysgu a llafurio yn gywir i geisio ennill fy mywyd." Un gwr duwiol yn ddiweddar a ddewisodd ddwyn ei fab i fynu mewn rhyw alwedigaeth yn hytrach na derbyn y swydd a gynnygid iddo; oblegid byddai y cyntaf ganddo bob amser, ond, fe allai y dygid yr ail oddi wrtho yn ddi-rybudd.

---

*Llofruddiaeth echryslon.*—Y mae y *Stirling Journal* yn rhoddi hanes am lofruddiad genethig ieuangc gan ei mam, gwraig i lafurwr o'r enw Mac Aush, yn byw yn St. Ninians. Yr oedd hi yn chwannog iawn o yfed i ormodedd, ac ymrafaeliai yn aml â'i merch, yr hon a'i ceryddai oblegid ei meddwdod. Cafwyd hi un boreu yn ei gwely, â'i gwddf wedi ei dori, ac yr oedd ellyn gwaedlyd yn yr ystafell; ac nid oes dim ammheuaeth nad ei mam, yr hon oedd heb sobri y pryd hyny, a gyflawnodd y weithred.

---

*Ystorm o Genllysg.*—Ar nos Iau, Gorphenaf 18fed, ymwelwyd â thref Margate âg ystorm o genllysg dychrynllyd. Yr oeddynt yn mesur oddeutu dwy fodfedd a hanner o gylch. Cyfrifir fod oddeutu 30,000 o bennillau (*panes*) o wydr wedi cael eu tori yn y dref; a dywedir fod y golled oddeutu £2000. Parhaodd yr ystorm am oddeutu pum mynyd, a dilynwyd hi â chawod o wlaw am oddeutu deng mynyd. Torodd 1000 o bennillau o wydr yn yr Eglwys Newydd.

*Dienyddiad Jonathan Smithers.*—Cafwyd yr adyn hwn yn Euog o osod ei dŷ ar dân, i geisio twyllo yr *Insurance Office*, yr hyn a achlysurodd farwolaeth amrai o fenywod ag oeddynt yn lletya gyd âg ef. Cafodd ei ddienyddio ddydd Llun, y nawfed o Orphenaf.

---

*Rhagluniaeth.*—Y *Liverpool Courier* a fynega fod Gwyddel, o'r enw Richard Connor, wedi cael ei ddal ar ddrwg-dybiaeth ei fod yn euog o lofruddiaeth. Yr oedd *warrant* hefyd yn erbyn William Connor, yr hwn a fu farw o'r *Cholera*, ar fwrdd y llong *Brutus*. Dychweliad y Llong hon i Le'rpwll fu yn offerynol, dan ragluniaeth, i roddi y llofrudd yn nwylaw y gyfraith. Mor rhyfedd yw ffyrdd y Goruchaf!

---

## CYMREIGYDDION CAERLUDD.

---

### *AT GYHOEDDWR Y GWYLIEDYDD.*

Syr—Mae yn adnabyddus i ddarllenwyr eich Eurgrawn fy mod i er's rhai blynyddau wedi ymuno fel aelod o Gymdeithas Cymreigyddion Caerludd, ac wedi gwneuthur a allwn er cefnogi ei hamcanion i goleddu yr Iaith Gymraeg, a lledaenu gwybodaeth ddefnyddiol ym mysg y Cymry, ac er ei hamddiffyn rhag enllib y cyfryw a ddywedent yn ddrwg am dani. Ond yn ddiweddar, ac yn groes i fy meddwl i, penderfynodd y Gymdeithas i ddileu un o'i rheolau a waharddai ymyraeth â phyngciau gwladol; ac ymddangosodd pethau ag yr ydwyf fi yn eu cyfrif yn wrthbleidiol a chythruddol dan ei henw yn rhai o'r Cyhoeddiadau Cymreig. Am hyny, er dangos i fy nghydwladwyr fy mod i yn hollol ymwrthod âg ymgecraeth a gwrthbleidiaeth, ac hefyd â'r dychymmygion diail a draddodir weithiau yn Nghyfarfodydd y Gymdeithas mewn perthynas i'r Iaith Gymraeg, erfyniaf arnoch argraffu y llythyr hwn, er hysbysu iddynt fy mod wedi tynu ymaith fy enw fel aelod o'r Gymdeithas Gymreigyddol, er fy mod etto yn gwir barchu nifer o'r rhai ydynt yn perthyn iddi, ac heb gyfnewid fy marn am y defnyddioldeb a allai ei wneuthur, ond iddi beidio ymyraeth â phethau gwrthbleidiol, ac hefyd ochel rhag i aidd yr aelodau dros Iaith Gomer oddef iddynt fod yn rhy barod i gefnogi yr hyn sydd ddychymmygol.

Griffith Davies.

Caerludd,
*Gorphenaf* 12, 1832.

---

## DYRCHAFIADAU EGLWYSIG.

Y Parch. H. R. Thomas, A. M. i Guradiaeth Parhaus Llanfachreth a Llanelltyd, Sir Feirionydd. Rhydd trwy ddyrchafiad y Parch. H. W. White, A. M. i Beriglorïaeth Dolgellau. Noddwr, Syr R. W. Vaughan, Barwnig.

Y Parch. H. Burn, S. C. L. i Gôr-Beriglorïaeth Llangynllo, yn Eglwys Gadeiriol Brycheiniog. Rhydd, trwy farwolaeth y Parch. T. B. Allen. Noddwr, Arglwydd Esgob Tŷ Ddewi.

---

## BU FARW,

Ar Ddydd Llun, y 9fed o Orphenaf, yn Llandain, Watkin Henry, mab hynaf y Gwir Anrhydeddus C. W. W. Wynn, yn 16 mlwydd oed.

# Y GWYLIEDYDD.

LLYFR IX.] MEDI, 1832. [RHIF. 113.

## HANES LLANARMON YN IAL.

LLANARMON yn Iâl, Çantref Iâl, ar gyffiniau Swyddau Dinbych a Challestr, yn Swydd Dinbych, sydd le nodedig am garneddau, oerni ei sefyllfa, a'i leuad. Dosperthir y Plwyf hwn i bedair ar ddeg o drefydd-degwm, nid amgen na Bodidris Treian (Swydd Callestr) Bodidris Rhiwbarth, trwy ganol y rhai yr â terfyn Swyddau Dinbych a Challestr, Bodigre Iarll, Bodigre Abbot,* Cileiriog, Gelligynnan, Creigiog Uwch-glan, ac Is-glan, Allt-gymbyd, Llan, Banhadla, Cyfnant, Gwaen-y-ffynnon, Eryryt.† Cyssegrwyd yr Eglwys ar enw Garmon,‡ ond ni wyddis yn iawn ym mha oes yr adeiladwyd hi gyntaf; ail adeiladwyd hi yn y flwyddyn 1736, yn ddeublyg; y mae oddeutu 40 llath o hŷd, ac 20 o lêd, yn cael ei chynnal ar golofnau coed. Ychydig flynyddau yn ol, trwy ymdrech clodwiw y Parch. Mr. Denman, Wilson Jones, Ysw. a'r plwyfolion ereill, cafodd ei llech-feini, a'r eisteddleoedd, eu gosod mewn trefn, a thân-gell yn ei chwr eithaf; ac y mae hi yn awr yn barddwych ac yn gynnesawl. Ar yr ystlys ddehau tu allan i'r Eglwys mae llun Garmon o gareg nâdd, yn dal calon yn ei law, ac yn ngwisg offeiriadol y dyddiau hyny. Yn yr un ystlys o fewn i'r Eglwys y mae gorweddle a chareg lun, a'r geiriau hyn yn ysgrifenedig ar y darian—"*Hic jacet Gruffudd ap Llewelyn ap Ynyr.*" Hwn oedd un o gyn-deidiau y Llwydiaid o Bodidris, fel y dangosir ar ol hyn. Trosglwyddwyd y careg-lun o'r Eglwyseg (neu *Vale Crucis*) pan ddiddymwyd y Mynachdy hwnw yn amser Harri yr wythfed. Y chwedl am dano sydd fel y canlyn:—Pan yr oedd yr holl fyd Cristionogol yn myned i ennill y ddinas sanctaidd Jerusalem oddiar y Tyrciaid, Gruffudd yntau hefyd oedd un o'r cadfridogion enwog; ac wrth gymmeryd dinas, pan â'i draed ar y caerau, brathwyd ef yn ei boten, nes y syrthiodd ei berfedd i lawr rhwng ei draed, ac yntau yn dal etto i ymladd yn wrol, daeth ci a chydiodd yn ei berfedd. Fel hyn y darlunir y gwr careg—y mae yn gorwedd ar lêd ei gefn, â'i gleddyf yn y naill law, a'i astalch yn y llaw arall, ac wrth ei draed gi yn gafaelu yn y dolenau, y rhai a liwid o liw perfedd.

"Disgynydd dewr cyn-dad glew!"

Yr hwn* yn ymladd dan Gruffudd ap Madoc, Arglwydd Dinas Brân, yn erbyn Harri yr eilfed, a ddigwyddodd dynu ei fysedd gwaedlyd ar hyd ei gleddyf, yr hyn a barodd yr arf-bais perthynol i deulu Bodidris,† sef pedair llinell ar darian.

---

* Fe allai iddynt gymmeryd yr enwau hyn oddiwrth fod y naill yn perthyn i Iarll Grey de Rathin, a'r llall i Abbad Eglwyseg; ond y mae degwm y ddwy yn awr yn perthyn i'r Ficer.

† Dywed Pennant mai oddiwrth hen Gyrus o Iâl, y Diarebwr, y cafodd y dre-ddegwm hon ei henw.

‡ St. Germanus, Esgob Auxere, yr hwn, ynghyd â Lupus, a fuont y prif achos o ennill y fuddugoliaeth hynod *Halleluiaticae,* neu *Hosanna*, dros y Pictiaid a'r Celyddonwyr wrth Wylanen yn ymyl y Wyddgrug, ac a ddaethont drosodd o Ffrainge i ddiwygio cyfeiliornad Morgan, neu y *Pelagian Heresy*.

* Ynyr ap Howel ap Meredith ap Sandde Hardd; yr hwn, o herwydd ei wroldeb y'mrwydr Corwen, yn y flwyddyn 1165, a gafodd gan ei dywysog y fraint o wisgo pedair llinell waedlyd ar ei darian. Canys tra yr oedd efe yn ymddiddan â'i dywysog ar ol y frwydr, â'i law aswy oll yn waed, digwyddodd ei thynu ar draws ei gleddyf, a gadael ôl ei bedwar bys arno. Y tywysog yn gweled hyn, a orchymynodd iddo eu dwyn ar ei darian; a rhoddodd iddo ar yr un pryd dre-ddegwm Gelli-gynnan, megys prawf mwy sylweddol o'i ewyllys da.—PENNANT.

† *Bodidris yn Iâl.* Sandde Hardd oedd fab Caradoc, tywysog enwog ym Môn yn nechreuad y

Yn y pen dwyreiniol i'r Eglwys y mae bedd-faen a chareg-lun Evan Lloyd, a'i fedd-argraff fel y canlyn:—

"Evan Lloyd o Yal, Ysgwier, un o'r Depuwti Llifftenants, Custos Rotulorum, ag Ustus o Heddwch yn Shir Ddinbech, a chapten dan Fawrhydi Brenhin Siarls yn y Werddon. Mab ag Aer Syr Sion Lloyd ag wyr Syr Evan Lloyd, Marchogion Urddod. Y Deuddegfed o Ynyr o Yal o Dad i Dad, a'r Degfed o henw Lloyd o'i dŷ a fu farw y 17 Dydd o fis Ebrill, oedran i'r Arglwydd 1637, Ymhresaddfed yn Shir Fôn, a'i gorph a fynnodd Mari i wraig i ddwyn oddyno yw ddayaru yn meddrod i Henafiaid, yn Llanarmon yn Yal. Yr hwn Evan Lloyd a briododd Mari Merch ag un o Gyd-aeresau Syr Risiard Trefor, Marchog, ag o honi y bu iddo ddeg o Feibion a phedair o Ferched, nid amgen Sion Lloyd i Fab Hynaf, ag Aer Ysgwier un o'r Depuwti Lifftenants ag Ustus o Heddwch yn yr un Shir yn amser i Dad, yr hwn a briododd Margaret Merch Syr Befys Thelwal, Marchog, ag yn ol i marwolaeth hi y priododd ef Elenor Merch Syr William Sions* o Gastell March, Marchog, ag un o Ustusiaid Gorseddfaingc y Brenhin. Yr hon Elenor fu yn briod o'r blaen a Sion Prys o'r Rhiwlas, Ysgwier. Yr ail Mab yw Siams Lloyd, y Trydydd Roeser Lloyd, y pedwerydd William Lloyd Ysgwier yr hwn a briododd Anne Fychan, Aeres y Plas Hen, gweddw wraig William Vychan, o Gors-y-Gedol, Ysgwier, y pummed Arthur Lloyd a fu farw yn ifank, y chweched Siors Lloyd, y seithfed Sayffyl Lloyd, yr wythfed Siarls Lloyd a fu farw yn ifank, y nawfed Risiard Lloyd, y degfed Mab Trefor Lloyd. Katerin Lloyd y ferch hynaf a briododd Sion Lewis, Bresaeddfed, Ysgwier, Mari Lloyd yr ail ferch a briododd William Parri o Bont-y-Gôf, Ysgwier, y drydedd ferch Magdalen Lloyd merch ifank, a'r bedwaredd ferch Margaret Lloyd a fu farw yn ifank. Y maenfedd hwn o barchus goffadwriaeth am ei hanwyl gywely a adail gyssegrodd i ffyddlon garedig wraig Mari Lloyd i Gwedd-dod."

ANNO DNI. 1639.

SORTE MEA CONTENTUS.

Y mae 'r careg-lun hwn yn gorwedd ar ei ochr, a'r pen yn pwyso ar y llaw aswy, a chleddyf yn ei law ddehau. Arf-beisiau y teulu yn amgylchu y bedd-faen.

Yn yr ystlys ddeheuol o fewn i'r Eglwys y mae etto gôf-adail i'r un teulu, fel y canlyn:—

M: S:

"Near this Place lies the Body of Sir Evan Lloyd of Bodidrist, Baronet, who died the 1st of April, 1700.

"He married Mary Daughter and Coheir of Rice Tannant, Esqr. She died at Cors-y-Gedol, and lies Buried at Llanddwyay Church. They had Issue John who died in his Infancy and Margaret left sole Heiress of the Estate, who married Richard Vaughan of Cors-y-Gedol, Esqr.

---

ddegfed ganrif. Sandde yn ei ieuengctid a adawodd ei Ynys enedigol i fyned i gynnorthwyo Tywysogion Powys yn eu hymddiffyniad o'u gwlad yn erbyn rhuthr-gyrchau y Saeson, am yr hyn y gwobrwywyd ei wasanaeth enwog â threfydddegwm Morton a Burton yn Gresford. Y bummed âch oddiwrth Sandde oedd Llewelyn ap Ynyr o Iâl, Blaenor cadarn nerthol, yn byw yn Bodidris, a alwyd felly ar ol ei berchenog gynt, Idris trydydd mab i Llewelyn Aur-dorchog, neu Leolinus Torquatus, Arglwydd Iâl, o gylch diwedd y ddeuddegfed ganrif. Ei fab Llewelyn oedd Esgob Llanelwy yn y flwyddyn 1293, a Gruffudd ei frawd un o filwyr y groes, a gladdwyd yn Mynachlog Eglwyseg *(Vale Crucis)*; eithr ar ddymchweliad y mynachlogydd, yn amser Harri yr wythfed, symudwyd ei fedd faen i Eglwys Llanarmon ei fro gyntefig. Llewelyn ap Ynyr oedd un o'r rhai cyntaf ynghyd â gwyr Iâl, y rhai yn achos eu gwlad a gyd-ymgynnullasant âg ereill o'r Tywysogion Cymreig dan Owain Gwynedd, Tywysog Gwynedd ar yr adeg ddwys-brawf hono, pryd yr oedd Harri yr eilfed a'i fyddinoedd wedi gwersyllu yn ymyl Corwen, o gylch y flwyddyn 1165; y canlyniad o hyn fu brwydr Corwen. Ar ol y frwydr hon gorfu i'r brenin, yn flinedig gan y drychin, angen lluniaeth, a diorphwys ymlid y gelyn, ddychwelyd yn ymochelgar ac yn araf i'w wlad.

Yr wythfed âch oddiwrth Llewelyn ap Ynyr oedd Tudor Lloyd o Bodidris, brawd hynaf i Lewis Lloyd, yr hwn a gafodd Gelli-gynnan, ac i John Lloyd, Abbad Eglwyseg. Syr Evan Lloyd o'r teulu hwn oedd y Marchog olaf onid un a wnaethpwyd gan y brenin Siarls y cyntaf; nid oes yr un o'r enw yn awr. Margaret yr unig etifeddes a briododd Richard Vaughan, o Gors-y-Gedol, Yswain, Aelod Senedd dros Swydd Feirionydd, ac a drosglwyddodd ei meddiannau helaeth i deulu Mostyn o Mostyn.—Mr. LLWYD o Gaer.

* Dymunwn gael clywed gan rai o'ch Gohebwyr ychydig hanes am y Syr William Jones hwn.

whom she has Blessed with six children, two Sons, William and Evan, and four Daughters: Anne who died an Infant, Elisabeth, Catharine, and Anne the youngest, all now alive.

"This Margaret out of Piety to her Father has erected this Monument to his Memory.

"This Sir Evan was son to Sir Evan Lloyd who was created Baronet by King Charles the first in the year 1645, which Sir Evan was son to John Lloyd, Esqr. and Grandson to Evan Lloyd, Esqr. who has a monument erected under the East Window of this Isle in this Church."

O'r rhai hyn yr hiliodd y diweddar Syr Thomas Mostyn, a chywely Arglwydd Mostyn, mab yr hwn sydd yn awr yn etifeddu y dref-tadaeth. Ac hefyd cywely y gwladwr enwog, y cyfaill tirionaf, Syr Robert Williames Vaughan; ac y mae yn dda genyf feddwl fod gwaed Ynyr-iaid Iâl a'u holl rinweddau yn rhedeg trwy wythenau eu mab moesgar a chariadus.

Bodidris sydd hen annedd hardd—y neuadd sydd ehang a godidog yr olwg, yn medru cynnwys hanner cant neu gant o bobl, yr arf-beisiau yn argraffedig ar y muriau, bwäau y drysau o gerig nâdd, fel drysau Eglwysi. Dywedir mai trwy ganol y neuadd yr â terfyn y Siroedd, a bod un o'i thrigolion amser yn ol, pan ddenai ceisbwl yno, yn symud o un ochr i'r llall, yn ol fel y byddai gwys-lythyr y Sirydd, un ai o Ddinbych ai o Gallestr. Ychydig flynyddau yn ol yr oedd coed mawrion prydferth yn ymyl y palas; torwyd hwynt i lawr gan y diweddar Syr Thomas Mostyn: y mae y boncyffiau, yn ol fy marn i, oddeutu pedair troedfedd yn eu tryfesur. Yr oedd yr ystabl yn medru cynnwys cant o geffylau; a dywedir fod y canwyllir sydd yn Eglwys Llanarmon wedi dyfod oddi yno; ond yr wyf yn barnu mai camgymmeriad yw hyn, o herwydd ei fod yn ganwyllir mor hardd. Fe allai iddo gael ei symud o'r neuadd, a'i ddefnyddio yn y march-dŷ gan y Pengryniaid yn amser Cromwell; ond nis gallaf byth ddychymmyg i ddodrefnyn mor hardd erioed gael ei fwriadu i roddi llewyrch mewn man a ddefnyddir i anifeiliaid mudion wrth drefniad ei pherchenog.

Gelli-gynan* sydd le arall nodedig yn y plwyf hwn. Perthynai i Bodidris, ond y mae yn awr y'meddiant Wilson Jones, Yswain, y dyn hawddgaraf a llarieiddiaf yn Ynys Prydain, boneddig sydd yn gwneuthur mwy o les yn ei blwyf na'r un a adwaen: i'm gwybodaeth i fe ranodd werth deg punt o lô rhwng tlodion ei ardal; ac fe ddarfu i'w gywely rinweddol ddilladu a darn ddilladu dros bedwar ugain o deuluoedd y gwyliau diweddaf. Trowyd yr hen annedd yn amaethdŷ, ac adeiladwyd Gelli-gynan newydd gan y perchenog presennol, ac y mae yn dŷ hardd o barth sefyllfa ac adeiladaeth. Disgynydd 1 Cowryd† ap Cadvan—2 Ior-

* Cynan sydd un ym mysg llawer o'r enwau gwreiddiol a berthynent i'r Cymry, y rhai a syrthiasant ar ddifancoll, trwy gyfnewid yn Nghymru yr enw bedydd i'r cyfenw o fewn i'r ddwy ganrif ddiweddaf, megys John i Jones, Hugh i Hughes, &c. Mae yn debygol fod Gelli-gynan ar y dechreu yn rhan o feddiannau Tywysogion Powys, hyd nes y cyfroddwyd ef gan Gryffudd ab Madoc, Arglwydd Dinas Bran, gerllaw Llangollen, ar noswyl St. Egidius, i Llewelyn ab Ynyr o Bodidris, yn Iâl, am ei ymddygiad arwraidd yn mrwydr Corwen. Dywedir i'r Tywysog, pan yn ymddiddan â Llewelyn ar ol y frwydr, ganfod ei fysedd gwaedlyd, y rhai a dynasid yn ddamweiniol ar draws llafn ei gleddyf; ac iddo yn ganlynol beri i Llewelyn ddwyn o hyny allan gôf-arwydd o'r amgylchiad anrhydeddus hwnnw, yr hyn, yn iaith achyddiaeth, ydyw, *Paly of eight pieces or & gules;* h. y. Wyth ais melyn a choch bob yn ail. Y mae gwahaniaeth yma rhwng Mr. Pennant a Mr. Llwyd, dywed Pennant mai Ynyr ei hun oedd—Mr. Llwyd, fe allai yn gywirach, mai Llewelyn.

† Cowryd ab Cadfan, Arglwydd Ceinmerch, ardal eang yn Nyffryn Clwyd, yn cynnwys tref Rhuthyn. Dywedir gan Robert Vaughan o Hengwrt, Yswain, cyndad Syr Robert Vaughan o Nannau, Marchog, ei fod ef yn gyfoed âg Owen Gwynedd, Tywysog Gwynedd, ac Ioan, Brenin Lloegr yn y flwyddyn 1190, a'r chweched âch oddiwrth Cadell, Tywysog y Dyffryn Breninol (*Vale Royal*)* a rhan o Bowys, ac yntau oddiwrth Brochwel, Brenin Powys, yn y chweched canrif, llys yr hwn oedd ar seiliau Eglwys St. Chads yn yr Amwythig.

Brochwel oedd un o flaenoriaid y Brytaniaid yn mrwydr fawr Caerlleon ar Ddyfrdwy yn y flwyddyn 607, yn yr hon y gorchfygwyd y Brytaniaid gan Ethelred, Brenin Saxonaidd Northumberland, yr hwn wrth gymmelliad Awstyn Fynach a wnaeth gyflafan erchyll o Fynachod Bangor Is-coed, yn Swydd Gallestr, y rhai a ddaethant i Gaerlleon i wneuthur erfyniau a gweddiau am lwyddiant eu cydwladwyr. Ond wedi hyn fe ddarfu i'r Tywys-

* *Byddaf ddiolchgar i rai o'ch Gohebwyr am roddi hanes y lle hwn.*

**werth—3 Davydd—4 Davydd Vychan—5 Evan—6 Gryffydd Goch,* Pentre Coch, gerllaw Rhuthyn—7 Davydd—8 Evan—9 Elizur—10 Evan Llwyd,† bu fyw yn Henblas, yn Cyfylliog—11 Davydd—12 Hugh—13 Thomas—14 John, oddiwrth hwn y cyfenw—15 Hugh Jones, o'r Ddol—16 Morris Jones, Gelli-gynan—17 John Jones, Cefn-coch—18 Wilson Jones, Gelli-gynan, Yswain.**

**Fe blanwyd ar ystâd Gelli-gynan o fewn yr ugain mlynedd gan y Dr. Thackeray a Mr. Wilson Jones 253 o gyfeiriau *(statute acres)* o goed, 4000 i'r cyfair. Y mae Syr John Williams, Bodlewyddan, yn meddiannu tiroedd ehang yn y plwyf hwn; iddo ef y perthyn y Dafarn-dywarch, Plasnewydd, &c. Y mae ogof lydan yn ymyl y Llan, yn gwynebu Tomen y Ferdre, ond nid oes dim hanes neillduol yn ei chylch. Y mae Tomen y Ferdre yn perthyn i'r Middletons, o Gastell y Waun, y rhai, cyn rhanu eu hetifeddiaeth, oeddynt yn perchenogi ardal ehang yn y plwyf hwn; y rhan fwyaf o hono a brynwyd gan**

---

ogion Brytanaidd uno eu lluoedd, a chymmeryd eithaf dial trwy ymlid Ethelred allan o'u gwlad. Yr holl ardal o Geinmerch, a'i diroedd ereill, fe ranodd Cowryd, yn ol y gyfraith Brydeiniog o *Gavel kind* (hyny yw, yr arfer o roi 'r meibion oll yn gydranog o dir eu tad) ym mhlith ei blant, ac felly yn olynol nes diddymwyd yr arfer hòno trwy esgyniad teulu Tudur o Fôn i orsedd teyrnas Lloegr, a thrwy uno Cymru a Lloegr y darfu i gyfraith cyntafanedigaeth fod yn gyfraith y wlad. Wrth yr hen arfer yr oedd trigolion pob ardal wedi eu huno â'u blaenor trwy waedoliaeth ac ewyllys da megys un teulu, yn lleng anhydor i amddiffyn eu gilydd pan ymddangosai 'r gelyn. Yr undeb hwn, ac ansawdd amddiffynfaol y wlad, a alluogodd y Cymry am gynnifer o flynyddoedd i wrthsefyll gelynion ag oeddynt lawer iawn lliosocach na hwynt-hwy. Gerllaw yr oedd Cowryd ab Cadvan yn byw yn Plas yn Rhal, gerllaw Rhuthyn; a rhai blynyddoedd yn ol gwelais ym magwyr yr annedd hòno gareg, ac arni ar-bais bedryran Cowryd, a'i hynafiad Brochwel. Yr oedd gan Cowryd bump o feibion teilwng o'r fath gyff, a nodwyd eu hiliogaeth am oesoedd wrth yr enw Cawri Cowryd. O herwydd yr oedd y gwastadedd ymryson y gorfu arnynt fyw ynddo i amddiffyn eu meddiannau tadawl yn fammaeth arwredd; canys rhan o gyfrwysdra Brenhinoedd Lloegr oedd llenwi y castelloedd a adeiladasent neu a adgyweiriasent âg estroniaid ieuaingc anturiawl, y rhai nid oedd ganddynt ddim i ymddibynu arno ond eu cleddyf, a nerth eu braich. Mantais a bwriad y rhai oedd ymrafaelio a gwneuthur ymgyrchiadau i gyffiniau Cymru gyda golwg ar gael dirwy ac yspail, dull o ryfel a ddarlunir yn gymmwys gan Fardd yr oes hòno—

"O'r castell i'r coed—o'r coed i'r castell."

Hir barhâd y cyflwr hwn o ymgecraeth a chythrwfl a ddygodd i ben ei ganlyniad cynhwynol, sef rhyfel cyffredinol, yr hyn a gynnaliwyd gan mwyaf yn agos i Ruthyn, a phen uchaf Dyffryn Clwyd, ac a ymledaenodd trwy Gymru oll am naw mlynedd, ac a ddarlunir gan Hanesyddion megys Rhyfel Owain Glyndwr.

Dyfynaf hanes byr o'r rhyfel hwn allan o lyfr a gyhoeddwyd gan Mr. John Davies o Lansilin, yn y flwyddyn 1716, tu dalen 12.

Yr oedd y Thelwals‡ o Ruthyn, y rhai a anrhegodd y Brenin Harri y pedwerydd â rhan o Ddyffryn Clwyd, mewn anghydfod â theulu Gruffydd Goch ab Ioan ab Dafydd Fychan ab Dafydd ab Iorwerth ab Cowryd ab Cadfan, y rhai gan eu bod yn lliosocach na'r Thelwals, er bod y Thelwals yn dal yr holl awdurdod a swyddau Cromwel dan yr Arglwydd Grey, Iarll Kent, Trysorydd Lloegr, yr hwn a gynghorodd y Thelwals i gymmeryd castell Rhuthyn yn amddiffynfa, lle y gwarchaewyd arnynt nes codwyd y gwarchae gan John ab Meredith, un o hynafiaid teulu Gwydir, at yr hwn y darfu i'r Thelwals ddanfon am gynnorthwy. Yn yr ymdrech hwn fe laddwyd Robert o Isallt, mab ieuengaf John ab Meredith, â saeth y'nghoed Marchan, a llawer ereill ar bob ochr.

Mewn *Peerage* (dyledogaeth) a argraffwyd yn y flwyddyn 1710, yr wyf yn canfod yr hanes canlynol am Iarll Kent.

"Yr oedd yn hynod am ei amrafaelion âg Owain Glyndwr ynghylch eu tiriogaethau, yn y rhai y cymmerwyd ef yn garcharor gan Owain, a thalodd bridwerth uchel am ei ollyngdod, a gorfu arno briodi ei ferch."

Pan ddechreuodd y rhyfel, yr oedd Owain yn y Deml yn Llundain yn astudio 'r gyfraith, nes trwy orthrymder a thraws-feddiant o'i dref-tadaeth y cynhyrfwyd ei yspryd milwraidd a'i ddial i adennill ei dref-tadaeth, ac i dalu 'r echwyn yn ol i'w orthrymwyr, yr hyn a gadwodd y Saeson mewn aflonyddwch a dychryn am naw mlynedd. Disgynyddion Cowryd ab Cadfan a drigiannasant ym Mhlas yn Rhal tua chanol y canrif diweddaf, yn cymmeryd oddiwrth Harri, y seithfed âch oddiwrth Cowryd, yr enw Parry, pan briododd merch ac etifeddes Thomas Parry etifedd olaf Thomas Lloyd yr ail o Dre'r Beirdd, gerllaw y Wyddgrug, a Chofrestrydd Caer, yr hwn ar farwolaeth ei fab, a'i ferch, Mrs. Marsden o Gaer, yn ddiblant, a adawodd Blas yn Rhal i'w gefnder Mr. Lloyd, Maesmynan, gerllaw Caerwys, mab yr hwn ychydig flynyddoedd yn ol a'i gwerthodd.

‡ *Daeth y Thelwals gyntaf o Swydd Gaer.*

* Priododd Gryffydd Goch Mali merch Lloyd o Bodidris yn Iâl. Efe a adeiladodd Eglwys Cyfylliog, megys Capel cynnorthwyol i Lanynys.

† Evan Llwyd oedd yn byw yn Henblas, fel uchod. Dyma y sefydliad cyntaf a wyddis am y y rhan hon o deulu Gryffydd Goch.—Mr. Lewis o Gaer.

y diweddar Ynad Lloyd, tad Edward Lloyd, Yswain, Rhagatt. Yr oedd gweithfeydd plwm yn cael eu gyru yn yr ardal yma, yn cadw dros 500 o bobl; ond y maent yn awr wedi darfod; hyny yw, y mae 'r costau o'u gweithio cymmaint, fel nad ydyw y pris presennol am blwm yn gwneuthur ad-daliad i'r golygwyr. Y mae 'r tir yn gyffredinol yn y plwyf hwn o natur clai, oddeutu tewder wyth modfedd ar bridd melyn salw, a hyny drachefn ar y gareg galch, yr hon sydd yn dangos ei dannedd ym mhob man ar ochr dwyreiniol yr afon Alun. Y mae 'r afon Alun yn tarddu o fynydd Cyrn y Brain a Bwlchrhiw-felen, ac yn rhedeg trwy ganol y plwyf hwn, ac yn Llanferras yn terfynu rhwng y gareg galch a'r gareg lâs; ni welir un amser mo'r gareg galch ar yr ochr gorllewinol, na'r gareg lâs ar yr ochr dwyreiniol. Ychydig tu isaf i Gilcain y mae yn cael ei cholli mewn llyngcfaoedd, y rhai a elwir yn y wlad hon *swallows*. Yr afon hon sydd yn troi olwyn fawr ac yn golchi plwm Maes-y-safn, plwyf Llanferras, olwyn Rhyd-y-mŵn, a llawer o weithfeydd ereill, ac yn rhedeg heibio 'r Wyddgrug, a'i haber yn agos i Dref-allen, ar lan Dyfr-dwy. Ym mhen uchaf y plwyf y mae Tomen Rhodwy, yr hon, yn ol hanes Mr. Pennant, oedd gastell a adeiladwyd o goed gan Owen Gwynedd, o gylch y flwyddyn 1148; ond traddodiad y wlad yw, mai castell o dywarch oedd, ac mai Iarll o Lys-y-cyll, plwyf Llanferras, oedd yn preswylio yno, ac oddi wrtho ef y cymmerodd y dre-ddegwm yr enw o Bodigre Iarll. Y mae yn ddiammeu genyf mai yn yr ardal hon y gwnaeth y Prydeiniaid eu gwrthwynebiad gwrolaf yn erbyn y Rhufeiniaid, o herwydd nid oes na bryn na phant heb ei garnedd, ac nid ellir tòri ffos trwy gae, nac adwy mewn hen glawdd, heb ddyfod o hyd i esgyrn dynion mewn pridd-lestri. Cafodd Mr. Wilson Jones amryw briddlestri o'r fath hyn yn llawn o ludw ac esgyrn, ac un yn cynnwys gar ên, a'r dannedd yn eithaf perffaith ynddo. Tu uchaf i Allt-gymbyd mae tomen a elwir Ffedoged y Wrach, ac y mae un arall o'r un enw tua Rhyd-y-ceirw. *Hen chwedl*, Y mae lleuad gwyr Iâl yn aeddfedu ac yn ffrwythloni yr ydau wedi darfod gwres yr haul yn Nyffryn Clwyd, tua Hydref a Tachwedd. Yma hefyd y ganwyd y diweddar Mr. Lloyd o Gaerwys, Cyfaill ac Arweinydd mewn Hynafiaeth Cymreig Mr. Pennant o'r Downing.—Enwau yr Offeiriaid sydd fel y canlyn:—

NAMES OF RECTORS AND VICARS.

*(Taken from a manuscript of * * *)*

RECTORS.

| | *Collated Anno.* |
|---|---|
| Alexander Standish | 1537 |
| John Tayrewell | 1538 |
| Ellis ap David | 1554 |
| Ric. Roger Bp. Suff. of Dover | 1561 |
| John Williams, D. D. | 1595 |
| Godfrey Goodman | 1621 |
| Peter du Moulin on the King's Presentation | 1626 |
| Peter du Moulin, Coll. by the Bp. | 1635 |
| Bp. Lloyd took it into his Commendam | 1684 |
| Isaac Buckhouse, *res.* | 1680 |
| Owen Eyton | 1687 |
| Edward Lloyd | 1688 |
| David Maurice, D. D. | 1695 |
| Thos. Davies, B. D. of Shrewsbury | 1702 |
| All the Bps. of St. Asaph since have held it in Commendam till | |
| Henry Lushington, M. A. Vicar of Eastbourne, Sussex | 1759 |
| John Eyton | 1779 |
| William Davies Shipley, A. M. Dean and Chancellor of St. Asaph, Vicar of Wrexham, and Rector of Skeiviog and Rector of Corwen | 1782 |
| J. H. Montague Luxmoore, Rector of Marchwiail | 1826 |

VICARS.

| | *Collated Anno.* |
|---|---|
| David ap Rice | 1537 |
| Thomas Dare | 1540 |
| Ellis ap David, collated before July | 1556 |
| Will. Vaughan | 1567 |
| David Gwyn, *res.* | 1588 |
| John Price | 1594 |
| Richard Lewis, *res.* | 1627 |
| Ellis Owen, ejected, but came in again | 1631 |
| Peter Price | 1678 |
| Griffith Davies | 1680 |
| Hugh Pennant, late Curate of Treyddyn | 1715 |
| Simon Evans, M. A. late Rector of Llandegle | 1731 |
| John Venables, B. A. late Curate of Hope | 1753 |
| Edward Edwards, A. M. late Vicar of Kilken, and Curate of Wrexham | 1782 |
| John Denman, Rector of Llandegle, and Curate of Bryn Eglwys | 1821 |
| Evan Evans, late Vicar of Pennant Melangell | 1831 |

*The above account to 1759 is recorded by John Venables, Vic. aforesaid.*

Poblogaeth 1831 oedd 1475—traul neu dreth y tlodion dros £100, yn ol pedwar swllt y bunt.

Yr wyf yn gobeithio, Mr. Gwyliedydd, y gwna yr hanes rhagflaenol eich boddhâu chwi, a difyru rhai o'ch darllenwyr, a chynhyrfu eich Gohebwyr i roddi hanes helaethach ac eglurach ar rai o'r penau a draddodais.—Wyf, eich gwasanaethydd,

IEUAN IAL.

## PREGETH AR IOAN iii. 5.

*(Parhad o du dal. 230.)*

Wedi dangos fel hyn oddiwrth yr angenrheidrwydd o gyfnewidiad calon, oddiwrth lygredigaeth y natur ddynol, ac arwyddocâd y geiriau "teyrnas Dduw," bod yn rhaid i ni gael ein hadgenhedlu o ddwfr ac o'r Yspryd Glân, awn rhagom at bwngc pwysig arall, yr hwn sydd wedi bod yn aml yn achos o flinder ac anesmwythdra i laweroedd, yn enwedig i'r anobeithiol a'r anwybodus. Mae 'r cyfryw rai yn dueddol i feddwl eu bod hwy heb eu hail-eni, am nas gwyddant yr amser pennodol pryd y cymmerodd y cyfnewidiad hwnw le. O ddiffyg gwybod yr amser penderfynant eu bod heb eu hadgenhedlu, ac yn ganlynol na byddant gadwedig. Gadewch i mi gan hyny gymmeryd golwg manylach ar yr amser y mae 'r enedigaeth newydd yn cael ei phlanu yn y galon. Y mae 'r pwngc o dan ein sylw, sef amser yr adenedigaeth, wedi bod yn destun o ymryson mawr ym mhlith Cristionogion. Cymmerasant ddau olwg gwahanol arno, ac ymranasant yn ddwy blaid—un yn haeru un peth, a'r llall beth arall. Ond gobeithiaf y gallaf ddangos i chwi pa fodd y gellir cymmodi y ddwy blaid, a dwyn eu golygiadau ar yr athrawiaeth hon yn gysson â'u gilydd. Y mae barn un blaid yn unol â'r hyn a gynnwysir yn y Llyfr Gweddi Gyffredin yn Ngwasanaeth Bedydd, sef bod ein hadenedigaeth yn cymmeryd lle pan ein derbynier trwy fedydd i gyfammod â Duw. Ond daliwch sylw, nad ŷm i feddwl fod ein *sancteiddiad* yn cymmeryd lle ar ein hadgenhedliad. Mae hyn yn amlwg, nid yn unig oddiwrth ddywediad Crist, bod yn rhaid i ni gael ein geni drachefn o ddwfr yn gystal ag o'r Yspryd, ond hefyd oddiwrth yr nn rhesymau ag sydd yn profi llygredigaeth y natur ddynol; oblegid addefa pawb fod plant wedi eu geni mewn pechod, a'u bod o'r achos yn ddarostyngedig, ie, cyn pechu yn *weithredol*, i nychdod a marwolaeth, ac amryw ddrygau ereill, a hyny o herwydd eu bod yn gyfranogion o anian lygredig. Ond pa beth yr ydym yn ddeall pan y dywedwn fod plentyn wedi ei eni mewn pechod? Nid oes ganddo na'r gallu na'r ewyllys i wneuthur drwg—nid oes dim pechod yn ei ddagrau, yn ei ciniau, na'i wendidau. Pa fodd, ynte, y gellir golygu baban, yr hwn ni throseddodd erioed, yn bechadurus? Beth a ddeallir wrth y geiriau a glywn mor aml pan fedyddir ein plant, sef, yn "gymmaint ag ymddwyn a geni pob dyn mewn pechod?" Dyma eu hystyr—bod mewn plentyn duedd ac awydd i wneuthur drwg pan ddelo yn abl i'w wneuthur. Mae mor naturiol i blentyn droseddu yn erbyn Duw, ag yw i bren ddwyn blodau yn y gwanwyn, a ffrwyth yn yr haf. Ond os gellir golygu plentyn yn bechadurus cyn iddo bechu yn weithredol, felly, yn yr un modd gellir ei olygu yn gyfiawn yn ngolwg Duw heb fod felly yn wirioneddol. A dyma yr achos fod geiriau Crist yn peri i'n Heglwys gredu mai megys ag y gellir baban diniweid mewn pechod, felly y dichon i'r unrhyw faban gael ei eni drachefn trwy ddwfr bedydd: canys os gall yr yspryd drwg gael meddiant o enaid baban cyn troseddu o hono yn weithredol, felly hefyd y gall Yspryd Duw feddiannu enaid plentyn cyn gwneuthur o hono ddim daioni. Ni fyddai yn fwy afresymol priodoli i faban diwybod ddaioni na drygioni; ac am hyny y mae ein Heglwys yn dal allan y gall yr enedigaeth newydd ddechreu yn y bedydd. Dyma fel y mae un o'r ddwy blaid yn barnu ac yn ymresymu. Barn y blaid arall yw hon—Bod yr enedigaeth newydd yn dechreu, nid ar amser bedydd, ond rhyw dro arall yn ystod ein bywyd, pan y bo i'r Hollalluog, trwy ddylanwad ei Yspryd, ein hargyhoeddi o bechod, a'n tywys yn ebrwydd i edifeirwch a newydd-deb buchedd. Cyn gynted ag y caffo y pechadur argyhoeddiad gwirioneddol, barnant fod cyfnewidiad trwyadl yn cymmeryd lle yn ei feddyliau, ei eiriau, a'i weithredoedd. Y mae yn awr yn greadur newydd, yn byw mewn ofn Duw, ac yn marw mewn gobaith, ie, eithaf sicrwydd o ddedwyddwch tragywyddol yn y nef. Dyma farnau y ddwy blaid ar athrawiaeth yr adenedigaeth.

Af rhagof yn awr i geisio dangos i chwi pa fodd y gellir cyssoni a chymmodi y golygiadau hyn. Mewn perthynas i farn un o'r pleidiau, gellir dywedyd am rai, eu bod yn treulio eu bywyd, o'u cryd i'w bedd, fel pe buasent wedi eu cyssegru i

Dduw o'r groth. Wedi eu hyfforddi er yn blant yn ofn ac addysg yr Arglwydd, cymmerant arnynt eu hunain y broffes a wnaethpwyd trostynt ym medydd, cyfranogant o'r Sacrament bendigedig, corph a gwaed Crist; teimlant a chyfaddefant eu pechodau, ac erfyniant am ras Duw i'w cadw rhag bod yn euog o droseddau rhyfygus. Fel hyn y parhânt i fyw yn ofn yr Arglwydd, hyd nes y delo awr gyfyng angeu, pan ymadawant â'r byd mewn gwir ddïogel obaith o adgyfodiad i'r fuchedd dragywyddol, trwy ryglyddon a chyfryngdod Iesu Grist ein Harglwydd. Dyma fel y mae y rhan fwyaf o wir Gristionogion yn byw ac yn marw. Gosodant yr Arglwydd ger eu bron yn wastad, a gofalant am harddu athrawiaeth Duw eu Hiachawdwr ym mhob peth—am gadw cydwybod ddirwystr tu ag at Dduw a dynion, gan fod yn wyliadwrus yn wastad, am na wyddant pa bryd y daw eu Barnwr. Nid yw y cyfryw ond anaml iawn yn teimlo cynhyrfiadau anghyffredin, neu wewyr poenus yr ail enedigaeth. Ni fedrant ddywedyd pa cyn gynted y cawsant droedigaeth o dywyllwch i oleuni, o bechod i dduwioldeb, ac nid allant gofio beth a barodd iddynt yn gyntaf weled a chyfaddef eu hunain yn bechaduriaid, erfyn am faddeuant a gras, a phenderfynu gwasanaethu Duw mewn yspryd a gwirionedd. A ddywedwn ni am y cyfryw rai eu bod hwy etto heb eu hail eni, eu bod etto mewn "bustl chwerwder, a rhwymedigaeth anwiredd?" A ddywedwn ni am y cyfryw mai dieithriaid ydynt i'r cyfammod a wnaeth Crist rhwng Duw a dynion? Am na wybuant amser eu dychweliad, am na theimlasant euogrwydd ac aflonyddwch cydwybod fel annuwiolion yn gyffredin? A ydych chwi yn meddwl eu bod hwy etto heb Dduw yn y byd, heb ei gariad yn eu calonau, heb obaith am ei drugaredd yn y farn, am eu bod heb deimlo y cynhyrfiadau aflonyddus hyn? Na ato Duw, fy mrodyr, i chwi feddwl y fath beth. Derbyniwyd y rhai hyn i mewn i'r eglwys allanol, teyrnas weledig Duw, ac yna ffurfiwyd a meithrinwyd ynddynt yn raddol ei deyrnas ysprydol ef trwy ddirgel ddylanwadau Glân Yspryd Duw. Er nad ydynt yn cofio amser pennodol eu troedigaeth, nac yn teimlo ynddynt eu hunain sicrwydd eu hiachawdwriaeth, etto rhoddant brawf boddlonawl eu bod wedi eu hadgenhedlu, trwy eu gobaith gostyngedig, eu hedifeirwch diffuant, a'u hufudd-dod pur a diragrith i orchymynion Duw. Angharedig a rhyfygus iawn fyddai dywedyd am y cyfryw rai nad ydynt ar y ffordd sydd yn arwain i'r bywyd am na theimlasant erioed y cynhyrfiadau a'r profiadau poenus hyny y rhai y mae pechaduriaid mawrion weithiau yn eu teimlo ar eu dychweliad at Dduw. Cofiwch eiriau yr Ysgrythyr—"Ni ddichon neb ddyfod at Grist, oddieithr i'r Tad ei dynu ef;" ac amrywiol yw'r ffyrdd trwy ba rai y mae ein Tad nefol yn ein tywys at ei Fab. Ond amlaf arfera lef ddistaw fain, ac os na wrandawn arno pan lefo, ni wrendy yntau chwaith pan lefom arno yn ein cyfyngder mwyaf—"Yn gymmaint ag i mi eich gwahodd, ac i chwithau wrthod; i mi estyn fy llaw, a neb heb ystyried; ond diystyrasoch fy holl gyngor i, ac ni fynech ddim o'm cerydd: minnau hefyd a chwarddaf yn eich dialedd chwi; mi a wawdiaf pan syrthio arnoch yr hyn yr ydych yn ei ofni."

Ym mhellach, mewn perthynas i farn y blaid arall, bod yn rhaid i'r ail enedigaeth ddechreu bob amser gyda rhyw ddwys argraff neu argyhoeddiad ar y gydwybod, a hyny yn ddisymmwth trwy gynhyrfiad yr Yspryd Glân. Mae yn ddïammeu fod llawer pechadur gwar-galed, yr hwn dros hir amser a ymddiriedodd yn llïosowgrwydd ei bechodau, ac a ymnerthodd yn ei ddrygioni, wedi ei achub fel pentewyn o'r gynneu dân, ac wedi dyfod i'r iawn allan o fagl dïafol; a hyny hefyd yn ddisymmwth, nid trwy foddion cyffredin gras Duw, ond, fe allai, trwy effaith cariad Duw wedi ei dywallt yn ei galon ef trwy yr Yspryd Glân yr hwn a roddwyd iddo. *Rhuf.* 5. 5. Ond nid yw y cyfryw siamplau yn digwydd cyn amled ag y tybid eu bod, ac y mae llaweroedd yn camgymmeryd effaith yr Yspryd am dwyll Satan. Tebyg ydynt i feddau wedi eu gwynu, y rhai sydd yn ymddangos yn dêg oddi allan, ond oddi mewn llawn ydynt o bob aflendid. "Wrth eu ffrwythau yr adnabyddwch hwynt." "Ffrwyth yr Yspryd yw cariad, llawenydd, tangnef-

edd, hir-ymaros, cymmwynasgarwch, daioni, ffydd, addfwynder, a dirwest." Gwaith y dïafol, neu ffrwythau 'r cnawd, ydynt y rhai canlynol: "Casineb, cynhenau, llid, ymrysonau, ymbleidio, cenfigenau, cyfeddach, a chyffelyb i'r rhai hyn." Pwy bynag a fo'n euog o'r pechodau ffiaidd hyn, beth bynag fo ei broffes, Duw a adwaen ei galon mai aflan a thwyllodrus yw. Mae rhan fawr, meddyliwyf, o'r ymryson chwerw a gymmerodd le ar y pwngc hwn, wedi deilliaw oddiar y camgymmeriad o gyfyngu gweithrediadau yr Hollalluog ar y galon i un o'r moddion hyn, pan y mae genym ddigon o achos i gredu ei fod ef yn aml yn arferyd y *ddwy* ffordd. Rhy chwannog ydym i feddwl fod Duw yn gorfod gweithio yn unol â'n barn ni, ac nid yn ol ei ewyllys sanctaidd ei hun. Yr ydym ni yn barod i feddwl fod troedigaeth dyn naill ai yn raddol ai yn ddisymmwth bob amser, yn ol barn y blaid yr ydym yn perthyn iddi. Ond nid felly y mae yn bod: y mae Duw yn gweithredu y ddwy ffordd, sef weithiau yn raddol, ac weithiau yn ddisymmwth, yn ol ei ewyllys ei hun, fel y mynega yr Ysgrythyr—"Duw sydd yn gweithio ynom ewyllysio a gweithredu o'i ewyllys da ef." *Phil.* 2. 13. Eithr y cyfnewidiad calon ag y mae 'r efengyl yn ofyn genym, a ddygir ym mlaen yn gyffredin yn raddol ac yn ddïarwybod trwy effaith moddion gras; canys "felly y mae teyrnas Dduw, fel pe bwriai ddyn had i'r ddaear; a chysgu, a chodi nos a dydd, a'r had yn egino ac yn tyfu, y modd nis gŵyr efe." Fe weithreda gras Duw hefyd ambell waith yn ddisymmwth, fel y gwelwn yn nhroedigaeth St. Paul ac ereill. Y mae genym eithaf sicrwydd ei fod ef yn arferyd dwy ffordd er dwyn ei greaduriaid i wybodaeth o'r gwirionedd, yn ol eu gwahanol amgylchiadau, ac er eu llesâd tragywyddol. Gadawaf i chwi, frodyr, i farnu ai gwir hyn ai peidio, yn ol eich profion eich hunain. Edrychwch yn ol ar ddyddiau eich ieuengctid. Pan ddechreuasoch gyntaf adnabod drygioni, oni ddarfu i chwi hefyd adnabod daioni? oni ddarfu i'r addysg a dderbyniasoch pa fodd y dylech rodio eich cadw yn fynych rhag pechu yn erbyn Duw? oni ymdrechasoch yn erbyn drygioni? oni theimlasoch ddeddf arall yn eich aelodau yn gwrthryfela yn erbyn deddf eich meddwl? oni ddarfu i'ch cydwybod eich cyhuddo yn aml pan wnaethoch ar gam, a'ch aflonyddu pan geisiasoch yn ofer ei diffodd? Rhai o honoch a arferasoch ddyfod i wasanaeth cyhoeddus yr Eglwys y'ch bedyddiwyd ynddi, a derbyniasoch y sacrament, a buoch yn ddiwyd yn darllen ac yn chwilio yr Ysgrythyrau. Trwy y moddion hyn y cynnyddasoch mewn gras a gwybodaeth ysprydol; fel hyn yn raddol y meithrinwyd yr had da a blanwyd yn eich calonau er yn blant, nes y dygodd ffrwyth —peth ar ei ganfed, arall ar ei ddegfed ar hugain, yn ol y driniaeth a gafodd. Fel hyn y mae Eglwys Crist yn cynnwys personau o amrywiol raddau o wybodaeth a gras: y mae ynddi fabanod gweiniaid, a thadau nerthol; ond nid yw y Cristion gwanaf yn cael ei adael yn ddiymgeledd. Er na fedd ond yr hedyn lleiaf o ras, a hwnw yn aml yn cael ei attal gan faglau, neu ei dagu gan ofalon y bywyd hwn, etto er cymmaint ei wendid a'i ammherffeithrwydd, y mae 'r Yspryd yn ymryson âg ef yn ddiflino, ac yn ei adferu pan gyfeiliorno. Aml achos sydd ganddo, o herwydd ei bechod, i edifarhâu a cheisio maddeuant. Yn y cyflwr ansicr ac enbydus yma, pan fo'r enaid megys yn cloffi rhwng dau feddwl, y mae Duw yn fynych yn defnyddio croesau a chystuddiau er gwneuthur y cyfryw rai yn fwy diwyd a diysgog yn ngwaith mawr eu hiachawdwriaeth. "Dyn a aned i flinder, fel yr eheda gwreichionen i fynu." "Ond y neb y mae yr Arglwydd yn ei garu, y mae yn ei geryddu." Gwyn fyd y gwr a ddygwyd mewn un modd, ïe, trwy drallod acing, i fod yn ddoeth i iachawdwriaeth. Pwy o honom nad yw yn cofio rhyw beth o'r fath yn digwydd iddo ei hun, pan oedd llaw yr Arglwydd yn drom arno? Onid oeddym yn barod i ddweud gyda Dafydd, "Da yw i mi fy nghystuddio; canys cyn hyny yr oeddwn yn cyfeiliorni." Mae cystuddiau wedi bod yn fuddiol iawn er dwyn dynion i ystyried eu ffyrdd, ac i ymostwng ger bron gorsedd-faingc yr Arglwydd, yr hwn yw ein hunig noddfa yn amser trallod. Ond buan, ysywaeth, yr anghofiwn ein blinderau a'n haddunedau; "Dros brydnawn yr erys wylofain,

ac erbyn y bore y bydd gorfoledd." Nid oes ond odid neb o honom nad yw wedi cael ei alw ryw bryd o'i oes i wylo ar fin y bedd dros rieni, plant, neu gyfeillion; mae rhyw adfyd neu gilydd yn cael ei anfon at bawb o honom er ein tywys i edifeirwch, ac i'n diddyfnu oddiwrth hudoliaethau y byd hwn. Trwy y pethau hyn y mae yr Yspryd yn ymryson â ni, ac yn ein rhybuddio i ddychwelyd yn wirioneddol at yr Arglwydd. Gwyliwch, frodyr, rhag esgeuluso y rhybuddion hyn. Gwrandewch ar lais cydwybod, a cheryddon yr Yspryd Glân, yr hwn, trwy gyfrwng moddion a threfniadau Rhagluniaeth sydd yn gweithredu fel hyn ar yr enaid, ac yn raddol yn ei gyfnewid. Mae Duw yn defnyddio y pethau hyn er ein lles tragywyddol; canys ni chollir neb byth o eisieu cymmorth Glân Yspryd Duw, "yr hwn ni ewyllysia bod neb yn golledig, ond dyfod o bawb i edifeirwch."

Cyn diweddu, dymunaf roi gair neu ddau o gyngor i'r rhai sydd yn teimlo ynddynt eu hunain radd o ofn ac anobaith eu bod etto yn ol am y cyfnewidiad ysprydol y buom yn sôn am dano. Y mae y cyfryw rai yn barod i ofyn ambell waith, pa fodd y gallwn wybod ein bod wedi ein hail-eni ai peidio? Atolygaf ar y cyfryw bobl ar iddynt beidio a disgwyl y gwna Duw erddynt hwy fwy nag a wnaeth i ereill. Rhoddodd ddigonedd o foddion yn eu dwylaw; rhoddodd iddynt ei Ysgrythyrau Sanctaidd—ordinhadau crefyddol—y fraint o nesâu at Dduw mewn gweddi ddirgel a chyhoeddus—y sacrament bendigedig, a'i Sabbothau glân; ac uwchlaw pob dim rhoddodd o fewn eu cyrhaedd amryw ddoniau yr Yspryd Glân. Os yw 'r aml freintiau hyn yn ddigonol trwy fendith Duw er dychwelyd un pechadur, maent yn ddigonol i ddychwelyd *pawb*. Nid ydym i ddisgwyl y cyrhaeddwn berffeithrwydd yn y byd hwn, am mai cyflwr profedigaethus yw o'r dechreu hyd ei ddiwedd; ac un o'r treialon trymaf yw hyn, ein bod yn ddarostyngedig i bechod, a bod ynom duedd gwastadol i syrthio iddo. Na feddyliwch, gan hyny, eich bod heb eich hadgenhedlu, o herwydd nad ydych yn ddifeius ac yn berffaith, ac na ragofalwch chwaith ynghylch amser pennodol eich troedigaeth. Yn hytrach, ymresymed pob un âg ef ei hun fel hyn—Y mae Yspryd Duw o'm mewn ac o'm hamgylch—y mae yn gwybod fy holl feddyliau, ac yn craffu ar fy ngweithredoedd dirgelaf, er nas gwelaf ef. Fe ddywed wrthyf pa beth yw fy nyledswydd, a pha fodd i rodio er rhyngu bodd Duw, er na fedraf glywed ei lais ef. Diammeu ei fod ef yn darostwng fy meddyliau, yn rheoli fy mwriadau, ac yn cyfarwyddo fy holl gamrau, er nas deallaf drefniadau ei Ragluniaeth. A wyf fi, gan hyny, yn ufuddhâu i'w Yspryd sanctaidd ef, pan lefaro wrthyf fel hyn yn y dirgel? neu a wyf fi yn ei dristâu ef, gan wneuthur rhagddarbod dros y cnawd, er mwyn cyflawni ei wyniau a'i chwantau? a wyf fi yn rhoddi fy holl ymddiried a'm gobaith am iachawdwriaeth ar haeddiant Iesu Grist? a wyf fi yn gweddïo yn wastad am ras ac hyfforddiad yr Yspryd? "A'th gyngor y'm harweini (O Arglwydd); ac wedi hyny y'm cymmeri i ogoniant." Pwy bynag a all ateb y cyfryw gwestiynau, fel y dichon pawb eu hateb a arweinir gan yr Yspryd Glân, y mae ganddo eithaf sicrwydd ei fod wedi cael ei ail-eni, nid yn unig o ddwfr, ond hefyd o'r Yspryd; a gall fod yn sicr y bydd i'r hwn a ddechreuodd waith da ynddo, ei orphen hyd ddydd Iesu Grist. Mae yr Yspryd yn wastad ar waith yn ein calonau, ac fe barhâ i'n cynnorthwyo hyd y diwedd, oni bydd i ni, trwy ein hanwiredd a'n ffolineb, ei annog ef i attal ei ras oddi wrthym, ac i'n gadael i reolaeth ein llygredd, yr hwn a'n dinystria gorph ac enaid. Amcan Duw yn ei holl weithredoedd yw ein daioni tymhorol ac ysprydol: ni ddatguddiodd ei ewyllys i ddynion er eu gwneud yn annedwydd ac yn anobeithiol, ond i'r gwrthwyneb, er eu gwneuthur yn hapus yma ac am byth. "Rhyngodd bodd i'r Tad roddi i ni y deyrnas;—ac ni attal efe ddim daioni oddiwrth y rhai a rodiant yn berffaith." Rhoddodd i ni gynghorion buddiol i'n cyfarwyddo, ac addewidion mawr a gwerthfawr, y rhai ni phallant byth, i'n cysuro ar ein taith flinderus trwy anialwch y byd hwn. Ein Duw trugarog, yr hwn a'n gosododd yma ar y ddaear, ac a'n galluoga trwy ei Yspryd daionus i ymwrthod â'r diafol a'i holl weithredoedd, rhodres a gorwagedd y byd, a holl bech-

adurus chwantau y cnawd, "ni âd ein temtio uwchlaw yr hyn a allom; eithr a wna ynghyd â'r temtasiwn ddiangfa hefyd, fel y gallom ei ddwyn." Efe a'n hyfforddia, ac a'n gwareda rhag bob drwg; ac os byddwn yn ofalus i ymddwyn yn addas i efengyl Crist, gan barhâu yn ddianwadal hyd y diwedd, efe a'n dyrchafa i ogoniant annhraethol a diddiwedd yn y nefoedd. "Am hyny, fy mrodyr anwyl, byddwch sicr a diymmod, a helaethion yn ngwaith yr Arglwydd yn wastadol; a chwi yn gwybod nad yw eich llafur yn ofer yn yr Arglwydd." Amen.

PUBLICIUS.

---

## YMGAIS I ATEB Y GOFYNIAD

"PA UN SY DEBYCAF, YN OL DULL PRESENNOL IEITHOEDD, IDDYNT OLL DDEILLIAW ODDIWRTH UN FAMIAITH, NEU ODDIWRTH AMRYW; AC OS ODDIWRTH UN, PA YDYW?"

*Wedi ei ysgrifenu ar arch Cymreigyddion Caerludd, gan* J. MORGANS, M. D.

MAE ieithoedd heb gael eu hysgrifenu, a'u cofrestru mewn llyfrau, yn gyfnewidiol iawn, ac nid yw y moddion hyn yn ddigonawl i sefydlu rhai o honynt, fel y mae hanes y Saesonaeg, yr Allmanaeg, a'r Ffrancaeg yn dangos; canys nid yw y Cenedloedd a arferent yr ieithoedd hyny yn eu deall fel yr oeddynt, ac fel eu hysgrifenwyd chwech neu wyth gan mlynedd yn ol. Ond cafodd y Lladin ei chofrestru mor gyflawn, ddwy fil o flynyddoedd yn ol, y Groeg yn agos i dair mil, a'r Hebraeg, y Galdaeg, a'r Syriaeg, &c. gannoedd o flynyddoedd yn foreuach yn oes y byd, fel nas gallasant ar ol hyny gael eu cyfnewid; ac y mae digon o law-ysgrifau i brofi fod y Gymraeg yn awr yr un, gyffelyb ag ydoedd hi ddeuddeg cant o flynyddoedd yn ol: ac y mae genym dystiolaeth anwadadwy awdwyr y gallasai dynion a berchenogent ychydig o ddysg y pryd hyny, ddarllen y Gymraeg fel yr ydoedd bymtheg cant, neu ddwy fil o flynyddoedd cyn hyny!!—Gwel *Cambrensis.*

Ond fe allai y dywed rhai fod y pethau hyn yn myned i brofi fod amryw o ieithoedd mewn bod yn fuan ar ol y diluw, o fewn 1 fil o flynyddoedd, neu y drydedd ran o'r amser ar ol cymmysgiad ieithoedd o amgylch Babel, a elwir hefyd Babilon; lle y cymmysgwyd iaith dynolryw, yn ol barn Iuddewon a Christionogion. Etto, nid allwn edrych yn ddyfal a chywrain ar ieithoedd heb weled arwyddion eu bod o un *dechreuad*; heb weled iddynt oll ddeilliaw oddiwrth un *Fam-iaith.* Pe amgen, pa fodd y gallai yr enwau gweinion rhifyddegawl (*Numerical Adjectives*) a ddechreuant, yn y Groeg (gellir enwi er dangos) â llafariad (*vowel*) ddechreu hefyd â llafariad, ac nid â chydseiniad yn yr ieithoedd ereill yn gyffredin? Neu, pa fodd y dechreu enwau gweinion ereill â chydseiniaid yn y Groeg, ac yn yr ieithoedd ereill yn gyffredin? Y mae un felly yn y Gymraeg, y Gelaeg, a'r Ffrancaeg; *eis,* Groeg; *unus,* Lladin; *uno,* Eidalaeg ac Yspaenaeg; *onen,* Cerniwaeg a'r Galedonaeg; *aon,* Gwyddelaeg; *een,* Isellmanaeg a'r Danaeg; *eins,* Allmanaeg; *one* neu *an,* Saesonaeg; *en,* Swedaeg; *ieden,* Pwylaeg; *iedna,* Russiaeg; *ake,* Bengalaeg; *iack,* Persiaeg; *echad,* Hebraeg; *e,* Chineaeg; *egi,* Hungaraeg; ond *beer,* Twrcaeg; a *hyscat,* yn ieithoedd amryw o'r Indiaid Americanaidd. Ond y mae *dau* yn dechreu â chydseiniad yn y gwahanol ieithoedd; *duo,* Groeg a'r Lladin; *due,* Eidalaeg; *dos,* Yspaenaeg; *deux,* Ffrancaeg; *tween,* Allmanaeg; *twee,* Isellmanaeg; *dou* neu *dau,* y Gymraeg; *do,* y Wyddelaeg; *da,* Caledonaeg; *daou,* Celtaeg; *deux,* Cerniwaeg; *dwa,* Pwylaeg; *dho,* Bengalaeg; *do,* Persiaeg; *duo,* Mallayaeg; *two* a *twy,* Sacsonaeg; *two,* Saesonaeg; *to,* Danaeg; *twa,* Swedaeg a Russiaeg; ond *shenaim,* Hebraeg; *ur,* Chineaeg; *ketto,* Hungaraeg; *eckee,* Twrcaeg; *techini,* y Mahawks, a phedwar llwyth ereill Americanaidd. Mae y geiriau hyn yn arwyddo perthynas agosach rhwng y Twrciaid a'r Indiaid Americanaidd nac sy rhyngddynt â chenedloedd ereill. *Wyth* yw cydenw rhifyddawl arall yn dechreu â llafariad, a hyny mewn llawer iawn o ieithoedd; ond y mae *tri, pedwar, pump, chwech, saith, naw,* a *deg,* yn dechreu yn y gwahanol ieithoedd yn gyffredin â chydseiniaid. A'r casgliad priodawl yw, nad peth damweiniawl ydyw, ond effaith a phrawf i'r geiriau a ddefnyddir gan wahanol genhedloedd i gyfrif â hwynt, ddeilliaw oddiwrth un iaith, sef prif iaith dynolryw.

Heblaw yr hyn a ddywedais, y mae y gyfundraeth o beidio cyfnewid llafariaid am gydseiniaid, yn nechreu enwau gweinion rhifyddawl, uwchlaw *deg* yn gystal ag islaw *deg*; canys yr ymarferiad yw i ddechreu *un-ar-ddeg* â llafariad yn y rhan fwyaf o ieithoedd, ond *deuddeg*, *tri-ar-ddeg*, *pedwar-ar-ddeg*, *pymtheg*, *&c.* â chydseiniaid; gan hyny, y mae nid yn unig yn debyg, ond yn ddigon amlwg, i'r geiriau rhifyddawl, mewn gwahanol ieithoedd, ddechreu mewn *un*, ac nid mewn amryw ieithoedd. Yr wyf yn dywedyd felly, heb ammeu eich bod yn cofio geiriau rhifyddawl gwahanol ieithoedd yn yr *Etymological Grammar*, yr hwn a werthir am dri swllt, a chan hyny gall pawb ei feddiannu.

Yn y Groeg, yn gystal ag yn y tafodieithau Gomeraidd, ac yn y Sanskrit, iaith henaf a mwyaf lliosog yr India ddwyreiniawl, mae *c* yn cyfnewid yn *ch*, ac *g*; *p* yn *ph* a *b*; *t* yn *th* a *d*, o ran sain. Ac felly y mae y llythyrenau ereill yn y Sanskrit ac sydd yn cyfnewid yn y Gymraeg a'i thafodieithau. Gan hyny, y mae mwy o ieithoedd wedi llygru y llythyrenau cyfnewidiol nag sydd y llythyrenau anghyfnewidiawl, megys *s* ac *n* yn *saith* a *naw*. Dywedwn mai llythyrenau anghyfnewidiawl yw *n* ac *s*; a chan hyny y mae y geiriau rhifyddawl a ddechreuant â'r llythyrenau hyn yn fwy cyffelyb y naill i'r llall yn y gwahanawl ieithoedd na geiriau a ddechreuant â llythyrenau cyfnewidiawl; canys dywedir *saith* yn y Gymraeg; *seith*, yn y Gerniwaeg; *seiz*, y Geltaeg; *seacht*, y Wyddelaeg a'r Galedonaeg; *seven*, y Saesonaeg, Sacsonaeg, a'r Ffrancaeg; *sex*, y Lladin, y Danaeg, a'r Swedaeg; *sei*, Eidalaeg; *sechs*, Allmanaeg; *zes*, yr Isallmanaeg; *sieden*, y Pwylaeg; *set*, y Russiaeg; *saat*, y Bengalaeg; *hast*, y Persiaeg; *shifa*, Hebraeg; *hat*, Hungaraeg; *tojou*, Malayaeg; *tze*, Chineaeg; *iedte*, Twrcaeg; *isadhach*, pump llwyth o'r Indiaid Americanaidd. Gwelir yma drachefn ryw debygolrwydd rhwng iaith y Twrciaid a ieithoedd Indiaid yr America; yr hyn sydd yn arwyddo rhyw berthynas rhwng y cenedloedd hyny. Mae hyn yn cadarnhau y farn gyffredin mai o Siberia y cafodd yr America ei phoblogi.

*Naw* y Gymraeg yw *naw* y Gerniwaeg; *nao*, y Llydawaeg; *naoth*, y Wyddelaeg; *nuoe*, y Galedonaeg; *nine*, y Saesonaeg; *novem*, y Lladin; *nove*, yr Eidalaeg; *neve*, yr Yspaenaeg; *neuf*, y Ffrancaeg; *neun*, yr Allmanaeg; *neghen*, yr Isellmanaeg; *negen*, y Sacsonaeg; *noe*, y Bengalaeg; *nie*, y Danaeg; *nio*, y Swedaeg; *no*, y Persiaeg; *enna*, y Groeg; mae bannod, yn ddiammeu, wedi cael ei huno â'r gair rhifyddawl yn y Groeg. Ond *wyth* y mae *niolez* yn ei arwyddocau, sef y gair mwyaf perthynol i *naw* yn yr Hungaraeg, a *kilness* yw y gair am *naw* yn yr iaith hono; *slambalen*, yn y Malayaeg; *tisha*, yn yr Hebraeg, gair wedi deilliaw oddiwrth *deg* ieithoedd ereill; *kyeu*, Chineaeg; *dochos*, Twrcaeg; *deighten*, y Mahawks, sef Indiaid Americanaidd. Gwelwn yma drachefn fwy o berthynas na chyffredin rhwng geiriau Twrcaidd a geiriau Americanaidd, yr hyn sydd yn dangos fod y cenedloedd hyny yn siarad yr un iaith unwaith. Yn awr ystyriwn, ymofynwn, ac edrychwn o'n hamgylch, pa fodd y gallai y fath berthynas a thebygolrwydd ddigwydd rhwng y geiriau cyfatebol mewn cynnifer o wahanol ieithoedd, pe na ddeilliasent oddiwrth un fam-iaith? Pe na buasai yr ieithoedd wedi deilliaw oddiwrth un fam-iaith, ni allasai *un*, ac *wyth*, ddechreu â llafariadau mewn gwahanol ieithoedd, mwy na *saith*, a *naw*. Mae hyn yn amlwg ac yn anwadadwy. A bydded i'r dyn gwanaf ei alluoedd edrych ar y geiriau yma, ac ereill yn yr *Etymological Grammar*, ac nid wyf yn ofni y bydd yn hir heb ddeall pa oedd y fam-iaith.

Rhyfeddol yw nad yw y Dysgedigion yn sylwi ar eiriau gwahanol ieithoedd; yn neillduol hen ieithoedd, mewn modd i ddeall eu tebygolrwydd, a chan hyny eu perthynas y naill i'r llall. Dyma y modd goreu, yn ol fy meddwl i, i amlygu dechreuad ac amlhâd cenhedloedd ac ieithoedd; canys y mae hanesyddiaeth yn ddiffygiol iawn cyn cred. Ond pethau gweledig i bawb yw geiriau; gan hyny nid pethau ammheuol ydynt; ac nid all camsyniadau ddeilliaw oddi wrthynt, ond trwy wendid meddwl, neu wir ffolineb. Nid yw dynion yn aml wedi synied, a rhoddi eu barn, pa un ai oddiwrth un, neu oddiwrth amryw, y deilliodd ieithoedd yn gyffredin. Mae rhai yn wir, mae yn debyg, wedi meddwl i ieithoedd ddechreu ym mhlith y gwahanol genhedloedd a'u harferant. A

meddyliodd rhai o'r Iuddewon, fel y gellir dysgu oddiwrth eu hysgrifeniadau, i fwy na *thriugain a deg* (70) o ieithoedd godi ym Mabel yn ddifyfyr!!! A chanlynai oddiwrth y fath dyb, mai nid trwy gymmysgu *iaith*, ond trwy amlhau *ieithoedd*, y siomodd Duw ddiben dynion o godi tŵr hyd y nefoedd, hyny yw, y tŵr mwyaf dan y nefoedd. A buasai adeiladu y fath beth i wneuthur y rhan fwyaf o ddynolryw ar unwaith yn gaethweision. Nid yw y dyb i iaith y byd gael ei gwneuthur yn *ddeg a thriugain*, neu ychwaneg, yn cyduno â dim a welwn mewn ieithoedd; canys gellir olrhain holl ieithoedd y byd, heb lawer o lafur, a hyny yn fuan, i chwech neu saith o ieithoedd, er bod i rai o honynt amryw dafodieithau. Canys nid cynt yr edrychwn ar Weddi yr Arglwydd, mewn amryw ieithoedd, mewn traethawd ar Ddaearyddiaeth, nag y gwelwn, 1. Mai tafodieithau Lladinaidd yw yr Eidalaeg, y Ffrancaeg, yr Yspaenaeg, a'r Portuguaeg.

2. Mai tafodieithau Allmanaeg, os amgen Gothaeg, a elwir hefyd Teutonaeg, yw yr Isellmanaeg, y Danaeg, y Swedaeg, yr Islantaeg, &c.

3. Mai tafodieithau Sclafonaeg, os amgen Scythiaeg, a elwir Russiaeg, Pwylaeg, Bohemaeg, a Morafaeg.

4. Mai gwahanol dafodieithau o un iaith yw yr Hebraeg, y Galdaeg, y Syriaeg, y Samaritanaeg, yr Arabaeg, a'r Ethiopaeg, a elwir Shemaiaeg, os amgen Aranaeg.

5. Mai gwahanol dafodieithau o'r un iaith yw y Gymraeg, y Llydawaeg, y [illegible], y Wyddelaeg, y Galedonaeg, a'r Sanskrit, &c. Nid allwn sylwi ar y [illegible] rhan [illegible] heb weled eu [illegible] llall, am mor aml y [illegible] yddynt yn gyffredin. [illegible] tafodieithau All[illegible] llall yn llai am[illegible] tafodieithau [illegible]. Mae y pethau [illegible] a ailant ddarllen. [illegible] y tafodieithau [illegible] eu hir neill[illegible] llall, mae y [illegible] o ran [illegible] a dull y [illegible] y

mae y tafodieithau hyny yn debyg i raid ryfeddol y naill i'r llall, fel ag y mae dyn wrth ddysgu treiglo un dafodiaith yn dysgu llawer o dreigliadau ereill. Mae hyn yn ddigon i ddangos, heb son yma am bethau ereill, fod y tafodieithau Shemaidd wedi bod ryw amser yn ol yn un iaith, neu yn un dafodiaith. Ond y mae cyfundraith dreigliadol y tafodiaethau Cymreigaidd, a arferir yn y Gymraeg, y Geltaeg, y Gerniwaeg, y Wyddelaeg, a'r Sanskrit, &c. yn fwy helaeth, yn fwy cywir, ac yn fwy nodedig, yr hyn sydd, ac byth a fydd, yn brawf digonol ac anwadadwy o brif undeb yr ieithoedd, os amgen y tafodieithau hyn.

Yn y Gymraeg, hyny yw, iaith y Cymry, ac yn y Sanskrit yn unig y mae yr holl gyfundraith dreigiawl i'w gweled; mae y rhan fwyaf o honi yn cael ei defnyddio yn bresennol yn y Geltaeg, y Gerniwaeg, y Wyddelaeg, a'r Galedonaeg; ond am nad yw hi oll ynddynt, gelwir hwy gyda phob priodoldeb tafodieithau. Ond Grammadeg y Gymraeg yn unig sydd yn cynnwys y gyfundraith hynod a rhyfeddol hon, yr hon yw y Grammadeg, fel y gwelsoch chwi yn yr *Etymological Grammar;* gan hyny, yr wyf yn barnu, mai y Gymraeg yw yr Iaith, a'r Sanskrit, y Geltaeg, y Gerniwaeg, y Wyddelaeg, &c. tafodieithau o honi. Mae y gyfundraith Frytanaidd hon ag sydd dan ein sylw, nid yn unig yn fwy rhyfeddol nag un peth arall mewn ieithyddiaeth, ond yr wyf yn barnu yn *oruwch cynneddfau dynol:* er hyny y mae Athrofeydd Prydain yn hollol anwybodus o honi. Ac er cymmaint a lafuriodd awdwr y "*Diversions of Purley,*" i ddangos fod y rhagenwau yn y sill diweddaf o'r perwyddion yn gyffredin, ni edrychodd *erioed*, mae yn debyg, rhagenwau pwy iaith sy fwyaf *amlwg* yn niwedd y perwyddion; ac ni chofiodd fod rhagenwau, neu ryw beth tebyg iddynt, yn cael eu huno â pherwyddion y tafodieithau Shemeaidd, yn eu dechreuad, yn gystal ag yn eu diwedd. Wrth edrych ar ieithoedd yn gyffredin, ni a welwn fod genym o'r hyn lleiaf *chwech* lled hen; sef, y Lladin, y Teutonaeg, y Scythiaeg, y Groeg, y Gymraeg, a'r Hebraeg, os amgen y Galdaeg. Nid yw yr ieithoedd a fuont yn y wlad helaeth a elwir *Siberia* yn deilwng o'u

sylw mewn Darlith fer fel hon, megys y Dwrcaeg, yr Hungaraeg, y Finaeg, &c. nac ieithoedd Indiaid Americanaidd, canys nid allwn ni brofi eu henafiaeth. Ac ni feddiannodd y Chineaid a'r Japanlaid lythyrenau i gofrestru eu hiaith, er eu bod wedi gallu cofrestru eu hanes â nodiadau *(Hieroglyphics)*. Gan hyny gall y ddwy genedl ddarllen llyfrau y naill y llall, er na allant ymddiddan.

Mae ynghylch deg ar hugain o ieithoedd yr India Ddwyreiniol wedi deilliaw oddiwrth y *Sanskrit*, ac y mae yn yr iaith hòno lawer o eiriau *Cymreig* a ellir eu hadnabod, heblaw y gyfundraith dreiglawl Gymraeg; a deallodd a dangosodd yr enwog Syr *William Jones*, mai cymmysgaeth o'r Sanskrit a'r Galdaeg yw y Persiaeg. Mae y pethau hyn yn cyduno yn rhyfeddol â'r ysgrythyr, sef, i iaith dynolryw gael ei chymmysgu ym Mabel y Caldeaid, y ddinas a eilw y Groegiaid Babilon, os goddefwch mai rhai o ddynolryw yn unig oedd yn y trosedd, pan oedd y rhan arall yn sefyll y'mhell oddi wrthynt tu ag Armenia; canys cyrhaeddai, rhaid meddwl, y troseddwyr a'r dieuog yn Persia, ac yna iaith gymmysgedig Persia, trwy uno y Sanskrit â'r Galdaeg. Ond nid i helaethu yma ar beth sydd yn myned i brofi mai 'r Gymraeg yw y fam-iaith, dychwelaf, ac ymdrechaf ddangos drachefn, pa un sy debycaf i'r ieithoedd mewn bod ddeilliaw oddiwrth un fam-iaith neu oddiwrth amryw.

Y prawf penaf, mi a ddywedais fod y Gymraeg, y Sanskrit, y Geltaeg, y Gerniwaeg, a'r Wyddelaeg, &c. wedi bod unwaith yn un iaith, a'r un gyfundraith dreiglawl, yr hon sydd fel hyn:

*Monad*, *Monadau*.
N
R
S

*Duad*, neu *Ddeuad*.
L, Ll, neu Lh.
M, F, neu V.

*Triad*.
B, F, M.
D, Dd, N.
G——Ng.

*Tetrad*, neu *Betrad*.
C, Ch, G, Ngh.
P, Ph. B, Mh.
T, Th, D, Nh.

Fe wnaeth *Pythagoras* lawer o ddefnydd yn ei Gyfundraeth o Ddysgeidiaeth a'r geiriau *monad*, *duad*, *triad*, *tetrad*, a *decad*; ac efelly hefyd y gwnaeth *Aristotle* o'r gair *decad*; sef yn Saesonaeg, *forming one*, *forming two*, *forming three*, *forming four forming ten*; ac y mae y byd wedi synu yn eu hannealldwriaeth beth a feddyliai *Pythagoras* wrthynt; gan nad ydynt eiriau Hebraeg, Groeg, na Lladin; ac fe fethodd ei enw *Pyth-agoras (I expounded eternity)* agoryd eu llygaid!

Y mae y geiriau Cymreig cynnwysfawr hyn yn cofrestru treigliadau Gramadegawl y Gymraeg a'r Sanskrit, ond nid yn berffaith dreigliadau un dafod-iaith arall. Afreidiol fyddai dadleu yma mai o'r Gymraeg y cafodd *Pythagoras* y geiriau nodedig uchod; canys byddai meddyg yn fwy o ddefnydd nac addysg i ddyn mor anneallus na welai hyny ar unwaith.

Gweled y fath Gyfundraith a hon a gynnwys eiriau Cymreig *Pethagoras*, yn y Gymraeg, yn y Geltaeg, a elwir hefyd Llydawaeg, yn y Gerniwaeg, yn y Wyddelaeg, ac yn y Sanskrit, yw gweled prawf amlwg a digonawl, a bâr byth, mai un iaith oeddynt oll yn eu dechreuad. Ond y Gymraeg, a'r Sanskrit, yn unig sydd wedi cadw pob rhan o'r Gyfundraith dan ein sylw; pethau a ddenant y meddwl atynt yn fwy nag at y tafodieithau ereill perthynawl iddynt. A rhaid dywedyd fod cyfnewidiad y llythyrenau yn gwneuthur Gramadeg y Gymraeg, er mor rhyfeddawl ydyw, fel y deallodd, yr ysgrifenodd, ac y cyhoeddodd eich ufudd wasanaethydd o'r blaen, ond nid Gramadeg y Sanskrit, nac un iaith arall yn y byd. A dyma yr iaith, gan hyny, sydd yn haeddu ein sylw penaf.

*(I'w barhau.)*

---

## GWELEDIGAETH Y DDELW AUR.

*(Parhad o du dal.* 231.*)*

Er bod y golygfeydd arswydus hyn i'w gweled ar bob llaw, ymddangosai nad oeddynt yn gwneuthur dim argraff ar feddyliau y rhan fwyaf o'r dorf, gan eu bod yn rhodio fyth yn y llwybr sathredig, er bod taran yn fynych yn taflu y gwydrau allan o ddwylaw llawer, a hwythau yn ffoi mewn

braw dirfawr; ond rhai o honynt, cyn gynted ag y tawelid eu hofnau, a godent i fynu y gwydrau a dafiasent ymaith yn eu dychryn, ac a ddychwelent at eu delwaddoliaeth yn fwy awyddus nag erioed. Ereill a glywsant lef ddistaw fain yn dywedyd wrthynt, "Deuwch yr awr hon ac ymresymwn;" ac yr oedd ymresymiad y llais hwn mor effeithiol ar y sawl a wrandawent arno nes y troisant eu cefnau ar y ddelw a'i haddolwyr, ar ol eu hanog hwythau i wneuthur yr un modd, ac aethant yn siriol lle yr oedd y cynghorwr anweledig yn eu harwain. Gwelais hwynt yn myned i lwybr cul, a gwrých go uchel o ddeutu iddo; ond pan ddaethant i ryw fanau aeth y llwybr yn gul ac yn arw iawn, hyd oni chlwyfwyd eu traed yn fynych gan y cerig. Yna dechreuodd rhai o'r ymdeithwyr hyn laesu a grwgnach oblegid anhawsderau y ffordd, a chan yspïo tros y gwrych i edrych a oedd rhyw lwybr esmwythach, gwelsant, ar y llaw aswy, faesydd tra hyfryd, a ffyrdd da gwastad, llawer o honynt, mewn ymddangosiad, yn cyd-redeg â'r llwybr yr oeddynt ynddo; felly, er mwyn eu hesmwythdra presennol, ac yn erbyn cyngor llawer o'u cyfeillion, cymmerasant ddirfawr naid, ac aethant yn lân tros y gwrych. Ond buan y gorfu iddynt edifarhau am eu ffolineb; canys yr oedd y maesydd yn llawn o faglau wedi eu gorchuddio â phridd a glaswellt; a phan gerddodd yr ymdeithwyr diofal drostynt, syrthiasant iddynt; a chan fod drain a mieri ar waelod yr holl bydewau hyn, cawsant eu cripio a'u rhwygo yn dra thruenus, a llarpiwyd eu dillad yn y fath fodd nes oeddynt o'r bron yn noethion.

Wedi iddynt ddyfod allan o'r maglau hyn ceisiasant ddychwelyd eilwaith i'r llwybr y cyfeiliornasant o hono; ond fe fachludodd yr haul, a'r lleuad a'r sêr ni roisant eu llewyrch. Tywyllwch a thymhestl a'u goddiweddodd hwynt; yna dechreuasant wylo o blegid eu hynfydrwydd; ac wele, gwelais rhyw fôd ofnadwy yn dyfod tu ag atynt, gan fras-gamu. Ei uchder a gyrhaeddai hyd y cymylau, a phan ledai ei adenydd duon, y rhai a ymestynent o'r dwyrain i'r gorllewin, fe dywyllai anian fwyfwy, ac a wywai gan darth gwenwynig ei anadl ef. Ei lygaid oeddynt fflamau brwmstanaidd; ei lais fel rhuad llew yn ceisio difa ei ysglyfaeth. Ar bob gair a ddywedai y mellt a ddeuai allan o'i enau; ac ar bob cam a roddai y ddaear a grynai dano. Wrth edrych yn ol, gwelwn y miloedd ag oeddynt yn addoli y ddelw addurnedig, yn dyfod ac yn ymgrymu ger ei fron ef, ac yn ei gydnabod yn frenin cyfreithlawn arnynt; ar hyn dyma wên uffernol yn chwareu ar ei wynebpryd, ac efe a ddywedodd, "Ewch, fy meibion, a llwyddwch, a heddwch, heddwch i chwi oll. Y byd sydd eiddoch chwi am fy nghydnabod yn dywysog arnoch." Yna, gan droi at y crwydriaid annedwydd, efe a ofynodd yn wgus, "Beth a wnewch chwi yma?"

Hwynthwy, wedi eu rhwygo a'u baeddu gan y drain, a'u dwys ysigo gan y codwm, a orweddent ar eu hŷd ar y ddaear, ac yn crynu gan ofn, a atebasant fel hyn, "Rhodio yr oeddym yn y llwybr cul sydd ar y llaw ddehau i'r maesydd hyn, ac wedi digaloni oblegid anhawsderau y ffordd, troisom o'r llwybr hwnw i un arall; ond yn awr y mae genym achos i edifarhau am ein ffolineb, a byddai yn dda genym ddychwelyd, ond nis gallwn, canys ein nerth ni sy gwbl wendid. Yr ydym wedi ein clwyfo a'n hysigo o goryn ein penau hyd wadnau ein traed; a phe gallem godi, ni fedrem ganfod y ffordd gan gymmaint yw y tywyllwch.

I hyn atebai y bôd mawr galluog, ger bron yr hwn y crynai pawb wrth edrych ar ei wedd ddychrynllyd, "Da y dywedasoch eich bod yn edifarhau am eich ynfydrwydd, a da y gwnaethoch yn penderfynu dychwelyd; canys gwybyddwch mai myfi yw duw y byd hwn, yr yspryd sydd yn rheoli yn nghalonau pawb oll a addolant yr eilun acw. Codaf chwi ar eich traed, ac arweiniaf chwi i gymdeithas fy anwyl blant, y rhai a'ch coffeidiant, ac a roddant i chwi gyfran o'r holl bleserau a ddarperais mor helaeth iddynt. Nid ydwyf heb eich adnabod; yr oeddych unwaith yn ddeiliaid ewyllysgar i mi; yr oeddych ar fedr cilio oddi wrthyf, ac heb ddim achos cyfiawn; ond nid edliwiaf i chwi y pethau hyn tra fyddoch chwi byw."

Och! (atebodd y ffoaduriaid truain) camsyniaist ein geiriau. Nid awn byth yn ol drachefn i addoli yr eilun gwrthun acw, yr hwn sydd wir ddelw o honot ti dy hunan. Ni a'th adwaenom pwy ydwyt; ti a'n

iaist yn gaethion wrth dy ewyllys; ael ac ammharchus ydoedd dy wasanth, a marwolaeth oedd dy gyflog; dy seerau oeddynt fel goleudarth twyllodrus ios, yn cam-arwain teithwyr yn ddiarybod i gorsydd a phydewau dinystr. Ar d dy lwybrau blodeuog y gwasgarwyd al fieri yn anweledig; ond, er eu bod yn weledig, buan y teimlid hwy, a chwerw dd y loes. Yn dy ffrwythydd, er eu bod deg mewn golwg, y cuddiwyd gwenwyn arwol. Y ddelw acw, yr hon oedd unaith yn gyffelybrwydd gogoniant y nef, ad yn awr wedi ei hanharddu genyt ti, c wedi derbyn argraff dy lun erchyll dy un, a symudwyd o drigfanau gwynfyd, blegid nyni (Ow, mor ynfyd oeddym!) rwy gael ein hannog genyt ti, ac edrych rni trwy y gwydrau twyllodrus a roddaist n ein dwylaw, a syrthiasom i lawr, ac a'i addolasom hi a thithau, yr hwn fuost yn gyfranog â hi yn ein delw-addoliaeth ni; ac am hyny gwybydd, O dywysog y tywyllwch, nad addolwn y ddelw, ac na wrandawn ar dy eiriau, gan mai marwolaeth a gaem o'th ddilyn di."

Hwy a dawsant; a'r yspryd uffernol a atebodd fel hyn:—"Oni ddywedasoch gynnau y dychwelech? Yr wyf fi yn cynnyg fy nghynnorthwy, a chwithau yn awr yn ei wrthod. Beth a fynech, neu beth yr ydych yn ei ddisgwyl?"

Hwythau a atebasant fel hyn:—"Soniasom yn wir am ddychwelyd, ond nid atat ti, nac at yr eiddot. Dymunem ddychwelyd i'r llwybr cul y cyfeiliornasom o hono; y mae ein pechod wedi dwyn ein cospedigaeth gyd âg ef. Yr ydym yn edifarhau mewn llwch a lludw, ac yn llefain ar y cryf am gryfder."

I hyn yr atebai tywysog y tywyllwch yn uniongyrchol, "Ofer, ynfyd farwolion, pa wallgofrwydd sydd yn eich meddiannu? Gyda pha freuddwydion siomedig y twyllasoch eich hunain? I ba ardaloedd hyfryd y'ch arweiniasai y llwybr hwnw? I baradwys, meddwch chwi, i faesydd gwynfyd, i ddinasoedd euraidd, a thrigfanau tragywyddol, hen chwedlau wedi myned tros gôf, a'r ni cheir ond mewn ymenydd gorphwyllog, os ydynt i'w cael hefyd. Ond, a chaniatâu fod yr holl olygfeydd dychymygol hyn yn wir, hyd yn nod felly, mor ofer yw eich holl obaith. Oni ddarfu i chwi fy ngwasanaethu i, ac ufuddhau i'm hewyllys, trwy holl ystod eich bywyd? Yr ydych wedi cydnabod hyn. Cyn braidd ddechreu ar y llwybr cul, troisoch o'r neilldu; pa obaith sy genych chwi yr agorir pyrth y nefoedd i'ch derbyn, os ydyw y pethau hyn yn wir?"

Yna y crwydriaid syrthiedig a wylasant â llef uchel, gan ddywedyd, "Iё, ïe, ti a ddywedaist y gwir. Crwydrasom, ac aethom ar gyfeiliorn o'r bru. Dilynasom dy ddichellion di. Goddefasom i'r eilun ein twyllo i ofer gredu ein bod yn ddiogel. Gadawsom y llwybr cul; ïe, mwy na hyny, fe ddarfu i ni, trwy ein gweithredoedd, os nad mewn geiriau, ei wneuthur ef yn gelwyddog, yr hwn â'i lais nerthol a'n rhybuddiodd ac a'n cymhellodd i adael dy wasanaeth. Efe a ddywedodd wrthym y cyfarfyddem a'r anhawsderau a gawsom ar ol hyny; ond sicrhaodd i ni ei fod ef wedi eu gorchfygu, ac addawodd roi i ninnau nerth i wneuthur yr un modd. Anghredu yr addewid hon oedd yr achos i ni gyfeiliorni o'r llwybr. Ond da yr wyt yn gwneuthur yn ein hargyhoeddi, tydi awdwr pob drwg, a thad anghrediniaeth; canys ti yn gyntaf a'n hudaist, ac wyt yn awr yn ein cyhuddo. Paid, gan hyny, a'n temtio mwy; nis meiddiwn dy ganlyn di. Yma yr aroswn, ac a ddisgwyliwn waredigaeth neu angeu, oblegid os marw sy raid i ni, byddwn farw yma, a'n llygaid yn dyferu dagrau, a chan weddïo o eigion ein calonau."

"A ydych yn meddwl, ynte, ddiangc rhagof fel hyn? (crochlefodd yr yspryd aflan gelyniaethus) mi a'ch cymmeraf yn ysglyfaeth im', a chyda brenin dychryniadau mi a ranaf yr yspail." Yna, gan ddyrchafu ei fraich nerthol, ac ymafaelyd mewn gwaywffon, efe a darawodd y ddaear: hithau a grynodd wrth yr ergyd, ac a ymdaflodd megys mewn gwewyr esgor. Gagendor eang a agorodd ei safn yn anferth, ac ynddo y gwelais filoedd o gyrph dynion; rhai o honynt heb braidd eu cyfnewid, ac ereill heb fod nemawr well na phentyrau o bridd, neu glai llychlyd. Oddi tan y gagendor ddofn yma, un ddofnach etto a ymagorodd o'm blaen; a'r fflamau brwmstanaidd a ffelltenasant allan o'r pydew erchyll, yr hwn oedd yn un eirias o wres tanbeidiol, yn chwydu allan golofnau o fwg dudew, ac yn llenwi yr awyr o wreichion

crasboeth, megys pan fyddo rhyw fynydd llosg yn bwrw allan o'i grombil y sylwedd tanllyd, a hwnw yn ymwasgaru o amgylch, ac yn dyfod i lawr yn gawodydd, gan ddychrynu trigolion byd.

Cyn belled ag y cyrhaeddai golwg dyn, ni welid dim terfynau, diwaelod ac anferthol oedd ei ddyfnder. Môr o frwmstan llosgadwy, a mŵn toddedig, a godai yn uchel ei donau o dân, y rhai a ddilynent eu gilydd gan ruo yn ffyrnig ofnadwy. Yn y lle arswydus hwnw, gwelais fyrddiynau o ysprydion, ond yn amrywiol o ran eu dull yn gystal a'u maintioli. Rhai o honynt, o ran maint fel cawri, a ymddangosent yn gymmwys i weithredoedd mawrion o gadernid; ond cadwynau heiyrn trymion a gaethiwent eu haelodau, gan ddirymu eu nerth, a chyfyngu eu hymdrechiadau; a phan edrychent i fynu, yr oedd eu llygaid yn tanio gan ddigofaint. Gelyniaeth eithaf a welid yn eu hwynebau, ac a roddai le ar droiau i anobaith dudew. Yr oedd rhyw ddrychiolaeth yn eu blino yn barhaus, gan ehedfan o flaen eu llygaid. Hanner ei pherson yn unig a welid; y cwbl oddieithr hyny a guddiwyd gan niwl a chymylau o dywyllwch, nas gallai un llygad dreiddio iddynt byth. Clywais hi yn dywedyd, "Angylion gwrthgiliedig! am eich gwrthryfel atgas, y mae eich cospedigaethau i barhau cyhyd a'm bodoliaeth i." Dadseiniai ei llais trwy ogofâu y fagddu fawr. Gwelwi a wnaeth y rhai a'i clywsant, a brawychu, a phan welsant y ddrychiolaeth ofnadwy, gorlenwodd ing eu calonau, ac a dorodd allan mewn ocheneidiau a griddfanau chwerw, yr hyn a'm deffrodd i o'm breuddwyd. *Cyf.* TRYGARN.

---

## SEFYDLIAD EGLWYSIG

### YN GYFREITHLON, YN YSGRYTHYROL, AC YN ANGENRHEIDIOL.

### YMDDIDDAN III.

MR. THOMAS.—Wel, Syr, yn awr am yr hen bwngc, nad yw Sefydliad Eglwysig yn *Ysgrythyrol*. A ellwch chwi enwi adnod i brofi ei fod yn Ysgrythyrol?

OFFEIRIAD.—Cofiwch yr hyn a grybwyllwyd o barthed dyfodiad gwragedd i swpper yr Arglwydd, at yr hwn y gallwn ychwanegu bedydd babanod, a phethau ereill.

Mr. T.—Y mae yn debyg, Syr, eich bod yn meddwl y dichon nad yw yn beth *anysgrythyrol*, ie, y gall fod yn eithaf *cysson â'r ysgrythyr*, er na osodir ef allan mewn cynnifer o eiriau fel *gorchymyn arbenig*.

OFF.—Ië; ac yn y modd hyn rhaid casglu llawer o gyfarwyddiadau a dyledswyddau, a rhai athrawiaethau. Ni wiw i ni haeru fod unrhyw beth yn anysgrythyrol, hyny yw, yn groes i'r ysgrythyr, yn unig am nad oes un *gorchymyn penodol* yn ei gylch yn yr ysgrythyr. Yr ydych yn gofyn i mi pa le y caf adnod i gefnogi Sefydliad Eglwysig Gwladol. Tybiaf y gallaf gael llawer: tybiaf fod holl drefnlywodraeth yr Iuddewon yn awdurdod digonol: tybiaf fod adnodau cyffelyb i'r un a grybwyllwyd o'r blaen—y byddai brenhinoedd yn dad-maethod, a brenhinesau yn fam-maethod, dan yr oruchwyliaeth efengylaidd, yn cadarnhau y pwngc. Yr wyf yn barnu y dylid rhoddi pwys mawr ar y fath orchymyn a hwn o eiddo ein Harglwydd; sef, mai iawn ydoedd gwrandaw ar y rhai a eisteddent yn nghadair Moses. Mewn gair, tybiaf fod y Bibl yn llawn o'r cyfryw adnodau: ond pe na bai felly, pe na ellid cael un ymadrodd cadarnhaol, ni phrofai hyn nad yw y peth yn iawn—mai dychymmyg rhyfygus o eiddo dyn ydyw—neu ei fod yn groes i gyfraith Crist. Yr ydych yn gofyn i mi am adnod o blaid Sefydliad Eglwysig, gofynaf i chwi am un yn erbyn hyny: dangoswch nad oes dim anghyfreithlondeb yn y peth ynddo ei hun, a ellwch chwi ddangos i mi, ar awdurdod ysgrythyrol, ei fod yn anghyfreithlon.

Mr. T.—Yr wyf yn meddwl y gallaf: beth yw eich barn am eiriau ein Harglwydd, "Fy mrenhiniaeth i nid yw o'r byd hwn?"

OFF.—Fy marn i ydyw, nad oes dim a wnelont â'r pwngc dan sylw.

Mr. T.—Onid ydynt yn dangos fod ein Harglwydd yn ymwrthod â chynnorthwy yr awdurdod ddinasaidd?

OFF.—Dangosant nad oedd efe yn chwennychu (fel y dywed efe ei hun) i'w weision ymladd i'w arbed ef o law ei fradychwyr a'i lofruddwyr. Gwaharddant arferyd y cleddyf, fel yr arferodd y Mahometaniaid a'r Pabyddion ef yn fynych i'r dibeu i erlid, neu i gymmell troedigion:

ond beth sydd a wnelo hyn â'r pwngc dan sylw? Pa fodd y mae hyn yn gwahardd i'r Swyddog Cristionogol arferyd ei awdurdod *priodol*, er hyrwyddo unrhyw ddiben duwiol? Ni ddylai Sefydliad Eglwysig fod "o'r byd hwn," yn ol yr ystyr a roddodd ein Hiachawdwr ar yr ymadrodd: nid amcanwyd ef er dibenion bydol, ond ysprydol: dichon iddo gael ei gam-arfer, a'i wneuthur yn fydol, fel y gall ddigwydd i unrhyw beth arall; ond nid yw hyn yn dangos nad oes arferiad iawn ac ysgrythyrol o hono. Dynion cnawdol a halogant, er mwyn elw bydol, yr hyn sydd grefyddol yn ei ddiben, ac eiddynt hwy yw y trosedd a'r euogrwydd: etto, nid yw hyn yn milwrio dim yn erbyn arferiad cyfreithlon o'r hyn a gam-arferant hwy. Gallwch ysgrifenu, "Fy mrenhiniaeth i nid yw o'r byd hwn," ar eisteddle yr henuriaid yn Nghapel Mr. Morgan yn gystal ag ar eisteddle y Deon, neu orsedd yr Esgob; ac, fe allai, yn dra ammhriodol yn y naill a'r llall.

Mr. T.—Yr wyf yn canfod grym y gwahaniaeth: ac ni theimlom yn foddlawn i grybwyll yr adnod hòno rhagllaw. Ac y mae yn debyg yr ymresymech yn yr un modd ynghylch pob adnod gyffelyb. Ni chaf, gan hyny, enwi ychwaneg heb eu rhagor hystyried hwy yn fanylach.

Off.—A thybiaf, wedi i chwi ystyried yn fanylach, y cydsyniwch chwi â fi: oblegid ni wna yr holl adnodau a allwch eu henwi ddim ond profi na ddylid halogi y grefydd Gristionogol â chymmysgiadau bydol, na'i cham-arfer i ateb dibenion cnawdol: a gobeithio fy mod i yn credu hyn mor gadarn ag y gallwch chwi. Ni ddadleuaf o blaid unrhyw gam-arferion, gwag ogoniant, na mawr-fri a rhwysg afreidiol: yn bresennol ni ddadleuaf yn neillduol o blaid ein Heglwys ni—ei chynneddfau, ei defodau, a'i threfniadau. Ymddiddanaf yn rhwydd â chwi am yr holl bethau hyn, ryw amser i ddyfod, os dymunwch hyny: ac heb gymmeryd arnaf hòni hawl am berffeithrwydd, neu haeru nad oes dim allan o le yn ein plith—hyderaf y gallaf ddangos i chwi mai eglwys bur ac apostolig yw ein Heglwys ni, yn offeryn parchus yn llaw Duw er lles ysprydol y wlad. Ni allaf feddwl am yr amrywiol beryglon a'i goddiweddasant hi, a'r amrywiol waredigaethau grasol a gafodd hi, heb ganfod braich Duw trugarog yn estynedig er ei nodded hi. Ond nid hyn yw y peth dan sylw: fy unig ddymuniad ydyw dangos nad yw hi yn anysgrythyrol yn unig oblegid ei bod hi yn sefydledig drwy gyfreithiau y wlad: nad yw hi, o angenrheidrwydd, yn dyfod dan ddywediad ein Harglwydd, nad yw ei freniniaeth ef o'r byd hwn: a pha lygriadau bynag a ddaeth i mewn o bryd i bryd, fel y del i bob sefydliad dynol, fod ei diben a'i hamcan yn Ysgrythyrol: a bod Sefydliad Eglwysig, gyd â'r fath ddibenion mewn golwg, yn cael ei gefnogi gan yr Ysgrythyrau.

Mr. T.—A ellwch chwi ddynodi allan esiamplau rhagor nag eiddo yr Eglwys Iuddewig?

Off.—Yr Eglwys Iuddewig a osodir yn eglur ger ein bron; ond ym mhell cyn amser Moses yr oedd olion o Sefydliadau Eglwysig cyhoeddus. Canmolir Abraham, tad y ffyddloniaid, am orchymyn i'w blant a'i deulu gadw ffyrdd yr Arglwydd: yr oedd ei deulu yn dylwyth neu yn deyrnas fechan; ac yr oedd yr addewid a roddwyd iddo yn nglyn â'r rhagfynegiad "y byddai efe yn genhedlaeth fawr." Yn y modd yma, yr hyn ar y cyntaf oedd yn rheol deuluaidd, a ddeuai yn raddol yn Sefydliad Eglwysig cyhoeddus; oblegid ni ddywedwch y dylai pen-teulu, cyn gynted ag y deuai, trwy liosogiad nifer y trigolion, yn benaeth pentref, neu yn llywydd ar dylwyth, dynu yn ol y cefnogiad a roddasai o'r blaen i addoliad dwyfol, rhag ofn i'w swydd gyhoeddus halogi yr hyn oedd gyfreithlon iddo ei wneuthur fel pen-teulu. Os dilynwn yr egwyddor hon mewn cyfeiriad at dylwythau liosog, nid oes dim i'n rhwystro, ond y cwbl i'n cymmell i gymmwyso hyn at Sefydliad Eglwysig Gwladol.

Mr. T.—Rhaid i mi gydnabod fy mod yn meddwl fod rhyw bwys yn hyn.

Off.—Ond gymmaint y cynnyddir y pwys hwn wrth i ni fyned y'mlaen i ystyried achos yr Iuddewon; ac wrth gofio ryngu bodd i Dduw gylymu yn agos yr awdurdod eglwysig â'r ddinasaidd yn achos yr unig genedl i'r hon yr ymostyngodd efe i ddodi cyfreithiau yn union-gyrchol. Gwelwn fod llywodraethwyr dinasaidd, megys Dafydd, Asa, Jehosaphat, a

Josiah, yn cael eu cymmeradwyo am y gosodiadau gwladol a wnaethant o blaid crefydd. Ein llywodraeth ni, gan hyny, fel y crybwylla yr hybarch Hooker, sydd yn y golygiad yma "yn ol portreiad hen bobl etholedig Duw: o'r rhai nid oedd rhan yn perthyn i'r wladwriaeth, a'r gweddill i eglwys Dduw, ond yr unrhyw bobl, yn gyfan-gwbl, oeddynt dan un Prif Lywydd, ar awdurdod oruchel yr hwn yr oeddynt oll yn ymddibynu."

Mr. T.—Rhaid i mi gydnabod fod rhyw beth hyfryd yn y dyb hon: a chanfyddaf drwy yr holl Ysgrythyr, fod Duw yn ymdrin â theyrnasoedd yn yr un modd ag yr ymdrin â phersonau unigol.

Off.—Da genyf eich clywed chwi yn dywedyd hyny, gan fod llawer o anwybodaeth yn y dyddiau presennol ar y pwngc hwn. Ond i ddychwelyd at y peth dan sylw. Dangosais fod Ysgrythyrau yr Hen Destament hyd at amser y Testament Newydd, o blaid Sefydliadau Eglwysig, ac y mae yn gorphwys arnoch chwi brofi fod eu hawdurdod wedi ei diddymu. Ond y'mha le yr hysbysir chwi fod yr hyn oedd yn Ysgrythyrol o'r blaen, yn Anysgrythyrol yn awr?

Mr. T.—Cydnabyddaf nad oes un lle arbenig: a chydnabyddaf hefyd nad oes a wnelo ymadroddion cyffelyb i hwn, "Fy mreniniaeth i nid yw o'r byd hwn," â'r ymofyniad mewn llaw, oni fydd i Sefydliad Eglwysig ddyfod yn fydol, ac nid yn fuddiol er lles crefyddol y bobl?

Off.—Ac nid hyny yw y pwngc dan sylw yn bresennol: oblegid nid ydym yn awr yn olrhain rhagoriaethau un Sefydliad Eglwysig neillduol; ond a ydyw pob sefydliad o'r fath yn beth allan o le.

Mr. T.—Ond os oedd Sefydliad Eglwysig Gwladol yn gydunol â bwriad ein Hiachawdwr, paham na buasai yn egluro y pwngc tu hwynt i ddadl?

Off.—Paham na wnelsai efe felly mewn llawer o bethau eraill? Paham na fuasai mewn cynnifer o eisiau yn gwahardd caeth-fasnach? Paham nad eglurhasai efe y ddadl ynghylch drychiolaethau, pan y tybiodd ei ddisgyblion iddynt weled ysbryd? Paham na ddywedasai yn bendant, pa un a oedd hi yn gyfreithlon ai peidio i fod yn filwr? Nid gwiw gan hyny ymresymu oddiwrth bethau ni chrybwyllir. Ni chrybwyllodd efe yn neillduol am lawer o bethau nid ydynt yn iawn. Yn gyffredin, efe a roddodd gyfarwyddiadau ac egwyddorion i gael eu cymhwyso fel y byddai achlysuron yn galw: ac nid oes un o'r rhai hyn yn gwrthwynebu Sefydliad Eglwysig. Ond nid ymfoddlonaf ar yr ateb hwn, oblegid gallaf grybwyll amryw o resymau cedyrn paham na thraethai y Testament Newydd lawer ynghylch y pwngc hwn.

Mr. T.—A pha rai yw y rhesymau hyny?

Off.—Y cyntaf yw, nad oedd hyny yn angenrheidiol. Paham y mynegai ein Harglwydd i'w ddisgyblion nad oedd Sefydliad Eglwysig yn bechadurus? Ni thybiasant ei fod felly. Paham yr hysbysai efe hwynt ei fod yn Gyfreithlon ac yn Ysgrythyrol? Ni theimlasant erioed un ammheuaeth ar y pwngc. Rhaid fod eu holl deimladau a'u tueddiadau o blaid Eglwys Sefydledig: cawsant hwy eu hunain eu dwyn i fynu dan un, ac ni thybient am fynyd fod y cyfryw sefydliadau yn anghyfreithlon dan yr oruchwyliaeth Gristionogol. Pe gosodid hwy yn llywodraethwyr ar wlad baganaidd, eu gorchwyl cyntaf fuasai sefydlu addoliad dwyfol yn y wlad: a thebyg yw y buasai yn rhaid eu rhybuddio rhag gwneud gormod yn hytrach na rhy fychan. Ond nid oedd ein Harglwydd na'i apostolion yn llefaru wrth lywodraethwyr.

Mr. T.—Pa wahaniaeth a wna hyny?

Off.—Gymmaint a hyn—mai rheol gyffredin yr ysgrythyr ydyw peidio hyfforddi un gradd yn nyledswyddau un arall, ond yn unig eu dyledswydd eu hunain. Gorchymyna i wyr garu eu gwragedd, ac i wragedd ufuddhau i'w gwyr: ond ni ddywed wrth y gwyr i ofyn am ufudd-dod, na'r gwragedd am gariad. Hyfforddia blant i ymostwng i'w rhieni, a rhieni i beidio eu gyru hwynt i ddigio: hyfforddia y gweision i ufuddhau i'w meistriaid, ac i'r meistriaid i fod yn dirion wrthynt hwythau: ond ni hyfforddia y naill i gymmell y llall i ymostwng. Yn nyddiau ein Harglwydd, a'i apostolion, nid oedd un brenin na senedd Gristionogol yn y byd: am hyny ni roddir hyfforddiadau arbenig i'r cyfryw: pe cyfarchesid hwynt, diau y cyfarwyddid hwynt i gefnogi addoliad cy-

hoeddus Duw. Y mae llawer o bethau da y rhai y dylai llywodraethwyr eu gwneuthur, a llawer o bethau drwg y dylent eu diddymu, ynghylch y rhai ni roddir dim cyfarwyddiadau yn y Testament Newydd.

Mr. T.—Yr ydych yn barnu, ynte, mai nid cywir crybwyll am ddistawrwydd y Testament Newydd wrth ddadleu yn nghylch Sefydliad Eglwysig.

Off.—Ydwyf; oblegid, gan na roddodd ein Harglwydd, a'i apostolion, ddim cyfarwyddiadau i'r gwrthwyneb, gwnai llywodraethwyr duwiol, dan oruchwyliaeth y Testament Newydd, yn naturiol ac yn gyfiawn, gymmhwyso atynt eu hunain y dyledswyddau a orchymynir dan yr Hen Destament: cymmerent yn ganiataol y dylent fod yn dad-maethod i eglwys Crist; ac ni ddychymmygent nad oedd y ddyledswydd yn rhwymedig arnynt hwy.

Mr. T.—Tybiaf y gallaf wellhau eich dadl: canys gallasech ychwanegu, gan fod yn naturiol i'r rhan fwyaf o ddynion ddymuno gweled ereill yn cofleidio yr un golygiadau a hwy eu hunain, yr oedd yn fwy angenrheidiol i'n Harglwydd, a'i ddisgyblion, i hyfforddi llywodraethwyr i fod yn oddefgar tu ag at y rhai a ymneillduent oddi wrthynt, yn hytrach na'u haddysgu i hyrwyddo eu golygiadau crefyddol eu hunain drwy gynnorthwy yr awdurdod ddinasaidd.

Off.—Pe rhoddasid y cyfryw gyfarwyddyd, buasai yn agored i lawer o gamarferiad: gallasai agor y drws i erlidigaeth: a buasid yn haeru mai ffydd y llywodraethwr oedd i fod yn brawf (*standard*) i ffydd y deiliaid:—tyb tra ffol a disail.

Mr. T.—Os wyf yn eich deall yn iawn, yr ydych yn haeru yn gyntaf nad oes dim prawf na fuasai ein Harglwydd, a'i apostolion, yn gorchymyn i wyr mewn awdurdod gefnogi Sefydliad Eglwysig Gwladol, pe buasent hwy yn anherch y cyfryw rai; a pha un bynnag a wnaethent hwy felly ai peidio, nad oedd yn angenrheidiol iddynt gadarnhau y pwngc hwn—o herwydd fod yr Hen Destament wedi ei wneuthur yn eglur, a chan nad oedd nac Iuddew na chenedl-ddyn yn ammeu yn ei gylch yn y dyddiau hyny; oblegid gwnai y ddau yr un fath ag a arferent oni orchymynid iddynt yn y gwrthwyneb, fel y dywedwch chwi na wnaethpwyd.

Off.—A dybiwch chwi fod y golygiad hwn yn gywir?

Mr. T.—Dymunwn ystyried y pwngc gyda mwy o bwyll a manylrwydd. Ond goddefwch i mi ofyn a ydych chwi yn ymddibynu ar y ddadl hon yn unig, ac yn cydnabod nad yw y Testament Newydd yn rhoddi dim cefnogiad i Sefydliadau Eglwysig Gwladol?

Off.—Nac ydwyf: y peth a haeraf fi yw hyn—nad oedd dim angenrheidrwydd i roddi cyfarwyddiadau neillduol, am nad oedd un Eglwys Sefydledig Gristionogol yn bod y pryd hyny; a phe buasai, yr oedd yr Hen Destament yn cynnwys digon o reolau, y rhai ni ddiddymwyd gan Grist. Ond mor bell ydwyf oddiwrth gydnabod nad yw y Testament Newydd yn cefnogi Sefydliadau Eglwysig, er nad allent hanfodi y pryd hyny, gan nad oedd na chenhedlaethau na llywodraethwyr Cristionogol, meddyliwyf yr arwyddir drwy y cyfan o'r Testament Newydd fod eglwys weledig oddi allan, yn yr hon y mae trefn ac undeb i gael eu cadw mewn modd sydd yn anniluddwy (*on a large scale*) oddieithr trwy Sefydliad Eglwysig Gwladol. Mewn gair, yr wyf fi yn golygu y pwngc fel hyn:—Os cenedl Gristionogol ydym, yr ydym yn proffesu mai Crist yw ein Pen: golygwn ein brenhinoedd, ein llywodraethwyr, a'n gwyr mewn awdurdod, fel ei weinidogion Ef; y mae rhwymyn cyfammodol crefydd yn estyn trwy y cyfan. Ac i gymmeryd golygiad gwahanol o hono, yw ein gwneud ni, fel cenedl, yn anghristionogol; a'n dwyn ni i'r un fath gyflwr a theyrnas Baganaidd, yn mhlith y rhai y dichon fod rhai gwir Gristionogion, er fod y deyrnas, fel teyrnas, yn ddidduw.

Mr. T.—Wel, Syr, mi a ddwys fyfyriaf ar yr ystyriaethau hyn mewn yspryd gweddi. Fy unig ddymuniad yw cael fy nghyfarwyddo yn iawn ynghylch pwngc o gymmaint pwys.

Off.—Bydded i Dduw o'i drugaredd anfeidrol ein cyfarwyddo ni ein dau.

---

## Y CYPRESWYDDEN.

Y mae dau-ar-hugain o rywogaethau o *Cypres;* ond ni byddai yn fuddiol nodi dim ond dau o honynt yma, sef yr un bythol-wyrdd, a'r un gwyn. O'r rhyw-

ogaeth cyntaf y mae dau fath, sef yr un union-syth, a'r un taenedig—y diweddaf a gyrhaedd dwf anghyffredin, ac o herwydd hyny, cyfrifir y rhywogaeth yma yr un gwerthfawrocaf. Y Cypreswydden fythol-werdd sydd frodor o barthau deddwyrain Ewrop, y Levant, China, ac amrywiol barthau o Asia. Y tir a'i boddha hi oreu yw y tywodlyd a'r graianllyd. Er na fanthwyd hi ym Mrydain, megys pren defnyddiol, etto y mae hi mewn gradd o gymmeradwyaeth yn amryw barthau o'r deyrnas. Meddylir, mae yn ddigon gwir, iddi yn y blynyddau cyntaf o'i hoes syrthio yn ysglyfaeth i rewogydd llymdostedd ein hin-gylch ni. Dywed Evelyn fod ganddo ef uwchlaw 1000 o honynt yn ei ardd, ac na chollodd ef, oddieithr tair neu bedair o honynt oll, er gerwinedd rhewogydd y blynyddau 1683 a 1684.

Y gred fwyaf gyffredin yw, fod y Cypreswydden yn un o'r coed mwyaf diadlamadwy a pharhaol o eiddo 'r goedwig; ie, rhagora ar y gedrwydden ei hun. Drysau Eglwys St. Petr, yn Rhufain, y rhai a wnaethpwyd yn nyddiau Cystenyn, o'r pren hwn, nid oedd un llwgr i'w weled ynddynt ym mhen 1100 o flynyddau, pan y'u tynwyd ymaith gan y Pab Eujenius y 4ydd, i'r diben i osod rhai pres yn eu lle.

Yr Atheniaid, er mwyn cadw cyrph eu tywysogion, fel y meddyliant, rhag llygru, a'u claddant mewn eirch o'r Cypreswydden; a'r eirch ym mha rai y maent yn cael y cyrph Aiphtaidd gynt sydd wedi eu gwneuthur o'r un defnydd. Y mae y Cypreswydden yn bren hardd rhagorol. Gan ei fod yn bren caled, ac yn wrthneidiol (*elastic*) nis gellir cael ei rhagorach i wneuthur offerynau cerdd. Efe a wna ddodrefn mor harddwych a'r *mahogany;* er nad yw ei liw mor ddymunol, etto y mae yn gadarnach, ac a wrthsaif bob rhuthrgyrch o eiddo pob math o drychfilod, fel na fènant arno ef, na dim a fyddo yn nghadw ynddo—ei arogl sydd niweidiol iddynt. Nid oes achos am bren gwell i adeiladu na'r Cypreswydden; parhâ o'r bron cyhyd a'r gareg ei hun; gan hyny lle mae ef yn lled gyffredin, defnyddir ef i'r perwyl hwnw.

Dywedir bod [illegible] y Cypreswydden yn gyfartal i'w defnyddioldeb: er na chydweler mewn perthynas i rai arogyddiau ei hoes, etto, y mae ei bod yn cael ei phlanu ar feddau 'r marw, a'i chario mewn claddedigaethau, megys gwir ddelw anfarwoldeb, yn brawf digonol ei bod o hir barhâd.

L. M.

---

## SUDDIAD Y LLESTR A ELWID Y *ROYAL GEORGE.*

Ar yr 29ied o Awst, 1782, ar ol i'r *Royal George,* cad-long, ar arni 100 o ynau, ddychwelyd i borthladd Spithead, canfuwyd fod yn angenrheidiol iddi, cyn myned allan drachefn i'r mor, gael adgyweirio ychydig arni. Er gochel traul, a cholli amser, gwneir hyn yn aml pan fo y llestr ar nawf, trwy ei gogwyddo ar y naill ochr, fel y bo i'r anafan ar yr ochr arall ymddangos uwch y dwfr; ond y mae yn gofyn i'r hin fod yn dawel, a'r môr yn llonydd.

Dechreuwyd y gwaith hwn ar y *Royal George* yn foreu; a dywedir fod y seiri, wrth ganfod bod yn angenrheidiol i godi mwy o'r copr nag oeddynt yn ei fwriadu yn y dechreu, yn eu hawydd i gyrhaeddyd yr anaf dan y llong, wedi ei gogwyddo yn ormod, a bod awel ddisymmwth o wynt wedi dyfod a'i thaflu yn gwbl ar ei hystlys; ac oblegid fod tyllau y gynau yn agored, a'r gynau oll yn ymdreiglo i'r ochr isaf, nid allai y llong ymuniawni—eithr hi a lanwyd yn fuan â dwfr, ac a suddodd i'r gwaelod.

Digwyddodd y ddamwain angeuol hon oddeutu deg o'r gloch y boreu. Yr oedd y llyngeswr Kempenfeldt yn ysgrifenu yn ei gaban, a'r rhan fwyaf o'r dwylaw gyd â'u cyfeillion rhwng y byrddau. Yr oedd llawer iawn o bobl ar fwrdd y llong (fel y mae yn arfer ar eu dychweliad i'r porthladd) yn enwedig o wragedd, o ba rai bernir nad oedd llai nifer na thri chant ar y bwrdd. Ym mhlith y trengedigion yr oedd llawer o wragedd a phlant yr isswyddogion a'r morwyr, y rhai, gan wybod fod y llong yn fuan i hwylio ar wasanaeth pellenig a pheryglus, a gymmerasant y cyfleusdra hwnw i ymweled â'u gwyr a'u tadau.

Y llyngeswr, gyda llawer o swyddogion dewrion, a'r rhan fwyaf o'r rhai oedd

rhwng y byrddau, a fuant feirw; ond achubwyd y rhan fwyaf o'r gard, a'r rhai a ddigwyddodd fod ar y bwrdd uchaf, gan fadau y llynges. Achubwyd hefyd oddeutu deg a thriugain ereill. Nid ellir gwybod yn gywir pa nifer oedd ar y bwrdd; ond bernir fod o wyth gant i fil wedi cael eu claddu yn y môr Mor nerthol oedd cylch-droad y dwfr, a achosid gan suddiad disymmwth corph mor anfeidrol, ag i long arall oedd wrth ochr y *Royal George* yn ei diwallu â lluniaeth, gael ei llyngcu ynddo; ac amryw ereill yn lled bell oddi wrthi oeddynt mewn perygl dirfawr. C. T.

---

## SYLW AR AIL LYTHYR

### *ROBERT WILLIAMS, FRON DEG, BANGOR.*

MR. GWYLIEDYDD—Bum mewn ychydig ammheuaeth pa un a fyddai o un defnydd i nodi Llythyr awdwr "Corph o Dduwinyddiaeth" yn y Rhifyn diweddaf. Ond gan ei fod yn parhau i ddychymygu pethau nad ydynt wir, meddyliais nad anaddas fyddai *ceisio* ei gywiro, er mor annhebyg y gellir gwneuthur hyn, gan ei fod mor sicr yn ei feddwl ei hun. Myfi, fel y dychymyga, yw "tad y drwg o'r dechreuad," ac "awdwr y tri llythyr," yn erbyn ei lyfr. Ysgrifenais, y mae 'n debyg, y "breuddwyd" annedwydd yn gyntaf yn Saesneg, a chyfieithais ef i'r Gymraeg!! Hynod, hynod, fel y rhed dychymygiadau y gwr hwn heb un sail iddynt, heb fod ynddynt y rhith leiaf o wir. Ni fu genyf fi ddim mwy llaw yn nghyfansoddiad, neu yn nghyfieithiad y Breuddwyd hwn na thrigolion China neu Japan. Tebyg yw mai Esgob presennol Calcutta a gyfansoddodd y Breuddwyd, o herwydd arwyddnodir ef â *W.* y llythyren a ddynoda yn gyffredin waith y gwr ardderchog hwnw yn y *Christian Observer.** O'r cyfieithydd *R. Ll.* yr wyf yn *hollol* anwybodus. Nid oes genyf gymmaint a dychymmyg pwy ydyw. Ar yr hyn a ddywedaf, gallwn gymmeryd, pe raid, gant o lwon. Ond os na chred yr awdwr er hyn i gyd, gall yn hawdd gael boddlonrwydd. Ysgrifened at gyhoeddwr yr *Observer*, a diammeu y caiff ateb boddhaol. Gofyned hefyd i chwi, y Gwyliedydd, ai yr un yw R. LL. a LATIMER, a diau genyf y gellwch ei foddloni. Y mae yr ysgrifen-law yn ddigon o dystiolaeth, os na feddwch un prawf arall; ond tebyg yw genyf y meddwch brofion ereill.

Ni fuaswn i yn cymmeryd un sylw o lythyr yr awdwr ynghylch y Breuddwyd, nac o'i lyfr, oni buasai iddo fy nrwg-liwio am fy llythyr at Gyhoeddwr Papur Newydd Bangor. Nid oes genyf un drwg-ewyllys at yr awdwr ei hun; canys nid wyf yn ei adnabod: ond fy ngwrthwynebiad sydd i waith o ddadleu ynghylch pethau y byddai gwell eu gadael yn llonydd; ac mewn rhan, i'r athrawiaeth Arminaidd, o blaid yr hon yr ysgrifenodd ei lyfr. Beia arnaf am wrthwynebu ei waith heb ei ddarllen. Nid oedd raid i mi ei ddarllen er gwneuthur yr hyn a wneuthum hyd yn hyn. Digon oedd i mi wybod ansawdd ei lyfr, yr hyn a ddeallais oddiwrth yr *Hysbysiad* o hono ym Mhapur Bangor. Fy ngwrthwynebiad yw i gyhoeddi unrhyw waith o'r fath, gan na wna, yn ol fy nhyb i, un daioni, ond llawer o ddrwg. Pe canfuaswn Hysbysiad o waith cyffelyb o du arall i'r ddadleuaeth, buaswn yn gwneuthur yr un ymdrech i rwystro ei gyhoeddiad; er, fe allai, y buasai yn fwy cydunol â'm golygiadau fy hun. Sylwais yn fy nydd ar amryw o ddadleuon, a bum yn ddadleuwr fy hun: ond mwy o ddrwg nag o dda a ganfyddais yn tarddu oddiwrth y fath ysgrifeniadau; ac nid oes ond *ychydig iawn* o ddynion a allant, heb wyrdroi, a drwg-liwio, a myned allan o bwyll, drin matterion dadleugar: a barnu oddiwrth yr Hysbysiad, nis gallwn mewn un modd feddwl fod y gwr hwn yn un o'r ychydig hyny; a'i lythyrau yn y Gwyliedydd ydynt yn eglur brofi mai cywir oedd fy meddwl am dano. Os yw ei lyfr yn dangos llai o hunan-dyb, ac o ysbryd anffaeledig, na'r Hysbysiad, a llai o ddychymmygion disail, ac o dymher enllibus ac ymladdgar, na'i lythyrau, da yn wir ydyw. Ond os tebyg yn y pethau hyn ydyw i'r Hysbysiad, ac i'w lythyrau, nid cysson iawn yw â'r ddau englyn ar ddiwedd y Rhagymadrodd, y rhai a goffhâ yr awdwr yn ei lythyr diweddaf. Enllibio, taro, a chernodio ereill, a chyhoeddi, *Heddwch, heddwch!* sy beth go ryfedd ac

* Gwel *Christian Observer* am y flwyddyn 1831, tu dal. 525—539.

*Eurgain*; ond dichon y cyrhaedd glustiau ei feibion; canys dywed y ddïareb, mai "fel yr hwch y bydd y parchell." Yr oedd gan un Mr. R. ——, Pen y ——, Llan ——, filiast ragorol, heb ei chyffelyb o fewn cylch terfynau cred, yr hon oedd dorog, ac yn barod i fyned i'r gwellt i ymddwyn ar ei rhai bach. Modd bynag, daeth yspeiliwr heibio ac a'i lladrataodd, ac a'i gwerthodd i ryw goeg foneddig am arian lawer, er colled annhraethol i'w gwir berchenog. Nid hir y bu 'r amaethydd call a doeth yn breuddwydio cyn cychwyn at fy nghymmydog anffaeledig i ymofyn pwy a fu mor ëofn a'i yspeilio o'i ast fuan-wyllt. Cyn cyrhaedd o'r amaethydd drothwy fy nghymmydog, efe a wybu ei neges yn dda ddigon; nid yn unig efe a ddangosodd iddo wyneb y lleidr yn ei ddrych ysplenydd, ond hefyd efe a ddywedodd iddo pa sawl ci oedd yn ei bol, lliw ei blew, ar ba ran o'i chorph yr oedd rhai duon, ac ar ba ran yr oedd rhai brychion a llwyd-gochion—pa sawl dant oedd yn ei safn, a pha sawl ceinach a ddaliodd yn ystod ei gyrfa, &c. Dywedodd y dewin doeth ym mhellach, y byddai y filiast gartref yn lled ebrwydd, er gwaethaf holl gyfrwysdra y lleidr; ac megys cosp *ddirgeluidd*, onid teilwng ddigon, am y fath weithred, y gosodai ef, yr ëofn yspeilydd, i orwedd yn ei wely am bymthegnos, heb i un llaw gynnyg ei ymgeleddu, Onid digon rhesymol y gosp i'r fath droseddwr! Pe buasai rhai o'ch Ynadon, neu Ustusiaid, yn cael gafael ynddo, buasai hanner y ffordd i Ddeheudir Cymru Newydd cyn heddyw. Gwelwch chwi y gwahaniaeth sydd rhwng y naill ddyn a'r llall yn cospi, Gadawaf i chwi farnu pa un ai dewiniaid, megys fy nghymmydog, a Mr. J. o Rosesmor, ynte eich Ynadon chwi, sydd yn meddu ar fwyaf o ddynoliaeth pan yn cospi drwg-weithredwyr. Os na wyddoch chwi, mi wn i yn burion. Y mae y boneddigion hyn yn rhagweled beth a ddigwydd i ddyn ym mhen blynyddau i ddyfod, yr hyn ni ddichon i'ch Personiaid a'ch Ynadon chwi wybod beth a ddigwydd y fory; ac er hyn oll, hwy a'u herlidiant megys petris ar benau 'r mynyddoedd.

Clywch etto! bu i'r teulu annedwydd sydd yn byw yn Ngwestŷ P —— ll —— r dynu gwg fy nghymmydog arno ei hun, a'i deulu hefyd, oblegid y naill beth neu y llall; ond rhag ei ddwyn i ateb am ei ryfyg ger bron y llys gwladol, efe a welodd yn dda anfon ysprydion, sydd heb amser yn barod i'w wasanaethu i gospi 'r teulu gresynus, Gall beri iddynt weithredu fel y myno: a'r modd y gwelodd ef oreu i'w gosod yno, oedd i luchio rhyw bethau anweledig, tebyg i raian, at aelodau gwr y tŷ, nes yw ef o'r bron wedi peri i'w gnawd gurio oddiar ei esgyrn; ac y mae 'r dioddefydd druan yn garcharor yn ei wely ganddo heddyw. Y mae ei ddioddefiadau yn drymach y nos na'r dydd; ni fynegodd fy nghyfaill i mi yr achos o hyny etto. Oddieithr i'r teulu gresynus ymddarostwng yn brydlon, a myned at y boneddig anffaeledig uchod, i erfyn ei nawdd a'i faddeuant am eu hangharedigrwydd, diau mai priddellau y dyffryn fydd cartref gwr y tŷ cyn bo hir. Nid oes neb, oddieithr y gwr hwn, a all symud y drwg sydd yn eu plith ymaith. Clywais iddynt ddanfon am Offeiriad Llan ——, a Phregethwr y Wesleyaid, yno i ddarllen, ac i arferyd eu holl alluoedd i droi y drwg draw, ond y cwbl yn ofer. Pa beth bynag a garchara y gwyr hyn, nid oes dyn na dynion a ddichon ei ryddhâu, ond hwy eu hunain yn unig. Gochelwch chwi a phawb ereill eu digio, rhag digwydd i chwi yr hyn a ddigwyddodd i deulu Gwestŷ P—— ll ——r. Er fod dewiniaid, &c. yn lled ddirmygedig yn ngwydd llawer yn awr, ac yn lled wael eu cyllidau, &c, etto mynwn iddynt wybod *fod amser i bob peth*, bod dydd yn dyfod, pryd y derbyn pawb yr hyn a fyddo cyfiawn. Gwybyddwch y bydd i mi ddanfon atoch ar y pen hwn cyn bo hir etto; ac i chwi gyhoeddi pob dim a ddaw i'ch llaw oddi wrthyf, rhag ofn y bydd i fy nghymmydog ddyfod â chwi i'ch iawn bwyll, megys ereill o'ch blaen.——
Yr eiddoch, &c.

ELYMAS.

ENDOR,
*Gorphenaf* 27, 1832.

---

## Y TRI GWATWARWR.

YCHYDIG flynyddau yn ol yr oedd pregeth i gael ei thraddodi er mwyn rhyw elusen, mewn porthladd yn Ngogledd

Lloegr. Pan esgynodd y gweinidog i'r areithfa, cyfarchodd ei gynnulleidfa fel y canlyn:—"Fy mrodyr, cyn myned ym mlaen â'r dyledswyddau heno, goddefwch i mi adrodd i chwi hanesyn bychan. Y mae llawer o flynyddau wedi myned heibio er pan oeddwn o fewn i'r muriau hyn ddiweddaf. Ar y noswaith hòno cyfarchodd y Gweinidog ei gynnulleidfa er mwyn yr un achos elusengar ag yr ydwyf fi am ei wneuthur yn awr. Y'mhlith y gwrandawyr, daeth tri llangc ieueingc, gyd â'r meddwl, nid yn unig i wawdio gweinidog Duw, ond â'u llogellau wedi eu llenwi â cherig i'w taflu ato. Wedi i'r Gweinidog ddywedyd ychydig o ymadroddion, dywedodd un, dan dyngu, 'Gadewch i ni ddechreu yn awr;' ond atebodd y llall, 'Na, aros, gâd i ni wybod pa beth a wna o'r pwngc hwn.' Aeth y Gweinidog ym mlaen am ychydig; yna dywedodd yr ail, 'Nyni a glywsom ddigon yn awr—taflwch;' ond atebodd y trydydd, 'Nid yw mor wirion ag yr oeddwn yn disgwyl, gadewch i ni wrando y cwbl.' Traddododd y Gweinidog yr hyn oedd ganddo i'w ddywedyd yn ddirwystr: yna aeth adref, gyda bendithion ei wrandawyr, a chymmeradwyaeth Duw yn ei galon. Yn awr daliwch sylw, frodyr: o'r tri llangc ieueingc hyny, dienyddiwyd un yn Llundain, am dwyll-ysgrifiad *(forgery)*; y mae yr ail yn y carchar yn y ddinas hon yn awr, dan ddedfryd marwolaeth, am lofruddiaeth; a'r llall, meddai y Gweinidog, gyda llawer o deimlad, y trydydd, trwy fawr ddaioni yr Arglwydd, sydd yn myned i bregethu i chwi yn awr, gwrandewch arno!"

---

## PA FODD I BREGETHU O FLAEN TYWYSOG.

Dymunodd y Dr. Erasmus Albert, yr hwn a elwid, o barch iddo, Marc o Brandenburg, ar Luther ei hyfforddi pa fodd y dylai efe bregethu o flaen y Tywysog. Dywedodd Luther wrtho, "Pregethwch bob amser yn y dull mwyaf diaddurn ac eglur; nac edrychwch ar y Tywysog, ond ar y gwrandawyr isel, anwybodus, ac annysgedig. Pe na byddai i mi, yn fy mhregethau, olygu neb ond Phylip Melancthon, a Doctoriaid dysgedig ereill, yna ychydig o les a ddilynai fy llafur. Yr wyf fi yn pregethu yn y modd hawsaf i'r annysgedig fy neall; ac y mae hyny yn rhoddi boddlondeb i bawb. Yr wyf yn cadw Hebraeg, Groeg, a Lladin, nes y cyfarfyddom ni yr ysgolheigion ynghyd; yna yr ydym ni yn ei phlethu ac yn ei chyfrodeddu mor gywrain nes y byddo Duw ei hun megys yn rhyfeddu atom."

---

## AM WAGEDD Y BYD.

Cyrus, brenin Persia, a orchymynodd argraffu y geiriau canlynol ar ei garegfedd:—"O ddyn, pwy bynag wyt, a ddêl yma, gwybydd mai myfi yw Cyrus Fawr, a osodais sylfeini Ymerodraeth y Persiaid: am hyny na chenfigena yr ychydig bridd hyn sydd yn awr yn cuddio fy nghorph i."—Q. Curt.

---

## LLOFFION.

Yr hyn yw iechyd i'r corph, hyny yw cydwybod dda i'r enaid.

Gallwn fod ddaed ag y mynwn, os mynwn fod yn dda.

Nid oes neb mor *weigion* a'r rhai sydd yn *llawn* o honynt eu hunain.

Haws yw gorchfygu arferion drwg heddyw nac yfory.

Hwynt-hwy sydd yn addoli Duw oreu, y rhai sydd yn ei efelychu fwyaf.

Na ddangos feiau ereill â bys budr.

Os bydd i'r diafol gael dyn yn segur, y mae ef yn gyffredin yn ei roddi ar waith.

Ni ddylem ddirmygu neb am eu gwall o ddoniau naturiol, ond am eu cam-ddefnyddio: felly, os bydd i ddyn *gerdded* yn gloff, y mae ef yn wrthddrych o dosturi, os bydd iddo *ddawnsio* yn gloff y mae yn wrthddrych o waradwydd.

Mae yr hwn sydd yn gwneuthur niweid i un yn bwgwth cant.

Pan ddywedwyd i Socrates fod ei Farnwyr wedi traethu y ddedfryd o farwolaeth arno; ac onid yw Natur, ebai ef, wedi traethu yr un ddedfryd arnynt hwythau.

Mae gan bob dyn gymmaint o falchder ag sydd arno eisieu o synwyr.

Mae yr hwn sydd yn *tyngu* yn dywedyd wrthym nad yw ei air noeth ef i'w goelio. C. T.

# BARDDONIAETH.

## YSTYRIAETHAU AR AMSER.

Fy awenydd fu unwaith
Wael a gwan i eilio gwaith;
Medrus mewn geiriau mydriad,
Oera llun sydd ar wellâd:
Gwna iawn bwyth gain awen bêr,
Drwy ymswyn draw i *Amser*.
*Amser*, byr dan awyr yw,
Odiaeth a'r hwyaf ydyw.
Darfod yn anorfod wna,
Eto un pur ytyw 'n para;
Ryw bryd ein bywyd i ben
A reda ar ei aden,
O'r byd hwn er bod anian
Amryw am oes, mawr a mân.
Blwyddyn a â heb ludded
Ar ol blwydd yn rhwydd y rhêd:
A dyn ar ol dyn i daith
Mewn damwain mae'n myn'd ymaith:
Hwynt o'r byd a ânt i'r bedd,
Le marwol i lwm orwedd.
Mor gyflym o'i rym yr â
Argywedd ŵr a gwywa!
Y boreu tŷf yn buraidd
Mal rhosyn di gryn deg wraidd;
A phrydnawn er dawn ar des,
Hoen cain yr Huan cynes,
Edwina edau einioes,
Buan yr â i ben 'r oes:
Llawer llangc yn ieuangc aeth
O'r byd er ei wybodaeth.
Mesurai Ion ei amser ef,
A roed iddo rhaid addef:
Henafgwr heinyf fugail,
Na bu ei well neb o'i ail;
A chanol oed roed i rych,
Gwrol a'r baban gorwych;
Mesur sicr ein hamser sydd
Difai o roddiad Dofydd.
Eto amser Ner ni wna
Ei orfod yn ei yrfa;
Pery byth un pur heb wad
I ddyddio 'n ddi ddiweddiad.
Cofio wnawn mai cyfan yw,
Rhanedig er hyn ydyw;
Mesur doeth brif amser dyn,
Yn bedair rhan (abwydyn)
Sef ie'ngctyd hyfryd ein hoes,
A mebyd enyd einioes,
A chanol oed weddol ŵr,
Hoenus ynghyd â'r henwr;
Derfydd y rhai'n drwy fodd rhwydd,
A'u rhan hoywlan yn hylwydd;
Ond *Amser* hoywber fydd heb
Eildaith i dragwyddoldeb!
Pan êl y byd hadlyd hwn,
Yn oddaith anniweddwn,
Yn y gwae, neu enwog wawl
Orhoff fan anorphenawl.
Gweddïwn a byddwn bur,
Ymgeisiwn fwy am gysur,
Yn y wledd wiw ryfedd rad
Agorodd Duw o'i gariad,
I'r sawl a fo ar sail fad,
Cred amlwg cywir deimlad,
Yn Iesu, Fab Ion oesawl,
I hwn y mae canu mawl,
Am ei waith ar daith er da
Heb amorth y bu yma,
Nes gwnaeth ef helaeth Iawn
Ddinam ei hun dros ddyniawn;
Wedi'n esgynai 'n hoywdeg,
Ufudd deyrn i nefoedd deg,
Ar g'oedd rhôed lluoedd llawen,
Fil a mwy ei fawl, Amen.

G. ab J.

## CYSURON YR HEN WR, A PHA FODD YR ENNILLODD HWYNT.

*Cyfieithiad o waith* Dr. Southey.

Ydych hen, fy nhad William, dywedai 'r gwr ieuanc,
A'ch gwallt ar eich coryn sydd wynaidd ei wawr;
Ydych iach, fy nhad William, yn henwr cryf grymus,
Pa beth yw yr achos, mynegwch yn awr.

Yn nyddiau fy ieu'nctyd, atebai 'r tad William,
Mi gofiais yr 'hedai ieuengctyd oedd gu;
Ni ammharchais fy iechyd na'm nerth ar y dechreu,
Fel na byddai 'u heisieu hwy byth arnaf fi.

Ydych hen, fy nhad William, dywedai 'r gwr ieuanc,
Cyd-gwympodd pleserau ac ieu'nctyd i'r llawr;
Ac etto ni wylwch am ddyddiau aeth heibio,
Pa beth yw yr achos, mynegwch yn awr.

Yn nyddiau fy ieu'enctyd, atebai 'r tad William,
Mi gofiais na pharai ieuenctyd yn hir;
Am a ddeuai meddyliwn—a cheisiwn fyw hefyd
Fel na bydd im' boeni am ddim wnes ar dir.

Ydych hen, fy nhad William, dywedai 'r gwr ieuanc,
Ac amlwg na phery eich amser chwi fawr;
Ac etto am farw y cerwch ymddiddan,
Pa beth yw yr achos, mynegwch yn awr.

Ydwyf siriol, lanc ieuanc, atebai 'r tad William,
Ar yr achos dal sylw manylgraff di oed—
Yn nyddiau fy ie'nctyd mi gofiais yr Arglwydd,
Ac yntau yr awrhon ni anghofia fy oed.

J— Ph—.

## ENGLYNION

*Ar Gareg-fedd W. Williams, o Landegai, yr hwn a alwyd i'w orphwysfa Gorphenaf* 18, 1817; *yn* 80 *mlwydd oed.*

Anwylaf ŵr yn ei alwad——enwog,
Uniawn oedd ei fwriad;
Gwir Awdwr teg ei rodiad,
Carai les cywir ei wlad.

Drwy hyder, profer bob pryd,—ei fyned
I fewn i'r dedwyddyd;
O derfyng blin daearfyd,
I'r wyl fawr yn yr ail fyd.

D. Ddu.

### ERAILL

*Ar ol ei ddiweddar fab E. H. Williams, yr hwn a fu farw Ionawr 4, 1832, yn 45 oed.*

Anwyl a doeth, un ail i'w dad,—oedd ef,
Yn ei ddyfal rodiad;
Dan oeddynt un deuddiad,
Un agwedd, un fucheddiad.

Mewn ffydd yn ddedwydd y ddau——hunasant
Yn Iesu heb amnau:
(Ar wedd lawn) gael eu rhyddhau,
I fod ar adfywiadau.

Ei frawd R. W. *Frondeg.*

---

### Y GELYN DIWEDDAF.

Ow! olaf elyn, i'r dyn daeth
Drwy'r cwlwm caeth ddychrynedd;
Y cryf a'r gwan, y bach a'r mawr,
A dery 'lawr i'r ddyrnod.

Ni pharcha hwn mewn gradd na grym,
A'i gryman llym y medu
Bob llaw, bob llwyth, bob iaith, bob un,
Mae 'n dal y mynyd ola'.

Er colli braich, neu goes, neu glun,
A byw yr un mor enwog;
A [illegible] angau bidd i'r llawr
Yr Arwr mawr calonog!

Er dianc rhag yr haint a'r clwy',
Diogel drwy beryglon:
Pwy a ddiangodd, pwy erioed,
Na chaed dan droed y creulon?

Er cadw'n fyw a myn'd yn hen,
A bod dan wên rhagluniaeth,
Na dianc neb er hyny 'n rhydd
O grafang dydd marwolaeth.

Bydded llawenydd drwy y byd
I [illegible] uchel enaid.
Na bo gan angau er ei glwy'
Un gwenwyn mwy i'r gwirioniaid.

Na [illegible] hynt [illegible] 'n boen,
Heb gedio'r loes a gafwyd,
Y [illegible] eu [illegible],
A phoeni neu gyphenwyd.

O dygai lu mewn dig i lawr,
A thyrfa fawr i'w therfyn:
Yr olaf ing i'r angau roir,
A'r frwydr droir i'w erbyn.

*Eifionydd.* Owain ab Ioan.

---

### Y RHOSYN.

Pa beth! ai gwywedig fy rhosyn siriolwedd
Oedd ddoe a'i edrychiad mor dirion ei wedd?
Meddyliais mai hwn a addurnai fy annedd,
Gan ddwyn i'm golygon arwyddion o hedd.

Mor dirion oedd genyf ei liwiau siriolwych!
Mor llon oedd fy yspryd wrth edrych ar hwn!
Yn awr mae 'n cyfnewid waeth waeth wrth ei edrych,
Fe drodd ei sirioldeb yn falch ac yn bwn.

Ei arogl peraidd i ba le y diangodd?
Mor hynod wrthwyneb i'r peth oedd gynt yw!
Ei sawyr bereiddiol yn llwyr a ddiflanodd,
Ac nid oedd ei harddwedd ond gwagedd tra gwyw.

Mae blodau 'ngwlad anwyl ar diroedd digysur,
Pladurwr i'w hedrych a gafodd ei wa'dd:
Beth glywa'i 'n bresennol, ai swn hogi pladur?
Taw, gwrando ac edrych, Ust, nage, swn lladd!

Arbeder eu tyfiant am ryw hyd yn rhagor,
Hyd nes bo ffrwyth arnynt toreithiog ei wedd:
Ac yna fe'u cludir i ddiddos ysgubor,
Lle cânt fwynhau hindda dragwyddol o hedd.

John Jones, *Pen y Mara.*

---

### BEDD-ARGRAFF

*Yn Mynwent Hauxton, gerllaw Caergrawnt.*

Bold Infidelity! Turn pale and die
Beneath this stone four infants' ashes lie,—
Say are they lost or sav'd!
If death's by sin, they sinn'd because they 're here—
If heaven's by works, in heaven they can't appear—
Reason, ah! how depraved!
Reverse the sacred page, the knot's untied
They died for Adam sinn'd—they live for Jesus died.

Rev. Mr. Robinson,
*Baptist Minister, Cambridge.*

### CYFIEITHIAD.

O Anghrediniaeth clyw! Mae tan y maen
Llwch tri mabanod bach—achubwyd hwynt
Neu gollwyd? Dywed hyn. Os angeu 'ddaeth
Drwy bech—pechasant hwy, am yma maent—
Os nef drwy waith y sydd, ni welant nef.
Gad, rheswm, gad! tro, parch y Dwyfawl air—
Hwn eglurha y pwngc. Es marw bu,
Bai Adda oedd—byw ynt gan farw Crist.

*Rhydychen.* Troyr.

---

## HANESION GWLADWRIAETHOL.

---

### Newyddion Tramor.

Poland.—Derbyniwyd llythyr o Dresden yn mynegi fod oddeutu 8000 o Polandiaid etto yn dal i ryfela yn *forest* Lithuania, gyd â'r penderfyniad o farw yn hytrach nag ymostwng i'r Rwssiaid, a bod eu nifer yn cynyddu yn feunyddiol. Gwrthodasant yr ammodau a gynnygiwyd iddynt, ac y maent yn meddwl y gallant ddal allan dros hir amser. Terfynir y llythyr yn y geiriau hyn:—"Nyni a amddiffynwn ein hunain hyd yr eithaf. Ofni yr ydym y gauaf yn fwy na'r Rwssiaid; ond, fe allai, y cyfyd rhyw amgylchiadau cyn bo hir i amlygu i ni fod Duw etto yn bod."

Ffraingc.—Ni chynnwysa Newyddiaduron Ffraingc ddim hanes o bwys. Ymddengys fod Leopold, Brenin Belgium, wedi priodi y Dywysoges Louisa, merch Brenin Ffraingc, ar y 9fed o Awst; ond nid

yw llyn yn debyg o wneuthur fawr o ragoriaeth yn helyntion teyrnasoedd Ewrop.

AMERICA.—Dywed y Newyddiaduron a dderbyniwyd, ychydig ddyddiau yn ol, o'r wlad hon fod y *Cholera Morbus* wedi ymddangos yn Nghaerefrog Newydd, a'i fod yn lledaenu yn gyflym trwy y trefydd cymmydogaethol, ac yn peri cryn ddychryn ym mhlith y trigolion. Dywedir fod oddeutu 80,000 o bobl wedi ymadael o Gaerefrog Newydd, a bod llawer iawn o fasnachdai wedi eu cau i fynu; ond gan fod y clefyd yn eu canlyn hwynt i Albany, yr oedd amryw yn dychwelyd yn ol, a'r arswyd ag oedd yn eu meddiannu yn lleihau yn raddol. Rhydd y Newyddiaduron hyn hefyd hanes galarus iawn am y difrod a wnawd gan y *Cholera* yn Quebec a Montreal, ym mhlith y brodorion. Dywedir bod un o bob 37 wedi marw o hono; nid oedd nemmawr o'r mudwyr wedi ei gael.

PORTUGAL.—Y newyddion diweddaraf o'r wlad hon ydynt yn lled dueddol o blaid achos Don Pedro. Ymddengys fod milwyr Don Miguel, ar ol brwydr Vallengo, heb ganlyn ym mlaen ar eu buddugoliaeth; a bod byddin Don Pedro wedi ychwanegu trwy encilwyr oddiwrth fyddin Miguel o 7000 i 13,000. Derbyniwyd llythyr oddiwrth Farsiandwr Brytanaidd, yn Lisbon, yn hysbysu fod y newydd wedi cyrhaeddyd yno, fod Amddiffynfa Almeida wedi pleidio achos Donna Maria, ac wedi cyfodi baneri y Frenines ieuangc ar y castell. Ond y mae 'r hanes hwn hyd yn hyn heb ei wirio. Dywedir fod y gwin a gafwyd gan Don Pedro, yn Oporto, yn agos i 50,000 *pipes*, ac yn werth oddeutu can myrddiwn o bunnau.

---

## Newyddion Cartrefol.

### Y SENEDD.—TY Y CYFFREDIN.

***Pension i'r Cadeirydd, yr Anrhydeddus Charles Manners Sutton.***

*Arglwydd Althorp* a ganmolai ymddygiad y Llefarydd tra y bu yn y Gadair am gynnifer o Sessiwnau: a chan ei fod am roddi y swydd i fynu, cynnygiai fod iddo gael £4000 yn y flwyddyn o *bension*; eithr os derbyniai sefyllfa dan y llywodraeth, yna cai £2000, a bod i'w fab gael £3000 yn y flwyddyn ar ol marwolaeth ei dad; ond fod iddo yntau hefyd roddi hyn i fynu pan ddeuai i swydd yr hon oedd i ddisgyn iddo.

*Syr C. Wetherell* a dybiai y dylai y Llefarydd gael £5000 yn y flwyddyn o *bension*. Yr oedd Mab y Llefarydd i weinyddu y Swydd o Gofrestrydd Llythyrau Cymmun. Nid oedd y cyflog ond bychan; ac yr oedd yn rhy galed iddo gael ei ymddifadu o'r *pension* pan y cymmerai y swydd grybwylledig.

*Mr. Hume* a hysbysai fod y swydd hon yn werth o £9000 i £10,000 yn y flwyddyn.

### CYFLOG YR ARGLWYDD GANGHELLWR.

*Arglwydd Althorp* a gynnygiai fod i'r Arglwydd Ganghellwr gael £14,000 o gyflog yn y flwyddyn—£10,000 fel Arglwydd Ganghellwr; a £4000 fel Cadeirydd Tŷ yr Arglwyddi.

*Mr. Salter* a achwynai fod hyn yn ormod; ac wrth ystyried y cyfnewidiad a gymmerodd le yn arian y deyrnas, efe a haerai fod y cyflog yn cael ei gynnyddu yn hytrach na'i leihau. Cynnygiai iddo gael ei dynu i lawr i £12,000.

*Mr. Hume* a gefnogai y cynnygiad. Ni chafodd Arglwydd Lyndhurst erioed ychwaneg na £14,000 o gyflog oddiwrth ei swydd fel Arglwydd Ganghellydd; a chafodd £6000 o honynt oddiwrth swydd arall, yr hon ni weinyddir gan yr Arglwydd Gaghellwr presennol. Y mae dyledswyddau yr Arglwydd Ganghellwr yn llawer llai yn awr, ac y mae yn beth anaddas iddo dderbyn yr un faint o gyflog.

*Canghellydd y Trysorlys* a haerai fod y cyflog wedi ei ostwng i raddau mawr.

*Mr. Hume* a wrthwynebai y cynnygiad fod i'r Arglwydd Ganghellwr gael £5000 o *bension*. Ni allai ddirnad pa hawl oedd gan y Canghellydd presennol i gael £1000 yn ychwaneg o *bension* na'r Canghellwyr ereill. Drwg oedd ganddo weled fod y gwystlon a roddodd y Gweinidogion o ddileu yr holl segur-swyddau wedi eu llwyr anghofio.

*Canghellwr y Trysorlys* a ddywedai mai yr achos paham y codir *pension* yr Arglwydd Ganghellydd yw, ei fod ef wedi cyd-synio â chais y Gweinidogion i ddileu segur-swyddau, y rhai a roddid yn gyffredin i geraint y Canghellwr.

*Mr. Hunt* a haerai mai peth ofnadwy oedd gweled Gweinidogion a gymmerent arnynt gynnilo a chwtogi y draul yn gosod y fath esampl o wastraffu. Cynnygiai fod i'r Arglwydd Ganghellydd gael £4000 yn lle £5000 yn y flwyddyn.

| | |
|---|---|
| Dros gynnygiad *Mr. Hunt* | 2 |
| Yn ei erbyn | 60 |
| Mwy ar gynnydd y *pension* | 58 |

### ARAETH Y BRENIN.

DYDD IAU, Awst 16, am ddau o'r gloch, daeth y Brenin, ynghyd â'r Prif Swyddogion, i Dŷ yr Arglwyddi, ac eisteddodd ei Fawrhydi ar yr Orsedd.

Trwy orchymyn ei Fawrhydi anfonwyd cennad i Dŷ y Cyffredin i orchymyn eu

presennoldeb; ac mewn ychydig o fynydau daeth y Cadeirydd ynghyd â lliaws o'r aelodau i'r Tŷ.

Ar ol i'r Cadeirydd draddodi ei araeth, yn mynegi yr ysgrifau a fu dan sylw yn ystod yr eisteddiad, darllenodd ei Fawrhydi yr Araeth ganlynol:—

"FY ARGLWYDDI A BONEDDION,

"Gan fod sefyllfa gorchwylion y deyrnas yn awr yn fy ngalluogi i'ch rhyddhau oddiwrth eich cynddrychiad yn y Senedd, nis gallaf ymadael â chwi heb ddatgan y boddlonrwydd a gefais wrth sylwi ar eich diwydrwydd a'ch brwdfrydedd yn nghyflawniad eich dyledswydd yn ystod eisteddfod anarferol o ran llafur a meithder.

"Y mae'r matterion a fu dan eich sylw wedi bod o'r pwys mwyaf, ac yn neillduol y cyfreithiau hyny a wnaed er mwyn diwygio cynddrychioliad y bobl, megys ag yr oedd yn anocheladwy yn cymmeryd y rhan fwyaf o'ch amser a'ch ystyriaeth.

"Wrth orchymyn y pwngc i'ch sylw, fy niben oedd symud ymaith bob gwir achos cwyno, adferu hyder cyffredinol yn y llywodraeth, ac i roddi diogelwch ychwanegol i sefydliadau y wladwriaeth. Yr ydwyf yn gobeithio fod y diben hwn yn awr wedi cael ei ddwyn i ben.

"Y mae genyf etto i gwyno parhad yr aflonyddwch yn yr Iwerddon, er y grym a'r gofal y mae fy llywodraeth wedi eu dangos trwy y moddion a gymmerodd i'w cadw i lawr. Y cyfreithiau a wnawd yn gydsyniol â'm dymuniad yn nechreuad yr eisteddfod mewn perthynas i gasglu y Degwm, ydynt yn dra addas er sylfaenu trefn newydd, at gwblhad pa un y dygir sylw y Senedd pan gyfarfyddo nesaf. At y gwaith angenrheidiol hwn rhoddir fy nghymmorth goreu, trwy roddi mewn gweithrediad y cyfreithiau, a thrwy ddwyn y'mlaen lwyddiant gwlad ag sydd wedi ei bendithio gan Ragluniaeth Ddwyfol â chymmaint o fanteision naturiol. Tu ag at gynnorthwyo y pwngc hwn, rhaid i mi ddatgan y boddlonrwydd a deimlais trwy y moddion a gymmerwyd er eangu breintiau dysgeidiaeth i'r bobl yn gyffredinol yn y deyrnas hòno.

"Yr ydwyf yn parhau i dderbyn sicrwydd o gyfeillgarwch oddiwrth yr holl Alluoedd Tramor; ac er nas gallaf etto hysbysu i chwi derfyniad y ddadl hirfaith rhwng Holland a Belgium, ac er fod yr ymryson rhwng Tywysogion teulu Braganza etto yn parhau, yr wyf yn edrych gyda hyder at yr undeb ag sydd yn parhau rhyngof fi a'm cynghreiriaid am gynnaliad heddwch cyffredinol.

"FONEDDION TY Y CYFFREDIN,

"Yr ydwyf yn diolch i chwi am y cyflenwad a ganiataeoch i mi; ac y mae yn foddlonrwydd mawr i mi ganfod, er fod llawer o leihad yn y cyllidau wedi bod trwy ddiddymiad rhai o'r trethi ag oedd yn pwyso fwyaf ar fy neiliaid, eich bod wedi gallu, trwy ymarferiad o gynnildeb y'mhob rhan o'r wladwriaeth, darparu at wasanaeth y flwyddyn heb unrhyw ychwanegiad at faich y cyffredin.

"FY ARGLWYDDI A BONEDDION,

"Yr wyf yn gorchymyn i chwi yn ystod y gohiriad, fod i'ch sylw penaf gael ei gyfeirio at gadwraeth yr heddwch cyffredinol, ac at gynnal awdurdod y gyfraith yn eich gwahanol swyddau. Yr wyf yn gobeithio y bydd i'r breintiau a fwynheir gan fy holl ddeiliaid dan ein sefydliad rhydd gael ei brisio a'i feithrin yn ddyladwy; na chaniater cael ymwared oddiwrth unrhyw wir achos cwyn ond trwy y ffyrdd cyfreithlon, ac y dinoddir ac y gwrthwynebir pob gweithrediadau anghyfreithlon; ac mai sefydlu trefn a llonyddwch tufewnol a brofa na bydd y mesurau a noddais yn ddiffrwyth er dwyn y'mlaen ddiogelwch y wladwriaeth, a boddlonrwydd a daioni fy mhobl."

Yna yr Arglwydd Ganghellydd a gyhoeddodd ei fod yn rhyngu bodd i'w Fawrhydi Grasusaf a'r fod i'r Senedd gael ei gohirio tan Ddydd Mawrth, yr 16eg o Hydref.

---

## Y LLOFRUDD COOK.

Ar ddydd Mercher, yr 8fed o Awst, dygwyd yr adyn James Cooke o flaen y brawd lys yn Leicester, i gael ei brofi am lofruddio, yn y modd mwyaf echrysalon, Mr. Paas, masnachydd o Landain, (Gwel Rhifyn Gorphenaf.) Dros amryw oriau cyn agor drysau y llysdŷ, yr oedd tyrfa lluosog iawn wedi ymgasglu. A chyn gynted ag yr eisteddodd y barnwr ar y faingc, a sŵn y bobl wrth wthio i mewn wedi tawelu, dygwyd y carcharor ger bron. Yr oedd ei wisgiad yn bur drefnus, a menyg gwynion ar ei ddwylaw. Nid oedd dim i'w ganfod yn ei wynebpryd i beri i neb feddwl ei fod yn euog o'r fath weithred gigyddlyd; eithr yn holiol i'r gwrthwyneb, gan fod ei edrychiad yn dawel a siriol. O ran gwneuthuriad ei gorph, yr oedd yn ganolig o daldra, ac oddeutu 22 oed, ac yr oedd ei ymddangosiad allanol yn gyffelyb i wr ieuangc synwyrgall a pharchus. Pan osodwyd ef o flaen y bar, edrychodd yn dawel at eisteddle y barnwr, a'r cyngor, a syllodd dros ychydig ar y gynnulleidfa; yna efe a blygodd ei ben, ac ni chododd ei lygaid i fyna mwyach tra parhaodd ei holiad. A thra yr oedd y swyddog yn darllen y cyhuddiad, tynodd y carcharor Destament Newydd bychan o'i logell; ac a ymddangosai fel pe buasai yn darllen ynddo yr holl amser. Pan ofynwyd iddo, "Pa un ai euog ai dieuog" oedd efe o'r hyn y cyhuddid ef o hono, atebodd â llais eglur, "Euog." Yna y Barnwr, ar ol ychydig hamdden, a ddywedodd wrtho, "Y mae yn debygol eich bod yn gwybod am y canlyniad i'r fath gyfaddefiad." Atebodd, "Ydwyf." Gofynodd y Barnwr iddo drachefn, "A ydych chwi yn gwneuthur hyn yn bwyllog ac yn ddigymmell?" Atebodd, "Ydwyf." Yna efe a edrychodd ar ei lyfr drachefn, ond galwodd y Barnwr arno i sylwi ar yr hyn yr oedd efe a'r ei ddywedyd wrtho, ac y cai efe gyfleusdra i edrych ar ei lyfr yn ol llaw. "A ydych chwi yn penderfynu glynu wrth yr atebiad a roisoch?" "Ydwyf," ebe y carcharor. Yna y Barnwr a orchymynodd i gyfaddefiad y carcharor gael ei gofrestru, a galwyd ar y carcharor i dderbyn ei ddedfryd, fel y canlyn—

Cofiadur y Brawdlys—"James Cook, yr ydych yn sefyll yma wedi eich euog-farnu ar eich cyfaddefiad eich hun o fod yn euog o lofruddiaeth bwriadol. A oes genych, neu a wyddoch chwi am, unrhyw

beth i'w ddywedyd paham na ddylai y brawdlys eich dedfrydu i ddioddef marwolaeth, yn ol y gyfraith?" I hyn nid atebodd y carcharor ddim. Yna y Barnwr a roddes y cap du am ei ben, a chyhoeddodd y Criwr a'r fod i bawb gadw gosteg, dan boen carchariad, tra y byddai i'r ddedfryd o farwolaeth gael ei chyhoeddi ar y carcharor.

Y Barnwr Park—" James Cooke, yr ydych yn sefyll ger bron, ar eich cyfaddefiad eich hun, o fod yn euog o'r trosedd o lofruddiaeth bwriadol. Pe buasech chwi, yn lle cyfaddef eich euogrwydd, wedi ymddiried eich achos i farn eich cydwladwyr, buasai yn dda genyf; a thra sicr wyf, oddiwrth yr hyn a wn am y rheithwyr, chwi a gawsech brawf teg a diduedd; ond ar yr un pryd, yr wyf yn rhwym i ddywedyd, wedi i mi ddarllen, yn y modd mwyaf gofalus, yr hyn oedd yn eich erbyn ar lwon tystion credadwy, nid oes genyf yr ammheuaeth lleiaf mai yr un fuasai y canlyniad. Yn awr y mae i chwi dderbyn y gosp arswydus a ddyfarnwyd i'ch gweithred erchyll gan gyfreithiau Duw a dyn. "A dywallto waed dyn, trwy ddyn y tywelltir ei waed yntau." Y sylwiadau yr wyf ar eu gwneuthur, yr wyf yn eu bwriadu yn gystal i'r sawl sydd yn fy ngwrando ag i chwithau, gan obeithio, tra y dylent eich arwain chwi i edifeirwch diffuant am eich pechod dirfawr, y byddont er rhybydd i bob un o fewn i'r llys, a phawb ereill a glywant eich hanes galarus, i wylio rhag dilyn llwybrau drygioni, y rhai sydd yn sicr arwain i ddinystr. Pa fodd y treuliasoch eich dyddiau boreuol, ai duwiol a rhinweddol, nis gwn, clywais mai felly bu. Yr amser, gan hyny, y cymmerodd y cyfnewidiad alaethus hwn le yn eich calon, sydd adnabyddus i'r Hwn yn unig y mae pob calon yn agored; ond pa bryd bynag y cymmerodd le, nis gallaf briodoli eich ymddygiad ar yr achlysur hwn, ond fel y mae y cyhuddiad yn eich erbyn yn ei briodoli, i gynnyrfiad a chymmelliad y diafol. Y mae y pechod o lofruddiaeth bob amser, a than bob amgylchiadau, yn un o'r rhyw erchyllaf; ond y weithred a fuoch chwi yn ei chyflawni, fel yr wyf yn deall oddiwrth y tystiolaethau ysgrifenedig, sydd un o'r rhai mwyaf ysgeler a dieflig a glywais erioed son am dano. Darfu i chwi, nid yn unig daro y gwr boneddig anffodus i'r llawr, a'i ladd, ond wedi hyny, i'r diben o guddio eich gweithred ysgeler, chwi a dorasoch ymaith ei aelodau, ac a losgasoch y darnau yn y tân. I wneuthur iawn am eich pechod ofnadwy hwn, nid oes ond ychydig amser etto yn aros i chwi; ond hyd yn nod hyd y mynyd olaf o'r ddeuddegfed awr dichon llawer gael ei wneud trwy eich edifeirwch diffuant, a'ch ymddiried diysgog ar haeddiant y Gwaredwr. Y mae yspaid dau fis wedi myned heibio er eich carchariad, ac yr ydwyf yn gobeithio fod yr amser hwnw wedi cael ei dreulio genych yn ddyladwy; a thros yr ychydig oriau sydd etto yn ol i chwi yma, disgwyliaf y bydd i chwi gael hyfforddiant a chynnorthwy gweinidogion crefydd. Defnyddiwch yr hamdden, a cheisiwch yn daer y drugaredd hòno a'r mae gellir ei chaniatau i chwi yma. Trowch eich calon at yr Hwn sydd yn helaeth o drugaredd. Curwch yn daer wrth borth y nefoedd, ac fe allai yr agorir hwnw etto i chwi. [*Yma y Barnwr a dorodd allan i wylo wedi cael ei orchfygu gan ei deimladau.* Wedi gwneuthur un neu ddau o sylwadau y'mhellach, efe a aeth rhagddo fel y canlyn:] "Y ddedfryd y mae y gyfraith wedi ei phennodi am eich trosedd, a'r hon yr wyf yn awr ar ei chyhoeddi, yw, a'r fod i chwi, James Cook, gael eich cymmeryd i'r fan lle y daethoch o hono, ac oddi yno, ar ddydd Gwener nesaf, y 10fed o Awst, i le o ddienyddiad cyhoeddus, ac yno i gael eich crogi gerfydd eich gwddf nes byddoch farw, ac wedi hyny fod i'ch corph gael ei grogi mewn cadwynau, yn ol fel y mae y gyfraith yn ddiweddar wedi gorchymyn, a'r Arglwydd a gymmero drugaredd ar eich enaid tra euog."

Tra yr oedd y Barnwr yn traddodi ei araith, yr oedd y rhan fwyaf o'r dyrfa mewn dagrau, ond y carcharor ei hun oedd yn ddigynnwrf. Cadwai ei lygaid yn gauad, ac ymddangosai megys pe buasai yn taer weddio. Wedi gorphen o'r Barnwr lefaru, gorchymynwyd ceidwad y carchar i ddwyn ymaith y carcharor. Trwy yr holl amser dywedir na ddarfu iddo unwaith newid ei liw, na dull ei wynebpryd.

## EI DDIENYDDIAD.

Y noswaith ar ol ei gondemniad cysgodd yr adyn truenus yn esmwyth o naw o'r gloch tan chwech y bore dranoeth. Ymwelodd Mr. Denton, brawd y'nghyfraith y diweddar Mr. Paas, âg ef yn y carchar, a thaer erfyniodd arno, gan fod ei ddedfryd yn y byd hwn wedi ei sello, i ddywedyd y gwirionedd wrtho o barthed gweddillion corph Mr. Paas; a oedd efe wedi cuddio rhai o honynt mewn rhyw le: os oedd, dywedai mai yr unig iawn a allai wneuthur oedd trwy ddatguddio hyny iddo. Atebodd Cook yn y modd mwyaf difrifol fel y canlyn: "Yr wyf yn eich ateb megys dyn ar fin marwolaeth, ac ar air dyn yn marw, ac fel yr wyf yn gobeithio am iachawdwriaeth trwy Iesu Grist, fod y cwbl a ddywedais mewn perthynas i ddistrywiad y corph yn hollol wir: ac nid oes yr un dernyn o hono ar gael, ond cymmaint ag a gafwyd ar y tân heb ei losgi. Hyn yw yr holl wir, ac nid ydyw yn debygol y buaswn yn awr yn dywedyd dim amgen na'r gwirionedd."

Amser ei ddienyddiad oedd i fod am naw o'r gloch y bore, ond mor foreued a phump yr oedd tyrfa liosog wedi dyfod ynghyd, yr hon a gynnyddodd i ddim llai, fel y bernir, na 40,000. Erbyn yr amser daeth yr Is-Sirydd a'i swyddogion i'r carchar i ymofyn y carcharor, ac wedi rhwymo ei freichiau, dywedodd, "Yr wyf fi yn barod." Pan gyrhaeddodd y dienyddle, edrychodd yn graff ar y dyrfa, ac wrth ganfod amryw o'i gydnabyddiaeth, amneidiodd arnynt â'i law. Ar ol rhwymo y cortyn am ei wddf, dywedodd, "Arglwydd Iesu, cofia fi pan ddelych i farnu y byd," ac yna gollyngodd o'i law, fel arwydd, gadach gwyn, a'r disgyn-lawr a ollyngwyd o dano, ac wedi ymdrechiad caled am oddeutu dau fynyd trengodd y llofrudd Cook. Ar ol hongian dros yr amser arferol, tynwyd y corph i lawr, a dygwyd ef i'r carchar, i'r diben o'i roddi mewn cadwynau, yn ol y ddedfryd.

Dywedir fod ei gyffesiad yn dra chyflawn, gyda chwanegiad, oni buasai iddo fyned i yfed ar ol cyflawni o hono y weithred, eithr canlyn ar ei waith o ddarnio a llosgi y corph ddwy awr yn gynt, y buasai pob dernyn o'r corph, a'r cwbl oedd yn perthyn iddo, wedi eu difetha, ac felly buasai y

peth yn ddirgeledig oddiwrth bob golwg dynol. Ond adroddai y geiriau canlynol yn gadarn ddiysgog—"Yr wyf yn diolch i'm Duw fy mod wedi cael fy nal, canys buaswn yn myned y'mlaen mewn drygioni, ac yn fuan buaswn wedi gwneuthur am danaf fy hun." Yr oedd yn taer ddeisyf ar yr Arglwydd gynnal, mewn bywyd, ac yn angeu, y weddw alarus, a'i phlant amddifaid.

---

## SESSIWNAU GWYNEDD.

CAERNARFON.—Dydd Sadwrn, yr 21ain o Orphenaf, cyrhaeddodd Arglwydd Lyndhurst dref Caernarfon. Dydd Llun, agorwyd y Llys. Wrth gyfarch yr Uchel-Reithwyr, ei Arglwyddiaeth a ddatganodd yr hyfrydwch a deimlai wrth gyfarfod â chynnifer o Foneddigion. Nid oedd ond dau drosedd yn y cofrestr yn gofyn am unrhyw sylwadau oddi wrtho ef. Y cyntaf oedd trosedd Robert Roberts, a gyhuddwyd o saethu at John Elias gyda bwriad i'w ladd ef. Ymddengys oddiwrth y tystiolaethau fod rhyw un wedi saethu ergyd trwy y ffenestr i le o addoliad, pryd y clwyfwyd J. Elias, ac amryw ereill. Galwai sylw y Rheithwyr at y peth pwysfawr hwn, fod yn angenrheidiol dangos fod gan y carcharor lid o'r blaen at J. Elias, oblegid pe bai dyn yn wirfoddol yn saethu ergyd i blith nifer o bobl, a chlwyfo rhai o honynt, y gyfraith a dybiai iddo wneuthur hyny o wirfodd. Ar y pen hwn nid oedd dim anhawsder, ond yr oedd peth arall yn teilyngu eu hystyriaeth, sef profi mai y carcharor oedd y gwr a saethodd yr ergyd. Yr unig dystiolaeth o blaid hyn oedd, fod rhyw rai wedi gweled y carcharor o amgylch yr addoldy lle y cyflawnwyd y trosedd. Ymddengys fod gwraig y carcharor wedi gwneud rhai sylwadau ar y pwngc hwn, ond ni ellir derbyn dywediadau y wraig fel tystiolaeth yn erbyn y gwr. Oddiwrth y tystiolaethau a osodwyd ger ei fron ef, nid oedd profiad ond yn unig fod y carcharor wedi bod o amgylch y lle. Gyd â'r sylwadau hyn efe adawai ei achos i ystyriaeth yr Uchel-Reithwyr.

Y peth arall a ddymunai efe dynu eu sylw ato, oedd trosedd Richard Jones, yr hwn a gyhuddwyd o drywanu John Thomas gyda bwriad i niweidio ei gorph. Yr oedd y dystiolaeth yn eglur fod y carcharor wedi trywanu y cyhuddwr J. Thomas, ond nid oedd hyny yn ddigon, oblegid yr oedd y gyfraith yn pennodi, pe buasai i'r hwn a drywanwyd farw, mai *manslaughter* yn unig a fyddai y trosedd. Ymddangosai oddiwrth y tystiolaethau fod y carcharor wedi rhoddi llawer o hèr i'r cyhuddwr, yr hyn a'u gyrodd hwynt i ymladd, pan y syrthiodd y carcharor i lawr, ac yr encilliodd y cyhuddwr ychydig yn ol, a phan gododd y carcharor ar ei draed, rhuthrodd at y cyhuddwr gyda chyllell yn ei law, ac a'i trywanodd ef. Yr oedd yn rhaid i'r Rheithwyr ystyried a oedd digon o amser i nwydau y carcharor oeri rhwng yr amser y tarawyd ef i lawr, ac y rhuthrodd ar y cyhuddwr. Os tybient hwy fod yr archoll wedi ei wneud y'mhoethni ei ddigofaint, a chyn i'w nwydau dawelu, gan na fyddai y trosedd hwn, pe dilynid ef gan farwolaeth yr archolledig, ond *manslaughter* yn unig, ni ellid cynnal y cyhuddiad hwn; ond ar y llaw arall, os oeddynt hwy o'r farn fod digon o amser wedi myned heibio i'w wylltineb ddarfod, ac iddo ei drywanu mewn gwaed oer, yna, gan y byddai y trosedd yn llofruddiaeth pe dilynid ef gan farwolaeth yr archolledig, eu dyledswydd fyddai penderfynu y gellid cynnal y cyhuddiad.

Ei Arglwyddiaeth a derfynodd, drwy sylwi fod cyfnewidiadau gwedi cael eu gwneuthur o fewn ychydig ddyddiau yn y cyfreithiau yngbylch rhai troseddau. Y troseddau hyn oeddynt lladrata ceffylau, a gwartheg, a defaid. Y gosp a bennodwyd gan y gyfraith i'r troseddau hyn oedd, cyn yr wythnos ddiweddaf, marwolaeth, ond anfynych y rhoddid y gyfraith hon mewn grym, gan ei bod hi yn rhoddi awdurdod i'r Barnydd i leihau y gosp yn ol fel y gwelai fod yr achos yn gofyn. Yn ol y gyfraith bresennol alltudiaeth einioes yw y gosp i'r troseddau hyn, ond y mae y gosp yn anghyfnewidiol, gan nad oes un awdurdod i'r Barnydd i leihau y gosp, fel y gwelai efe yr amgylchiadau.

[*Caiff prawsfaau y carcharion gwahanol yn y Rhifyn nesaf.*]

---

SWYDD DINBYCH.—Dydd Llun, y 30ain o Orphenaf, agorwyd y Llys gan yr Arglwydd Lyndhurst, yr hwn a gyfarchodd yr Uchel-Reithwyr yn y modd canlynol—Teimlai hyfrydwch wrth ganfod nad oedd nifer y troseddwyr yn y cof-restr yn lliosog, ac nid oedd y rhai hyn yn cynnwys o droseddau ysgeler. Clywsai lawer o achwyniadau o herwydd y draul fawr sydd yn dilyn profiadau troseddwyr, a da fyddai pe gellid ei leihau. Cymmerai y pwngc dan ei sylw manylaf, ac ymdrechai i'w leihau.

*Sarah Williams*, yr hon a gyhuddid o ladrata pâr o gynfasau a dillad, o eiddo Charles Pulestone o Wrecsam, a gafwyd yn EUOG—6 *mis o garchar*.

TORI I DY.—*Aaron Jones* (17) a gyhuddid o dori i dŷ Robert Davies o'r Waun, a lladrata pedair o orioriau arian, ac eiddo arall. Y carcharor a gyfaddefodd ei *euogrwydd*.

LLADRATA MOCH—*William Thomas* a gyhuddid o ladrata tri mochyn, o eiddo H. Cæsar o Hafod y Bwch, y'nghymmydogaeth Gwrecsam. Y Rheithwyr a gawsant y carcharor yn *Euog*, a dyfarnwyd ef i 6 *mis o garchar*.

TORI I DY.—*Charles Williams* a gyhuddid o dori i dŷ Charles Acton o Wrecsam, a lladrata amryw bethau oddi yno, ac *Edward Dentith* a gyhuddid o dderbyn yr unrhyw, ac yntau yn gwybod iddynt gael eu lladrata. Y Rheithwyr a gawsant y ddau yn *Euog*. Cyhoeddwyd dedfryd o *farwolaeth* ar Charles Williams, a dyfarnwyd E. Dentith i gael ei *garcharu am* 12 *mis*.

LLADRATA MODRWY.—*Robert Jones* a gyhuddid o ladrata modrwy oddiar Elizabeth Davies o Wrecsam. Elizabeth Davies, y cyhuddydd, a dystiodd ei bod hi mewn tŷ tafarn yn Ngwrecsam, a daeth y carcharor ati, ac a afaelodd yn ei llaw, gan ofyn iddi am weled ei modrwy. Gafaelodd yn y fodrwy, a chymmerodd hi oddiam ei bys. Pan ofynodd iddo am ei modrwy, efe a ddiangodd. Hysbysodd i'r celsbwl am y lladrad.

*Edward Phoenix*. Gwelais y carcharor yn diangc, a'r cyhuddydd a ofynodd i mi fyned ar ei ol. Cefais hyd iddo, a gofynais iddo am y fodrwy. Dywedodd wrthyf, "Gadewch fi yn llonydd, mi a'i teflais hi i ymaith."

*Alexander Eaton.*—Pan ddaeth y tyst hwn i fyny i sefyllfan y tystion. Ymddangosai fel pe buasai wedi meddwi ychydig; a phan roddwyd y Llyfr yn ei law, dywedodd, "Nid wyf am gusanu y Llyfr hwn nes i mi wybod pwy sydd i dalu i mi am fy nhrafferth." Y Barnydd a atebodd, "Rhaid i chwi, onidè mi a'ch rhoddaf yn y carchar." Yna dywedodd Eaton "Fy Arglwydd, treuliais lawer o flynyddoedd yn ngwasanaeth ei Fawrhydi—a gwyddoch fod hen filwr yn hoffi cael ei dâl bob amser." Atebai y Barnydd, "Telir eich cost i chwi." Yna efe a gymmerodd lŵ, ac a ddywedodd, "Gwelais y carcharor yn cynnyg modrwy i fy ngwraig am 1s. 6c. Mi a welais fodrwy o'r blaen ar fys y wraig—ond ni fu erioed mor ddigywilydd ag i ofyn iddi am gael ei gweled.

*James Wild*, Swyddog Heddwch. Daliais y carcharor, a chefais y fodrwy yn ei feddiant. Byddai yn hel carpiau yn fynych. Geilw ei hun yn Fasnachydd lliain. Dywedodd wrthyf iddo gymmeryd y fodrwy.—Cafwyd ef yn EUOG.—*Pedwar mis o garchar*.

SESSIWN ABERTEIFI.—Yn y Sessiwn ddiweddaf yn Aberteifi, rhoddodd un o'r ymddiffynwyr mewn dadl oedd i gael ei brofi, yr hwn oedd wedi clywed son am ddywediad Walpole, fod gan bawb ei bris, a roddodd £10 mewn llythyr, ac a'i

[illegible]wyddodd i'r Barnydd, Sir James Alderson, ychydig cyn iddo ddyfod i'r Llys. Efe a roddodd hysbysiad tra manwl i'w Arglwyddiaeth ynghylch y ddadl, ac erfyniai arno wneuthur ei oreu o'i blaid ef. Ond gan fod cariad at gyfiawnder, ofn Duw, a thynged Bacon, ger bron llygaid y Barnydd, ei Arglwyddiaeth a fynegodd yr hyn a dderbyniasai yn ebrwydd wedi ei ddyfodiad i'r Llys, ac a ddatganodd ei fwriad i gyfarwyddo yr *Attorney General* i gyhuddo y dyn am y trosedd. Y dyn a anfonasai y llythyr a lanwyd o syndod, ac ni allai ddirnad pa fodd y gallai un cyfreithiwr ei gospi am wneuthur fel y mynai â'i eiddo hun. O'r diwedd y Barnydd a adferodd yr arian i'r hwn a'i danfonasai, gan ei gynghori i ymogelyd rhag bod yn euog o'r fath beth rhagllaw.

---

*Llofruddiaeth creulon.*—Gyda theimladau o arswyd yr ydys yn traethu yr hanes canlynol am lofruddiaeth creulon a gyflawnwyd gan yr adynod cigyddlyd sydd yn tramwy ar hyd wlad yr Iwerddon. Y gwr a laddwyd oedd Mr. Richard Marum, o Aherny, yn *Queen's County*, Goruchwyliwr dan George Healy, Ysw. o *Violet Hill*, yn Swydd *Kilkenny*. Gellir ymddibynu ar gywirdeb yr hanes canlynol:—Yr oedd Mr. Marum yn trin tyddyn yn *Queen's County*, a thyddyn a elwid *Bornessa*, yn Swydd *Kilkenny*. Yn niwedd mis Gorphenaf aeth Mr. Marum at y tyddyn diweddaf hwn, i'r diben i gael lladd y gwair ar y gweirgloddiau; ac i'r perwyl hwn efe a gyflogodd weithwyr o'r gymmydogaeth. Ar ol y diwrnod cyntaf yr oedd arnynt eisieu ychwaneg o gyflog: Mr. Marum a gydsyniodd â'u cais. Y diwrnod wedi hyny gofynasant am godiad yn eu cyflog, yr hyn a nacâodd Mr. Marum; a'r llafurwyr a adawsant eu gwaith. Wedi hyn Mr. Marum a anfonodd am y gweithwyr oddiar ei dyddyn arall yn *Queen's County*, y rhai a ddechreuasant ar eu gwaith; ond boreu dranoeth, bu gorfod arnynt roddi heibio, oblegid eu bod wedi cael rhybydd gan y *Whitefeet*. Oddeutu deg o'r gloch yr un boreu yr oedd Mr. Marum, yn sefyll yn ngweith-dŷ y saer, ynghyd â gweithiwr y saer, pan ruthrodd tri o ddieithriaid i mewn ato ef, heb un gorchudd arnynt. Gwaeddasant yn ebrwydd, "Cawsom afael ynoch yn awr, yr adyn genych, buom er's tro yn chwilio am danoch." Annelasant law-ddryll ato—efe a erfyniodd am ei fywyd; ond y dyhiryn a'i daliodd a saethodd yr ergyd, a llawer o'r haels a dreiddiodd i'w gorph ef; ac efe a syrthiodd i lawr yn gelain wrth eu draed. Y dyhirod wedi hyn a gurasant ei wyneb mor dost, fel o'r braidd y gallai ei geraint ei adnabod. Wedi cyflawni y weithred ysgeler, hwy a ddiangasant, ac ni chlywyd gair o sôn am danynt. Gweithiwr y saer sydd wedi myned ymaith. Yr oedd amryw o weithwyr Mr. Marum yn agos i'r tŷ, ac ni allent lai na chlywed yr ergyd, a gweled y dynion yn dyfod allan o'r gweithdŷ; er hyny goddefasant i lofruddion eu meistr i ddianc ar ganol dydd. Un o honynt, pan holwyd ef gyntaf, yr adnabyddai efe y dyn a saethodd yr ergyd pe gwelai efe ef ym mhen yr 20 mlynedd; ond pan holwyd ef wedi hyny, gwadodd eu bod yn gwybod dim yn eu cylch. Ychydig o flynyddoedd yn ol cafodd ewythr i Mr. Marum ei ladd gan fagad o derfysgwyr.

*Ymweliad y* Duges o Gaint, *a'r* Dywysoges Victoria *â Chymru.*—Y mae ei Breninol Uchelradd y *Duges o Gaint*, a'i merch, y *Dywysoges Victoria*, yn bresennol yn Beaumaris, wedi bod yn ymweled âg amryw fanau yn Nghymru er ys ychydig ddyddiau yn ol. Croesawyd hwynt ym mhob man gyda phob llawenydd a gwresawgrwydd gan ein cydwladwyr y Cymry, yr hyn nis gallai lai na chyffroi teimladau cyfatebol yn yr Ymwelwyr Breninol. Yr ydys yn disgwyl y *Dug o Sussex* hefyd, brawd i'n Brenin grasusaf, i ymweled â Môn, ac i aros, dros ychydig amser, yn y Plâs Newydd, annedd Ardalydd Môn. Hysbysir fod y *Duges o Gaint* wedi cyfranu 200 o bunnau ym mhlith y Cymdeithasau Elusengar yn Beaumaris.

*Teyrn-fradwriaeth.*—Dennis Collins, yr adyn truenus a daflodd y gareg at ei Fawrhydi y Brenin, ar redegfa *Ascot Heath*, ychydig amser yn ol, a ddygwyd i'w brofi yn Sessiwn Abingdon, yr 22ain o Awst, a chafwyd ef yn euog. Dedfrydwyd ef i gael ei grogi yn gyntaf, ac wedi hyny i'w ben gael ei dori ymaith, a'i gorph gael ei ranu yn bedwar aelod, ac yna cael gwneud âg ef fel y rhynga bodd i'w Fawrhydi. Gwrandawodd y carcharor y ddedfryd arswydus yn hollol ddigyffro. Tybia rhai na fydd i'r ddedfryd gael ei chyflawni arno.

*Marwolaeth dau Offeiriad duwiol drwy y Cholera yn yr Iwerddon.*—Y Parch. Mr. Barton, Gweinidog Eglwys Upper Shandon, yn ninas Cork, a gymmerwyd ymaith gan y clefyd enbydus hwn. Ar y 29ain o Orphenaf, Mr. Barton a draddododd bregeth yn rhagorol iawn, yr hon a fwriadodd orphen ar y Sabboth canlynol. Ond, Och! ei weinidogaeth sydd wedi darfod! ac yntau wedi ei gasglu i fysg y Gweinidogion ffyddlawn hyny ag ydynt yn derbyn gwobr tragywyddol eu llafur a'u hymdrechiadau! Braidd y terfynodd ei ddyledswyddau cyhoeddus ar y Sabboth uchod cyn iddo gael ei daro gan y clefyd; a chyn deg o'r gloch boreu dranoeth, yr oedd wedi ei gôfrestru ym mhlith y trangcedigion. Yr oedd yn dra dyfal yn yr Yspytai cyhoeddus, yn gweinyddu cymmorth i'r

cleifion, a chysur i'r rhai oeddynt bron a marw.—Yr Offeiriad duwiol arall oedd y Parch. J. A. Johnson, yr hwn a glafychodd yn y boreu, ac a drengodd cyn y nos. Yr oedd yn ddibaid yn ei ymdrechiadau i leihau arteithiau y rhai a ddaliwyd gan y *Cholera*, a'i ddiwydrwydd yn hyn a barodd ei farwolaeth.

*Terfysgwyr yn yr Iwerddon.*—Y mae y Llywodraeth yn penderfynu cospi pawb a geir yn euog o ymgynnull ynghyd i ryw ddiben anghyfreithlon. Amryw o foneddigion a gymmerwyd i fynu am y trosedd hwn, ac y maent i gael eu profi yn ddioed yn Nulyn. Mewn rhai parthau o'r wlad, er fod y dystiolaeth mor eglur ag sy modd yn erbyn y carcharorion; etto, y Rheithwyr a ofnant ddyweyd eu bod yn Euog, rhag ofn iddynt hwy eu hunain gael eu llofruddio gan y terfysgwyr.

*Y Cholera Morbus.*—Gellir hyderu fod y clefyd hwn yn lleihau ym mhob parth o'r Iwerddon, oddieithr Dublin; a disgwylir y bydd i ymdrechiadau clodwiw yr awdurdodau lwyddo i symud pob budreddi, y rhai ydynt i raddau mawr yn achosi y clefyd.

---

## CYMMREIGYDDION CAERLUDD.

"Anghyfaeliwr anghyfrdelid llan,
"Dychystudd bru, bro lid."

Mr. Gwyliedydd—Rhyfeddawl oedd genym weled llythyr annysgymmodawl eich Gohebydd *Griffith Davies*, yn y Rhifyn diweddaf o'ch Greal, yn difriaw y Gymdeithas uchod yn ddiachos. Pa beth a'i cynhyrfodd ef i ysgrifenu y cyfryw sydd anamirnadwy i ni. Gallasai ymadael â'r Gymdeithas heb ei goganu, ie, yr oedd wedi ymadael er ys talm yn ddiwarthrudd. Etto, wele efe yn bresennol yn rhyddori, mewn dull difwyn ac anolo! Cyhudda y Gymdeithas o "ddileu un o'i rheolau a waharddai ymyraeth â phyngciau gwladol," yn groes i'w feddwl ef. Ond yr oedd y Cyfaill yn y Gymdeithas pryd y penderfynwyd i *ymdrin â phyngciau gwladol, gan belled ag y perthynent i'r Dywysogaeth, er lles y cyffredin o genel y Cymmry.* Hyny, yn unig, a ganiatâ y Gymdeithas etto, ac nid *gwleidineb* yn gyffredinawl. Hyny a olygai *Mr. Griffith Davies* yn *fuddiol;* canys, medd efe yn y Gwyliedydd am fis Ebrill diweddaf, tu dal. 109. "Ac ni fynwn chwaith i neb gasglu fy mod yn ystyried cywir wybodaeth am natur llywodraeth a'i chyfreithiau, yn nghyd â'i hamrywiol sefydliadau, yn anfuddiol i'r cyffredin i ymdrechu gwneuthur eu hunain yn gyfarwydd am danynt." Gan hyny, paham y cyhudda efe y Gymdeithas am ymdrechu i gyrhaedd yr hyn na fynai ef i neb gasglu neu olygu yn *anfuddiol.*

Am i bethau gwrthbleidiol a chythruddol ymddangos dan enw y Gymdeithas yn rhai o'r Cyhoeddiadau Cymmreig, barned darllenyddion y Dywysogaeth—os gwnant hyny yn *ddiduedd,* credym na chyfrifant mal *Efe.* Fe allai mai at y Ddarlith a ymddangosodd yn y *Seren* am fis *Gorphenaf* ac *Awst* y cyfeiria efe, ond gwel pawb a'i darlleno mai nid dan *enw y Gymdeithas* yr ymddangosodd hon, ond dan enw yr *Awdwr.*

Hysbysa *G. D.* i'w gydwladwyr ei fod yn hollol ymwrthod âg ymgecraeth a gwrthbleidiaeth, felly y mae *Cymdeithas y Cymmreigyddion,* er ei sefydliad hyd yn bresennol, y mae ei rheolau yn gwarafun y cyfryw, er fod weithiau rai o'r Aelodau, ac y gellir dywedyd megys yn bresennol—

"Daith draws, ni wnei dithau draw,
"Amgenach nog ymgeiniaw."

Ond yn y Gymdeithas nid oes y cyfryw annyfuedd. Ac am y "dychymmygion disail a draddodir weithiau yn Nghyfarfodydd y Gymdeithas," &c. yr ydym yn eu *diarddelwi*—ni chefnogir un peth disail gan y Gymdeithas—ac ni feithrinir dychymmygion ynddi—ond fe allai mai dychymmygion y geilw ef *amrywiaeth golygiadau;* y Gymdeithas a farna fod amrywiaeth golygiadau yn tueddu i fuddioldeb, yn gymmaint ag nad oes dim yn fwy effeithiol nag ymddadleuaeth i ddiddymu y gorchuddion a arosant rhwng meddyliau dynion a'r gwirionedd, felly cefnoga ymddadleuaeth, ond ymogelir rhag pethau dychymmygiadawl yn yr ymddadleuaeth.

Y cyfaill a hysbysa i ddarllenwyr y *Gwyliedydd* ei fod wedi tynu ymaith *ei enw* o'r Gymdeithas Gymmreigyddawl, &c. Paham? Am ei bod yn meithrin gwybodaeth gyffredinawl!! Efe a ofynodd yn y *Gwyliedydd* am fis Mehefin, 1830, tu dal. 213. fel hyn—"Pa Gymro, a haeddai yr enw, a all barhau yn ddigyffro i edrych ar ein cymmydogion gogleddol yn heidio i lenwi y sefyllfaoedd mwyaf parchus o'r naill ben o'r ynys hyd y llall, a gweled ei gydwladwyr, megys caethweision, yn ennill eu bywioliaeth gyd â'r galwedigaethau iselaf?" Pa fodd y maent felly? Yn ol ei eiriau ef yn tu dal. 214. "Un o'r prif achosion o'r gwahaniaeth rhyngddynt hwy a ninnau yw, eu bod hwy wedi blaenori mewn meithriniad gwybodaeth gyffredinol," &c. Er hyny, wele efe yn y *Gwyliedydd* diweddaf yn difriaw y Gymdeithas o herwydd ei bod yn ymegniaw i feithrinaw a chyfranu gwybodaeth wiedyddawl, wyddorawl, gelfawl, gyffredinawl, ac angenrheidiawl, er buddioldeb cenel y Cymmry!! Rhyfedd mor anwadal yw dyn! Er hyn oll y mae gan y Gymdeithas *barch* at y cyfaill *G. Davies,* ac y mae yn arwybodus o'r defnyddioldeb a allai *efe* wneuthur, pe byddai yn fwy *cedawl.* Diweddwn gyda dywedyd,

"Nag esgar yn annhrwyadyl â ni
"O angwarth i'r gynnadyl."

Ac ydym, Ewyllyswyr da i bawb, dros y Gymdeithas,

Ieuan ab Gruffydd, }
Richard Thomas, } *Ysgrifenyddion.*

---

## HYSBYSIAD LLEENYDDAWL.

Y mae yn ddywenydd genym allel hysbysu i'n darllenwyr fod yr hynafiaethydd clodwiw Richard Llwyd, Ysw. o Gaerlleon, yn parotoi i'r Wasg, Ail-argraffiad o'r Awdl benigamp hono, a elwir "*Beaumaris Bay.*" Dilys genym y bydd hyn yn achos o lawenydd nid bychan gan amrai o'n cyfeillion.

Y GWYLIEDYDD.

LLYFR IX.] HYDREF, 1832. [RHIF. 114.

## HANES BANGOR.

*(Parhad o du dal. 227.)*

GAN ddarfod eisoes, mewn Rhifynau blaenorol, roddi adroddiad lled helaeth o ddechreuad a chynnydd, adfeiliau ac adferiadau tref a phrif eglwys Fangor, mae yn orphwysedig etto roddi brâs hanes o'r Preladiaid a lanwasant y gadair esgobawl yno o'r dechreu* hyd yn awr, mor belled ag y mae genym hysbysrwydd o honynt ar glawr coffa.

Mynegwyd yn barod (yn tu dal. 161.) pwy oedd yr Esgob cyntaf yma, sef DEINIOL ab DUNOD, yr hwn a fu farw yn y flwyddyn 554. O'r pryd hwn, hyd ddechreuad y nawfed ganrif, nid yw yr hanes ond lled betrus; eithr y nesaf y mae genym hysbysrwydd o hono oedd

ELFOD, un o hiliogaeth Caw ab Geraint ab Erbin, yr hwn, yn flaenorol i'w ddyfodiad yma, a fuasai mewn dyrchafiad eglwysig yn Nghaer Gybi ym Môn. Efe a fu farw tu a'r flwyddyn 809, ac a ddilynid gan

MORDAF; prif hynodrwydd yr hwn oedd cael o hono ei ddewis gyda Marchlwys a Blegrwyd i fyned efo Hywel Dda i Rufain i ymgynghori ynghylch diwygiad cyfreithiau Cymru. A hyny a ddigwyddai tu a'r flwyddyn 926. Y nesaf y mae genym draddodiad am dano oedd

HERWALLT (os yr un a Herveus, gan fod y Saeson a'r Lladinwyr yn gwneud y fath artaith ar enwau Cymreig, fel y mae yn anhawdd eu gwahaniaethu.) Fe allai mai nid un o'r Cymry oedd hwn, gan ein bod yn clywed eu bod hwy ac yntau yn methu cyd-ddwyn â'u gilydd, fel y bu orfod iddo ffoi dan nawdd y brenin Harri I. yr hwn a'i gosodai yn Esgobaeth Eli, lle y bu farw yn 1131, ac a ddilynid yma gan

URBAN, yr hwn, wedi aros yma tua deuddeng mlynedd, a symudai i Landâf, gan roddi ei le i

DDAFYDD, gwr o'r Alban, am yr hwn yr adroddir ddarfod iddo, ar ddymuniad ei ragflaenor, gydsynio â symudiad corph yr hen Esgob Dyfrig o Ynys Enlli i Landâf, yr hyn a ddigwyddai yn 1120. Ar ol hwn deuai

MEIRIG, yr hwn ydoedd Gymro, mae yn debyg, yn gymmaint ag yr adroddir mai cyndyn iawn yr ymroddai i dyngu ffyddlondeb i frenin Lloegr. Efe a fu farw yn 1161, ac a ddilynid gan

GWILYM, yr hwn a fuasai Brïor Caer Odor, ac a gyfrifid yn ŵr nodedig ei ddysg a'i ddyhewyd. A'i ddilynwr ef, meddir, oedd

GUY RUFFUS, estron yma, tebygol, wrth ei enw, ac a fu farw 1190, gan roddi lle i'w enwocach, sef

GIRALDUS CAMBRENSIS, prïodor o Ddinbych-y-Pysgod, yn Swydd Benfro, ac o waedoliaeth Ffleminaidd. Cafai ei ddwyn i fynu ym mhrif Athrofa Paris, ac ar ei ddychweliad oddi yno cynnygid iddo Esgobaeth Tŷ Ddewi; ond gwrthododd hi, gan fyned gyda Baldwyn, Archesgob Caergaint, i bregethu rhyfel y groes; ar ol yr hyn y cynnygid iddo Esgobaeth Bangor ac un Tŷ Ddewi; ond gan nad oedd y Cymry yn ei ystyried yn un o'u cenedl, gwrthwynebent ei etholiad, a bu farw yn 1215. Ar ei wrthodiad ef o'r Esgobaeth hon, dewisid

ALAN, alias ALBANUS, Prïor o frodoriaeth St. Ioan o Jerusalem; etholid ef yma ar yr 16eg o Ebrill, 1195; ond bu

* Gan ddeall o gasglydd yr hanes yma fod rhai beirniaid manylgraff yn beio ar yr hyn a grybwyllwyd yn y dechreu, drwy gyfrif "Bangor yn Esgoble hynaf ym Mrydain," nid oes ganddo ond tystio mai felly y dywedid yn yr hen hanes oedd y pryd hwnw o'i flaen; er mai diogelach fuasai dywedyd, *ei fod yn un o'r rhai hynaf yn Nghymru.*

farw cyn pen blwyddyn, a chymmerid ei le gan

RHOBERT o'r Amwythig, am yr hwn y soniwyd eisoes, yn tu dal. 225. Bu efe farw yn 1212, ac ar ei ddymuniad ei hun a gleddid yn marchnadfa yr Amwythig! Gwedi hyn bu y gadair Esgobawl yn wag yma am flwyddyn neu ddwy, o herwydd yr ymryson rhwng ein Tywysog Llywelyn ab Iorwerth a'r brenin Ioan. A'r Prelad nesaf a gofnodir yw

CADWGAN, Cymro, mae yn debyg, gwr o ddysg mawr (meddant hwy) ac awdwr amrywiol o lyfrau. Ond blinodd ar y swydd Esgobawl, ac aeth yn Abad i ryw le yn Swydd Henffordd, yn y flwyddyn 1235, ac yno y bu farw yn 1241. Ar ei ymadawiad ef daeth yma ryw

HYWEL, am yr hwn nid oes genym ddim coffa o hynodrwydd, oddigerth y dywedir mai efe a gyssegrai Fynachdy* Llanfaes, yn Môn, a adeiliid gan Lywelyn ab Iorwerth ar fedd ei wraig, y Dywysoges Joan, merch brenin Lloegr, yn y fl. 1240. Fe weddai nad arosai yn Mangor oddiar ddwy flynedd, a chymmerid ei le gan y

RISIARD, a esgymunodd Dafydd ab Llywelyn, tywysog Cymru, tu a'r flwyddyn 1241, yr hon weithred a ddug arno ŵg a chynddaredd y genedl, fel y bu orfod arno adael y wlad, a myned i fyw ar elusenau y Mynachdai hyd Loegr dros weddill ei oes; a'r gadair Esgobawl a gymmerid gan

ANIAN, Archddïacon Môn, yn 1268. Gan ddigwyddo ei fod ef yn Esgob yma ar yr amser nodedig y genid mab i'r brenin Edward I. yn nghastell Caernarfon, efe a gaffai yr anrhydedd o'i fedyddio; ar yr hyn achlysur yr ennillai ddirfawr ffafr yn ngolwg y brenin hwnw, ac aneirif freinniau a meddiannau a chwanegid at yr Esgobaeth ar y dwthwn, llawer o ba rai sydd yn glynu wrthi hyd heddyw. Y Prelad hwn a fu fwy llafurus a hewydus nag odid, ac a fu offerynol i ddiwygio a a rhëoleiddio trefniadau tymhorol ac ysprydol yr Eglwys. I'r dibenion hyn efe a wysiai gymmanfa o Eglwyswyr yn Mangor, yn y flwyddyn 1291, lle y cytunid ar y trefniadau crybwylledig; a thrwy gefnogaeth y brenin, fe gadarnhëid y cwbl. Bu yr Anian hwn fyw hyd henaint têg, a thu a'r flwyddyn 1305, efe a gleddid yma, a chymmerid ei le gan

GRUFFYDD ab IORWERTH; am ba un nid oes genyf ond coffa ei farwolaeth yn 1309, gan gofnodi yn nesaf

AIAN SAIS, yr hwn a urddid yma ar y 9fed o Dachwedd, 1309; ac yn 1313 cadarnhëid iddo gan Edward II. yr holl freinniau a gyflwynasai ei dad i'r Anian cyntaf. Dywedir hefyd ddarfod iddo gael ei gladdu yn yr Eglwys Gadeiriol yma, rhwng y gangell a'r allor, yn 1327; ac ar ei ol daeth

MATTHEW ab RHIRID, urddiad pa un a amserir ar y 12fed o Fehefin, 1328, ac efe yn ddeugain oed. Hwn a dra molienaid gan Feirdd ei oes, nid yn unig, yngatfydd, o ran ei rinweddau ei hun, eithr hefyd oddiar gydmhariaeth â chynneddfau ei olynwr

THOMAS RINGSTEAD, yr hwn, er ei gydnabod yn wr helaeth ei ddysg a'i wybodaeth, a ddangosai ragfarn anhygar tu ag at y Cymry yn fyw ac yn farw, gan ddarbod yn ei lythyr cymun na chaent na'i gorph na'i gyfoeth. Cleddid ef yn Llundain yn 1365, ac ar ei ol daeth gwr o'r enw

GERVASE de CASTRO, un o'r un frodoriaeth *(dominic)* a'i ragflaenor, ond gwell ei grêth a'i grebwyll: efe a gyfarwyddodd fod i'w gorph gael ei ddaearu yn nghôr Mynachdŷ Bangor, lle hefyd y tybir y cawsai ei ddwyn i fynu: efe a fu farw yn 1370. Ei le a lanwyd gan Brelad arall o'r enw

HYWEL ab GRONW; Cymro, mae yn amlwg: ond cyn cael blwyddyn o fwynhâd, bu farw yn Rhufain, lle yr aethai i ymgynghori ar ryw faterion eglwysig. Ei ddilynwr ydoedd

IOAN GILBERT. Hwn a gaffai gadarnhâd adnewyddol o freinniau yr Esgobaeth. Eithr ar ol bod yma tua phedair blynedd, efe a symudid i Henffordd yn 1375, ac oddi yno yn 1389 i Dŷ Ddewi; a chleddid ef yn 1397 yn Mynachdŷ Hwlffordd, yn Swydd Benfro. Ar ei symudiad ef i Henffordd, etholid

IOAN SWAFFHAM, priodor, mal y tybir, o Swydd Norffolk, ac a droeglwyddid yma yn wobrwyol am wrthwynebu athrawiaeth

* Beaumaris Bay, p. 10.

yr enwog ddiwygiwr Wicliff. Cyn ei ddyfodiad i Fangor yr ydoedd yn Esgob Cloyne, yn yr Iwerddon. Ond pa hyd y bu yma, na pha bryd, na pha le y gorphenai ei hoedl, sydd anhysbys. Pa fodd bynag, rhoddir ar ddeall i ni ddarfod ethol i'r Esgobaeth hon yn Hydref, 1399, ŵr o'r enw

Richard Younge; eithr o herwydd bod amgylchiadau y Dywysogaeth mor derfysglyd yn y dyddiau hyny, pan y diorseddid y brenin Richard II. i roddi lle i Harri IV. anfonid y Prelad hwn i'r Almaen, cyn ei ddyfod i gyflawn feddiant o'r Esgobaeth, i roddi cyfrif am helyntion y ddau frenin crybwylledig; ac o ethryb tariaw o hono yn y wlad hòno yn faith, cymmerai Archesgob Caergaint y breladiaeth i'w ddwylaw ei hun, ac anfonid Younge i Esgobaeth Rochester, lle y sefydlai hyd ddydd ei farwolaeth yn 1419. Yn y cyfamser, ni oddefid i Archesgob Caergaint mo'r arferyd ei awdurdod yma, o herwydd fod ein cydwladwr Owain Glyndwfr wedi cymmeryd meddiant o'r Esgobaeth hon ac un Llan Elwy, ac wedi dodi y ddwy brif eglwys ar dân, gan bennodi yma Esgob o'i ddewisad ei hun, sef

Llywelyn Byfford, yr hwn, er hyny, ni chymmeradwyid gan yr Archesgob na chan y brenin; eithr dodwyd ef heibio fel gormesydd, ac nid oes gwybod yn iawn beth a ddaeth o hono: bernir ei farw tua 1410, trâ yn y cyfamser yr oedd y brenin a'r Pab wedi cytuno i bennodi

Nicholas Bennett, yr hwn a fu yma rhwng gafael a gollwng hyd 1417, pan y trosglwyddid ef i Esgobaeth Tŷ Ddewi, lle y bu farw yn 1433. Ar ei ymadawiad pennodid

William Barrow, Canonydd Caer-Lwydcoed *(Lincoln)* yr hwn, yn 1423, a symudid i Gaer-Alclyd *(Carlisle)* lle y bu farw yn 1429; ac ar ei ol deuai

Ioan Cliderow, priodor, mal y bernir, o Romney, yn Swydd Caint, ac yn ŵr o gymmeriad mawr yn y llŷs, ac o herwydd hyny a gaffai gadarnhâd ac ychwanegiad ym mreiniau yr Esgobaeth hon. Bu farw yn Llundain yn 1435, ac a gleddid yn Crayfford, yn ei wlad enedigol; a dilynid ef yma gan

Thomas Cheryton, yr hwn a lanwai y gadair hyd y flwyddyn 1448. Nis gwyddis yn iawn pa le y cleddid ef. A'r nesaf oedd

John Stanbery, gwr o Rydychen, yn cael ei gyfrif yn dra dysgedig, o herwydd paham y darfu y brenin Harri VI. ei osod yn brif athraw ei Goleg newydd yn Eaton. Ar ol meddiannu Bangor am bum mlynedd, rhoddid iddo Esgobaeth Henffordd, lle y sefydlai hyd ei farwolaeth yn 1474. Bu farw yn Llwydlo, a chleddid ef yn Eglwys Gadeiriol Henffordd, lle hefyd y cyfodid iddo gôf-adail ysblenydd, ac argraff helaeth o ganmoliaeth a hanes ei ysgrifeniadau. Ar ei ymadawiad o Fangor, rhoddid ei swydd i

Iago Blakedon, Esgob o'r Iwerddon, yr hwn a fu yma hyd ei farwolaeth yn 1464, pan y rhoddid ei le i

Richard Ednam, priodor o Swydd Norffolk. Yn y flwyddyn 1468, anfonai ei gŵyn at Bab Rhufain am chwanegiad at elw ei Esgobaeth, yr hon, meddai ef, ni thalai y pryd hyny ddim dros gan punt yn y flwyddyn; a'r Pab a genadai iddo gymmeryd rhyw fywiolaethau yn ei Esgobaeth i'w dal iddo ei hun a'i olynwyr. Bu yma hyd ei farwolaeth yn 1496, a bernir ei gladdu yn Eglwys Gadeiriol Stoke Clare, yn Swydd Suffolk. Ei olynwr oedd

Henry Dean, priodor o Swydd Gaerloyw, ac mewn cymmeriad mawr gyd â'n cyd-wladwr Harri VII. yr hwn a'i trosglwyddai oddi yma i Esgobaeth Caer Caradoc *(Salisbury)* yn 1500, ac yn y flwyddyn ganlynol a'i gwnai yn Archesgob Caergaint, lle y cleddid ef ym mhen dwy flynedd wed'yn. Dangosai hewyd nid bychan i wellâu Bangor, fel y dangoswyd eisoes, yn tu dal. 225. Ar ei ymadawiad, urddid

Thomas Pigot, priodor o Swydd Ddinbych, ond yn preswylio yn Abattŷ Chertsey, yn Swydd Surrey, lle y bu farw ac y'i cleddid yn 1504; gan adael ei le i

John Penny, Abad Caer Lŷr *(Leicester)* lle y bu farw ac y'i cleddid, er ei wneuthur yn Esgob Caer Alclyd, yn 1508, pryd y rhoddid Bangor i

Thomas Skeffington, hanes yr hwn a roddwyd eisoes, yn tu dal. 226, a'i ddilynydd oedd

John Salcot, cyfaill mawr i Harri VIII. o herwydd ei gynnorthwyo i ysgar

cyn cymmeryd meddiant yn Mangor, bu farw, a chleddid ef yn Nulyn. Ei ddilynwr oedd

ROBERT MORGAN, prïodor o Landysilio, yn Swydd Dre Faldwyn. Ar ol bod o hono yn Gaplan i'r Esgob Dolben, a chael amryw ddyrchafiadau eglwysig, rhoddwyd iddo y meitr yn 1666, ac a'i gwisgai hyd 1673, pan y cleddid ef yma o du deheuol y ganghell, gwel tu dal. 227, lle y sonir hefyd am ei ddilynwr

HUMPHREY LLWYD, prïodor o Fod-y fuddai, ym mhlwyf Trawsfynydd, ac yn deilliaw oddiwrth Dafydd Goch o Benmachno, mab naturiol Dafydd, brawd Llywelyn, tywysog olaf y Cymry. Hwn a fu ddiwyd a haelionus i ddiwygio a helaethu breinniau yr Esgobawd, ac a fu farw ac a gleddid yma yn 1688, mal y crybwyllwyd yn tu dal. 227. A'r Esgob nesaf oedd

HUMPHREY HUMPHREYS, yr hwn a enid yn Mhenrhyn-deudraeth, yn Swydd Feirionydd, yn 1648. Gwneid ef yn Beriglor Llanfrothen yn 1670, a Thrawsfynydd a Llaniestyn yn 1675, ac yn Ddëon Bangor yn 1680, ac yn Esgob yn 1689. Trosglwyddid ef i Esgobaeth Caerffawydd (*Hereford*) yn 1701, lle y bu farw ac y cleddid ef yn 1712. Ar ei symudiad o Fangor, cymmerid ei le gan

JOHN EVANS, yr hwn a enid yn y Plasdu, ym mhlwyf Llanarmon. Daeth i'r gadair hon yn 1701, a symudid ef i Esgobaeth Meath, yn yr Iwerddon, yn 1715; pan y cymmerid ei le gan

BENJAMIN HOADLEY, prïodor o Swydd Caint. Hwn oedd y Sais cyntaf a wneid yn Esgob yma ar ol y Diwygiad Protestanaidd; ac ni bu yma Gymro mwyach hyd heddyw, yr hyn sydd sarhâd o'r mwyaf ar ein cenedl, ac yn anfantais ddirfawr i Eglwys Sefydledig y Dywysogaeth; ac (fel y sylwa un ysgrifenydd treiddgraff yn ddiweddar) yn achlysur arbenig o ymneillduad y trigolion. Yn 1721, symudid Hoadley i Gaerffawydd, ac yn 1723, i Gaer Caradog, ac oddi yno i Gaerwynt (*Winchester*) yn 1734. Yr Esgob nesaf yn Mangor oedd

RICHARD REYNOLDS, yr hwn a symudid i Gaer-Lwydcoed (*Lincoln*) yn 1723, ac a ddilynid yma gan

WILIAM BAKER, yr hwn, yn 1727, a gymmerai Esgobaeth Caer Cynan (*Norwich*) gan adael hon i

DOMAS SHERLOCK, gwr tra dysgedig a doniol; ond ymadawai oddi yma yn 1734, i fyned i Gaer Caradog, gan adael ei swydd i

CHARLES CECIL, oedd cyn hyny yn Esgob Caer Baddon. Dechreuai adgyweirio yr Esgobty; eithr gan farw yn 1737, o'r gŵst yn ei gylla, rhoid ei le i

DOMAS HERRING, Dëon *Rochester*, yr hwn, yn 1743, a symudai i Gaer Efrog, ac ac oddi yno i Archesgobawd Caergaint, lle y bu farw yn 1757. Ar ei ymadawiad oddi yma, rhoddid ei swydd i

FATTHEW HUTTON, yr hwn a ddilynai dreigl ei ragflaenor, gan adael ei le yn 1747 i

ZACHARY PEARCE, yr hwn a symudai i *Rochester* yn 1756, pan y cymmerid ei swydd gan

JOHN EGERTON, brawd i Ddug cyntaf *Bridgewater*, yr hwn, yn 1769, a symudai i Gaerwenbur, gan adael ei le i

JOHN EWER, yr hwn o'r blaen ydoedd yn Esgob Llandâf. Bu farw yn 1775, a deuai ei le yn rhydd i

JOHN MOORE, yr hwn wedi hyny a fu yn Archesgob Caergaint. Ac yn 1784, daeth

JOHN WARREN, yr hwn a lanwai y Gadair Esgobawl yn Mangor hyd 1800, pan y cymmerid hi gan

WILIAM CLEAVER, Esgob Caerllëon, yr hwn yn 1806 a symudai i Lan Elwy, gan adaw Bangor i

JOHN RANDOLPH, Esgob Caer Fembyr (*Oxford*). Ac yn 1810 cymmerid ei le gan

H. W. MAJENDIE, Esgob Caerllëon, yr hwn yn 1830, a fu farw; a rhoddid y meitr i

CHRISTOPHER BETHEL, Esgob Caerfynydd (*Exeter*) yr hwn yn bresennol a leinw Gadair Esgobawl Bangor.

Felly y mae 'r rhestr i gyd yn cynnwys uwchlaw deg a thriugain o breladiaid wedi eistedd yma o'i sylfaeniad cyntaf hyd yn awr. Ym mron i gyd yn Gymry hyd amser ein gorthrymydd Edward I. ac yn estroniaid o hyny hyd y Diwygiad Protestanaidd, pan yr adferid Esgobion Cymreig hyd ddyfodiad teulu Hanover i'r orsedd; o hyny allan, Saeson i gyd!

Mae Esgobaeth Bangor yn cynnwys y cwbl o Swydd Fôn, a'r cwbl* o Swydd Gaernarfon, oddieithr tri phlwyf, sef Llysfaen, Eglwys Rhôs, a Llan Gwstenyn; mwy na hanner Swydd Feirionydd; chwe phlwyf yn Swydd Drefaldwyn, sef Carno, Llanwynog, Llanddinam, Llangurig, Llanidloes, a Thref-eglwys; a phedwar plwyf ar ddeg yn Nyffryn Clwyd, yn Swydd Ddinbych.

Mae tair Archddïaconiaeth yn perthyn i'r Esgobaeth hon, sef rhai Môn, Bangor, a Meirionydd. Delir y ddwy gyntaf gan yr Esgob ei hun.

Yn 1721, ni chyfrifid trigolion tref a phlwyf Bangor nemawr uwchlaw mil o eneidiau; ond yn bresennol dïau eu bod yn fwy na phedair gwaith cymmaint. O herwydd bod yma gymmaint o weithie ac o deithio, y mae y lle ar gynnydd parhâus. Mae cynnifer o ddiwygiadau o bob math wedi eu gwneuthur yn y dref a'r gymmydogaeth, fel y byddai yn rhy faith crybwyll eu traian o fewn terfynau hyn o hanes. Gan hyderu y difyrir y darllenydd yn yr hyn a adroddwyd, y gorphwysa y cynnulliedydd,

IOTA.

---

## SYLWEDD PREGETH

*A draddodwyd yn Ll——, yn Swydd Dinbych, ar y Dydd Ympryd a gynnaliwyd ar yr 21ain o Mawrth diweddaf o achos y* CHOLERA MORBUS.

JONAH III. 8, 9.

"Dychwelant bob un oddiwrth ei ffordd ddrygionus, ac oddiwrth y trawsder sydd yn eu dwylaw. Pwy a ŵyr a drŷ Duw ac edifarhâu, a throi oddiwrth angerdd ei ddig, fel na ddifether ni?"

Yr amgylchiad dan yr hwn y llefarwyd y geiriau hyn a ellir ei weled yn y bennod o'r hon y cymmerwyd y testyn. Yr oedd Jonah wedi cael gorchymyn gan Dduw i gyhoeddi uwch ben y Ninifeaid, y buasai i'w dinas gael ei dinystrio y'mhen deugain niwrnod, o herwydd gwaeddfawr bechodau 'r trigolion. "Deugain niwrnod fydd etto, a Ninifeh a gwympir." Mawr oedd annuwioldeb y Ninifeaid; yr oedd eu pechodau hwynt yn uchel waeddi am ddial: dywed yr Arglwydd Dduw am danynt, "Canys eu drygioni hwynt a ddyrchafodd ger fy mron." Pan ganfu y Ninifeaid fod Duw yn bwriadu dinystrio eu dinas hwy, ynghyd â hwynt-hwy eu hunain, y maent yn arswydo rhag y fath ymweliad a hwn: "A gwŷr Ninifeh a gredasant i Dduw, ac a gyhoeddasant ympryd, ac a wisgasant sach-lïan, o'r mwyaf hyd y lleiaf o honynt." Ar yr achos hwn fe ymprydia, nid yn unig y rhai iselaf yn y ddinas, ond y Brenin hefyd: ac y'mhellach, fe orchymynir i "ddyn ac anifail, eidion a dafad, na phrofant ddim, na phorant, ac nac yfant ddwfr." Chwi a welwch yma, mai nid dynion yn unig oedd i ymgadw rhag bwyta ac yfed; ond yr oedd gorchymyn y Brenin mor gaeth, nad oedd i ddynion yn y ddinas borthi hyd yn nod eu hanifeiliaid ar y dydd a osodasid i'w gadw yn ympryd." "Gwisger dyn ac anifail," medd y Brenin y'mhellach, "a galwant ar Dduw yn lew: ïe, dychwelant bob un oddiwrth ei ffordd ddrygionus, ac oddiwrth y trawsder sydd yn eu dwylaw. Pwy a ŵyr a drŷ Duw ac edifarhâu, a throi oddiwrth angerdd ei ddig, fel na ddifether ni?" Parod yw un i ofyn, A atebodd yr ymddygiad hwn y diben? a wrandawodd yr Arglwydd ar eu gweddi, pan alwasant ar Dduw yn lew? a arbedodd efe hwynt pan y gadawsant eu pechodau? a dynodd efe ei estynedig fraich a'i fflamllyd gleddyf yn ol ar eu hedifeirwch? Mewn atebiad i hyn, gwrandewch yr hyn a ddywed yr adnod nesaf: "A gwelodd Duw eu gweithredoedd hwynt, droi o honynt o'u ffyrdd drygionus; ac edifarhâodd Duw am y drwg a ddywedasai y gwnai iddynt, ac nis gwnaeth."

Oddiwrth eiriau 'r testyn, cymmeraf achlysur i sylwi yn

I. Mai pechod a drygioni y trigolion yw 'r unig achos fod Duw yn ymweled â gwlad a theyrnas âg unrhyw wialen drom.

II. Mai edifeirwch gwirioneddol am bechod, ac ymadawiad oddiwrth ddrygioni, yw 'r unig foddion trwy y rhai y gallwn ddisgwyl i'r Arglwydd dynu ei gyfiawnaf gosp oddi arnom.

Pa beth a barodd i Dduw yn ddigofus ymweled â'r cynddiluwiaid, a'u boddi

---

* Y brenin Richard II. o dosturi wrth dlodi lleianod (*nuns*) St. Mair, yn Nghaerllëon, a roddai blwyf Llanbeblig a Chapel Caernarfon tu ag at eu cynnaliaeth; ac y mae yr unrhyw yn parhâu yn nghyflwyniad Esgob Caerllëon hyd heddyw, a dwy ran o dair o'r degymau yn myned yno etto, a'r Ficar yn cael y rhelyw.

hwynt oll, ynghyd â'r holl greaduriaid, oddieithr y rhai a gadwyd yn yr arch? Yr oedd rhywbeth ofnadwy wedi ei wneuthur ganddynt i ddigio Duw, cyn iddo benderfynu difetha gwaith ei ddwylaw yn y fath fodd! Nid dim arall oedd ond pechod trigolion y ddaear: canys "Yr Arglwydd a welodd mai aml oedd drygioni dyn ar y ddaear, a bod holl fwriad meddylfryd ei galon yn unig yn ddrygionus bob amser." Pa beth oedd yr achos i Sodom a Gomorrah, Admah a Seboim, ynghyd â'u holl drigolion, oddieithr Lot a'i deulu, gael eu llosgi â thân a brwmstan o'r nefoedd, fel nad oes dim i'w weled yn bresennol ond trymaidd ddyfroedd y môr marw? Nid amgen na phechod gorthrwm y dynion y rhai oeddynt yn preswylio yno. Medd yr angelion wrth Lot, "Ni a ddinystriwn y lle hwn, am fod eu gwaedd hwynt yn fawr ger bron yr Arglwydd." Pechod a drygioni Pharaoh a'i ddeiliaid a ddygodd y deg pla ofnadwy arnynt, ac yn y diwedd a fuant yn achos i'w dadymchwelyd yn y Môr Coch. A phan rwgnachodd yr Israeliaid yn erbyn Moses mewn perthynas i Corah, Dathan, ac Abiram, pa beth a'u goddiweddodd? Bygythiodd Duw eu difa hwynt yn ddisymmwth. Ac er i Aaron redeg ar frys i ganol y gynnulleidfa i wneud cymmod dros y bobl, gan sefyll rhwng y byw a'r meirw, fel yr attelid y pla; etto yn yr yspaid bychan hwn, "Y rhai a fuant feirw o'r pla oedd bedair mil ar ddeg a saith gant."

Fe ballai amser i mi osod ger bron yr aneirif siamplau a geir y'ngair Duw i brofi mai pechodau dynion yw 'r achos fod yr Arglwydd yn ymweled â hwynt â cheryddon tost. Yn wir, ond i ni ddarllen gair Duw yn fanwl, ni a gawn weled fod yr Arglwydd yn dadwreiddio teyrnasoedd a gwladwriaethau pan fo'r trigolion, o fychan hyd fawr, o gyfoethog i dlawd, yn ymroddi i annuwioldeb a drygioni, gan anghofio Duw. Onid hyn a ddigwyddodd i freniniaeth yr Aipht, i ymerodraeth Assyria, Babilon, i freniniaethau Israel a Judah, i deyrnas y Groegiaid, ac i eang lywodraeth y Rhufeiniaid? Y mae yn destyn o syn fyfyrdod i bob dyn meddylgar, pan ystyrio fod trigolion y gwledydd hyn a enwyd, y rhai oeddynt gynt yn eu tro y godidocaf yn y byd, yn ein dyddiau ni yn ddistadlaf o bawb. Y mae math o chwyldroad rhyfeddol wedi digwydd i'r teyrnasoedd hyn. Wrth eu hystyried fel teyrnasoedd, y mae llwch angof megys wedi eu gorchuddio. Trwy gyfryngiad Dwyfol Ragluniaeth, sefydlwyd rhai ereill yn eu lle, i edrych a ddwg eu preswylwyr fwy o ffrwyth: ac os na wnant, pa ryfeddod ydyw os bydd i Dduw ymweled â'r rhai hyn, a'u dadymchwelyd yn eu tro, i roddi lle i rai mwy teilwng! Nid ar unwaith ac yn ddirybydd y mae Duw yn gyffredinol yn dadwreiddio pobl, teyrnas, neu lywodraeth. Pan oedd pechod y cyn-ddiluwiaid yn gwaeddi yn uchel am ddïal i syrthio yn ddisymmwth arnynt, etto cawsant ugain mlynedd a chant o rybydd cyn eu cospi. Hir-ymarhous yw Duw wrth ei greaduriaid cyn eu taro. Enfyn atynt rybyddion ysgafn ar y cyntaf; rhydd orchymyn ar orchymyn iddynt trwy ei air, a thrwy ei ymweliadau rhagluniaethol, gan ddisgwyl i'r pethau hyn gael effaith briodol ar ddynion: ond os cenfydd efe fod y rhai hyn yn myned heibio yn ddiargraff, yn diflanu, fel pethau diwerth, disylw o gof ei greaduriaid, heb eu dwyn i ystyried y wialen, a phwy a'i hordeiniodd, fe fydd yr Arglwydd yn sicr o anfon cenhadon mwy nerthol ac awdurdodol at ddynion i'w dihuno o'u cysgadrwydd, a'u didwyllo ynghylch eu dïogelwch gau, efe a enfyn atynt un o'i "bedair drygfarn, ai cleddyf, ai newyn, ai bwystfil niweidiol, ai haint." A phan ddel un o'r rhai hyn i'n gwlad, ni a allwn fod yn sicr mai ein pechodau sydd yn galw am danynt. Medd Duw trwy y prophwyd Eseciel, "Pan becho gwlad i'm herbyn trwy wneuthur camwedd, yna yr estynaf fy llaw arni, a thoraf ffon ei bara hi, ac a anfonaf arni newyn, ac a doraf ymaith o honi ddyn ac anifail."

Wrth droi ein golwg yn ddifrifol at y profion a ddygwyd allan o air Duw, i ddangos mai pechod a drygioni yw 'r achos fod yr Arglwydd yn ceryddu gwledydd â chospedigaethau trymion ac ofnadwy, a allwn ni gelu oddi wrthym ein hunain, mai nid pechod trigolion Ynys Brydain yw 'r achos fod haint echryslon yn ymdaenu yn bresennol gyda rhwysg dychrynllyd trwy amrywiol barthau o'r deyrnas

hon? a allwn ni anturio dywedyd nad oedd ein pechodau wedi bod yn gynnorthwyol i raddau mawrion i dynu 'r clefyd hwn i'r deyrnas hon! Ond i ni droi yn gydwybodol atom ein hunain, fe orfydd arnom gyfaddef gyda chywilydd, a dygn ofid calon, mai euog ydym yn y mater hwn. Nid oes un wlad dan y nefoedd yn fwy lliosog ac yn fwy rhagorol ei breintiau, pa un ai gwladol ai crefyddol, nag Ynys Brydain. Y mae hi, yn wir, trwy drugaredd Duw, o ran rhagorfreintiau, fel Capernaum, wedi ei derchafu hyd y nefoedd; eithr a ydyw ddim yn bryd iddi ddychrynu rhag i'r un ddedfryd ag a gyhoeddwyd uwch ben Capernaum swnio mewn llais taran uwch ei phen hithau, y tynid hi i lawr hyd yn uffern? Os camddefnyddio y bendithion yr ydym yn eu mwynhau a wnawn, os anystyriol o hirymaros a daioni Duw a fyddwn, os byddwn anghofus o'i drugareddau, gan fyned yn fras, fel Jesurun, a gwingo, a chan fyw yn fwy annuwiol o ddydd i ddydd, yn lle bod yn fwy diolchgar, gostyngedig, a duwiol, mewn cymhariaeth i faintioli a rhagoroldeb y breintiau a dderbyniwn fel gwlad, fel teyrnas, ac fel cenedl, oddiar law Duw, nid all yr un o honom ryfeddu os bydd ein cospedigaeth ni yn drymach ac yn fwy llymdost trwy 'r haint presennol nag a fu, neu a fydd ar un genedl dan haul.

Peth dychrynllyd iawn yw plâau a heintiau yn ymgyrchu y'mysg trigolion y ddaear—y maent yn gwneuthur difrod arswydus. Yn y flwyddyn 1665, torodd pla allan yn Llundain, ac a ysgubodd ymaith mewn chwe mis wyth ugain mil o'r dinasyddion. Diboblogid heolydd cyfain: ni chlywid sŵn dim yn yr heolydd ond sŵn y drol yn cludo ymaith y meirw, a llais y gyrwr yn llefain, "Dygwch allan eich meirwon." O herwydd yr anghyfannedd-dra ag oedd yn y ddinas yn yr ysbaid hwnw, tyfasai glaswellt hyd yn nod yn yr heolydd hyny yr arferasid tramwy fwyaf trwyddynt. Dywed hanesion fod y clefyd hwnw, sef y *Cholera Morbus*, wedi dwyn eisoes i'r byd tragywyddol ynghylch hanner can miliwn o'n cyd-greaduriaid, ar ei daith o'r India Ddwyreiniol hyd atom ni; a bod ynghylch 2000 o drigolion Brydain wedi eu clafychu ganddo, er pan ymddangosodd yn y deyrnas hon.* Pa faint yn rhagor a gymmerir ymaith gan y difrod ofnadwy hwn, Duw yn unig a ŵyr. Mae ein pechodau ni yn galw yn uchel am ymweliad o'r fath i ddisgyn arnom, a'n dwyn i lwch y bedd. Ac os parhâu a wnawn yn ein cyflym rwysg o ddrygioni, a chan galedu ein gwarau tan bob cerydd a chosp a anfyn Duw arnom, y mae genym achos cyfiawn i ofni mai trom iawn fydd y wialen bresennol, sef y clefyd ag sydd yn anrheithio ein gwlad. Mae ein pechodau ni, o foneddig hyd wreng, fel gwaed Abel, yn galw am ddial; a gall Duw ddywedyd am danom ni, megys ag y dywedodd am yr Israeliaid gynt, "Onid ymwelaf am y pethau hyn? medd yr Arglwydd: oni ddial fy enaid ar gyfryw genedl a hon?" Dan fygythiad fel hyn oddiwrth Dduw, a phan y mae clefyd blin yn nesâu at ein drysau ein hunain, ai parhâu yn ddiofn yn ein pechodau a ddylem, ynte eu bwrw hwynt oddi wrthym fel ffiaidd bethau? Fe ŵyr pawb o honom pa beth a ddylem wneuthur tu ag at gael ymwared. Os bydd i ni adael ein pechodau, gan edifarhâu yn ddiffuant o'u plegid, gan erfyn, er mwyn haeddiant Iesu Grist, ar i'r Arglwydd eu maddeu hwynt oll, y mae genym le i obeithio, er mor anhaeddiannol ydym, y bydd iddo alw ei angel dinystriol yn ei ol, a'n harbed rhag ein difetha.

Wedi ymdrechu i eglurhau mai pechod sydd yn dwyn dialedd arnom, ystyriwn,

II. Mai edifeirwch diffuant am bechod, a gwirioneddol ymadawiad oddiwrth ddrygioni, yw 'r unig foddion trwy y rhai y gallwn ddisgwyl i Dduw dynu ei gosp oddi arnom.

Mae 'r diwrnod heddyw yn cael ei gadw genym yn Ddydd Ympryd. Mewn agwedd allanol yr ydym, fe allai, yn ymprydio; ond dylem ystyried yn ddifrifol nad yw cadw 'r diwrnod hwn heb fwyta ac heb weithio yn ddigon i ateb y diben y bwriadwyd ef. Ni a allwn ymprydio yn yr ystyr hwn heb fod o un lles ar ol y cwbl, ond yn hytrach niweid yn deilliaw oddi wrtho. Os ydym ni o ddifrif am i'r Arglwydd adael ei fendith ar ein Dydd

* Y mae yn bresennol, Medi 20, dros 27,000 wedi marw yn Ynys Brydain o'r clefyd hwn.

Ymmpryd, y mae yn rhaid i'r galon wylo ac ymofidio o herwydd pechod, y mae yn rhaid i deimlad dwys o'n hannheilyngdod a'n trueni ymaflyd ynom, y mae yn rhaid i fwriad difrifol a diysgog gymmeryd lle i ymgadw rhag pechod. A oes achos tystiolaethu a phrofi nad yw rhagrith o ddim budd i'w berchenog, ond ei fod yn hytrach yn cynhyrfu Duw yn gyfiawn i ychwanegu barn arno? Os ydym ni, ynte, am i'r Arglwydd wrando ar ein gweddïau, a throi oddi wrthym yn ei drugaredd y drwg yr ydym yn ei haeddu, ac yn arswydo rhagddo, mae yn rhaid i ni rwygo y galon, ac nid y dillad, ac ymchwelyd at yr Arglwydd ein Duw am gymmorth yn amser trallod. Ond i ni gystuddio ein heneidiau ger bron Duw o herwydd ein drwg arferion, gan benderfynu ymadael â hwynt o hyn allan, y mae genym le i obeithio y bydd i'r Arglwydd, er mwyn teilyngdod ei anwyl Fab, drugarhau wrthym, a symud ymaith y clefyd blin hwnw, yr hwn nid oes i ni ddiogelwch rhagddo ond yn ei raslawn dosturi ef. Ni a gawn siampl hynod o'i barodrwydd i faddeu, a thosturio wrth ddynion, ar eu hedifeirwch, yn y bennod o'r hon y cymmerwyd y testyn. Pan waeddodd y Ninifeaid yn lew ar Dduw, gan ddywedyd, "Pwy a ŵyr a drŷ Duw ac edifarhâu, a throi oddiwrth angerdd ei ddig, fel na ddifether ni?" ni a ganfyddwn yr effaith daionus o'r fath ymddygiad: "A gwelodd Duw eu gweithredoedd hwynt, droi o honynt o'u ffyrdd drygionus; ac edifarhâodd Duw am y drwg a ddywedasai y gwnai iddynt, ac nis gwnaeth."

Mi a ddymunwn i ni oll ystyried fod pob math o farnau, pa un ai ysgafn ai trymion fyddont, pa un ai rhyfel, newyn, neu frawychus glefydau, â llais ynddynt yn galw yn ddifrifol ar ein hol, ar i ni adael ein pechodau, ar i ni ddychwelyd ar frys ato ef, yn erbyn yr hwn y troseddasom gymmaint, cyn i ddïal a dinystr disymmwth ein goddiweddyd. Pa beth yw 'r achos o bob ymweliad dychrynllyd y'mhlith dynion? beth sydd yn achlysuro anghydfod a therfysg y'mysg trigolion yr un deyrnas? beth sydd yn peri i breswylwyr yr un wlad, a deiliaid yr un brenin, godi yn erbyn eu gilydd, a difetha moddion y naill y llall, a llosgi eu trigfanau? Pechod ydyw; ïe, pechod, yr hwn, os na ymgedwir rhagddo, a sudda gorph ac enaid i ddistryw yn y diwedd. Hwn yw 'r pla mwyaf dinystriol a all fod yn ein gwlad: hwn yw 'r ffynonell wenwynig o ba un y tardd ein holl flinderau, a'n holl orthrymderau. Pryf yw hwn a ddinystria ffrwyth y pren, ynghyd â'i ddail; ac os na symudir ef ymaith, a ddifetha 'r pren ei hun. Hwn, trwy ei effeithiau niweidiol, a ddygodd ymaith y canhwyllbren, sef yr efengyl, o saith eglwys Asia: hwn sy'n cynhyrfu Duw i ymadael â dynion yn unigol, ac â theuluoedd, eglwysi, a theyrnasoedd: hwn a daflodd i lawr yr angelion o'u goruchel eisteddleoedd, a fwriodd ddyn allan o Baradwys, ac a ddygodd arno y rhifres fawr o glefydau y mae efe o'i febyd i'w fedd yn agored iddynt. Pechod sydd wedi dwyn y clefyd tost a blin ag sydd yr awrhon yn difrodi amryw ranau o'r deyrnas. Nid yw 'r clefyd hwn etto wedi cyrhaedd hyd atom ni; ond y mae, fel dadwrdd dyfroedd pell, yn ein rhybuddio, nad yw yn debyg y diangwn ni yn fwy na'n cymmydogion; y mae yn galw arnom yn awdurdodol i ymbarotôi erbyn ei ddyfodiad, erbyn difrifol ddydd ein hymddatodiad; mae 'n gwaeddi arnom i droi yn edifeiriol i'r amddiffynfa cyn i'r dymhestl ofnadwy dori uwch ein penau; i ymbarotoi ar frys i gyfarfod â'n Duw. Mae noddfa i'w chael; O trown iddi mewn pryd. Mae sicr ddïogelwch o fewn ein cyrhaedd; O brysiwn am ein bywyd i ddiangc yno. Dychwelwn at Dduw yn ddiragrith ac yn edifeiriol, yn erbyn yr hwn y pechasom mor erchyll; ymddiriedwn ein heneidiau ar yr Arglwydd Iesu Grist; hyderwn arno ef am ddïogelwch rhag barnedigaethau tymhorol, a rhag gwaeau a dïoddefiadau y byd a ddaw; canys efe yw 'r unig ymguddfa rhag y gwynt, a lloches rhag y dymhestl. Y mae Duw yn barod i wrando ar ein llef a'n gweddïau, os deuwn ym mlaen, yn enw yr Arglwydd Iesu Grist, mewn ffydd a gwir edifeirwch. Ond i ni ymwrthod â'n pechodau, gan eu casâu â chasineb cyflawn, a dywedyd gyda Dafydd, "Golch fi yn llwyr-ddwys oddiwrth fy anwiredd, a glanhâ fi oddiwrth fy mhechod; canys yr wyf yn cydnabod fy nghamweddau, a'm pechod sydd yn wastad ger fy mron. Yn dy erbyn di, dydi dy hunan, y pechais, ac y gwneuthum y

drwg hwn yn dy olwg:" ond i bob un o honom yn unigol ar ei ben ei hun lefain yn daer ac yn ddwys ar yr Arglwydd, "Na chudd dy wyneb oddi wrthyf yn nydd fy nghyfyngder, gostwng dy glust ataf; yn y dydd y galwyf, brysia, gwrando fi;" "Pwy a ŵyr a drugarhâ Duw wrthym, fel na'n difether" trwy 'r clefyd ofnadwy sydd yn teithio yn araf, ond yn ddiwyro, trwy 'r deyrnas. O galwn yn lew, yn daer, yn ddiragrith, ar Dduw, iddo fadd-eu, er mwyn ei Fab, yr holl anwiredd; iddo feddalhâu 'r galon galed a llygredig, a'i gwneud yn ufudd iddo ef; iddo dueddu trigolion ein gwlad, o fychan hyd fawr, i ystyried y wïalen mewn amser, a phwy a'i hordeiniodd, ac iddo arbed ein teyrnas rhag yr haint yr ydym yn ei ofni, a'n cadw yn ddïogel rhag pob niweid a pheryglon, ar ein gwir a'n diffuant edifeirwch. Hyn caniatâed Duw, er mwyn iawn a theilyngdod ein Harglwydd a'n Hiachawdwr Iesu Grist. Amen. IAL.

---

## YMGAIS I ATEB Y GOFYNIAD

"PA UN SY DEBYCAF, YN OL DULL PRESENNOL IEITHOEDD, IDDYNT OLL DDEILLIAW ODDIWRTH UN FAMIAITH, NEU ODDIWRTH AMRYW; AC OS ODDIWRTH UN, PA YDYW?"

(Parhad o du dal. 269.)

AMGYLCHIAD arall a brofa ddechreuad unigol y tafodieithau Gomeraidd yw, yr unfed sain wreiddiol ar bymtheg, a arwyddir gan yr un llythyren ar bymtheg Cadmeaidd; y rhai a atebant i *a b c d e g i l m n o p r s t u*. Deilliedig oddiwrth y rhai'n yw seiniau ereill y Gymraeg a'i thafodieithau, megys *f* oddiwrth *m* yn gystal ag oddiwrth *b*; *dd* oddiwrth *d*; *ng* oddiwrth *g*; *ngh* ac *ch* oddiwrth *c*; *&c*. Cyfnewidir llythyrenau, os amgen seiniau, yn niwedd geiriau yn y tafodieithau Gomeraidd, nid yn unig i'w hystwytho yn gyffelyb i'r Hebraeg a'r Galdaeg, ond hefyd i ddibenion mwy angenrheidiol, sef i wahaniaethu rhywogaethau mewn enwau gweinion (*to distinguish the genders in adjectives*) treigl enwau cedyrn (*the cases of nouns*) moddau ac amserau perwyddion (*moods and tenses of verbs*) &c. Dylid sylwi yma fod y Gymraeg yn cynnwys pob sain a wyddir am danynt rhwng ei un-ar-bymtheg sain wreiddiawl, a'r seiniau deilliedig oddi wrthynt. Gan hyny, yr un llythyren ar bymtheg a arferir yn Egwyddor *Cadmus*, neu *Cadmaes* (canys ysgrifenir yr enw yn y ddwy ffordd) yn unig sydd anhebgorawl i gofrestru y Gymraeg. Mi a welaf dueddiad y gwirionedd hyn i brofi mai i'r Gymraeg y perthynai yr Egwyddor Gadmeaidd ar y cyntaf, y mae ei hanghymmwysiad i ieithoedd ereill yn gwneuthur hyny yn nodedig; canys nid oes un iaith heb fwy o seiniau ynddi nag un-ar-bymtheg; ac nid oes un ond y tafodieithau Gomeraidd yn rhanadwy i ddwy ran, megys i un-ar-bymtheg o brif seiniau, a'r gweddill yn ddeilliedig oddi wrthynt. Byddai hyn yn ddigon i brofi dechreuad Cymreigaidd Egwyddor Cadmus pe bai ein hamcan i ddadleu ar y pwngc hwnw yn bresennol. Ond peth arall yw ein hamcan, sef fod y llythyrenau cyfnewidiawl rhag-grybwylledig ar un brif sain ar bymtheg y Gymraeg, a'i thafodieithau, yn eu darlunio mewn modd nodedig, a hwy a'i gwahanant byth oddiwrth y Lladin, y Groeg, y Teutonaeg, y Scythaeg, y Galdaeg, yr Hebraeg, &c. Mi allwn, yn bresennol, enwi mwy o bethau ag sydd yn gwahaniaethu y Gomeraeg (fel y geilw *Josephus*, *D. Siculus*, *&c.* hi) yn gystal a'i thafodieithau, oddiwrth ieithoedd ereill, ond nid yw yn angenrheidiol, bydd hyny yn well i ddibenion ereill yn ol llaw.

Y Gymraeg, medd yr hybarch *Bede* (yr awdwr mwyaf enwog ym mhlith y Saeson, a ysgrifenodd yn y seithfed ganrif) sef iaith y *Cimmeri*, yn ol yr hen Rufeiniaid, *Kimmeroi* y Groegiaid, &c. oedd iaith gyntaf yr Ynys hon. Ac y mae ysgolion penaf Brydain mor anwybodus o hyn ag yw y Tyrciaid o hen iaith eu gwlad, sef y Groeg! Oddiwrth y *Cimmeri* y deilliodd *Cummerius Bosphorus*, a *Mor marusa*, yn awr *Straights of Caffa*, a *Black Sea* yn Saesnaeg. Mae yr enwau hyn yn profi hynafiaeth y Gymraeg, a'r cyfnewidiadau a welir yn *b c d g l m p* a *t*, os amgen yn y seiniau a arwyddocânt, heb enwi pethau ereill yn bresennol, yn profi prif undeb y tafodieithau Gomeraidd, mewn modd annherfynawl. Gan hyny, ni a anturiwn, fal gwir garwyr, ammau pob daliad disylfaen, pob daliad, neu fympwy, nad yw wedi ei sylfaenu ar beth-

**au, neu eiriau gweledig, tra y byddom yn sylwi ar ryw res o eiriau, ag sydd i'w canfod mewn gwahanol ieithoedd, er gweled pa un a brofant fod ieithoedd na elwir yn gyffredin yn dafodieithau Cymröaidd, o'r un dechreuad a hwy:* a meddyliwyf nad oes dim yn well i'r diben na'r *rhagenwau personol*, sef *mi*, *ti*, *efe*, *hi*, *ni*, *chwi*, *hwy*, neu *hwynt*, os amgen *hwyntai*; canys y mae geiriau o'r fath hyn yn angenrheidiol ym mhob amgylchiad, ac nid allasent gael eu camarferyd, a'u colli, gan un genel, dros yr amser byraf, yr hyn a fuasai yn achlysur i gymmeryd geiriau ereill ryw bryd canlynol yn eu lle. Ond nid yw y geiriau yn rheolaidd ym mhob iaith; gan hyny, mae yn angenrheidiol i'w gosod i lawr yn eu dull enwedigawl a chyhuddawl. Mae yn neillduol briodol i sylwi ar y rhagenwau hyn, yn gymmaint a bod dynion dysgedig iawn, megys *Dr. Gregory Sharp*, *Mr. John Horn Tooke*, ac ereill, wedi penderfynu fod perwyddion Lladin a Groeg yn cynnwys, yn eu sill ddiweddaf, y rhagenwau perthynawl:—"*I perfectly agree with Dr. Gregory Sharp, and others, that the personal pronouns are contained in the Greek and Latin terminations of the three persons of their verbs.*—Diversions of Purley. Yn awr, y pwngc yw hyn, *rhagenwau pa iaith sy fwyaf amlwg yn sill diweddaf perwyddion y Lladin a'r Groeg?* Ac fel y gallom farnu yn gyfiawn, o'r hyn lleiaf yn fwy deallus, ac yn llai gwaradwyddus na'r cyfryw a ysgrifenasant ar y pwngc hyn o'n blaen, gosodwn ger ein bronau ragenwau rhyw ddeuddeg o ieithoedd, sef, er engrhaifft y**

| *Saes.* | *Lladin.* | *Groeg.* | *Ffran.* | *Eidal.* | *Yspan.* | *Heb.* | *Cymraeg.* | *Cern.* | *Llydaw.* | *Gwydd.* | *Allman.* |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| I | Ego | Ego | Ie | Io | Io | Ani | Mi | Mi | Me | Me | Ich |
| Me | Me | Me | Me | Me | Ame | Anthi | Fi, i | Fi, i | Fa | Me | Mich |
| Thou | Tu | Sy, tu | Tu | Tu | Tu | Ata | Ti | Te, ty | Te, da | Tu | Du |
| He | Ille | Seekeinos | Il | Egli | El | Hoo | Efe, o, e | He | Hen | Sce | Er |
| She, her | Illa | Seekeini | Elle | Ella | Ella | Hi | Hi | Hi, hai | Hi | Y, i | Sie |
| We | Nos | Hemeis | Nous | Noi | Nostros | Nachnw | Ni | Ni, nei | Ni | Sin, in | Wir |
| You, ye | Vos | Humeis | Vous | Voi | Vostros | Atem | Chwi | Chwi | Choin | Ibh | Ihr |
| They | Illi, hei | Ekeinoi | Ils | Eglino | Ellos | Hem | Hwynt | Zei | Hi, ho | Siad | Sie. |

Nyni a allwn ofyn, gan edrych ar ragenwau personol deuddeg iaith o'n blaen, heb ofni am benderfyniadau dynion rhesymol, Pa un sy debycaf i'r ieithoedd ddeilliaw oddiwrth un famiaith, neu oddiwrth amryw; canys y mae eu dechreuad unigol yn ddigon amlwg?

Gan hyny, fe fu amser pan oedd dynol-

* The language of the *Cymry*, or Welsh, is limited at present to express the wants of a population amounting in number to about six hundred thousand, who inhabit the mountains of Wales. This language in the course of the long period of its existence, extended over the most considerable part of Europe; and it still remains spoken with more or less variety of dialect by about four millions of the inhabitants of the Western parts of France, under the name of the *Bretons*, by a few Cornish, by the people of the interior of Ireland, and those of the Highlands of Scotland, by the Walloons in Flanders, and also in Lusatia, and other parts of the North of Germany, under the name of *Wendish*, being the connecting link between the Welsh and the various Sclavonic (*i. e.* Scythian) dialects. It has largely contributed to the formation of other tongues that have supplanted it through several subsequent periods in different countries. The English are much more of Welsh, or British origin, than of any other nation, from the great number that joined the Saxons in early times, and the constant emigration from Wales to England. There are perhaps sixty thousand of the Welsh now in London who know the Welsh Language.

rywyn *un teulu*, ac yn siarad *un iaith*. Os sylwn ar y Gymraeg er addysg, gofynwn ar unwaith fod pob un o'i rhagenwau mewn amryw ieithoedd ereill. Mae *hi* y Gymraeg felly yn y Geltaeg ac yn yr Hebraeg; *i* yn y Wyddelaeg; *her* yn ei dull cyhuddedig yn Saesnaeg, ond *hir*, bedwar cant o flynyddau yn ol. Edrychwn etto ar *ni* y Gymraeg, y Gerniwaeg, a'r Geltaeg; *nachnu* yr Hebraeg yn debyg i *nyni* a *nina* y Gymraeg, *nous* y Ffrancaeg; y mae *nash*, *nas*, *nasha*, y Rwssiaeg, a *nash*, *nas*, a *nassym* y Pwylaeg, yn perthyn i'r geiriau Cymraeg uchod, ac yn eglur o'r un dechreuad. Mae y Groeg wedi cadw *ni* y dafodiaith Gymreig, neu *nachnu* y tafodieithau Shemniaidd yn y rhagenw deuawl *noi*, os amgen *no;* a gosododd arferiad o'r gair *noi*, yn y rhif ddeuawl yn y Groeg, y dynion a arferent yr iaith hòno tan yr angenrheidrwydd o ddefnyddio gair anghyffelybawl am *ni*, yna eu *hemeis;* ac felly seinio *he*, *hi*, yn Saesnaeg a wnaeth iddynt droi *hi* yn *she*, yn unig er mwyn gwahaniaethu rhwng *efe* a *hi*. Pe chwennychwn dwyllo fy ngwrandawyr, a sefydlu anwiredd, ni chymmerwn un res o eiriau i gyd tan sylw; ond yn hytrach pigwn enw cadarn, neu enw gwan, neu berwydd, yn debyg i *Mr. J. H. Tooke*, ac ereill a ysgrifenasant o'm blaen i ar Ieithyddiaeth, a diammeu y gallwn, trwy ddyfal chwilio a sylwi, gael un gair o fil mewn un iaith a fynwn, yn gyffelyb i air o'r un meddwl mewn amryw ieithoedd ereill; ac yn y modd hyn fe allai dyn ddadlu fod y Saesnaeg i gyd wedi deilliaw oddiwrth y Gothaeg, neu ieithoedd yn gyffredin oddiwrth yr Hebraeg, a thwyllo dynion gwag ac anwybodus. Ond *gwir* yw fy arweinydd i, a chan hyny, yn gymmaint a bod y perwyddion, ac enwau cedyrn, yn gystal ag enwau gweinion, yn rhy aml i ni i'w hystyried, rhaid i ni gyfyngu ein hunain i'r rhanau hyny o ymadrodd nad ydynt yn rhy aml, megys prif rifedi a hyny tan ugain, rhagenwau, y rhai nid ydynt ond saith, a pherwyddion canolig, y rhai nid ynt ond pedwar, pump, chwech, &c. mewn ieithoedd yn gyffredin. Ac yn y modd hyn nid af o olwg dynion o gyrhaeddiadau byrion. Mae y tafodieithau Teutonaidd, os amgen Allmanaidd, y Groeg a'r Lladin, a'r tafodieithau sydd wedi cael eu ffurfio oddiwrth y Lladin, sef y Ffrancaeg, Eidalaeg, Yspanaeg, Portugalaeg, &c. Yn nechreu y *rhagenw personol mi*, a llafariad megys i, fel y gwelsom yn ei brif ddull, neu yn ei dreigl enwedigawl, ond âg *m* yn ei dreigliad cyhuddol, ac ereill; ac hefyd yn ei ddull meddiannawl, megys *my*, yn gyffelyb i'r tafodieithau Cymreigaidd, yr hyn sy ddigon o brawf fod yr amryw ieithoedd hyn o un dechreuad, neu o'r hyn lleiaf fod y rhagenw hwn o un dechreuad ynddynt. Beth, gan hyny, yw *I* y Saesnaeg, *ic* y Sacsonaeg a'r Gothaeg, *ich* yr Allmanaeg, *ego* y Groeg a'r Lladin, *Je* y Ffrancaeg, *Io* yr Eidalaeg a'r Yspanaeg, ond rhagenw meddiannol y Gymraeg a'r Hebraeg, a'r tafodieithau perthynawl iddynt, megys *y nhŷ i*, *my house;* *y mhen i*, *my head;* efelly *gair* yw *dafar* yn yr Hebraeg, ond *y ngair i* yw *davari*. Nid digwyddiad afreolaidd yw hyn yn un o'r ieithoedd, ond cyfundraeth y ddwy. Gwelwn yma, gan hyny, fod yr ieithoedd o un dechreuad, ac nid o amryw. Ond ni ddylwn anghofio y Lladin cyn chwilio a oes un sail i hòni mai un o'r tafodieithau Gomeraidd ydyw ai nad ê. Nid oes un gair mwy Cymreigaidd yn y Gymraeg na *dysgu*, *dysgu*, a *dysgwn*, *dysgit*, *dysgai*, *dysgem*, *dysgech*, *dysgent;* y Lladin, *discam*, *discas*, *discat*, *discamus*, *discatis*, *discant;* a'r Groeg, *didasko*, *didaskeis*, *didaskei*, *didaskomen*, *didaskete*, *didaskousi*. Gosodais i lawr yma fodd galluogol y Gymraeg a'r Lladin, ond modd mynegol y Groeg; ac y mae y *perwydd hyn* yn dangos yn ddigon amlwg, yn gystal a geiriau ereill a enwyd, fod y tair iaith wedi bod *yn un* mewn hen amser; ac y mae yn ddichonadwy fod *teach* y Saesnaeg, a *taecan* y Sacsonaeg, o'r un dechreuad; canys y mae y ddwy iaith hon yn dewis *t* o flaen *d* yn lled fynych, megys *two*, *ten*, am *ddau* a *deg;* *duo* a *decem* y Lladin. Mae *dysgwn*, *dysgit*, *dysgai*, *dysgem*, *dysgech*, *dysgent*, yn Gymraeg mor bured ag *arnaf*, *arnat*, *arno*, *arnom*, *arnoch*, *arnynt;* wedi eu cyfansoddi â'r arddodair *ar*, a'r rhagenwau mi neu *fi*, *ti*, *o* a *hi*, *ni*, *chwi*, *hwynt*.

I'r tafodieithau Gomeraidd, sef y Gymraeg, y Geltaeg, y Gerniwaeg, y Wyddelaeg, &c. y perthyn treiglo arddodeiriau, a rhagenwau, fel perwyddion; ac y mae y peth hyn yn profi eu prif uniaith, ac yn

eu gwahaniaethu oddiwrth dafodieithau ereill. Etto mae yn amlwg mai *hwynt* y Gymraeg a wna y rhan ddiweddaf o'r perwyddion Lladin yn y trydydd person rhif llïosog; megys *ament*, *docent*, *dicant*, *audiant*, carent, dysgent, dywedent, clywent. Ac nid yw *ousai* y Groeg yn annhebyg i *hwythai* y Gymraeg; *si* yw *hwy* yn y Wyddelaeg, fel y gwelsom. Ond *eddysgir* yw *didaskentai* yn y Groeg, megys *dysg* a *hwyntai* wedi eu huno. Mae y dysgedigion yn barnu fod y perwyddion Lladinaidd a Groegaidd yn cynnwys y rhagenwau perthynol ynddynt; ond dylasent chwilio rhagenwau pa iaith a gynnwysant. Heb hyny ni wneir ond camarwain dynion â geiriau heb wybodaeth. Dylid sylwi yma mewn perthynas i *h* ac *s*, sef, fod y Wyddelaeg, y Lladin, y Saesnaeg, a'r Allmanaeg, yn cyfnewid *h* y Gymraeg, y Geltaeg, y Groeg, yr Hebraeg, &c. i *s*, megys *hi* y Gymraeg, y Geltaeg, a'r Hebraeg; *hekeinos* Groeg; ond *she* y Saesnaeg; *sie* Allmanaeg; *sui* Lladin: *Hwy* y Gymraeg; *hemeis* Groeg; ond *sie* Allmanaeg a'r Wyddelaeg; *sui* Lladin: *Hen* y Gymraeg, *senex* Lladin: *Halen* y Gymraeg; *hals* Groeg; *salt* Saesnaeg, a'r Gothaeg; *saelt* Sacsonaeg; *sal* Lladin; *shallen* y Wyddelaeg. Mae yr holl bethau hyn yn dangos undeb cyntefig ieithoedd; a diammeu i'r ieithoedd hyn i gyd ddefnyddio y llythyren *h* ar y cyntaf, ac nid *s* mewn rhai ieithoedd, ac *h* yn ereill. Ond i ddychwelyd at y Lladin. "*Some thousands of Latin words have their similitudes in Welsh, with respect to structure and signification, and all to be analysed in the latter language, thus proving that they could not be borrowed from the former, but that such words exist in both languages from a common origin.*" Dr. Pughe. "*Anterior to the commencement of the History of either Nation.*" *Ibid.* Ni wyddwn i fod un dyn wedi deall hyn pan ddarfu i mi ei weled gyntaf, ac yr wyf yn meddwl mai ychydig sydd yn adnabyddus o hono etto. Ond pwy a sylwodd erioed (er mor amlwg yw y gwirionedd) nad ellir treiglo un perwydd yn y Lladin heb gynnorthwy rhagenw Cymraeg. Oddiwrth *mi* y deilliodd yr *m* yn *amem*, *deceam*, *legam*, *audiam*; megys y deilliodd *ant*, *ent*, *int*, *unt*, oddiwrth *hwynt*. Nid yw hyn y cwbl; ond y mae un gynneddf yn y Gymraeg o ddewis sain o flaen synwyr, ac i'r Lladin wedi ei fenthyca o iaith y Cymry; canys dywedwn *ym* ac *ydym*, ac nid *yn* ac *ydyn* (*ūe*, *are*) *omp* o *amp*, o *emp* yn y Geltaeg; *sommes*, *etions*, *fumes*, Ffrancaeg; megys pe buasai *ni*, *mi*; *tamur* yw *ym* yn y Wyddelaeg; ac yna *amur* y Lladin, megys *amamur*, *amabamur*, *doceamur*, *docebamur*, yr ydys yn ein caru, e ein carwyd; yr ydys yn ein dysgu, e ein dysgwyd.

Cymmysgaeth o'r Gymraeg, y Geltaeg, a'r Wyddelaeg, yw y Lladin, megys y gwel pob un ag sydd yn deall y pedair iaith hyny. Gair cyfansoddedig yw *tamur*, wedi ei wneud trwy uno *ta* a *mur*: *Mi sy*, *ti sy*, *efe sy*; *ni sy*, *chwi sy*, *hwy sy*, medd y Cymry: *Me tso*, *te tso*, *hen tso*, *ni tso*, *choui tso*, *hi tso*, medd y Celtiaid: *Taim*, *ta tu*, *ta se*; *tamur*, *tasibh*, *tai siad*, medd y Gwyddelod. Dylwn ddywedyd mai *z*, ac nid *tso*, yw y modd presennol o lythyrenu yn y Geltaeg. Gwelir yma fod y perwydd yn cael ei osod o flaen y rhagenw yn y Wyddelaeg, a'r *s* wedi cael ei diddymu yn yr Iwerddon wedi cymmysgiad y Belgiaid â'r hen drigolion; canys nid yw uno *ts* yn anianawl i'r hen Frytaniaid. Ond i ddychwelyd; arfer y Gymraeg a'i thafodieithau yw cymmeryd *m* yn lle *n*; megys, *dysgem*, *dysgasom*, *dysgasem*, *dysgom*, yn lle *dysgen*, *dysgason*, *dysgasen*, *dysgon*, *&c*. Ac y mae yr eithriad hyn yn holl berwyddion y Lladin: pa sydd brawf cadarnach o unoldeb cyntefig yr ieithoedd hyn?

Yn lle seinio *ch* fel *chi* y Groeg, mae y Celtiaid a'r Ffrancod yn ei seinio fynachaf fel *s*, neu *sh*, megys y mae y Saeson yn ei seinio fel *tsh*, megys yn *charity*, a seinir *tsharity*. Gan hyny dywed y Lladin *discitis*, ac nid *dysgych*; *plectetis*, ac nid *plygych*; *flectitis*, ac nid *ffygych*. Yn awr, y mae yr ail a'r trydydd person unigol i gael sylwi arnynt; ac nid annhebgyg mai *dysgwyt* a *dysgodd* y Gymraeg a drowyd yn *discit* a *discis* y Lladin; canys y mae y Celtiaid yn seinio hanegudd *d* megys *s*, o'r hyn lleiaf yn bresennol, ac y mae yn ddichonadwy bedwar cant ar hugain o flynyddoedd yn ol, pan y rhuthrasant i'r Eidal. Mae y Wyddelaeg, y Danaeg, &c. yn defnyddio *dh* i arwyddocâu y sain hon, ond *th* yn y Saesnaeg, megys yn *the*,

cariadus; etto, drannoeth wrth ymadael, cymmerodd yr angel phïol aur gyd âg ef o'r llety. A'r ail nos daethant i letya at ŵr duwiol, a thrannoeth, wrth ymadael, lladdodd yr angel ddyn bychan yn y cryd, yr hwn ydoedd unig blentyn gwr y tŷ. A'r drydedd nos hefyd y daethant i letya at ŵr duwiol arall, yr hwn a ddanfonodd ei was drannoeth i'w hebrwng hwynt; a phan ddaethant at afon, taflodd yr angel y gwas i'r afon, lle y boddodd ef. A'r bedwaredd noswaith dywedir iddynt ddigwydd fyned i mewn i dŷ dyhirwr, lle y cawsant lety diffaith; etto, drannoeth, rhoddes yr angel y phïol aur i ŵr y tŷ, ac a aeth ymaith. A thra yr oedd y pererin defosiynol yn rhyfeddu ynghylch y pethau a wnaethai ei gydymdeithiwr amlygodd yr angel ei hun iddo, a rhoddodd iddo reswm am y barnedigaethau a welsai, gan ddywedyd, fod meistr y tŷ cyntaf yn ŵr da, ond yfed yn y phïol hono bob boreu, a hi yn ormod, a'i gwnai beth yn anghymmwysach i ddyledswyddau sanctaidd, er nad ydoedd hyny yn ddirnadwy iddo ef ei hun nac i ereill. Am hyny, eb efe, y cymmerais y phïol ymaith, gan fod yn well iddo golli hono na'i gymmedroldeb. Pen y teulu lle y buom ni yr ail nos ydoedd ddyfal mewn dyledswyddau sanctaidd a haelioni i dlodion, tra yr ydoedd yn ddiblant; ond pan gafodd fab, aeth mor anwyl ganddo ef, a threuliodd gymmaint o amser yn chwareu gyd âg ef, fel yr esgeulusodd yr arferion sanctaidd oedd gynnefinol iddo o'r blaen, ac attaliodd ei haelioni i'r tlawd er cynnilo i'w fab: am hyny cymmerais y plentyn i'r nef, fel y gallai ef wasanaethu Duw yn well ar y ddaear. A'r gwas a foddais i ydoedd yn bwriadu lladd ei feistr y noswaith nesaf. Am y dyhirwr, i'r hwn y rhoddais y phïol aur, nid oedd efe i gael dim yn y byd arall, rhoddais iddo beth yn hwn, yr hyn a fydd iddo yn fagl, canys efe a fydd yn fwy anghymmedrol.—*Hanes y Ffydd*, *pen.* xv.

Tebyg yw mai y chwedl uchod ydoedd defnydd y gân ragorol hono yn Saesoneg, o'r eiddo Parnel, a elwir, "Y Meudwy," (*The Hermit*) o ba un y mae genym gyfieithiad gorchestol yn Gymraeg, yn ngwaith Bardd Nantglyn. Hefyd, mae y "*Bardd, neu y Meudwy Cymreig*," yn dwyn cryn debygolrwydd iddi. Awdwr "*Hanes y Ffydd*," yn ol hygoeledd cyffredin yr oes hòno, a'i cymmerai fel hanes gwirioneddol; ond Cyhoeddwr dysgedig yr argraffiad diweddaf o'r llyfr hwnw, yn briodol iawn, a'i gadawodd allan, er cadw yr hyn sydd wir ar wahan oddiwrth yr hyn sydd ffugiol.

D.

---

## Y PREN CASTAN (*CHESNUT*).

Meddylir yn fwyaf cyffredin mai un o frodorion Asia yw y Castan, oblegid canfyddir hi mewn amryw barthau yno lle, y mae yn debyg, na phlanwyd hi erioed. Hen draddodiad a ddywed iddi gael ei dwyn o Asia Leiaf gan yr Ymerawdwr Tiberius, ac iddi yn dra ebrwydd ymledaenu dros holl barthau tymherus Ewrop. Y mae y rhyw yma yn bresennol yn dra thoreithiog ar fynyddau deheuol Ewrop; ac y maent hefyd i'w cael yn ngogleddbarth yr Amerig, o Gaerefrog Newydd i Carolina. Castan y canmarch ar fynydd Etna yw y pren mwyaf yn holl Ewrop, yr hwn sydd uwchlaw 200 troedfedd o amgylchedd. Yr ymdeithydd *Brydone*, yr hwn a ysgrifenodd o gylch hanner can mlynedd yn ol, a rydd yr hanes neillduol a ganlyn o'r pren tra rhyfedd hwn:—"O'r fan hon myfi a aethym am bump neu chwe milldir trwy goedwigoedd a dyrysni, o'r braidd yn dreiddiadwy, i weled y pren nodedig hwn. Y mae yma rai o ryw y Castan yn goed hynod o fawrion, ond y *Castagno de Cento Cavalli* yw yr un mwyaf anrhydeddus o'r cwbl. Cefais ei fod wedi ei gofnodi yn narlunlen Sicily, a gyhoeddwyd o gylch can mlynedd yn ol, ac yn holl ddarlunlenau Etna a'i amgylchoedd: ymddengys megys y pennaf o ryfeddodau y lle. Yr wyf yn addef na bu ei ymddangosiad cyntaf yn un math o ryfeddod i mi, oblegid nad yw ei ymddangosiad presennol yn dywedyd iddo fod erioed yn un pren cyfangorph, ond yn hytrach twmpath o bump o goed mawrion yn tyfu ynghyd. Dywedasom wrth ein harweinyddion i ni gael ein twyllo yn ddirfawr ynddo, pryd y sicrhasant i ni, mai dyna oedd y traddodiad gwreiddiol, ac hefyd tystiolaeth y wlad, sef, i'r pum pren ymddangosiadol fod unwaith yn un corph cyfan-gwbl, a bod eu cyn-dadau yn

cefio hyny, a'u bod yn edrych arno megys gogoniant ac ardderchawgrwydd y coedwigoedd—y byddai rhai yn dyfod i'w edrych o bob parth o Ewrop, a'i fod er's amryw flynyddau yn ol yn yr agwedd ddirywiol a ganfyddem arno. Yn awr dechreuasom edrych yn fanylach i'w ansawdd, pryd y cawsom, mewn gwirionedd, i'r pum pren gwahanedig hyn fod unwaith mewn undeb perffaith â'u gilydd. Y' mae 'r agoriad sydd yn y canol yn awr yn aruthrol; ac y mae yn ofynol i ddyn fod yn meddu ar ffydd i gredu i'r fath goed anferth a gwahanedig fod erioed mewn undeb â'u gilydd. Nid oes ymddangosiad o risgl ar yr ochrau tufewnol, nac ar yr ochrau cyferbyniol. Darfu i Mr. Glover a minnau fesur y bonion ar wahân, a chawsom hwy ynghyd yn 204 troedfedd o amgylchedd. Os bu i'r rhai hyn fod mewn undeb perffaith â'u gilydd, y mae yn rhaid, gyda phob cyfiawnder, edrych arno megys prif ryfeddod y byd llysieuawl, a'i gyfenwi yn ogoniant y goedwig."

Er nad yw Castanau Prydain yn rhagori ar Gastan fawr mynydd Etna, etto y mae amryw o faintiolaeth dirfawr yn y wlad hon. Yn y flwyddyn 1789, yr oedd Castan wrth Bennondy Hitchen, Swydd Hertford, yn mesur uwchlaw 14 llath [illegible] troedfedd oddiwrth y ddaear; ac er fod ei rhan dufewnol wedi ei difodi gan amser, ac yn gafn wag, yr oedd y rhan allanol a'i dail yn edrych yn iach a [illegible]. Yn Swydd Gaerloyw yr oedd [illegible] wedi ei haddurno oddimewn â [illegible], a ffenestri i'w goleuo; a'r [illegible] fawr yn Tortworth, yn yr un [illegible], wedi cyrhaedd yr oedran [illegible] yn Lloegr. Yn y [illegible] hi—yn [illegible] troedfedd [illegible], yn ol [illegible] hi ond [illegible]. Dygodd [illegible] a thrachefnid [illegible] yn ugeiniau [illegible].

Y mae [illegible] Castan Prydain yn rhagori [illegible] Hispaen. Yn [illegible] a [illegible] yn [illegible] Rhodd [illegible].

talaeth yn Ffrainge, wedi ei phlanu â'r rhyw yma o goed er's oesau lawer, sydd yn gallu eu difodi o'u chwerwder naturiol, ac yn y modd yma y maent yn addasu eu ffrwyth i fod yn fwyd.

L. M.

---

# SEFYDLIAD EGLWYSIG

## YN GYFREITHLON, YN YSGRYTHYROL AC YN ANGENRHEIDIOL.

## YMDDIDDAN IV.

Offeiriad.—Haeriad eich cyfaill Mr. Morgan ydoedd fod Sefydliad Eglwysig yn anghyfreithlon, yn anysgrythyrol, ac yn afreidiol.

Mr. Thomas.—Ië.

Off.—Minnau, yn y gwrthwyneb, a ddywedais fy mod yn credu ei fod yn gyfreithlon, yn ysgrythyrol, ac yn angenrheidiol. Yr ydym eisoes wedi ystyried y ddau bwngc cyntaf yn ein hymddiddanion o'r blaen; a gadawn y canlyniad i awdwr pob gwirionedd, gan na fynwn er dim eich cymmell i dderbyn fy rhesymau i, os nad ydych yn cydsynio â hwynt: ni fynwn ychwaith eich denu i ddatgan cyfaddefiadau byrbwyll, a gwell genyf i chwi ddwys ystyried y pwngc yn eich meddwl wrth eich pwyll.

Mr. T.—Ymdrechaf wneuthur felly yn ddiragfarn. Ond, yn y cyfamser, parod wyf i gyfaddef fod yr ystyriaeth a roddais eisoes i'r pwngc wedi peri i'm golygiadau ar ddau beth yn dra gwahanol i eiddo Mr. Morgan: yn gyntaf, nis gallaf weled dim a wna Sefydliad Eglwysig yn anghyfreithlon *ynddo ei hun:* ac yn ail, gan fod Duw wedi ei gymmeradwyo dan yr Hen Destament, felly methais gael hyd i ddim sydd yn peri ei fod yn groes i hyny dan y Testament Newydd; ond er hyny nid oes gorchymyn pendant yn ei gylch.

Off.—Beth os nad yw?

Mr. T.—Nid wyf yn meddwl ein bod ni dan rwymau i osod i fynu Sefydliad Eglwysig.

Off.—Gallai hyn fod yn rhwymedig arnom pe gorchymynasid ef unwaith, fel y cydnabyddwch ei fod; ac ni waharddwyd ef wedi hyny. Heblaw hyn, fel y gwelsom eisoes, y mae amryw bethau heb eu gorchymyn yn bendant, ac er hyny yr ym ni yn rhwymedig i'w cadw neu eu cyf-

lawni hwynt: fel enghraifft—gweithred benywod yn cyfranogi o'r Cymmun.

Mr. T.—Canfyddaf mai peth pwysfawr a buddiol yw i fenywod dderbyn Swpper yr Arglwydd; ond ni theimlaf yn sicr fod Sefydliadau Eglwysig yn bwysfawr, neu yn fuddiol. Y tro diweddaf y bu Mr. Morgan yn ymddiddan â mi, haerai, pe gallwn i brofi nad yw Sefydliadau Eglwysig yn anghyfreithlon, ac nad oedd dim yn yr Ysgrythyr yn eu gwahardd yn arbenig; etto eu bod mor beryglus i achosion ysprydol y grefydd Gristionogol, na wna dim llai na gorchymyn pendant o'r Ysgrythyr ei gymmell ef i ymostwng iddynt.

Off.—Yr wyf finnau, Mr. Thomas, yn eu tybied o gymmaint pwys, ïe, dywedaf, mor angenrheidiol er llwyddiant gwir grefydd, nad oes dim ond prawf anwadadwy o'u hanghyfreithlondeb, a'u bod yn *waharddedig* yn yr Ysgrythyr, a'm tuedda i'w gwrthwynebu hwynt.

Mr. T.—Y mae fy nghyfaill Mr. Morgan a chwithau yn amrywio yn eich barn ynghylch hyn:—pa un a ydyw Sefydliad Eglwysig yn *angenrheidiol* ai peidio.

Off.—Ydym; ac ymwystlaf gyd â'r hyder mwyaf i ateb yr hyn oll a haera efe ar y pwngc hwn, naill ai wyneb yn wyneb, neu trwoch chwi. Gwir yw, fod rhai pethau yn gyfreithlon, y rhai nid ydynt yn fuddiol: ond yn y peth hyn y cyfreithlondeb a'r buddioldeb a gydsyniant: ac os cydnabyddwch yn unig, fel y gwnaethoch eisoes, nad yw Sefydliadau Eglwysig wedi eu *gwahardd* yn bendant yn yr Ysgrythyr, ni ofynaf am ragor i'r diben i egluro i chwi y dylent hwy gael eu cynnal ym mhob gwlad Gristionogol.

Mr. T.—Yr wyf yn synu wrth eich clywed yn dywedyd felly. Ystyriwch y fath gau-grefyddau a daenwyd, y fath erlidigaethau a gyfodasant o hyny, y fath ymddygiad bydol! y fath olygiadau anianol!

Off.—Mr. Thomas, y mae fy nghalon yn ymofidio gymmaint a'ch calon chwi wrth ystyried hanes galarus eglwys weledig Crist ym mhob oes. Ni ddadleuaf o blaid unrhyw gam-arferiad: mynwn pe na buasai cam-arferiadau erioed wedi bod. Ond nid oes dim a wnelo hyn oll â'r pwngc dan sylw. Nid ydym yn ystyried cyneddfau arbenig unrhyw Eglwys, pa un ai Eglwys Loegr neu Eglwys Scotland, neu Eglwys Rufain—ond yn unig ynghylch Sefydliad Eglwysig, ba fath bynag fo ei athrawiaeth a'i ddisgyblaeth. Sylw tra chywir oedd eiddo cyfansoddwyr y Llyfr Gweddi Gyffredin—"Ni bu erioed ddim wedi ei ddychymmygu mor ddiball, neu wedi ei gyfnerthu mor gadarn trwy synwyr dyn, yr hwn mewn yspaid amser nis llygrwyd." Mynegais o'r blaen y byddaf barod, ar achlysur arall, i ddangos i chwi hawl neillduol Eglwys Loegr: pwngc tra phwysfawr ydyw; ac nid wyf yn teimlo y petrusder lleiaf yn ei gylch; ond gadewch i ni yn awr lynu yn agos at y pwngc dan sylw. Yr ydych yn gwyro ym mhell oddiwrth y nod i ddynodi rhyw Offeiriad beius, ac yna i waeddi, "Gwelwch beth sydd yn dyfod o Sefydliadau Eglwysig Gwladol!" Yr un peth fyddai i minnau ddynodi meddwyn yn yr heol, a dywedyd, "Gwelwch beth sydd yn dyfod o dalu cyflog i weithwyr!"

Mr. T.—Ni fyddaf yn euog o'r fath ragfarn. Pe na bawn yn ymddiddan â chwi eich hun, teimlwn duedd yn hytrach i droi at y plwyf hwn, ac at fy mhrofiad fy hun, ac i ddywedyd, nid yn watwarllyd, ond mewn gwirionedd, "Gwelwch gymmaint o les a wna Sefydliadau Eglwysig!" oblegid, oni bai yr Eglwys Sefydledig, ni chawsem chwi, nac efallai neb Gweinidog Gristionogol arall yn ein plith; ac am ddim a'r a wn i, buasem yn byw ac yn marw fel Paganiaid.

Off.—Beth a ddywed Mr. Morgan am hyny?

Mr. T.—Efe a gydnebydd y dichon rhyw radd o ddaioni darddu oddiwrth ddrwg; ond haera nad yw hyn yn gwneuthur Sefydliad Eglwysig yn gyfreithlon nac yn ysgrythyrol.

Off.—Na, ni wna hyn o hono ei hun mo hyny: ond os cydnabyddwch nad yw Sefydliad Eglwysig yn anghyfreithlon, nac yn anysgrythyrol, y mae hyn yn cynnorthwyo i ddangos ei fod yn bwysfawr a gwerthfawr.

Mr. T.—Ond gall Duw ofalu dros ei eglwys ei hun.

Off.—Gall; a gwyddom yn sicr y gwna efe hyny, "a phyrth uffern nis gorchfygant hi:" ond efe a arfer *foddion:* a phaham nad all Sefydliad Eglwysig fod yn un o'r moddion a ddefnyddia efe?

Mr. T.—Ni allaf ddywedyd nad ydyw; ond nis gwn ei fod. Pa fodd y gweithreda Sefydliad Eglwysig i'r perwyl hwn?

Off.—Mewn llawer modd: un o honynt yw, fod Sefydliad Eglwysig yn rym sydd yn parhaus wrthsefyll anwybodaeth a diofalwch meddwl dyn. Nid yw yn ymyraeth â'r hyn a berthyn i swydd yr Yspryd Glân; ond dan ddylanwadau y Person Dwyfol hwnw, y mae yn offeryn i wrthwynebu gwendid ac anwadalwch dynolryw. Pan wneir daioni, godidawgrwydd y gallu sydd er hyny o Dduw: ond gan fod genym y trysor hwn mewn llestri pridd, ni ddylid dirmygu unrhyw drefniad a gynnorthwyo i ochelyd rhag drwg effeithiau gwendid dynol.

Mr. T.—Ond paham nad all y grefydd Gristionogol ymdaenu o honi ei hun? Neu, o'r hyn lleiaf, paham na adewir hi, dan fendith Duw, i ymdrechiadau gwirfoddol dynion crefyddol? A oes perygl y collir rhyw beth ag sydd yn werthfawr? Nid oes genych Sefydliad Gwladol er taenu ŷd, neu er tyfu cloron, am ein bod yn gwybod fod y pethau yn werthfawr: ac os yw dynion yn gwerthfawrogi y grefydd Gristionogol, hwy a'i cynnaliant heb Sefydliad Eglwysig; ac os nad ydynt, ni wna Sefydliad Eglwysig ond ychydig o ddaioni.

Off.—Drwg genyf ddywedyd fod gwahaniaeth tra mawr yn y pethau a grybwyllasoch. Pe gallwn, mewn un bregeth, nodi i amaethwyr y plwyf hwn y ffordd iddynt ymgyfoethogi, parod fyddent i ddilyn fy nghyngor; ond gallaf draddodi cant o bregethau i ddangos pa fodd y gellir achub eu heneidiau, a hwy a wrthodant yr hyn oll a haeraf. Galarus yw dywedyd, fod crefydd, er ei bod o bwys anfeidrol, yn sefyll mewn angen am bob cefnogiad, o herwydd gelyniaeth naturiol dyn syrthiedig yn erbyn pob peth sy gyffelyb i Dduw, neu sydd yn arwain ato ef. Gofyna am ymegnïad pob dyn da i'w chynnal hi yn y byd—os gellir dywedyd hyn heb ammharch. Ychydig o ddynion, mewn cydmariaeth, sydd yn dwys deimlo yr angenrheidrwydd am, neu yn hylwyr wybodol o fendithion yr efengyl. Oni ddygid crefydd at eu drysau, anfynych y meddylient am dani, neu yr ymofynent yn ei chylch. Heblaw hyn, y mae cymmeradwyaeth y deyrnas yn ei chynnal hi crefydd y wladwriaeth, a llawer o'r rhai a ddygir yn y modd hwn tu fewn i'w magwyrydd, a'r rhai, pe angen, ni fuasent yn sylwi dim am dani, a wneir yn aelodau ysprydol o eglwys Crist. Paham, Mr. Thomas, yr aethoch chwi i'r draul a'r drafferth o adeiladu y mur acw oddi amgylch eich coedwigfa?

Mr. T.—Oblegid fod yn angenrheidiol i'r planhigion gael eu hamddiffyn rhag niwed.

Off.—A rhyw blanhigion tyner yw y grefydd Gristionogol yn y byd hwn, a Sefydliadau Crefyddol Gwladol ydynt fath o fur wedi ei godi o amgylch iddi.

Mr. T.—Ond yr ydych yn anghofio fod Duw yn gwylied dros ei eglwys.

Off.—Nac wyf, fy nghyfaill; na ato Duw i mi ollwng hyny dros gôf: fy nghysur a'm cefnogiad penaf ydyw: ond y mae efe yn arferyd moddion, ac un o'r moddion hyny, yn fy marn i, ydyw Sefydliad Eglwysig. Yr ydych yn erfyn arno am fendith ar eich llafur: gwyddoch fod y cyfan yn ymddibynu arno ef; etto yr ydych yn aredig, ac yn hau had; mewn gair, yr ydych yn arferyd y moddion priodol. Eich haeriad chwi a duedda i daflu o'r neilldu, nid Sefydliad Eglwysig yn unig, ond hefyd pregethiad y gair, y sacramentau, a phob gosodiad crefyddol, oddiar y dyb nad yw y grefydd Gristionogol yn sefyll mewn angen am ddim ond rhagluniaeth Duw, heb offerynau dynol, er ei chynnaliaeth a'i hymledaeniad.

Mr. T.—Pa beth sydd yn cynnal crefydd ym mysg yr Ymneillduwyr?

Off.—Yr Ymneillduwyr ydynt dan rwymau mawr i Sefydliadau Eglwysig. Fy nghred i yw, pe dinystrid yr holl Sefydliadau Eglwysig, yr adfeiliai ac y darfyddai yn raddol y gyfran o grefydd sydd ym mysg yr Ymneillduwyr, oni chedwid hi drwy nodded anarferol, am yr hwn nid oes genym un sail i obeithio. Yn ystod amser byddai perygl mawr o gyfeiliornadau a heresïau, a pheth sydd waeth na'r cwbl, o lwyr anystyriaeth. Ni ddisgynai duwioldeb o dad i fab: meibion rhieni duwiol a dröent yn rhy fynych at y byd, hyd oni ddiddymid yn y diwedd rith a grym duwioldeb.

Mr. T.—A pha fodd y mae Sefydliad Eglwysig yn rhwystro hyn?

OFF.—Mewn llawer modd. Yn y plwyf hwn, er enghraifft, a ydyw Mr. Morgan yn cael dim wedi ei wneuthur? A raid iddo ddechreu gyd â'i weinidogaeth fel pe bai mewn gwlad Baganaidd? Onid yw yn gweled fod yr Eglwys Sefydledig, hyd yn nod lle nad yw ei haelodau yn wir grefyddol, wedi eu cynnysgaeddu hwynt â barn gywirach am foesoldeb, ac wedi gweini yn ddistaw lawer o addysg am egwyddorion crefydd? A ydyw efe yn cael un argoel fod y gweddïau cyhoeddus, darlleniad yr Ysgrythyrau, a gweinyddiad y Sacramentau, heb wneuthur dim? A ydyw efe yn dyfod i blwyf cyffelyb i un Paganaidd? A raid iddo dreulio blynyddoedd i brofi i ddynion y Bod o Dduw? A raid iddo ef, fel yr apostolion gynt, wrthwynebu rhagfarnau, y rhai ni ellir o'r braidd eu gorchfygu, wrth bregethu adgyfodiad y meirw? A ydyw cwymp dyn, ei euogrwydd, aberth Crist, y farn, nefoedd, uffern, a thragywyddoldeb, yn bethau na chlywid erioed sôn am danynt, neu na chredwyd mo honynt yn y wlad, hyd yn nod gan y rhai nad yw eu cerddediad yn grefyddol? Os ystyriwn ond y pethau hyn, yr Ymneillduwyr sydd dan rwymau mawr i'r Eglwys Sefydledig. Efe a fyddai fel Cenhadwr ym mysg Paganiaid, oni bai y fantais a rydd hi er cyfleu addysg grefyddol.

Mr. T.—Gwir iawn: fy nghyfeillion, yr Ymneillduwyr, ydynt yn fwy dyledus nag y cydnabyddant i'r Eglwys Sefydledig, i'w Herthyglau, ei Gweddïau, a'i Homilïau, cyfieithiad awduredig o'r Ysgrythyrau, a'i gwasanaeth beunyddiol, am y wybodaeth grefyddol a daeuwyd y'mysg y werinos. Mynegaf hyn i Mr. Morgan.

OFF.—A gallwch ychwanegu eu bod dan rwymau i'r Eglwys mewn ffordd arall: canys llawer o'r purdeb a haerir sydd ym mysg Ymneillduwyr, yr hyn a ddygir ym mlaen fel prawf nad yw Sefydliad Eglwysig yn angenrheidiol, a dardda oddiar eu heffaith anunion-gyrchol. Pe symudid yr Eglwys Sefydledig, ni fyddwn yn atebol am barhâd rhinweddau yr Ymneillduwyr.

Mr. T.—Ond, onid yw yr Ymneillduwyr yn gyffredin yn fwy crefyddol na'r Eglwyswyr; ac os felly, pa angenrheidrwydd sydd am Eglwys Sefydledig?

OFF.—Y mae yn debyg eich bod yn ystyried yr holl bobl anghrefyddol yn y plwyf, yr holl bobl heb grefydd yn y byd, oddieithr proffes allanol o'r grefydd Gristionogol, yn Eglwyswyr; ac yna yn dethol y bobl oreu ym mysg yr Ymneillduwyr: ond a ydyw hon yn gydmariaeth gywir? Nid Israel yw pob un sydd o Israel. Cyn belled ag yr â y ddadl mewn llaw, nid wyf yn foddlon i alw dyn drwg yn Eglwyswr: nid yw o ddim crefydd yn y byd, yn ol ei ymarweddiad; a phe bai yn ddyn da, nid wyf yn meddwl y gwneid ef yn well drwy fyned yn Ymneillduwr. Ni chydnabyddaf, gan hyny, fod Ymneillduwyr yn fwy crefyddol nag Eglwyswyr, os cymmerwch o bob tu y rhai hyny yn unig a ellir eu cydmaru â'u gilydd.

Mr. T.—Nac ydynt, os cymmerwch y duwiol yn unig o'r ddwy blaid: ond y peth a feddyliaf fi yw hyn, bod y duwiolion ym mysg yr Ymneillduwyr yn lïosocach, yn ol nifer yr holl gorph, nag ym mysg aelodau yr Eglwys Sefydledig: yr Ymneillduwyr ydynt yn gymdeithas fwy detholedig.

OFF.—Pa beth bynag am hyny, nid oes dim a wnelo hyn â'r ddadl ynghylch Sefydliad Eglwysig, oblegid nid wyf yn dadleu o blaid unrhyw gam-arferiadau, llygredigaethau, neu anystyriaeth crefyddol, a ddichon fod ym mhob Eglwys ym mhob oes. Ond rhaid i chwi gadw mewn côf mai corph detholedig yw yr Ymneillduwyr, fel y crybwyllasoch eisoes. Gwneir pob enw yn fwy gwyliadwrus drwy fod enwau ereill yn edrych yn fanwl arnynt: yr Ymneillduwyr o unrhyw enw neillduol ydynt yr ychydig y'mhlith y llawer: y mae yn debygol eu bod yn ddynion a syniasant ryw ychydig ynghylch crefydd; ond y rhan luosocaf o bob gwlad yw y rhai "ni ofalant am y pethau hyn." Ond pan y cydmerwch bethau, dylech eu pwyso mewn clorianau cywir: nid yw yn dêg cystadlu nifer detholedig o gorph bychan â'r rhan gyffredin o ddynion mewn cenedl. Nifer trigolion plwyf fy mrawd yw ugain mil, a chynnulleidfa y Bedyddwyr sydd ynddo oddeutu cant; ond a fyddai yn dêg i chwi gymmeryd y cant cyntaf a gyfarfyddech â hwynt yn y plwyf mawr hwnw, lluoedd o'r rhai nid ystyriasant erioed am nag Eglwys na chapel, a'u

pwyso hwynt â'r cant detholedig o'r Bedyddwyr? Pe dewisai y Bedyddwyr drugain o'i ddynion mwyaf crefyddol ef, a pho dewisai fy mrawd driugain o'r dynion mwyaf crefyddol yn ei blwyf, nid efawn am y gydmariaeth. Ond gadawn y ddadl hon, yr hon nid yw yn angenrheidiol i'r pwngc dan sylw, ac at yr hwn ni fuaswn i yn cyfeirio, oni bai i chwi haeru fod Ymneillduwyr yn fwy crefyddol nag Eglwyswyr; a dwyn hyn ym mlaen fel prawf fod Sefydliad Eglwysig yn niweidiol yn hytrach nag yn fuddiol.

Mr. T.—Ni enwaf y rheswm hwn mwyach: nid yw yn un da. Ond a ellwch chwi nodi rhesymau ereill i ddangos yr angenrheidrwydd am Eglwys Sefydledig?

Opp.—Gallaf grybwyll llawer ag ydynt yn fy marn i yn dra chedyrn. Un yw, nad ellir cynnal gweinidogaeth sefydlog, yr hyn a gydnabyddwch chwi sydd angenrheidiol, mewn gwlad, ond trwy Sefydliad Eglwysig gwladol. Gwir yw, y dichon i ddynion zelog ddiwallu eu hangenrheidiau eu hunain: dichon iddynt roddi cymmorth i ereill heblaw eu cymmundeb eu hun: ond pa beth a allant hwy wneud *er addysg parhâus a chyffredin cenedl gyfan?* Pa beth a allant hwy wneud er parhâu gweinidogaeth Gristionogol gymmesur i'r rhai oedd i ddyfod? Pe diddymid ein Heglwys Sefydledig, a phed ymddiriedid addysg crefyddol y bobl i ymegnïadau damweiniol dynion, heb un drefn bennodedig, buan y gwelid, nid yn unig fod yr hyn a wnaethpwyd yn anghyfartal âg angenrheidiau y trigolion lliosog, ond ei fod mor anwastad, yn ol mympwy a gwammalder dynion, ag y byddai crefyddau mor amrywiol a lliosog â nifer ein plwyfydd, neu yn hytrach, mewn llawer man, ni byddai dim crefydd yn y byd, ac o'r braidd y byddai rhith o honi.

Mr. T.—Oni thybiwch y cyfranai dynion yn hael tu ag at ddarpariad addysg crefyddol, a chynnaliad addoliad cyhoeddus?

Opp.—Efallai y gwnai rhai am dro; ond yn y diwedd eu zel cyntaf a ddiflanai. Ni chyfranai dynion anghrefyddol tu ag at gynnal Gweinidog yr Efengyl iddynt eu hunain, llawer llai i'w cymmydogion tlawd: ac ni allai ychydig o grefyddwyr gyflawni pob peth. Fy marn ddiduedd i yw am hyny y byddai i broffes o gref-

ynt, neu weithiau, [illegible] a [illegible] yn [illegible] o [illegible] o [illegible], y [illegible] a [illegible] yn [illegible] [illegible].

Mr. T.—Eithr onid yw hyn yn ymyraeth â Rhagluniaeth Duw? Y [illegible] mawr yw [illegible] [illegible] yw [illegible] a [illegible] o [illegible] bery.

Opp.—Gwir yw, y [illegible] mawr yw gorchymyn Duw ar [illegible] [illegible]: ac nid yw [illegible] a [illegible] o [illegible] gwerth ynddynt eu hunain, ond dichon iddynt fod o werth mewn perthynas i bethau mwy pwysfawr.

Mr. T.—Ond pa fodd yr ydych yn [illegible] i Ragluniaeth Duw? Nid oes arno ef eisieu cynnorthwy dyn.

Opp.—Yr ydym yn ei adael i ragluniaeth Duw, pan yr arferwn yn ostyngedig ac mewn ymddibyniad ar ei fendith ef, y moddion a osododd efe yn ein dwylaw, ac un o honynt, yn ein tyb ni, yw Eglwys Sefydledig. Nid ydym yn gosod moddion dynol yn lle bendith Duw. Ond rhyngu bodd i Dduw, yn ei ragluniaeth yn gyffredin, wneud defnydd o offerynau: ac un o honynt yw, tueddu calonau dynion, yn enwedig llywodraethwyr a rhai mewn awdurdod, i gyflawni ei amcanion. Gallai efe weithredu heb foddion: gallasai gadw y tân ar yr allor Iuddewig, heb offeiriadaeth wladol i'w wylied ef: gallasai efe gyflawni ei addewid i arbed y rhai oedd gyda Paul yn y llong, heb iddynt hwy arferyd y moddion er eu hachubiad; etto archwyd iddynt arferyd y moddion hyn fel yn angenrheidiol i'r dyben hwnw. Ac nid ydym yn taflu o'r neilldu ei oruchwyliaeth ragluniaethol, pan yr haerom yr angenrheidrwydd am Sefydliad Eglwysig: ein meddwl yw, ei fod yn angenrheidiol fel offeryn o fuddioldeb ysprydol, yr hwn a rynga bodd iddo ef ei gysegru a'i arferyd.

Mr. T.—Ond nid oedd dim Sefydliad Eglwysig yn oesoedd cyntaf yr efengyl.

Opp.—Nac oedd; ac nid oedd modd iddynt fod, oblegid nid oedd yr un genedl gyfan wedi cofleidio y grefydd Gristionogol. Heblaw hyn, y mae ansawdd yr oesoedd hyny a'r rhai diweddaf yn dra gwahanol: ac yr oedd gallu i wneuthur gwyrthiau yn gwasanaethu i gyflawni y

dibenion hyny, y rhai yn ostyngedig a dybiwn ni a ellir eu cyflawni yn unol â rheolau cyffredin rhaglunniaeth drwy offerynìaeth Sefydliad Eglwysig, er pregethu y gair, gweinyddu y sacramentau, a chyflawni dyledswyddau swydd y weinidogaeth. Ni wiw i chwi haeru fod y Cristionogion cyntefig wedi gwrthod Sefydliad Eglwysig, nes y dangoswch yn eglur fod ganddynt allu i wneuthur un, yr hyn nid oedd ganddynt, gan mai Iuddewon neu Baganiaid oedd y teyrnasoedd ym mysg y rhai y cyfanneddent. Beth yw eich golygiadau am y pwngc hwn yn awr?

Mr. T.—Gwell genyf ei ystyried yn bwyllog, yn hytrach na datgan tyb fyrbwyll.

Off.—Gwnewch felly, fy nghyfaill; a bydd yn dda genyf ymddiddan y'mhellach â chwi ar y pwngc hwn.

---

## SYLWAD AR AIL LYTHYR

*ROBERT WILLIAMS, FRON DEG, BANGOR.*

Mr. Gwyliedydd—"Ateb arafaidd a ddetry lid; ond gair garw a gyffry ddigofaint." Da iawn fyddai genyf allu dywedyd gair ar yr achlysur presennol a dueddai i ddiffodd y llid a gododd y *Breuddwyd* anffodus i'm herbyn, er yn hollol ddifwriad ar fy rhan i. Nid hoff genyf ymddadleu â neb, ac nid ennillwyr neb yn y diwedd o ymrafaelio a dadleu, yn fy marn i. Tueddiad mwyaf dadleu yn gyffredin yw chwerwi ysbryd dyn ei hun, ac hefyd ysbryd ei wrthwynebwr. Wrth a ddarllenais i, croesni, bychanu naill y llall, drwgliwio eu gilydd; mewn gair, mwy o gecraeth nag o resymau, ac yn enwedig nag o frawdgarwch a welir mewn dadleuaeth, ïe, hyd yn nod dadleuaeth grefyddol fel y gelwir ysywaeth. Ond o'm rhan i, mwy buddugoliaeth o lawer y barnwn orchfygu trwy addfwynder a chariad. Gwell fyddai genyf allu ennill Mr. *Williams*, a phob dyn arall, o fod yn ddig i fod yn gyfaill i mi, na phe medrwn ei drechu trwy ysgrifenu brwnt, neu allu profi fod ei lyfr yn gyfeiliornus; ond, yn wir, ni fwriedais erioed gynnyg y fath beth. Ei gamsynied ef yw y cwbl o'r dechreuad mewn perthynas i mi; a drwg iawn genyf i'r *Breuddwyd* roddi achlysur iddo gamsynied. Geiriau gwirionedd a sobrwydd a ddywedais pan dystiais iddo, yn fy llinellau o'r blaen, nas gwyddwn ddim am dano ef na'r llyfr pan ymddangosodd y *Breuddwyd*, a da y gwyddoch chwi fy syndod pan welais ei lythyr cyntaf. Y mae un peth arall ag y dymunwn allu argyhoeddi Mr. *Williams* yn ei gylch, sef na bu, ac nad oes, un cyngrair rhyngof âg *Owddyn* a *Latimer*. Nis gwn etto pwy yw *Owddyn;* ac os gwir a glywais mewn perthynas i *Latimer*, y mae ugeiniau lawer o filltiroedd rhyngom yn byw—efe ym mherfedd Lloegr, a minnau ym mysg creigiau bras Meirion. Gobeithiaf y bydd Mr. *Williams* mor foneddigaidd a'm credu ar fy ngair.

Os cymmer Mr. *Williams* bwyll i ddarllen yn ddiduedd y *Breuddwyd* drosodd unwaith etto, efe a genfydd nad oes ynddo gymmaint ag un sill i'w chymhwyso at ei lyfr ef mwy nag at ryw waith arall dan yr un enw. Ni soniais air am ei gynnwysiadau—nid ynganais pa un ai Arminaidd ai Calfinaidd ydoedd—pa un ai hen waith neu un newydd ei argraffu—ïe, efe a genfydd un peth nas gallesid yn gymmwys ei ddywedyd am ei lyfr ef (canys yr ydwyf yn awr wedi ei weled) sef "ei fod yn anferth o faintioli." Gobeithiaf y cydwelwch chwi ac yntau â mi, fod gwadu adnabyddiaeth blaenorol o'r gwaith ar unwaith yn dadwneuthur pob drwg.

Y mae arnaf braidd gywilydd gadw cymmaint a hyn o le yn eich cyhoeddiad buddiol; ond rhag i neb o'm cydgreaduriaid ddal llid i mi (yr hyn yr ydwyf yn ei arswydo nesaf at ddal llid i ereill yn fy mynwes fy hun) y cymmerais arnaf lefaru y waith hon.

Wrth orphen ychwanegaf, os ydyw Mr. *Williams* yn parhau yn ei dybiaeth o fy mod i, a *Latimer* ac *Owddyn*, mewn cyngrair a'n gilydd, ysgrifened ef atoch chwi yn gyfrinachol, a diammeu genyf y rhoddwch chwi iddo wybodaeth amgenach.—

Ydwyf, eich ewyllysiwr da chwi ac yntau,

R. Ll.

---

## AT GYHOEDDWR Y GWYLIEDYDD.

Syr—Darllenais ran o bregeth odidog iawn, yn eich Rhifyn am fis Awst, ar yr *adenedigaeth ysprydol;* sef, "Oddi eithr geni dyn o ddwfr ac o'r yspryd, ni ddichon

efe fyned i mewn i deyrnas Dduw." *Ioan* 3. 5. Onid yw yn rhyfedd fod Nicodemus, yr hwn oedd ddysgawdwr yn Israel, mor gibddall ac anwybodus ynghylch yr athrawiaeth hon, a hithau beunydd yn cael ei phregethu yn synagogau yr Iuddewon cyn i'n Hiachawdwr ei thraddodi iddynt â'i enau ei hun: canys mae 'r Hen Destament yn gosod allan yr angenrheidrwydd o honi (sef buchedd newydd) mor eglur a'r Testament Newydd; ac mae 'n debyg mai gyda golwg ar y genedl hon, yn eu mwynhâd o'u grasusau a'u breintiau annhraethol, y mae 'r prophwyd Ezeciel yn eu hannog i ymfucheddu wrth reol yr athrawiaeth hon, gan ddywedyd wrthynt, "Gwnewch iwch' galon newydd, ac yspryd newydd," &c. yr hyn oedd yn cynnwys yr un peth yn sylweddol â geiriau ein Hiachawdwr ei hun ar natur yr *adenedigaeth ysprydol.* Ond yr wyf, Mr. Gwyliedydd, yn methu dirnad, pa un ai wrth ddyn fel yn hollol yn ei natur anallnog a chwbl lygredig ei hun, ai wrth ddyn fel meddiannydd ar egwyddor oruwchnaturiol sydd wedi ei phlanu ynddo, y llefarir y geiriau canlynol, a'u cyffelyb, yn y bregeth hon:—"Am hyny, frodyr, yn anad pob dim, ymwrolwch am y grefydd hon, ceisiwch eich hadgenhedlu, ymdrechwch am fyned i mewn trwy 'r porth cyfyng i'r nef; a thra byddoch byw ar y ddaear, gwyliwch yn wastadol, am na wyddoch na'r dydd na'r awr y daw Mab y dyn," &c. (tu dal. 229.) Os at y dyn anianol, megys ar ei waelod ei hun o dan y gyfraith, ac heb ddim i'w gyfarwyddo ond natur yn unig, y mae 'r geiriau hyn yn cyfeirio, nid yw yr awdwr, fel y *Morganiaid*, yn cymmell dyn i gwblhau y pethau hyn yn nerth natur yn unig. Ond os wrth ddyn fel o dan yr efengyl, wedi ei gynnysgaeddu âg egwyddor oddi uchod, megys ag y mae St. Ioan a St. Paul yn ei olygu. *Ioan* 1. 9. *Rhuf.* 5. 18. Onid yw 'r awdwr, fel yr *Arminiaid*, yn cymmell dyn fel creadur yn meddu gradd o allu goruwch-naturiol yn ei enaid rhesymol ac anfarwol tu ag at gwblhau y pethau hyn? Ac onid dyma lle mae grym yr holl ddadleuon sydd rhwng y *Calfinistiaid* a'r *Arminiaid* yn gorphwys—drwy fod un blaid yn cymmell dyn fel *pren* neu *faen i ymwroli, i geisio, ac i ymdrechu am fyned i mewn trwy 'r porth cyfyng;* a'r blaid arall yn ei annog i hyny, fel un yn meddu *dawn* neu *eleni* bywiol ac ysprydol, wedi ei blanu oddi uchod yn ei fynwes tu ag at ei arwain yn y gwaith? Os wyf yn camsynied yn y pethau hyn, Mr. Gwyliedydd, byddaf dra diolchgar i awdwr y bregeth hon, neu i ryw un o'ch Gohebwyr deallus, am fy ngoleuo ynddynt, rhag fy mod yn ymbalfalu yn y tywyllwch, fel yntau Nicodemus, ym mherthynas i'r pwngc hwn.

Yr eiddoch, &c.

CELLWR.

---

## AT OLYGYDD Y GWYLIEDYDD.

SYR—Yr wyf yn cael mawr hyfrydwch wrth ddarllen eich Cyhoeddiad defnyddiol; ond y mae yn awr a phryd arall ynddo rai pethau nad wyf yn eu deall; ond dymunwn i chwi wybod fy mod yn cyfrif mai fy anwybodaeth yw yr achos o hyny. Yn Rhif. 112. tu dal. 284. y gwelais ychydig o ymadroddion o'r cyfryw, a byddaf dra diolchgar i "*Trugarn*" am esponiad arnynt, neu brawf o'u gwirionedd. Dywedodd, mai "yr achos haeddiannol o iechyd yr enaid ydoedd gwaith Crist yn prynu iachawdwriaeth." Mewn perthynas i'r geiriau—"Y credadyn a sancteiddir yn ei gorph, yn ei enaid, ac yn ei yspryd," byddaf dra diolchgar iddo os dywed pa un ai dau enw ar y rhan anfarwol o ddyn yw "enaid ac yspryd," ynte a oes mwy na dwy ran mewn dyn? Dywedodd hefyd—"Y mae yr enaid yn werthfawrocach na'r corph." Dymunaf iddo gredu nad eisieu dadl sydd arnaf, ond cael eglurhad, mewn dull cyfeillgar a hollol rydd oddiwrth yspryd pigog; o herwydd yr wyf yn credu, pe bai lai o ddadleu yn y byd, y byddai mwy o lwyddiant ar achos Crist, a mwy o agoerwydd a chynnesrwydd at eu gilydd ym mhlith disgyblion Crist: ac y mae 'r apostol yn gwahardd dadleu, ac yn dweud, mai "dynion llygredig eu meddwl, heb fod y gwirionedd ganddynt," yw y rhai sydd yn hoff ganddynt "gyndyn-ddadleu;" ac yna y mae yn annog y gweinidog ieuangc, at yr hwn y mae yn ysgrifenu, i "ochel y pethau hyn," ac i "ddilyn cyfiawnder, duwioldeb, ffydd, cariad, amynedd, addfwynder," &c. Bob amser y cyfarfyddwn â

llythyrau dadleugar mewn unrhyw Gyhoeddiad, &c. gallwn weled na bydd y chwe tlws a enwyd ynddynt. Pell wyf fi hefyd oddiwrth feddwl na ddylai Cristionogion "ymdrechu o blaid ffydd yr efengyl;" ond peidio myned oddiar lwybr y gwirionedd i amddiffyn unrhyw bwngc yw fy meddwl. Gobeithio y maddeuwch i mi, Mr. Gwyliedydd, am fy anneheudra: ysgrifenais fel yn ddiarwybod: gwnewch âg ef fel y gweloch yn dda; a dymunaf eich llwyddiant.

*Caer——n.* NIHIL.

---

## LLYTHYR AT Y GWYLIEDYDD.

SYR—Gwn nad oes diwedd ar ddadleu, ac na bydd a rydd derfyn ar ymrysonau dynion, ond angeu yn unig. Ychydig ddyddiau yn ol, digwyddodd i mi fod yn nghyfeillach dau ymrysonydd penboeth—y ddau mor gadarn a'u gilydd o blaid eu mympwy, ac mor anwybodus o deithi ein hiaith ddyrchafedig a'r *Sultan* neu ddau gyw colomen. Eu testun oedd yr iaith Gymraeg; a'r hyn a achosodd yr ymryson oedd Englyn a gyfansoddodd un o'ch Beirdd i'w osod ar fedd-faen gwraig elusengar. Yr Englyn, tybygaf, sydd fel hyn:—

"Yr Elusengar daearwyd——dyma,
Di amai, lle 'i *rhoddwyd;*
Buddiol bu yn ei bywyd,
Ac yn ei bedd, gwyn ei byd."

Ni wyddai y naill na'r llall ddim am Reolau Barddoniaeth Gymreig mwy nag un o frodorion Affrig. Un a fynai nad y gair *rhoddwyd* a ddylasai fod yn niwedd paladr yr Englyn, ond *dodwyd;* a'r llall a haerai fod y naill a'r llall yn amlygu meddwl yr awdwr; ac a ddygodd enghreifftiau i brofi ei haeriad: "Wedi ei naddu mewn careg, yn yr hwn ni *roddasid* dyn erioed." *Luc* 23. 53. "Am fod y bedd hwnw yn agos, y *rhoddasant* gorph yr Iesu.' *Ioan* 19. 42.

"Er *rhoi* fy nghorph bach, trwy hedd."
*Gwilym Caledfryn, ar fedd plentyn.*

"Ow, *roddi* 'th fath i'r priddyn."
*Gwilym etto, ar fedd merch ieuangc.*

Mynai yr un gwr nad da yw y rhagenw personol *hwn* mewn brawddeg, megys "o'r plwyf *hwn;*" ond dywedai mai cysonach a rhagorach fyddai *hyn*. Pa un ai *dulliau* ynte *dilliau* yw y mwyaf priodol i'r iaith Gymraeg? Bu y ddau air uchod hefyd o dan sylw y ddau ŵr; a chan na chafodd y naill na'r llall foddlonrwydd ar y pethau uchod, penderfynwyd i'w hanfon i'ch sylw chwi, neu rai o'ch doethgall Ohebwyr, gan ddisgwyl iddynt sylwi arnynt y cyfle cyntaf, er cyhoeddi heddwch rhwng y ddau gymmydog a'u gilydd.——Yr eiddoch, &c.

TANGNEFEDDWR.

---

## BOREU-GODI.

YN llythyr cymmun y diweddar Mr. James Sargeant o Gaer Lûr (*Leicester*) cynnwysid y cyfarwyddid canlynol o berthynas i foreu-godi:—"Yn gymmaint a bod fy neiant yn hoffi anwesu eu hunain yn eu gwelyau y boreu, a'm bod innau yn chwennych iddynt iawn-ddefnyddio yr amser tra y maent yn ieuaingc, yr ydwyf yn erchi ar fod iddynt roddi prawf boddlonol i weinyddwyr fy ewyllys ddarfod iddynt godi o'u gwelyau y boreu, ac o bump ar gloch hyd wyth yn feunyddiol, o'r 5ed o Ebrill hyd y 10fed o Hydref, dreulio eu hamser mewn gwaith neu ddifyrwch yn y maes, sef tair awr bob dydd; ac o'r 10fed o Hydref hyd y 5ed o Ebrill, o saith hyd naw, yr un modd, sef dwy awr bob boreu, am ddwy flynedd. A bod i'r unrhyw gael ei gyflawni dros ysbaid rhyw ddwy flynedd o'r saith cyntaf, er boddlonrwydd fy ngweinyddwyr, y rhai a'u hesgusodant mewn amgylchiad o afiechyd, poed fod iddynt wneuthur i fynu y diffyg yn eu hiechyd; ac os na wnânt felly, ni chânt fwynhâu cyfran yn y byd o'm meddiannau i."—Diau fod y cymmun-roddwr yn golygu y byddai i'w neiaint, drwy 'r cyfryw ymarferiad dros ddwy flynedd, gael y fath flas arni fel nas ymadawent â hi yn llwyr holl ddyddiau eu hoes.

---

## AT OLYGYDD Y GWYLIEDYDD.

OS tybiwch fod y Chwedl ganlynol yn gyfaddas i'w rhoddi ar ddalenau golygus eich Cyhoeddiad canmoladwy, y mae at eich gwasanaeth. Dau beth a'm cymmellodd i'w danfon i chwi; sef, yn gyntaf, gan fy mod yn trigfanu yn gyfagos i'r tŷ lle y preswyliai y pendefig y sonir am dano, a

bum tu fewn iddo cyn ei dynu i lawr;—yn ail, bod y cyffelyb ymweliad yn yr un ardal y pryd hyn; felly bydd yn ymddangos yn gyfamserol.——Ydwyf, &c.

GWILYM EDWEN.

## CHWEDL YNGHYLCH Y PLA.

Arglwydd Craven oedd yn byw yn Llundain, yn y flwyddyn 1665, pan oedd y pla yn diffrodi yn echryslon. Ei dŷ oedd ar gyfer y fan a elwir, *Craven Buildings.* Pan ganfu fod y clwyf yn cynnyddu, ac yn myned yn heintus, ei Arglwyddiaeth, i ochelyd y perygl, a orchymynodd gael ei gerbyd a chwe march at y drws. Pan oeddynt yn barod i gychwyn, tra yr oedd efe yn cerdded trwy y neuadd, gwedi cymmeryd ei amben, a'i ffon, a gwisgo ei fenyg yn barod i esgyn i'r cerbyd, clywodd was iddo o Negro o'r tu cefn yn dywedyd wrth was arall—"Mae 'n debygol, wrth fod fy arglwydd yn ymadael â Llundain rhag y pla, fod ei Dduw ef yn y wlad, ac nid yn y dref." Y Negro druan a ddywedodd hyn yn symlrwydd ei galon, dan gredu bod nifer o dduwiau. Yr araeth, beth bynag, a wnaeth argraff ddofn ar ei feddwl, ac a barodd iddo ymsynied. "Fy Nuw (eb efe) sydd yn byw ym mhob man, ac a fedr fy nghadw yn y dref yn gystal ag yn y wlad. Anwybodaeth y Negro a bregethodd wers athrawus i mi. Arglwydd, maddeu fy anghrediniaeth, a'm hanymddiried yn dy ragluniaeth, yr hyn a barodd i mi fel hyn feddwl am ddiangc rhag dy farn." Efe a orchymynodd roddi y cerbyd heibio. Arosodd yn Llundain, ac a fu yn hynod wasanaethgar ym mhlith ei gymmydogion clwyfus, ac ni chafodd byth mo'r haint.

---

## ETHOLIAD SENEDDWYR.

MR. GWYLIEDYDD—Mae amrywiol o'ch darllenyddion yn meddu hawl i ddewis Aelodau y Senedd, a gofynir i bob un gymmeryd ei lw ar yr achlysur, yr hwn sydd mor ddifrifol ag yn gofyn eu hystyriaethau manylaf. Os bydd i chwi gydsynio, cyhoeddwch ef fel hyn:—

"Yr wyf yn tyngu na dderbyniais i, na neb arall droswyf, neu er fy lles, yn uniawn neu yn anuniawn, unrhyw swm o arian, na swydd, lle, na gwasanaeth, rhodd, neu wobrwy; nac ychwaith addewid neu sicrwydd am arian, swydd, gwasanaeth, neu rodd, fel cydnabyddiaeth am roddi fy mhleidlais yn yr Etholiad hwn, ac na ddarfum o'r blaen roddi fy mhleidlais yn yr Etholiad hwn. Felly cynnorthwyed Duw fi."

D. W.

*Lledrod, Ceredigion.*

---

## LLOFFION.

MAE natur wedi rhoddi i ni *ddwy glust*, a dim ond *un tafod;* gwers dra buddiol, os dilynir hi yn ddyladwy.

Y rhai sydd yn ofni Duw *fwyaf*, ydynt yn ofni dynion *leiaf*.

Byw yn *uchel* sydd yn dwyn dynion yn *isel*. Yr hen Roegiaid a arferent gospi â thoster dau-ddyblyg droseddau wedi eu gwneuthur mewn meddwdod; yn gyntaf, am iselu eu hunain yn is na'r anifeiliaid direswm; ac yn ail, am y trosedd ei hun.

Y mae yn beth hynod mai y mwyaf *hyddysg* a *gwybodus* o'r holl anifeiliaid (yr Elephant) yw y mwyaf *cymmedrol:* tra, yn y gwrthwyneb, y mwyaf *penbyleidd* a *gwrthun* (yr hwch) yw y mwyaf *glythig* a *gwangcus*.

Yr oedd arfer ym mhlith y Tyrciaid o dduo wyneb tai y cyfryw ag a fyddent nodedig am *adrodd chwedlau*, neu daenu *celwyddau*, er eu gwaradwyddo. Pe bai yr un arfer yn ein plith ni, pa olwg hyll a fyddai ar lawer o'n trefydd yn Nghymru!

Siampl sydd wers, yr hon y medr pawb ei darllen.

Nid ellir dywedyd fod neb wedi marw yn ddisymmwth, os bu ef fyw yn hir.

Os na reolwn ein anwydau, gallwn fod yn sicr y bydd iddynt hwy ein rheoli ni.

Y rhai sydd yn dywedyd y *cwbl* a wyddant, y maent yn gyffredin yn dywedyd *mwy* nag a wyddant.

Yr hwn nid yw yn hoffi clod, ni wna efe ddim braidd i'w haeddu.

Y neb sydd chwannog i roddi cyngor, y mae arno ei eisieu *ei hun*.

Y ffordd waelaf o *ganmol* ein hunain yw *beio* ar ereill.

Y rhai ni roddant air da i neb, nid ydynt yn haeddu gair da gan neb.

C. T.

# BARDDONIAETH.

## AWDL I BENMAEN DYVI.

Dartheym i, ar daith o'm *Mon*,
I degwch *Ceredigion*,
Hyd avon *Penmaen Dyvi*,
A thros hon i'r Vron vawr vri,
I blas *Vaughan*—ba lys vwy
Ei adail i ddieithr Veudwy?

Od wyv Vardd, lle 'r ydwyv vi
Oddiyma—anhawdd imi
Vyned, heb ryw gerdd vanol
Gwedi 'mharch i'w gado o'm hol.

Cevais i, mi goviav son,——yma
Hawdd-ammor yn dirion,
Gwresawg, hael, groesaw calon,
Ysgâr vawr gan Sgweir *Vaughan*.

Er sydd—mae 'n alar imi 'r son!—drwy 'r tir
Wedi troi yn Saison—
Mae'n aros etto ym *Meirion*
Yn dal vy iaith Deulu *Vaughan!*

Os wyt ti Vardd hardd urddion,
Na thro heibio y van hon—
Tro i mewn—anturia am unwaith——wan
Mewn da odlau, mwynion, diledïaith.
Gwna d' orau gann â d' araith——gyson,
I'r Cymro cu *Vaughan* mewn Cymraeg vaith.

O! edrych dros y drych draw——y dyffryn,
Deffro i vyvyriaw—
Ti erchi bleth—edrych heb law——gar bron
*Dyvi* loyw avon yn dyliyaw.

Od hoffi raniad y dyffrynoedd,
Yma 'n addien, a'r mynyddoedd,
Prydverthwch, cyd-degwch, coedwigoedd,
Rhodveydd beirdd syberw, berw aberoedd;
Cwyd dy Awen i lawen vloedd——mewn odlau,
Yn y vaenawr gwau i *Vaughan* ar goedd.

Rhaid i mi rodio ym mhell——a myned
Er mwyned vy 'stavell—
Rhaid i mi godi o'r gell
Allan—eu bod yn wellwell.

Dymunav wedi myned——i'r *Vaughan* wyr
Tra daear ar ŵyr, tra dwr a red,

Bendith riv gwlith y glyn—a'r gwlaw bob dawn
Diysgavn vo'n disgyn
Yn y byd—a bo wedy'n,
Rad Duw hael i'r Teulu hyn.

P. A. Mon, yr hwn a adwaenid yn
*Seren Gomer* gynt dan yr enw,
Cawr Gwan.

## MARWOLAETH PICTON.

"Picton, ceir cwynion cur cant,
"Lladdwyd ym mreichiau llwyddiant."
Walter Davies.

Farchogion! ymlaen! mae y gelyn gerllaw,
Farchogion! ymlaen! mae yn ymyl ymosawd;
Nac ofnwch ei ddychryn, ni wyddoch ddim braw,
Ymlaen, fy marchogion! yn ol yr hen ddefawd.

Ni welodd y gelyn mo Picton erioed
Yn arwain ei lu yn ei erbyn heb orfod;
Ymlaen fy marchogion! ymlaen yn ddioed;
Carlamwch, Arfogion! mae y gelyn yn dyfod.

Taniant yn ffromwyllt, ac ymruthrant yn chwyrn;
Ond ni a'u derbyniwn, fy anwyl Frythoniaid!
Nyni a'u derbyniwn—dangoswn ein cyrn,
Ni a'u rhwygwn yn llwyr, nes lladdwn y lleiddiaid.

Hogasant eu llafnau i frathu fy mron,
Er hyny, ymlaen! ac os cwympa eich Picton,
Fe gwymp dros ei wlad. O! ymlaen y waith hon,
Mae Buddug o'n plaid, nid o blaid y gelynion.

Ar hyn,—ar y gair,—bu ymosawd a thrin,
Ofnadwy ymosawd! Och, gri lladdedigion!
Gweryriad y meirch,—swn yr eirf a thàn blin,
Tra Angeu yn rheoli y marwawl ergydion!

Tan Picton y syrthiai ei farch ar ol march,
A Buddug a wylai dros dynged y gwron;
Ac Angeu a floeddiai,—"Darparwch ei arch,
A! heddyw rhaid marw y dewraf o ddynion."

Ow! picell ar bicell, a chledd ar ol cledd
A yfent ei waedlin heb unrhyw dosturi,
Mewn llid ysglyfaethent ei gnawd yr un modd,
Ac yna crechwenent ar ol ei digoni.

Tegid.

*Rhydychain.*

## EMYN

*Diolchgarwch am y Cynhauaf Toreithiog,* 1832.

O mor helaethlawn yw dy rad,
O Dad y trugareddau!
Bendithion ar fendithion fyrdd,
Sy'n toi dy ffyrdd a'th lwybrau.

Tydi a wisgaist ddaear lawr,
A thoraeth mawr a chnydau,
Gan drefnu'n dirion addas hin,
I drin a chasglu'r ffrwythau.

Ydlanau, celloedd, teg ystôr,
Ac ysguboriau llawnion,
A heddwch tawel yn ein tir,
O werthfawr wir fendithion!

Y llawr tan draed a'r llu uwch ben,
Drwy 'r wybren sy'n llefaru,
Gan alw dynion ag un floedd,
Yn floedd i'th foliannu.

### RHAN II.

Nyni, heb haeddu dim, mor hael,
O hyd sy'n cael ein llenwi:
Duw, dyro i'n calonau gwâr,
Diolchgar i'th glodfori.

A chadw ni rhag rhyfyg trwch,
A phob caledwch calon,
Rhag d'annog, gwedi rhoi pob braint,
I'n lladd â'r haint echryslon.

O maddeu'n beiau gorthrwm iawn,
Yn raslawn o'th drugaredd:
Mae ein dadleuwr fry o'n plaid,
I'n henaid gwna amgeledd.

### GOGONAIR.

I'r Tad, y Mab, a'r Yspryd Glân,
Y rhown ar gân gogoniant,
Y Tri yn Un, Goruchaf Dduw,
Hyd byth bid gwiw ei foliant.

M. D.

# HANESION GWLADWRIAETHOL.

## Newyddion Tramor.

FFRAINGC.—Derbyniwyd llythyrau o Paris yn hysbysu fod parotôadau yn myned ym mlaen yno i ddanfon milwyr at y terfynau rhwng Ffraingc a Belgium. Penderfynwyd ar hyn o achos ymddygiad rhagrithiol a thrahaus Brenin Holand, yr hwn sydd yn bwgwth ymosod ar Belgium. Y mae triugain mil o filwyr i fyned yn ddioed at gyffiniau y ddwy wlad, ac i aros yno nes y cânt eu gorchymyn y'mhellach, gan fod Brenin Ffraingc wedi datgan ei feddwl na edy efe er dim i deyrnas ei fab y'nghyfraith gael ei haflonyddu gan William o Holand. Y mae y Dug o Orleans wedi myned i Brussels gyd â'r gennadwri at Frenin Holand, os bydd i'w filwyr ef feiddio dyfod i Belgium, y bydd iddo yntau yn ddioed ddanfon ei filwyr i'w wlad yntau, yn ol yr ammodau a gytunwyd arnynt gan y Brenin Leopold, sef, fod Belgium i gael ei hystyried yn wlad ammhleidiol. Y mae y newyddion o barthau deheuol Ffraingc yn hysbysu fod yr helyntion yno y'mhell o fod yn dangnefeddus. Y mae plaid y Brenin diweddar yn ymgryfhau, a'r Duges de Berri yn aros yn La Vendee, ac yn parhau i ddiystyru yr awdurdodau gosodedig, ac i ddirmygu bygythiadau y llywodraeth, a dywedir bod iddi nifer lliosog o bleidwyr.

Derbyniwyd llythyrau o Paris, y rhai a fynegant fod llywodraeth Ffraingc wedi ymrwymo yn y modd mwyaf difrifol nad ymyra mewn perthynas i helyntion Belgium a Holand, heb ymgynghori â Lloegr, ac na chaiff yr un milwr symud cam, nac un llong hwylio, i gynnorthwyo y Belgaid, heb yn gyntaf gael cydsyniad Lloegr, gan yr hon y bydd iddynt gael eu cyfarwyddo ym mhob peth. Yn wir y mae yn llawn bryd i'r achos hwn ddyfod i benderfyniad.

Dywedir i lynges Lloegr gael gorchymyn i ymbarotoi i hwylio yn ddioed i'r [illegible], hyn, ynghyd â'r fyddin o Dri[illegible] Mil o Ffraingc sydd eisoes wedi [illegible] a fydd yn debyg o roddi terfyn [illegible] sydd wedi parhau cyhyd [illegible] a Holand.

[illegible] Y newyddion o'r wlad hon [illegible] yn dra ofidiol ar ochr [illegible] Bayonne fod [illegible] Fferdinand, fel y [illegible] Yr oeddid yn [illegible] yn ol i hyny gym[illegible] Yr amser, a hyny [illegible] Portugal.

PORTUGAL.—Y mae yn dra thebygol y bydd canlyniadau pwysfawr yn dilyn o blaid Don Pedro a Phortugal ar ol marwolaeth Fferdinand, Brenin yr Hispaen. Y mae byddin Don Pedro yn cynnyddu o hyd mewn hyder a chryfder, tra mae achos Don Miguel yn gwanhau yn feunyddiol. Y mae y llyngesydd gwrol Sartorius yn hwylio yn ol ac ym mlaen yn yr afon Tagus; ond metha ei holl ddyfeisiau dynu allan ei elynion o'r porthladd llongau i gael ymladd â hwynt.

---

## Newyddion Cartrefol.

### YMWELIAD

*Ei Hawrhydeddus Fawredd* y DUGES O GAINT, *a'i Harddercheaf Ferch* y DYWYSOGES VICTORIA, *â Thref Conwy, Awst* 13eg, 1832.

NIS anghofir yn fuan y llawenydd a barodd ymweliad y personau goruchel hyn yn nhref Conwy ar ddydd Llun y 13eg o Awst, 1832. Y mae yn hysbys yn barod, fe allai i'r rhan fwyaf o ddarllenyddion y Gwyliedydd, bod y Dduges o Gaint, a'i merch, y Dywysoges Victoria, yr hon (os gwel Duw yn dda roddi hoedl iddi) sydd i lywodraethu arnom yn Frenhines yn ol llaw, gwedi dyfod i Beaumaris, i wneuthur eu harosfa yno am ryw amser. Ymwelasant a Chaernarfon yr wythnos o'r blaen, lle y derbyniwyd hwynt yn groesawus;—a hyspyswyd ryw fodd neu gilydd i drigolion Conwy Dydd Sadwrn, eu bod yn bwriadu ymweled a'u tref hwythau ddydd Llun y boreu, etto nid oedd un math o sicrwydd am y peth, ond rhyfedd y disgwyliad a'r parotôad a barodd hyd yn nod y sibrwd. Dydd Llun y boreu a ddaeth, â gwelid rhai yn cyrchu tu a'r dref gyda chalonau llawen i weled y "Frenines fechan" (fel y galwent y Dywysoges Victoria). Y'mhlith ereill aethum tu ag yno fy hun, ond ni welswn ddim yn wahanol i'r hyn a welodd fy llygaid o'r blaen; pelydrau 'r haul oeddynt yn ymdori ar dyrau 'r hen Gastell, a baner yn chwyfio ar ei gopa, fel arferol; ond pan aethum dros y bont, a thrwy 'r porth i'r dref, synais wrth weled y fath barotoadau rhyfeddol yn cael eu gwneuthur i groesawi yr ymwelyddion breninol! Dros amryw fanau o'r heolydd yr oedd bwaau o goed wedi eu hadeiladu, a'r rhai hyn i gyd wedi eu haddurno a llawryf gwyrddlas, ac a baneri symud-liw! Ar y borthfa *(quay)* lle yr oeddynt i dirio, ymrestrodd aelodau Cymdeithas *(Club)* Conwy yn ddwy res, un o bob tu, a'u ffyn hir-feinion yn eu dwy-

law, a safodd y Boneddigion âg oedd i gyflwyno yr Annerch i'w Mawrhydi ar eu hymweliad yn y canol. Yn yr heol tu uchaf i'r Porth Isaf, gwelid golwg tra hoff a chynhyrfiol, sef, Genethod yr Ysgol Rad, gwedi eu rhanu yn ddwy ran, un o bob tu i'r heol, a phob un o honynt a llawn swp o flodau hardd yn eu dwylaw i daflu dan draed y Dywysoges ieuangc ar ei mynediad drwy'r heol i'r Castell! Hyn a wnaed tan arolygiad Miss Owen o Heol y Castell, i'r hon y mae pob clod yn ddyledus am ei diwydrwydd, ei diben, a'i hamcan; y mae genym awdurdod i ddywedyd, i hyn foddhau y Dywysoges Victoria yn neillduol, ac megis tystiolaeth sicr o'r boddlonrwydd am yr anrheg hwn o barch a dalwyd iddi gan ei chyfoedion, gadawodd *Ddeg Punt ar Hugain* yn llaw y Ficer tu ag at gynnal Ysgolion Rhad Gonwy; a gallwn grybwyll yma ei bod gwedi bod yn hynod o haelionus mewn amryw fanau ereill yn y Dywysogaeth tu ag at ddwyn yr unrhyw achos clodwiw yn y blaen! Taled yr Arglwydd yn ol iddi ar y canfed am ei daioni! Oddeutu 12 o'r gloch, daeth y newydd i'r dref bod Agerdd Lestr Mr. Assheton Smith o'r Vaynol (yr hon oedd i drosglwyddo eu Mawrhydi, a'u cyfeillion, o Fôn i Arfon) gwedi cychwyn o Beaumaris; ac wrth hyn gwelid pob gwynebpryd yn crechwenu gan lawenydd; ond gan ei bod yn ormod trai i'r llestr fawr hon ddyfod i mewn i'r afon, tybiwyd yn addas, er diogelwch i'w Hanrhydeddesau, eu dwyn yn y Bâd Breninol (*Royal Barge*) ag oedd yn ei chanlyn. Parodd hyn iddynt oedi ychydig, a dechreuodd y disgwylwyr anesmwytho, o herwydd yr oedd pawb yn hiraethu am weled y "Freninea ieuangc;" ond nid hir y cawsant sylldremio; ond wele y cwch banerawg yn y golwg, a gwrthddrych dymuniad eu llygaid ynddo! Ar hyn, drylliwyd bron yr hen Gastell, a chaerau y dref, gan sŵn y bobl a'r magnelau, ac ychydig fynydau wedi hyn, yr oedd ei Hanrhydeddus Fawredd y Dduges o Gaint, a'i Hardderchocaf Ferch y Dywysoges Victoria wedi tirio dan hen furiau Conwy.

Wedi tirio o honynt, aethant rhag blaen i weled y Castell, lle y cyflwynwyd iddynt Anerchiad parchus gan y Boneddion canlynol:—

| | |
|---|---|
| Parch. John Owen | R. H. Jones, Ysw. |
| Parch. Thomas Alban | John Lloyd, Ysw. |
| Parch. T. G. Roberts | G. T. Smith, Ysw. |
| Parch. Geo. Phillips | Mr. John Jones |
| Parch. J. E. Hughes | Mr. Samuel Owen |
| Parch. G. Williams | Mr. Thomas Roberts |
| W. H. Wayne, Ysw. | Mr. John Jones |
| Thomas Lloyd, Ysw. | Mr. Thos. Vaughan |
| Henry Raikes, Ysw. | Mr. Thos. Roberts |
| Jos. Wix, Ysw. | Mr. Edward Jones |
| Thomas Fell, Ysw. | Mr. Hugh Williams. |
| W. H. Cantrel, Ysw. | |

## ANERCH.

### "I'W HANRHYDEDDUS FAWREDD Y DDUGES O GAINT."

*Anerchiad ufuddaf a pharchedicaf trigolion Tref Conwy a'r gymmydogaeth.*

"I gyflwyno i'th Anrhydeddus Fawredd ein teimladau gwresocaf o barch ar yr achlysur hwn, sy ddyledus i'r sefyllfa oruchel y'th osodwyd ynddi yn y deyrnas hon, yn enwedig, pan yr ydym yn canfod y fath rinweddau da yn gyssylltiedig â sefyllfa mor oruchel. Yr ydym mewn gwirionedd, gyda phob purdeb a gostyngeiddrwydd calon, yn talu i ti ein diffuant anrheg o glod a pharch tu ag atat.

"Dywenydd nid bychan yw genym dy anerch, ynghyd â'th Ferch ardderchocaf y Dywysoges VICTORIA, ar eich ymweliad a'n hen dref gaerog—ac er bod ein hynafiaid unwaith yn edrych gyda chasineb a dirmyg ar y Castell gorwych hwn, ag sydd yn awr yn harddu ein bro a'n hardal, etto nid drwg genym bod yr amser hwnw gwedi myned heibio. Eithr yn hytrach yr ydym yn llawenychu am ein bod yn awr gwedi ein cydgylymu â rhwymyn tangnefedd, gyda deiliaid lliosog ereill, mewn ufudd-dod i'n tirion Frenin, i'r hwn yr ydym yn addunedu talu gostyngeiddiaf barch ac ufudd-dod, megys ag y mae yn ddyledus—a phan y rhynga bodd i'r Hollalluog weled yn dda i alw dy Oruchel Ferch y Dywysoges VICTORIA i Deyrngadair y Deyrnas hon, yr ym yn ymrwymo ein hunain, hyd y mae gallu ynom, i chwanegu at ei dedwyddwch personol yn gystal a derchafu a sicrhau llwyddiant ei freniniaeth:

"Bydded i Frenin y Breninoedd fendithio a chynnysgaeddu dy Anrhydeddus Fawredd, a'th ardderchocaf Ferch y Dywysoges VICTORIA, a hir ddyddiau yn y mwynhad o iechyd a phob dedwyddwch!"

Darllenwyd yr Anerch mewn modd syml a difrifol gan y Parchedig John Owen; ac yr oedd yn eglur ddigon iddo gael argraff ar deimladau tyner ei Mawrhydi.

### ATEB EI MAWRHYDI I'R ANERCH UCHOD.

"FONEDDIGION—

"Y mae y Dywysoges VICTORIA a minnau yn derbyn, gyda diolch gwresog, y fath arddangosiad amlwg o'ch teimladau caredig tu ag atom, yr ydym hefyd yn diolch i chwi am y derbyniad croesawus a gawsom gan bawb o bob gradd ar ein dyfodiad yma, i'ch hen dref rhyfeddol hon. Bid sicr i chwi mai dywenydd yw gweled y fath barch ac ufudd-dod yn cael eu talu i'w Brenin gan drigolion Conwy, o'r hyn y mae y croesawiad a gawsom ni yn eich plith yn brawf eglur."

Gwedi iddynt graffu yn fanwl ar adfeilion y Castell dros ryw amser, aethant yn ol, ynghyd â Syr John Conroy, Esgob Llanelwy, Mr. Assheton Smith, ac ereill, drwy yr heol i Westdŷ y Castell (*Castle Inn*) lle yr oedd bwrdd wedi ei hulio iddynt gan Mrs. Owen, a'i lenwi gyda phob math o ddanteithion. Gwedi gorphwys dros yspaid dwy awr, aethant dros y bont yn eu cerbydau breninol (*Royal Carriages*) pan rwygwyd yr awyr etto gan drwst magnelau a bloeddiadau yr edrychwyr. Ar ol hyn dychwelasant ar hyd y tir tua Bangor, a boreu dranoeth nid oedd dim i'w weled yn Nghonwy ond ambell ben yn curo dan effaith "Cwrw da."

GWYDDFODOLWR.

## EISTEDDFOD BEAUMARIS,

### *A GYNNALIWYD YR* 28*AIN A'R* 29*AIN O FIS AWST*, 1832.

Dydd Mawrth, yr 28ain o Awst, oedd y diwrnod a bennodwyd i Arddercbogion, Boneddigion, Lleenogion, a Beirdd Cymru, i ymgynnull ynghyd yn nhref Beaumaris i gadw un o hen ddefodau eu cyndadau ag sydd yn perthyn yn arbenig i hil Gomer. Yr oedd yr hin mor anwadal drwy yr wythnos o'r blaen, ac yn enwedig ar ddydd Llun, ag i beri i gefnogwyr yr Eisteddfod ofni y rhwystrid eu cyfeillion rhag bod yn wyddfodol ar uchel-wyl Gwalia. Yr oedd bore y diwrnod cyntaf yn dra chymylog; ond fel y nesâodd yr awr i agor yr Eisteddfod, y cymylau a wasgarwyd, a'r haul a dywynai yn ddisglaer ar "Fam Cymru." Yr oedd y dref yn llawn o ddieithriaid, ac yr oedd gwên sirioldeb yn ymorphwys ar wyneb y minteioedd a ddisgwylient am yr hyfrydwch ag oeddynt ar fedr ei fwynhau yn y castell. Yr oedd tyrfa liosog o Feirdd, Telynorion, a Dadgeiniaid, wedi cyrchu yno er y diwrnod o'r blaen. Am 11eg o'r gloch, y Llywydd, sef Syr R. Williams Bulkeley, Barwnig, A. S. dros Fwrdeisdref Beaumaris, y Noddwyr, y Cyfeisteddwyr, a'r Beirdd, wedi eu haddurno â'u hamrywiol dlysau, a ymgasglasant yn Llysdy y dref. Oddi yno y cychwynasant yn weddaidd ac yn rheolaidd tu a'r Castell, lle yr oedd niferoedd wedi ymgasglu eisoes. Tu fewn i furiau y Castell yr oedd esgynlawr helaeth wedi ei wneuthur, ar yr hwn y safai y Llywydd, y Noddwyr, y Cyfeisteddwyr, ac amryw o'r Beirdd. Yma hefyd yr eisteddai llawer o rïanod pryd-cain Cymru, Lloegr, a'r Iwerddon. Wrth sylla o'n hamgylch ar Arddercbogion a Boneddion Cymru ar y naill law, a meibion yr Awen, ac Ofyddion Cymru ar y llaw arall, adgofiwyd ni o ran o araeth hyawdl ein cyfaill Alun, a draddododd efe yn Eisteddfod Dinbych:—"Yn y cyrddau hyn, y rhai a noddant, a'r rhai a noddir, a ymgyfarfyddant. Yma y daw y noddedig wedi eistedd a llafurio wrth y Llyfryn a'r Greal: adroddant y daioni a wnaethpwyd, a gofynant genad i eistedd drachefn, a derbyniant adnerth a chalondid oddiwrth wenau eu noddwyr."

Wedi i sain yr udgorn crochlais hysbysu i'r gwyddfodolion fod yr Eisteddfod ar ddechreu, daeth y Parch. J. Blackwell, A. B. ym mlaen, ac a ddarllenodd y cyhoeddiad canlynol, yr hwn a adroddwyd yn Saesonaeg gan Aneurin Owain, Ysw.

"*Y GWIR YN ERBYN Y BYD.*"

"Yn y flwyddyn 1832, pan yw yr haul yn nesâu at Alban Elfed, yn awr anterth, ar yr 28ain o fis Awst, gwedi cyhoeddiad teilwng, agorir yr orsedd hon yn Nghastell Beaumaris yn Ngwynedd, i roddi gwys a gwahawdd i bawb a gyrchont lle nad oes arf noeth yn eu herbyn, ac y cyhoeddir barn gorsedd ar bob Awenydd a Barddoni a roddir dan ystyriaeth yn llygad haul, ac y'ngwyneb goleuni!—*Y gwir yn erbyn y byd.*"

Yna y Llywydd a ddaeth y'mlaen, ac a gyfarchodd y gwyddfodolion yn yr araeth hyawdl ganlynol:

"Fy Nghydwladwyr—Wrth ddilyn esiamplau Llywyddion yr Eisteddfodau a gynnaliwyd o'r blaen, fy nyledswydd yw gwneuthur ychydig o sylwadau ar ddibenion y Cyfarfodydd hyn. Ofnaf ei fod yn rhyfyg i mi dderbyn y swydd i'r hon y'm galwyd, am fy mod yn teimlo fy hun yn fyr o ddau o gymmwysderau angenrheidiol. Nid yw fy ngwybodaeth o hanes gwlad fy ngenedigaeth mor helaeth ag y dylai fod: ac yn ail, yr wyf yn hylwyr anhyddysg yn iaith y Cymry. Ni allasai dim ond awydd cryf a dyhewyd gwresog i gyfranu yr hyn a allaf tu ag at hyrwyddo Llëenyddiaeth Gymreig fy nghymmell i lenwi y sefyllfa oruchel yr ydwyf yndi yn awr. Wrth gydnabod fy anghymmwysder, erfyniaf hynawsedd y gwyddfodolion, a hyderaf y derbyniaf bob cynnorthwy gan y boneddigion a'r boneddigesau sydd o'm hamgylch. Gan y dichon fod rhai o'm cydwladwyr sydd yn awr yn bresennol yn anwybodus o ansawdd arbenig Eisteddfodau, ymdrechaf ar fyr eiriau ddynodi eu dechreuad a'u dibenion. Yn yr amser gynt cynnelid yr Eisteddfodau bob tair blynedd. Eu prif ddiben oedd coleddu llëenyddiaeth, dyrchafu moesau y werinos, ac yn enwedig er cefnogi Barddoniaeth a Pheroriaeth. I'r dibenion hyn y cynnaliwyd yr Eisteddfodau yn y dyddiau gynt, ac ni allaf ddywedyd fod eu dibenion wedi cyfnewid yn y dyddiau hyn. Y dysgedigion o'm hamgylch a'm hysbysant mai anfynych y gwelwyd cyfansoddiadau Cymreig a dalent eu cystadlu â'r rhai a gyflwynir i'r cyfarfod hwn, ac ni chawsant erioed eu rhagori. Yr wyf yn ddyledus i ereill am yr hysbysiad; ac yn hyn gorfydd arnaf ddioddef y gosp a rydd anwybodaeth bob amser. Byddwch yn ddyledus i Feirdd Cymru am y diddanwch sydd yn eich aros. Ymofidiaf yn ddwys fod sefyllfa y radd anrhydeddus hon o ddynion mor wahanol i'r hyn ydoedd sefyllfa y Beirdd yn yr oesoedd a aethant heibio. Er fod cyfnewidiad yn eu sefyllfa, nid oedd eu nodweddiad wedi cyfnewid dim. Yn y cynoesoedd y Beirdd oeddynt gydymdeithion parhâus a chyfeillgar i Dywysogion Cymru; yn eu dilyn i'w rhyfeloedd, ac yn eu cefnogi a'u hannog ar faes y frwydr; ac yn amser heddwch yn peri dywenydd a chysur iddynt yn eu trigfanau a'u palasau. Er fod Beirdd yr oes bresennol yn is na'u cyndeidiau o ran eu sefyllfa, nid ydynt islaw iddynt o ran eu cynneddfau Barddonol. Er na allaf haeru fod yr Eisteddfod hon wedi ei gwysio ynghyd drwy awdurdod Freninol, megys yn yr oesoedd gynt, etto hyfryd genyf ddatgan ei bod dan nodded Breninol. Gwych genyf ganfod, fel y mynegais eisoes, nad yw Awen Cymru wedi diflanu etto. Hyderaf y bydd i'r Eisteddfod hon enyn y'mynwesau pob un o honom y teimladau gwresog o ffyddlondeb a gwladgarwch."

Dilynwyd yr araeth hon gan fonllefau o gymmeradwyaeth. Ar ol i'r Llywydd eistedd i lawr, a'r bonllefau ostegu, yr Ysgrifenydd, a wahoddodd y Beirdd a gyfansoddasant Englynion ar agoriad yr Eisteddfod i ddyfod ym mlaen i'w hadrodd hwynt. Rhai o'r Beirdd a ufuddhasant i'r gwysiad, ac a draddodasant eu Henglynion, ond drwg genym i ni fethu cael adysgrif o Englynion Mr. W. Lloyd, o Lysceinion, Llanfair-mathafarn-eithaf, ac o Englynion Hugh Tegai.

CYFARCHIAD I'R CADEIRYDD.

Henffych o ddawnwych ddywenydd——Syr Risiard,
Syw rasol Gadeirydd
I *Awen* iawn ef fydd
A chu lais yn uchlesydd.

O'i dda rinwedd ddewr hynod——ei lwyddawl,
  Coledda'r cyfarfod,
 Noddwr y gân, glân ei glod,
 Was da addfwyn Eisteddfod.

Llawenydd ein Llyw union——eich gweled
  A'ch golwg mor foddlon
 Ym mysg Beirdd, a miwsig bôn
 Dewr addas y Derwyddon.

I noddi Awenyddiaeth——wych alwad,
  A choledd Dysgeidiaeth,
 Yn glau yn ddiau e ddaeth
 Athronwyr yn feithriniaeth.

Brythoneg, bêr iaith union——law-forwyn,
  Lefaro tra gwendon,
 Tra amser, tra sêr, tra sôn,
 Tra mwyn naws ter Monwysion.

Mor hyfryd eres, dymor frodorion,
Clywed y bonedd clau eu dibenion,
Denai'r Seneddwyr dros Awenyddion,
A gwâr Rianawd mor wiw gywreinion,
Llên mâd yn lloni Môn——mor weddawl,
A dala'n wrawl hen delynorion.
RICHARD PARRY, *Llanerchymedd.*

ANERCHIAD I EISTEDDFOD BEAUMARIS.

Henffych well, *Castell* ein gwestawr——mirain
  *Beaumaris* brydferthfawr
 Eisteddfod, yn wes hoeddfawr,
 Daeth o lwydd diau i'th lawr.

Yn awr, Môn wen, crechwena——iawn achos,
  Yn uchel banllefa;
 C'od Eisteddfod hynod, ha!
 Llon wychawl, llawenycha.

Syw roesaw i *Syr Risiard*——ein dewrwych
  Gadeiriwr mwyn penllad,
 *Baronhil*, o bur iawn had,
 Mynweswn y *Monwysiad*.

Ac i'r Awen, ein goreuwyr——ddaethant
  Yn ddoethaf achleswyr;
 Sai'n haeddawl ein Seneddwyr,
 Cadw'n hiaith, yw gwaith y gwyr.

Heb *Iorwerth*, er ein cyfnerthu——wele
  Anwylion o'n dentu;
 Hil Tudor, ein Cynor cu,
 Hynif o Fôn yn hanu.

Er alltudio hyd i orwyllt oedwig,
*Goronwy* o'r mawrion i gwr Amerig,
Daw i Fôn raddau, diau 'n fawreddig,
Daw i'n Hawen fwyn addien foneddig,
Chwai y braw uchel eu brig——a'i graddau,
Yn bur ei moesau, yn ber ei miwsig.

Daw ail *Oronwy*, od eiliwr union,
Etto rhyw *Feilir* welir yn wiwlon,
A gwiw Feirdd enwog fo o radd *Einion*,
*Ednyfed*, a *Gwalchmai*, garai ragorion,
Cyfyd o'n mysg, cofiwyd Môn,—a'n mamlaith,
Ha! ha! in' eilwaith, a ddaw anwylion.
THOMAS PARRY, *Llanerchymedd.*

Y Parch. J. W. Rees, o Gascob, a ddarllenodd Bennillion Saesonaeg o gyfansoddiad Mr. H. Jones, o Ferthyr Tydfil.

Mr. T. Ll. Jones (*Gwenffrwd*) gynt o Dreffynon, yn awr o Lynlleifiad, a draddododd Bennillion Saesonaeg, y rhai a gyfansoddasai ar yr achlysur. Terfynodd trwy ddarllen y Penill Cymraeg a ganlyn:

Hil telynorion, doed adnerth i'ch tannau,
  Boneddion gwladgarawl a dyrant yn nghyd
I noddi y Beirddion, ac enyn plethiadau
  Yr Awen, fu bellach heb achles gyhyd.
Mawrion feithrinant wir ddawn Awenyddion,
Blodeued yr Awen tra saif Cymru dirion,
Mewn cof tra daiaren boed iaith yr hen Frython,
Ei Beirddion yn enwog hyd ddiwedd y byd.

Ar gais yr Ysgrifenydd, y Beirniaid a ddaethant y'mlaen i ddatgan eu dyfarniad ar yr amrywiol gyfansoddiadau a osodwyd dan eu hystyriaeth.

I. Gwobr o Saith Bunt, a Thlws Arian o werth Dwy Bunt, i awdwr y Chwe Englyn goreu ar "*Pont ar Fenai*:" a gwobr o Dair Punt a Deg Swllt i'r ail oreu.

Y Parch. E. Evans (Ieuan Glan Geirionydd) a draddododd ddyfarniad y Beirniaid ar y pwngc hwn. Ymddangosodd 62 o Ymgeiswyr am y gwobr hwn, ac o gyfansoddiadau y rhai hyn dewiswyd *wyth* ag oeddynt yn rhagori ar y lleill, ac o'r wyth hyny, y rhai a arwyddwyd gan *Deiniol* oedd y goreu, ac yn teilyngu y gwobr. Y Beirniaid a gynghorent roddi tlws i awdwr yr Englynion a arwyddwyd *Glanmenai*. Cynghorent hefyd roddi yr Ariandlws, a Thair Punt a Deg Swllt, i *Deiniol*, a rhanu y Saith Benadur yn gydradd rhwng yr Ymgeiswyr ereill.

Galwyd ar *Deiniol* i ddyfod ym mlaen, a chyhoeddodd y Parch. D. Williams, Offeiriad Clynog, mai *Ebenezer Thomas*, Athraw Ysgol Wladwriaethol Clynog, oedd yr awdwr buddugol. Mynegodd Mr. Williams, mai gorwylder Mr. Thomas oedd yr achos na fuasai yno yn wyddfodol. Ar hyn yr Argiwyddes Bulkeley a wisgodd Mr. Williams â'r Ariandlws.

YR ENGLYNION BUDDUGOL I BONT MENAI.

PONT MENAI, pan'd dymunol——ei chadwyn
  A'i chydiad gorchestol,
 Di lerw did o lawer dôl,
 A phlethiad asiad oesol.

Oesol Adail seiliedig——ar waelod
  Yr heli chwyddedig,
 Niweidio'i mur unedig
 Nid all y dôn â'i dull dig.

Er dull dig rhuad hallt eigion——ai syfl
  Nes syflo *Eryron*;
 Ac o'i ffurfio caiff Arfon
 Bont tra myg i Ben tir Mon.

Pen tir Mon, pa antur mwy——ei gyraedd
  Dros gerynt Porthaethwy?
 Nid Bâd, y Bont safadwy,
 A ddaw a glân yn ddi glwy'.

Di glwy' yw tramwy a gwneud tremiad——ar
  Yr orwech adeilad,
 Uwch, o ran ei chywreiniad,
 At iawn les, na Phont un wlad.

Nid oes un wlad îs y ne' lon——fyth deifl
  Y fath Did dros afon;
 Na chynygiwch, enwogion,
 Heb wneyd taith hyd y Bont hon.

DEINIOL.

II. Cyhoeddodd yr Ysgrifenydd mai y gwobr nesaf oedd Deg Punt, gan y LLYWYDD, am y Marwnad goreu er "*Coffadwriaeth am Owain Myfyr.*" Drwg oedd ganddo hysbysu na dderbyniwyd ond dau gyfansoddiad ar y pwngc hwn, ac yr oedd y rhai hyn mor wael, fel nad oedd yr un o honynt yn deilwng o'r gwobr. Darllenwyd llythyr oddiwrth y gwladgarwr hybarch hwnw, sef Richard Llwyd, Ysw. o Gaerlleon, yn datgan ei alar dwys fod Beirdd Cymru yn teimlo cyn lleied o barch tu ag at goffadwriaeth un o addurniadau arddercbocaf Cymru, ac un o golofnwyr gwresocaf llëenyddiaeth Cymreig.

Ha…

Pan alwyd ar *Simwnt yr oes yma*, cyfododd W. Edwards, Ysgeifiog, ac a arddelodd yr enw. Gwisgwyd ef â'r Ariandlws gan Mrs. Brice Pierce. Galwyd ar *Simwnt Fychan* i ddatgan ei hun; a daeth W. Edwards, Llanberis (Gwilym Padarn) ym mlaen.

VII. Gwobr o £20, ac Ariandlws o werth £5, am yr Awdl oreu ar "*Long-ddrylliad y Rothsay Castle*," a gwobr o £10 am yr ail oreu.

Y Beirniaid oeddynt y Parch. W. Davies a W. Jones, Ysw. yr Ysgrifenydd. Derbyniwyd 19 o gyfansoddiadau ar y testun hwn. Y Parch. T. Richards a ddarllenodd lythyr oddiwrth y Parch. W. Davies, yn cynnwys ei feirniadaeth ef ar y cyfansoddiadau. Barnai mai yr Awdl dan y ffug enw "*Un a gâr fyw yn nglân y môr*" oedd yr oreu; a'r un dan y ffug enw "*Seiriol Wyn o Ben Môn*" oedd y nesaf. [Gosodwn y llythyr hwn mewn gwisg Gymreig yn ein Rhifyn nesaf.]

Yr Ysgrifenydd a gyfarchodd y gwyddfodolion, ac a ddywedodd y byddai yn rhyfyg ynddo ef dreulio eu hamser ar ol iddynt glywed barn Bardd mor ddysgedig a'r athrylithgar *Gwallter Mechain*. Yn unol â chyngor Mr. Davies, a dymuniad y Cyfeisteddwyr, darllenasai, gyd âg eithaf manylrwydd, y ddwy Awdl rugoraf—ac yn ei dyb ef cyfansoddiad *Un a gâr fyw yn nglân y môr* oedd yn deilwng o'r gwobr. Ni welodd efe ddim erioed yn ngwaith Beirdd Cymru i'w gystadlu â rhyw ranau o'r Awdl ardderchog. Pe anfonesid dim ond yr Awdl hon i'r Eisteddfod buasai yn werth yr holl draul a'r drafferth, a rhoddai lwyr foddlonrwydd i'r holl Dywysogaeth. Yr Ysgrifenydd a ddarllenodd y dyfyniadau canlynol—

* * * * *

"Crychferwai ymrwygai y mawr eigion,
Ewynai 'i aflonydd donau 'n flinion,
Unwedd a 'mwriawl fynyddau mawrion,
Och! oedd ei grothawg fawr-chwydd hagr weithion,
Ymluchiai, taflai bob ton——hyd y sêr
Yn eu gorwyllter eu dagrau heilltion.

E ddeuai eilwaith yn nerthol ddyli'
O entrych hoywnef, gan wyllt drochioni,
Nes rhwygo y safngerth aelgerth weilgi
Anferthawl, a'i ddreigiawl gynddeiriogi,
Y llong ym mherfedd y lli'——ymsiglodd,
A tharanodd bob peth ei thrueni!

Duw arwr y gorddyfnderoedd,
A'i enwog lais yn galw oedd
Ei filoedd i ryfela.

Ni welid pelydr haulwen,
Y ne'n ddu bygddu uwch ben;
Twrf corwynt, drowynt, o draw,
Yn yr awyr yn rhuaw.

Dan chwiban d'al allan o'i 'stafellau,
A heriai fyddoedd drwy 'i gynhyrfiadau,
A Duw a roddodd lacàd i raddau
I ffrwyn gadwynog y ffyrnig donau,
Rhuthrodd, fe ddyrnodd y ddau——'sclyfaethgar
Drwy 'u bâr anwar nes duo 'r wybrenau.
A'r *Rothsay* hithau ar hynt
I dir angau 'n myn'd rhyngynt.

* * * *

Pan alwyd ar yr ymgeisydd buddugol i ddyfod ym mlaen Mr. William Williams (Gwilym Caledfryn) Gweinidog yr Anymddibynwyr yn Nghaernarfon, a arddelwodd yr enw "*Un a gâr fyw yn nglân y mor.*" Gosodwyd Mr. Williams yn y Gadair gan y Beirdd Cadeiriawg I. G. Geirionydd, Bardd Nantglyn, a Gwilym Cawrdaf. Yna gwisg-

G…
dde…

Y P… wobr a d… cynnwysai … dderchog. Ai… yn yr Iaith Gym…

Yna canwyd Pen… ddifyrwch i'r gwyddfod… wyd y rhoddid Ariandlws … Duges Caint, a'r Dywysoges … Englyn goreu ar "*Briodas y* … *W. Bulkeley, Barwnig.*" Fel … achosion yr Eisteddfod am y boreu …

Yn y prydnawn aeth yr Ysgrifenyd… J. Blackwell i luest-dŷ y Beirdd, ac a ddar… yr Odlau Buddugol. Yr oedd y rhan fwyaf …wrynt yn cydnabod cyfiawnder y dyfarniad—… gofidus oedd genym glywed sylwadau maleisus …i o'r Beirdd a ennillasai gampdlws y boreu hwnw. Y mae nodweddiad y Beirniaid mor adnabyddus i bawb, fel nad oes achos i'w amddiffyn. Yr oedd pawb yn unfryd yn eu canmoliaeth i Awdl yr enwog Fardd Gutyn Peris.

(*I'w barhau.*)

…YDD.

[RHIF. 115.

---

## SESSIWNAU GWYNEDD.

### PRAWFIADAU Y CARCHARORION YN SESSIWN CAERNARFON.

(*Parhad o du dal. 286.*)

*Richard Jones*, Ieuengaf, *Owen Evans*, ac *Owen Owens*, a gyhuddwyd am ymosod ar *Humphrey Jones*. Cafwyd hwy yn *Euog*—a'r Barnydd a'i dyfarnodd hwynt i gael eu *carcharu am chwe mis.*

LLADRATA OEN. *Harry Williams* a gyhuddwyd o ladrata oen ar y 18fed o Mehefin diweddaf, o eiddo William Edwards, Llanwnda.

*William Thomas*, y cyhuddydd, a dystiodd mai Amaethwr ydyw. Yr oedd ganddo ddeadell o ddefaid yn cael eu golchi ar y 18fed o Fehefin. Yr oedd un oen ar goll. Gwelodd ef drannoeth. Pan gollwyd yr oen nid oedd ganddo un nod ar ei glust. Gwelodd ef drannoeth yn ngardd y carcharor gyd âg oen arall, â'i glust wedi ei nodi. Y cyhuddydd a ddaeth a'r fam yno, pan y darfu hi a'r oen adnabod eu gilydd yn ebrwydd. Gofynodd i'r carcharor yn nghylch yr oen, yr hwn a ddywedodd mai ei oen ef ei hun ydoedd, ond ni ddangosai ei fam.

*Robert Owen* sydd was i'r cyhuddydd, yr hwn a orchymynodd iddo ddyfod a dafad at wrych gardd y carcharor, a gwelodd yr oen yn sugno.

Y carcharor a ddywedodd iddo golli oen, ac iddo dybied mai efe oedd bian yr oen oedd yn ei ardd.

Wedi i'r Rheithwyr fod yn ystyried am dair awr cawsant y carcharor yn *Euog*.

Y Barnydd, wrth gyhoeddi y ddedfryd, a sylwodd fod y gyfraith ynghylch y trosedd o ba un y cafwyd y carcharor yn Euog, wedi cael ei chyfnewid, rai dyddiau yn ol, ac nad allai efe leihau y ddedfryd, yr hon a dybiai efe yn dra llym mewn perthynas i'r carcharor. Yr oedd efe dan yr angenrheidrwydd o ddyfarnu y carcharor i gael ei *alltudio dros ei oes;* ond ymofynai am leihad gan yr awdurdodau priodol.

TORI TY. *Griffith Roberts* a gyhuddwyd o dori i dŷ Mr David Williams, Cyfferiwr, Pwllheli, a lladrata oddiyno 20 swllt o bres. Ymddangosodd, oddiwrth y dystiolaeth, fod y carcharor wedi myned i *cellar*, ac oddiyno, trwy *trap door*, i fyna i'r masnachdŷ. Ac wedi cymmeryd y pres o'r man y

III. Y gwobr nesaf oedd Pymtheg Punt, ac Ar-
landiwe o werth Pum Punt, am y Traethawd Sa-
esnaeg goreu ar "*Hanes Ynys Môn, ynghyd â*
*Draethodau o'r gwyr enwocaf a bres*...
*ynddi.*"

Y Parch. J. H. Cotton o Fangor, ...
dyfarniad y Beirniaid ar y Traeth...
wedodd ei fod yn teimlo ei hun...
gorchwyl, yn enwedig am ...
yn rhedeg yn ei wythenau...
holl gymmwysderau ...
herwydd byrdra yr ...
dros y Traethodau ...
gan ei dyb, fod ...
ar y lleill. ...
argwel, ...
cael h...

...nesion, &c.

wyd ef i'r Arlandiwe gan yr Arglwy-
Gruffydd Williams, Llandegai (Gutyn
al y ffug-enw "*Seteriol Wyn o Ben*-
Parch. J. Blackwell a sylwai, er m-
teilyngal cyfansoddiad Gutyn Per-
ewer o ddillynion, a drych ieddyll-
oedd hi i un o'r Awdlau dichly-
...g.
...illion gyd â'r delyn, er mawr
...pion. Wedi hyny cyhoedd-
gan ei Huchel Fawrhydi
Victoria, am y Pedwar
*Llywydd, Syr R. B.*
...yn y terfynwyd
...n.
a'r Parch.

...a ...os ...idd ...i'w

*Parry,*

Y HUNANGYNNALIOL Y GERI...

(...*pporting Cholera Dispensary.*)

...ham, pentref yn Sir Warwick, ...Gymdeithas er ysgafnhau y can-
...gofidus ped ymwelai y *Cholera*
...ardal hòno. Y mae i bob pen-
...ddo yn rhoddi y swm o Dair
...Pum Swllt yn yr wythnos hawl
...northwy meddygol i bob aelod
..., a chaniatêir iddo ddeuddeg
... swm a dalo yn wythnosol tra y
...neb o'i deulu yn glaf o'r *Cholera*;
... digwydd marw neb a fyddo yn
...ai Swllt yn yr wythnos, y mae Pum
...nt i gael eu talu i'w deulu, a Dwy
...unt i'r sawl a roddo yn wythnosol lai
...na Swllt. Yn y flwyddyn 1823 ffurfiwyd
...yn y Pentref hwn y Meddygdŷ Hunan-
gynnaliol (*Self Supporting Dispensary*)
cyntaf yn y deyrnas. Dilynwyd y siampl
ragorol hon gan amryw drefydd a phen-
trefydd Lloegr gyd â'r effeithiau mwyaf
llesol; ond ni chlywsom etto am un Gym-
deithas o'r fath yn Nghymru.

---

*Haelioni Prydain.*—Y casgliadau a wnawd gan yr amrywiol Gymdeithasau Crefyddol yn ystod y flwyddyn yn diweddu Mai, 1832, ydynt fel y canlyn:—

| | £. |
|---|---|
| Bibl Gymdeithas Frytanaidd a Thramor .. | 81,700 |
| Cymdeithas y Methodistiaid Wesleyaidd .. | 48,200 |
| Cymdeithas Genhadol yr Eglwys .......... | 48,700 |
| Cymdeithas Genhadol Llundain ............ | 34,500 |
| Cymdeithas Wyddelig Llundain ............ | 9,800 |
| Cymdeithas er taenu Gwybodaeth Gristionogol ym mhlith yr Iuddewon ...... | 11,000 |
| Cymdeithas i gynnorthwyo Morwyr a Milwyr ........................... | 5,000 |
| Cymdeithas Traethodau Crefyddol ......... | 3,300 |
| Cymdeithas Eglwysaidd Wyddelig ......... | 3,000 |
| Cymdeithas Genhadol Cartrefol ............ | 4,000 |
| Bibl Gymdeithas y Morwyr a'r Milwyr.... | 2,700 |
| Cymdeithas y Llyfr Gweddi Gyffredin a'r Homiliau ............................ | 2,700 |
| Cymdeithas yr Ysgolion Frytanaidd a Thramor ............................ | 2,500 |
| Cymdeithas Gyfandirol ...................... | 1,900 |
| Cymdeithas Porthladd Llundain ............ | 700 |
| Cymdeithas er Addysg Gristionogol ...... | 600 |
| Cymdeithas Gwybodaeth Eglwysig ........ | 440 |
| Cymdeithas yr Ysgolion Sabbothol ........ | 340 |
| Cymdeithas [illegible] Llundain ............ | 390 |
| Cymdeithas er cadw Sancteiddiad y Sabbath ........................................ | 240 |

Nid ydyw rhai Cymdeithasau, megys y Gymdeithas er taenu Gwybodaeth Gristionogol, a'r Gymdeithas er taenu yr Efengyl mewn Gwledydd Pellenig, Cymdeithas Genhadol y Bedyddwyr, &c. yn gwneuthur eu cyfrifon blynyddol i fynu yn mis Mai; ond pe rhoddid y rhai hyn at y rhai a enwid, byddai y swm a gasglwyd, yn y wlad hon, at achosion crefyddol yn unig yn fwy na 500,000 yn flynyddol.

*Aberhonddu.*—Ymddengys oddiwrth y Newyddiaduron fod rhai o drigolion afreolus Aberhonddu wedi ymosod ar Syr Charles Morgan wrth iddo ddyfod i'r dref hòno i gyflawni ei ddyledswydd fel Uchel-reithiwr. Ei gyfeillion a aethent i'w gyfarfod ef, ac a dynasent ei gerbyd i'r dref. Cyfarfyddwyd hwynt gan dyrfa afreolus, y rhai a ymdrechasant ddadymchwelyd y cerbyd. Un o honynt a daflodd gareg, ac a darawodd Syr Charles yn ei dalcen nes oedd y gwaed yn ffrydio. Cludwyd ef i dŷ, ac y mae yn awr wedi iachâu. Er cymmaint yw haelioni Syr Charles Morgan, ac er cymmaint o ddaioni a wna efe i'r dref hòno, etto hyn yw y tâl a gafodd efe am ei holl gymmwynasgarwch!

---

Dydd Mercher, y 19 o Fedi, gweinyddodd Arglwydd Esgob Bangor y ddefod apostolaidd o Gonffirmasiwn, yn Nghapel St. Mair, Caernarfon, ar oddeutu cant o bobl ieuaingc; a'r wythnos o'r blaen gweinyddodd ei Arglwyddiaeth yr un ddefod yn Beaumaris ar oddeutu 200.

---

Ymddiriedodd y Duges o Gaint i ofal y Parch. D. Gryffydh, Curad Llanfair-pwllgwyngyll a Llandysilio, ym Môn, £30 tuag at adeiladu Ysgoldy yn ol y Drefn Wladwriaethol, er lles plant tlodion y plwyfydd hyny.

---

DYRCHAFIAD EGLWYSIG.

Y Parch. William Jones, Curad Penbryn, Sir Aberteifi, i Ficeriaeth Llanrian—rhydd trwy farwolaeth y Parchedig William Roberts. Tadog, Arglwydd Esgob Tŷ Ddewi.

# Y GWYLIEDYDD.

LLYFR IX.] TACHWEDD, 1832. [RHIF. 115.

## MYFYRDODAU AR SANCTEIDDRWYDD DUW.

"CLODFORWCH wrth goffadwriaeth ei sancteiddrwydd ef:"—Ei sancteiddrwydd ef! Pe buasai wrth goffadwriaeth ei drugaredd ef, neu ynte ei ddoethineb, ni buasai y gorchymyn yn frawychus nac yn gyffrous; oblegid y mae braidd yn ammhossibl i ni gofio gweithredoedd y priodoliaethau hyn, heb deimlo rhyw raddau o ddïolchgarwch: ond sancteiddrwydd! hon yw y briodoledd hòno o eiddo y JEHOFAH a yrodd ymaith i losgfëydd tragywyddol yr angylion syrthiedig, a hon a geidw ddrysau 'r nefoedd yn glöedig dros byth yn erbyn pob aflan, a'r hwn sydd yn gwneuthur ffieidd-dra. Hon a drefnodd ac a sicrhaodd y gagendor fawr rhwng anneddle y seintiau a thrigfanau 'r gwae. Hon gan hyny yw y briodoledd hòno o eiddo Duw, pa un yr ydym ni, fel creaduriaid syrthiedig, yn naturiol ac yn fwyaf neillduol yn ei hofni. Yr ydym hyd yn nod yn chwannog i ddymuno i Dduw fod yn llai sanctaidd, gan dybied y buasai gwell sail i ni obeithio am iachawdwriaeth, pe na buasai ei burdeb difrycheulyd yn anghyfnewidiol. Rhaid i dybiaethau o'r fath hyn fod yn ddisail; oblegid sancteiddrwydd yw prydferthwch, gogoniant, enw, a llywodraeth y JEHOFAH. Mae angylion ac arch-angylion, cerubiaid a seraphiaid, yn canfod Duw yn ei berffeithrwydd, tra yn syllu ar ei sancteiddrwydd; am hyny rhaid i ni bwyso 'r gwirionedd hwn hyd nes y deallwn ef. Ystyriwn, pe bai Duw yn ansanctaidd, neu ynte ei fod yn llai sanctaidd, pa beth a fyddai 'r canlyniad? Yr wyf yn ei ganfod ar unwaith, pe na buasai sancteiddrwydd yn hanfodi yn y Bod Dwyfol, fe fuasai yn bryd gosod y fwyall ar wreiddyn pob gobaith am ddedwyddwch ym mhlith dynion ac angylion; oblegid ni ofala Duw ansanctaidd am neb—nid arbeda neb—ni charai iachawdwriaeth neb; ond yn annedwydd ynddo ei hun, efe a lanwai y byd â thrueni anorphen. Y mae yn dda hyd yn nod i'r uffernolion ei fod yn Dduw anfeidrol yn ei gariad at sancteiddrwydd, oblegid y mae y briodoledd hon yn sicrhâd tragywyddol yn erbyn pob anghyfiawnder; ni chymmerir un llwybr, ni arferir unrhyw foddion tu ag at eu poenydio, ond y cyfryw ag a fyddo yn hollol gydsyniol â pherffaith sancteiddrwydd. Drwy gydol tragywyddoldeb sancteiddrwydd a reola boenau uffern mor gyfiawn a gwynfyd y nef, ac ni oddefa hyd yn nod i gysgod anghyfiawnder dduo wyneb y pwll diwaelod.

"Mor ynfyd oeddwn ac heb wybod; anifail oeddwn o'th flaen di"—pan ddymunais i ti fod yn llai sanctaidd: ni buasai dim i'w obeithio, eithr pob peth i'w ofni, oddiwrth hollalluawgrwydd ansanctaidd. Pe disgynai 'r planedau o'u cylchdroadau, a'r haul o ganol-bwynt y nefoedd, hyd nes y byddo llu 'r nef yn ymddryllio yn chwilfriw, fel tameidiau o iâ mewn rhyferthwy ofnadwy, ni fyddai hyn ond megys ymladdfa brychau ym mhelydr yr haul o'i gydmaru â galluoedd a dïaleddau anfeidrol y BOD tragywyddol, yn ymddisgyn o ganolbwynt sancteiddrwydd dihalog. Hawdd y gallasai *Charnock* ddywedyd, "Heb sancteiddrwydd buasai dialedd Duw yn wallgofrwydd, a'i allu yn greulonder."

Ystyriaf etto, oblegid yr wyf yn dymuno clodfori "wrth goffadwriaeth ei sancteiddrwydd ef," a'i foliannu â'r deall; pe na buasai Duw yn sanctaidd, ni buasai wedi darparu Ceidwad i rai ansanctaidd. Pe na buasai cariad Duw at sancteiddrwydd yn anfeidrol, ni buasai erioed felly

wedi caru y byd, fel ag i roddi ei Fab yn iawn dros bechod. Os oes dim yn wirionedd sicr ac eglur ynddo ei hun, y mae hyn. Nid oedd cariad anfeidrol Duw at sancteiddrwydd, ac nis gallasai ychwaith, yn ei rwymo i achub pechaduriaid: prawf anwadadwy o hyn a gawn, drwy iddo *fyned heibio* i'r angylion syrthiedig. Ond dywedaf etto, pe buasai heb garu sancteiddrwydd yn anfeidrol, ni buasai yn achub unrhyw greadur syrthiedig yn y byd: canys beth yw achub pechadur? Atebaf, ei wneuthur yn sanctaidd, ac o ganlyniad yn dragywyddol ddedwydd. A hyn ni wnaethai Duw ansanctaidd, oblegid bod hyn yn hollol wrthwynebol i'w natur. Ond ar y llaw arall, y mae gan y Duw "gogoneddus mewn sancteiddrwydd" ddibenion goruchel a rhesymau galluog am gymmeryd mewn llaw, a gorphen iachawdwriaeth pechaduriaid; canys er nad yw ef yn rhwym i achub neb, etto y mae yn deilwng o hono iddo adferu ei ddelw ei hun ar eneidiau anfarwol, a thrwy hyny ychwanegu pelydrau ysblenyddawl ei ogoniant.

Yn awr, dechreuwn ei foliannu â'r deall, ac â'r galon hefyd, am ei sancteiddrwydd!

*Y bwriad o iachawdwriaeth a darddodd yn ei sancteiddrwydd.* Cariad yw ffynnonell iachawdwriaeth, a sancteiddrwydd yw y ffynnon o ba le y tarddodd prynedigol gariad. Pe na buasai Duw yn gariad, ni buasai un ceidwad wedi ei ddarparu; ond pe na buasai Duw yn sanctaidd, ni buasai yn Dduw 'r cariad. Pa fodd yr ydym mor dywyll am y gwirionedd eglur ac ardderchog hwn! Sancteiddrwydd! tydi wyt y prif achos o'r cariad, y drugaredd, a'r gras, y rhai ydynt i ni yn ffynnonau iachawdwriaeth. Tydi wyt ffynnon y tiriondeb a'r hirymaros, y rhai ydynt i ni yn sylfaen gobaith a hyder! Tydi wyt darian yr anghyfnewidioldeb a'r gwirionedd, y rhai ydynt i ni yn darianau tragywyddol ddiogelwch! "Clodforant wrth goffadwriaeth ei sancteiddrwydd ef."

*Trefn yr iachawdwriaeth a reolir gan sancteiddrwydd.* Y mae pob peth yn ngwaith ein prynedigaeth yn disgleirio ym mhrydferthwch sancteiddrwydd—ei *chynllun* sydd *gyfammod sanctaidd*; ei *Chyfryngwr*, sydd *Geidwad sanctaidd;* ei *Chymmwyswr*, sydd *Ysbryd Sanctaidd;* ei *ffrwythau*, ydynt *sancteiddrwydd* i'r Arglwydd; ei *deiliaid* ydynt genedl *sanctaidd.* Yr wyf yn troi fy ngolwg at sylfaen prynedigaeth; ac a welaf mai y peth cyntaf a ddarparwyd ac a sicrhawyd drwyddi ydoedd, y gallai Duw fod yn gyfiawn, ac yn cyfiawnhau y neb sydd o ffydd Iesu; yn gyfiawn i'w holl berffeithderau, yn gyfiawn i holl ofyniadau ei ddeddf fanol, a'i lywodraeth: oblegid *iawn* digonol yw sylfaen trugaredd Duw. Yr wyf yn edrych ar y llwybr a gymmerwyd i'n prynu oddiwrth ein hofer ymarweddiad; a chanfyddaf yr Iachawdwr byth fendigaid yn disgyn ar *adenydd sancteiddrwydd*, ac yn marw dros *ogoniant sancteiddrwydd.* Edrychaf at ddiben olaf prynedigaeth, a gwelaf eglwys sanctaidd, lïosog, a phur, fel y gwlith o groth y wawr.

Dyma ddiben y cyfammod bore rhwng Tri yn Un; dyma ddiben dryllio Arglwydd y bywyd ar fryn Golgotha; a dyma ddiben ei ddyrchafu ar drostan yr efengyl, gwneuthur y rhai ansanctaidd yn sanctaidd. Ac yn wyneb hyn i gyd, a gaf fi barhâu yn ansanctaidd? neu yn hytrach a gaf fi ymegnïo am sancteiddrwydd? Boed i ni gael ein darostwng i gymmeryd i fynu y gobaith o iachawdwriaeth wrth droed y groes, yn unig ar y sail o *gredu* am dani: a'r hwn sydd a'i obaith fel hyn y'Nghrist "a bura ei hun, megys ag y mae yntau yn bur."

*Bangor.* IDWAL.

---

## CYFERBYNIAD RHWNG Y CALL A'R YNFYD.

"Y call a genfydd y drwg, ac a ymgûdd: ond y ffyliaid a ânt rhagddynt, ac a gospir." *Diar.* 22. 3.

Bai cyffredin dynolryw ydyw peidio estyn eu sylw, a chyrhaedd eu golwg tu hwnt i'r pethau a welir: a hyn sydd yn llywodraethu eu barn mewn amgylchiadau cyffredin y bywyd presennol. A welir rhyw un yn nghanol cyfleusderau gwerthfawr, etto yn syrthio i dlodi? Yr ydym yn gyffredin yn barnu ei fod mewn angen o ragweliad i'w ddïogelu rhag colled, ac o ddiwydrwydd i'w arwain i lwyddiant. *Llaw 'r diesgeulus a deyrnasa: a llaw 'r diog a fydd dan deyrnged.* Rhoddir

i ni gan Solomon yn y testun dystiolaeth benderfynol o wahanol ganlyniadau rhagweliad a dïofalwch: "Y call a genfydd y drwg, ac a ymgûdd: ond y ffyliaid a ant rhagddynt, ac a gospir." Ond rhaid cydnabod fod plant y byd hwn yn gallach yn eu cenhedlaeth na phlant y goleuni. Er mwyn cynnyddu mewn golud ac anrhydedd daearol, nid oes yn gyffredin fawr o ddiffyg rhag-olwg na bywiogrwydd: ond yn y pethau hyny a berthyn i ddiogelwch yr enaid anfarwol, gelwir sel yn benboethni, hunan-ymwadiad yn ormod prudd-der, a bywiogrwydd a feiir arno, fel pe baem yn rhy gyfiawn. Ac ar y llaw arall, canmolir diofalwch, anystyriaeth, a syrthni. Gan hyny yr oedd gan Solomon olwg uwch a mwy pwysig, pan wnaeth efe y gyffelybiaeth hynod yn y testun rhwng un, i'r hwn y rhoddwyd gan Yspryd Duw iawn farn ym mhob peth, ac un, yr hwn sydd yn ddidaro ynghylch ei les tragywyddol, yn ddiofal ynghylch yr hyn sydd tu draw i'r bedd, ac yn myned ym mlaen tua dydd barn a digofaint fel yr ych yn myned i'r lladdfa, neu fel ynfyd yn myned i'r cyffion i'w gospi.

Ymwelwyd â'n gwlad gan haint echryslon, a chymmerwyd ymaith gannoedd o'n cyd-wladwyr, yn nghanol eu hiechyd a'u mwynhâd, ar ol ychydig oriau o boen a gofid, i ymddangos ger bron Duw, ac i wynebu â chyfiawr tragywyddol. Tra y mae ereill yn ymofyn pa beth yw 'r achos naturiol o'r pla hwn, neu pa fodd y daeth i'r wlad hon, yr wyf yn credu y cydnabyddwn ni oll, mai llaw Duw digllon ydyw, "yr hwn sydd yn lladd ac yn bywhâu, yn archolli ac yn meddyginiaethu." Fe ellir golygu yr aml geryddon a ddygir ar yr annuwiol, fel gwïalen yr Arglwydd. "Ni ddaw cystudd allan o'r pridd, ac ni flagura gofid allan o'r ddaear." A geryddir dyn neu deulu? Yr ysgrythyr a'n dysg, mai *oddiwrth Arglwydd y lluoedd y daeth hyn.* A ddygir drygfyd ar ddinas neu wlad? *Yr Arglwydd a'i gwnaeth.* A ydyw iechyd yn pallu, neu gyfoeth a golud yn diflanu? *Duw a'i cymmerodd ymaith.* A gymmerir ymaith ein cyfaill, neu ein perthynas mwyaf anwyl, gan ddyrnod angeu? *Wele, fab dyn, fi yn cymmeryd oddi wrthyt ddymuniant dy lygaid â dyrnod, medd yr Arglwydd.* A dorir ymaith ffrwythau 'r ddaear? *Tarewais chwi â diflaniad a mallder.* A ydyw pla 'r haint yn ymddangos mewn tref neu wlad? Duw a ddywed, *Anfonais yr haint yn eich mysg, megys yn yr Aipht.* Ysgafn iawn ydyw 'r dyrnod hyd yn hyn yn ein gwlad ni, er fod oddeutu 30,000 wedi trengu dano mewn ychydig amser, a chwedi eu cyflwyno i'r bedd; ond mewn gwledydd ereill difethwyd myrddiynau. Un ddinas a gwbl anghyfaneddwyd. Mewn dinas arall bu farw 45,000 mewn tri mis; ac yn Smyrna bu farw 9000 mewn yspaid mis. Ai gofyn yr ydych etto beth sydd yn peri yr ymweliad arswydus hwn? Atebaf, pechod; dyma yr *unig* achos. Ac fe haeddai ein sylw, fod y rhan fwyaf o'r rhai a fuont feirw o'r pla yn ein gwlad yn ddynion gwedi ymroddi i feddwdod, anlladrwydd, a chabledd. Fe allai fod yr Arglwydd yn attal ei law, i edrych a wna y wlad ymostwng o'i flaen mewn gwir edifeirwch, ai peidio. O! ystyriwn, ynte, yr hyn a fu megys rhybydd, a defnyddiwn eiriau Solomon yn y testun—"Y call a genfydd y drwg, ac a ymgûdd: ond y ffyliaid a ant rhagddynt, ac a gospir."

I. Y peth cyntaf a gynnygir i'n sylw, ydyw nôd y gwr call.

Cynnysgaeddwyd Solomon gan yr Yspryd Glân â doethineb a deall mawr iawn; ac yn ei ddarluniad o'r gwr call, efe a ddywed,

1. *Ei fod yn canfod y drwg.* Y dyn, i'r hwn y rhoddodd Duw yspryd doethineb a datguddiad i adnabod y gwirionedd, a ystyria ei hun, nid yn unig fel preswylydd y ddaear, ond fel un i fyw yn dragywyddol. Efe a ŵyr ac a deimla y gwirionedd trwm, fod "pawb wedi pechu, ac wedi myned yn ol am ogoniant Duw. Efe a ŵyr am y cyhoeddiadau hyny—"Yr enaid a becho, hwnw a fydd marw.—Cyflog pechod yw marwolaeth.—Digofaint Duw a ddatguddiwyd yn erbyn pob anghyfiawnder ac annuwioldeb dynion.—Y drygionus a ymchwelant i uffern, a'r holl genhedloedd a anghofiant Dduw." Efe a ŵyr nad â dim aflan i mewn i deyrnas nef. Mai "yr hwn sydd yn hau i'r cnawd, o'r cnawd a fed lygredigaeth." Tystia gair Duw fod iachawdwriaeth wedi ei darparu trwy dragywyddol ddoethineb a chariad Duw, yr hwn os esgeulusa, neu

na dianc dyn, y dedfrydir ef yn dragywydd. "Y neb a gredo ac a fedyddir, a fydd cadwedig; a'r neb ni chredo a gondemnir." Pechod heb edifarhau am dano, ac heb lwyr ymwrthod âg ef, a ddwg yn gospedigaeth ddigofaint tragywyddol Duw. Natur heb ei chyfnewid a gaua ddyn allan o'r nef, er mor hyderus y byddo y broffes o grefydd, neu er mor helaeth y fraint. "Yn Nghrist Iesu ni ddichon enwaediad ddim, na dienwaediad; ond creadur newydd." Un o byngciau sylfaenol yr efengyl ydyw hyn, na wna neb un o'r rhai a glywsant yr efengyl ddianc rhag condemniad, oddieithr iddo ffoi fel credadyn edifeiriol at Iesu Grist, a cheisio haeddiant ei gyfryngdod ef fel unig arch iechydwriaeth.

*Dyma wir air Duw.* A gawn ni ei wrthwynebu? A gawn ni feddwl na ddisgyn y cleddyf arnom, o herwydd fod trugaredd hyd yn hyn wedi ei attal? A gawn ni ddywedyd, *Duw a guddia ei wyneb;* ni wel ef hyn? Na ato Duw. Ni a wyddom y bydd i'r gair a lefarwyd mewn cyfiawnder gael ei gadarnhau mewn gwirionedd. "Nid dyn yw Duw, i ddywedyd celwydd; na mab dyn, i edifarhau."

Gwr call fel hyn a rodia wrth ffydd, ac nid wrth olwg. Y ffydd hon a agorodd ddrws y nef, a amlygodd iddo y byd tragywyddol, ac a roddodd iddo olwg o ran ar ddydd tragywyddoldeb. Fel Stephan, efe a wel Iesu yn eistedd ar ddeheulaw Duw—efe a'i gwel yn dyfod ar gymylau y nef, gyda gogoniant cymmwys i Farnydd byw a meirw—efe a glyw yr udgorn olaf yn seinio trwy 'r byd, ac yn cyrhaeddyd gwaelodion bedd—y ddaear yn ymagor, ac yn tew gnydio â dynion byw—y môr yn rhoddi y meirw i fynu, ac angeu ac uffern yn rhoddi i fynu y meirw sydd ynddynt—yr orsedd wen fawr wedi ei dyrchafu, y farn wedi ei gosod, a'r llyfrau wedi eu hagoryd. Ym mhlith y nifer dirif a gyd-gesglir yno, gan allu anweledig, i wydd y Barnwr, efe a glyw alwad am dano ei hun, a'i gondemniad, neu ei waredigaeth a'i dderbyniad i fynwes ei Dduw. Yn awyddus, ynte, i ffoi rhag distryw tragywyddol, ac yn teimlo ei wendid a'i berygl, efe a ofyn gyd âg awydd, "Pa beth a wnaf, fel y byddwyf gadwedig?"

2. Dywedir am y call, efe a ganfydd y drwg, ac a ymgudd. Teimlad o berygl a'i harwain ef ar unwaith i geisio noddfa. I ba le, ynte, y ffy y gwr call rhag y drwg? At groes ei Brynwr: dyma ei obaith sicr a diogel. Efe a ffy at yr un hwnw "a ddyrchafodd Duw â'i ddeheulaw, yn Dywysog, ac yn Iachawdwr, i roddi edifeirwch i Israel, a maddeuant pechodau." Pa beth a wnaeth Noah pan gyhoeddwyd dial ar bechodau byd annuwiol, a phan barodd Duw iddo adeiladu arch, a myned i mewn iddi, fel y byddai iddo ef a'i eiddo gael eu diogelu rhag y dwfr diluw, pan ddifether pob cnawd oll yn y dyfroedd? Pa beth a wnaeth Noah? Fel y gorchymynodd Duw iddo, felly hefyd y gwnaeth efe. Heb ofni gelyniaeth, ac heb ystyried gwawd a dirmyg y byd annuwiol o'i amgylch—heb feddwl am ddim ond am ei berygl, ac am y waredigaeth a drefnwyd iddo, efe a ddechreuodd ar unwaith ar ei lafur trwm: efe a barhaodd ynddo yn amynedgar ac yn ddiflin. Am gant ac ugain mlynedd y parhaodd efe i adeiladu yr arch. O'r diwedd daeth dydd tâl; y patriarch a'i deulu a aethant i'r noddfa; Duw a gauodd arnynt; ac efe a nofiodd yn ddiogel ar wyneb y diluw dinystriol. I ba le y ffôdd Lot pan oedd tân o'r nef ar ddisgyn ar y ddinas yr oedd ef yn preswylio ynddi? a barhaodd efe yn ddifraw yn Sodom? neu a arosodd efe yn yr holl wastadedd? Na ddo! Ar y cyntaf, yn wir, yr oedd efe yn hwyrfrydig i ymadael â phob peth er mwyn bod yn ddiogel; ond o'r diwedd, efe a gredodd air Duw, ac a ffôdd i'r mynydd, trwy orchymyn trugaredd.—Ym mha le y bu meibion Israel yn aros ar y noswaith gofus hôno, pan gyflawnodd yr angel dinystriol ei genadwri ofnadwy, ac a ddygodd angeu i bob teulu yn yr Aipht? Onid arosasant, yn ol gorchymyn Duw, o fewn y tai lle yr oedd gwaed wedi ei daenellu ar y ddau ystlys-bost ac ar gapan y drws? A aeth un o honynt allan o'i dŷ hyd y bore, nes yr aeth yr angel dinystriol, yr hwn a arweiniodd y pla, allan o'r wlad? Yn yr esamplau hyn yr oedd un ffordd o waredigaeth, ac nid oedd ond un. Pe buasai Noah wedi treulio mewn syrthni y blynyddoedd a roddwyd iddo i adeiladu yr arch, neu, fel yr Atheistiaid o'i amgylch,

wedi anghredu y bygythiad, efe a fuasai yn cael ei ddifetha gyd â'r annuwiol. Pe buasai Lot wedi aros yn Sodom, gan dybied na fuasai 'r tân yn disgyn o'r nef, yn ol gair yr angel, efe a fuasai yn cael ei ddifetha am ei anghrediniaeth. Pe buasai yr Israeliaid wedi gadael eu tai, y rhai a a ddiogelwyd gan waed oen y pasg, pa le y buasai eu gobaith o ddiangfa, pe cyfarfyddent â'r angel dinystriol? Angeu yn ddïau a fyddai eu rhan. A phan ddysgir y Cristion, trwy 'r Ysgrythyr Lân, ei fod mewn perygl o herwydd pechod, a bod digofaint Duw yn hongian uwch ei ben, ac nad oes ond un llwybr o waredigaeth a diogelwch o'i flaen; ac, oddieithr ei fod wedi ei uno â Iesu Grist trwy ffydd, a thrwy hyny yn meddu hawl i freintiau 'r prynedigaeth, ni all efe fod yn gadwedig. A gaiff efe ammeu gair Duw, ac ymddieithrio oddiwrth y gras trwy 'r hwn yn unig y gall efe fod yn gadwedig? A gaiff efe wrthwynebu tystiolaeth Duw, a disgwyl diogelwch trwy ryw drefn arall, heblaw yr hon a gwblhawyd trwy anfeidrol gariad a doethineb? Mab Duw ydyw 'r ymguddfa rhag y gwynt, a'r lloches rhag y dymhestl. Ei berson, ei waith, a'i swyddau, ydynt sicrwydd cyflawn i'r rhai a ffoant ato ef trwy ffydd, gan edifarhau am eu pechodau, a phenderfynu trwy ras i fyw bywyd newydd a sanctaidd, na choller mo honynt, eithr cael o honynt fywyd tragywyddol. "Nid oes dim damnedigaeth i'r rhai sydd yn Nghrist Iesu, y rhai sy'n rhodio nid yn ol y cnawd, eithr yn ol yr Yspryd." Dyn wedi ei addysgu fel hyn, a wrendy ar y gwahoddiad hwnw, "Tyred, fy mhobl, dos i'th ystafelloedd, a chau dy ddrysau arnat: llecha megys enyd bach, hyd onid elo y llid heibio. Canys wele yr Arglwydd yn dyfod allan o'i fangre, i ymweled âg anwiredd preswylwyr y ddaear." Wrth y groes gan hyny y gwelir ef yn gwneuthur ei noddfa, ac yno y bydd efe ddiogel rhag cosp ei bechod. Trwy yr Yspryd Glân y gobeithia efe am waredigaeth rhag gallu pechod, ac am dueddiadau newydd a sanctaidd i wneuthur ewyllys ei Dad nefol. "Tŵr cadarn yw enw yr Arglwydd: ato y rhêd y cyfiawn, ac y mae yn ddiogel." Efe a gyflwyna ei hun yn llwyr ac yn ewyllysgar i ddwylaw ei Brynwr. Dedwydd ydwyt, O gredadyn edifeiriol! dedwydd ydwyt, yr hwn wyt yn "trigo yn nirgelfa y Goruchaf, ac yn aros yn nghysgod yr Hollalluog." Tydi a elli ddywedyd wrth yr Arglwydd, "Fy noddfa a'm hamddiffynfa ydyw: fy Nuw; ynddo yr ymddiriedaf.—A'i asgell y cysgoda efe trosot, a than ei adenydd y byddi diogel: ei wirionedd fydd darian ac astalch i ti.—Am i ti wneuthur yr Arglwydd dy noddfa, sef y Goruchaf, yn breswylfa i ti; ni ddigwydd i ti ddim niweid, ac ni ddaw pla yn agos i'th babell.—Wrth dy ystlys y cwymp mil, a deng mil wrth dy ddeheulaw: ond ni ddaw yn agos atat ti." A ydych chwi fel hyn yn canfod y drwg? ac a ydyw eich gofal penaf fel hyn i ymguddio rhagddo?

II. Pan oedd Duw ar fedr cospi Pharaoh a'i deyrnas am eu gwrthryfel yn ei erbyn, fe benderfynodd anfon cenllysg blin iawn ar yr Aipht, y rhai ni bu eu bath er y dydd y sylfaenesid hi. Yn nghanol barn, fe gofiodd am drugaredd, ac a roddodd iddynt le i ochelyd y digofaint. "Anfon gan hyny yn awr, casgl dy anifeiliaid, a phob dim ar y sydd i ti yn y maes.—Yr hwn a ofnodd air yr Arglwydd o weision Pharaoh, a yrodd ei weision a'i anifeiliaid i dai; a'r hwn nid ystyriodd air yr Arglwydd a adawodd ei weision a'i anifeiliaid yn y maes." Bu 'r canlyniad fel y gellid disgwyl. Eiddo yr anghredinwyr a ddifethwyd, ac eiddo y rhai a gredasant air Duw a gadwyd.

Wele yma y gwahaniaeth rhwng y dynion a ddarlunir gan Solomon yn y testun. Tra y "cenfydd y call y drwg ac a ymgudd, *y ffyliaid a ânt rhagddynt, ac a gospir.*

Y dyn yr hwn y beiir arno yma gan Solomon sydd yn myned rhagddo yn ddifeddwl, er y gŵyr efe mai er maint fyddo cymmorth y drygionus, na bydd dieuog. Ei feddwl yw nad ystyria Brenin mawr y ddaear a'r nef mo'i bechod. Gan fod dydd barn ym mhell ac yn ansicr, efe a dybia na ddel ef byth arnom. Rhyw dyb cymmysglyd ac anysgrythyrol o drugaredd heb Gyfryngwr—rhyw gam olwg ar dda a drwg, yn peri iddo ddisgwyl y gwna ei weithredoedd da wrth-bwyso ei weithredoedd drwg—a rhyw obaith na wna Duw trugarog mo gondemnio ei greaduriaid yn

dragywydd, sydd yn ei ddenu i feddwl ei fod yn ddiogel. Rhyw obaith rhyfygus y gwna yr Arglwydd Iesu Grist gyflawni y diffyg yn ei weithredoedd da, sydd yn ei gadw rhag ymorphwys ar drugaredd Duw yn Nghrist. Nid ydyw addewidion ddim yn bywiocâu ei ufudd-dod, nid ydyw bygythion ddim yn ei ddeffroi o'i gwsg. Nid ydyw rhybuddion yn peri iddo ymysgwyd o'i syrthni. Nid ellir ei gywilyddio, na chyffroi ei gariad. Llef trugaredd sydd yn seinio yn ei glustiau, "Deffro di yr hwn wyt yn cysgu, a chyfod oddiwrth y meirw, a Christ a oleua i ti." Yr Yspryd Glân sydd yn pledio yn ddifrifol, "Heddyw, os gwrandewch ar ei leferydd ef, na chaledwch eich calonau," etto ofer yw y cwbl. Pethau presennol a lanwasant ei galon, ac a gauasant allan feddyliau gwell. Esgeulusir ammodau trugaredd, diystyrir bywyd tragywyddol, dirmygir gwae angeu tragywyddol. Ffyliaid a goeliant bob gair ynghylch diogelwch, ac a roddant eu hunain i fynu i faglau eu gelyn mawr. Mae ffordd a dybir ei bod yn uniawn y'ngolwg dyn, ond ei diwedd yw ffyrdd marwolaeth. Fe allai eu bod yn tybied pob peth neillduol yn yr efengyl fel rhyw beth ammheus, ac nad oes achos i'w credu. Dyma ragfarn y ffyliaid. Ni welant ddim mwy o harddwch yn y Prynwr nag a welodd yr Iuddewon gynt pan gynnygiodd Pilat ef iddynt, a phan oedd efe yn chwennych ei achub rhag cael ei groeshoelio, ond hwy a'i gwrthodasant ef, ac a ddewisasant leidr a llofrudd yn ei le, "Nid hwn, ond Barabbas." Pan rybuddir hwynt o'u perygl yn ffyddlon ac yn garedig, a phan gymmellir hwynt i ffoi at graig eu nodded, y maent yn digio ac yn tramgwyddo wrth ffyddlondeb y rhai sydd yn gwylio tros eu heneidiau. Ofer ar eu rhan hwy yw gair Crist, "Onid edifarhewch, chwi a ddifethir oll.—Oddieithr geni dyn drachefn, ni ddichon efe weled teyrnas Dduw.—Oni aroswch ynof fi, nid oes genych fywyd ynoch."

Cymmerwch sylw hefyd o iaith ofnadwy ein testun, "Y ffyliaid a *ânt rhagddynt*." Dygir hwy ymaith ar wyneb afon amser yn ddistaw ac yn ddiffael tu ag angeu a barn, tua diwedd pob peth daearol, a thua dechreuad pob peth ag sydd ofnadwy mewn gofid, ac yn dragywyddol. Pan ddel o'r diwedd yr awr ofnadwy, bydd yn ddiddisgwyl ac yn anocheladwy. "Gwr a gerydder yn fynych, ac a galeda ei war, a ddryllir yn ddisymmwth, fel na byddo meddyginiaeth." Fe all ffyliaid, a rhai difeddwl, ddywedyd, "Enaid, y mae genyt dda lawer wedi ei roi i gadw dros lawer o flynyddoedd; gorphwys, bwyta, yf, bydd lawen." Ond pan ddel yr amser gosodedig, pan gyflawner mesur amynedd, pan ddel awr barn, pan orchymynir i angeu gyflawni ei swydd, Duw a ddywed wrtho, "O ynfyd, y nos hon y gofynant dy enaid oddi wrthyt, ac eiddo pwy fydd y pethau a barotoaist." Y noswaith o flaen y diluw, ni thybiodd yr un o'r anghredinwyr y byddai ffenestri y nef yn cael eu hagoryd dranoeth, y byddai yn ammhossibl cael un llwybr o ddiangfa, ac y byddai i'r diluw didrugaredd eu hysgubo ymaith allan o bob gobaith o ddiogelwch, a'u siomi mewn pob ymdrech i ddiangc. Fe allai y machludodd yr haul mewn wybr ddigymylog, ac yn ei harddwch, y noswaith cyn i'r tân ddisgyn ar ddinasoedd y gwastadedd. Ni thybiodd un o'u preswylwyr annuwiol y byddai i'r wybr dranoeth dywallt tân a brwmstan i lawr o'r nefoedd; a phan ddeuai 'r nos, na byddai dim i'w weled ond llwch a lludw. Y rhai ni chadwant Dduw yn eu gwybodaeth, na'i Fab yn eu calonau; y rhai ni hyderant yn ei drugaredd, a gwneuthur ei orchymynion; rhaid iddynt glywed y neges a'u dyg hwynt i bresennoldeb Duw gyda theimlad o arswyd a braw, cyffelyb i'r hyn a afaelodd ar droseddwyr yr hen fyd pan welsant rwysg anwrthwynebol y diluw, neu ar drigolion Sodoma a Gomorrah pan deimlasant y tân cyntaf a ddisgynodd ar eu dinas.

A oes yma, rai, ynte, yn byw yn ddidaro ynghylch eu cyflwr, ac yn myned rhagddynt, fel y ffyliaid yn y testun, i'w cospi? Ystyriwch eich cyflwr, a pheidiwch a bod mor anystyriol. Nid ydyw hi ddim etto yn rhy hwyr i ganfod y drwg, ac i ymguddio yn nhrugaredd Crist rhag digofaint Duw pan byddo yn cyffroi. Mae yr arch etto yn agored, mae mynydd diogelwch gerllaw, mae dinas noddfa yn agos. Perygl ac angeu a ddilyn bob cam yn y llwybr presennol: diogelwch a bywyd a geir yn yr un y'ch gwahoddir gan

Iesu Grist i rodio ynddo. Clywch ei rasol gyhoeddiad ef, "Yr hwn a ddel ataf fi, nis bwriaf ef allan ddim." R. D.

---

## AT OLYGYDD Y GWYLIEDYDD.

Syr—Addewais amser yn ol gynnyg ychydig sylwadau i'r Gwyliedydd ar Anianyddiaeth, yn enwedig Difyniaeth *(Anatomy)* Fferylliaeth *(Chemistry)* a Llysieuaeth *(Botany)*: os tybiwch y byddant yn cynnwys rhywbeth teilwng o sylw darllenwyr eich Cyhoeddiad, boddlonir fi: ar yr un pryd, rhaid i mi addef fod yn anhawdd gwneuthur traethawd llithrig a dealladwy ar y celfyddydau hyn yn yr iaith Gymraeg, o herwydd y mae miloedd o enwau yn cael eu harfer ynddynt, y rhai nas dichon i mi roddi geiriau Cymreig iddynt heb ddyfod yn agored i lym-feirniadaeth *(critical aspersions)*; ond, pa fodd bynag, mi a gymmeraf fy hyfdra i lunio *rhyw* air Cymreig i'r pethau hyny nad oes enwau Cymreig iddynt.

Corvinius.

## DIFYNIAETH *(ANATOMY.)*

Difyniaeth ydyw y gelfyddyd hòno sydd yn dysgu i ni adnabod cyfansoddiad y corph dynol—adnabod enw, sefyllfa, dull, gweithrediad, a gwasanaeth, pob rhan sydd yn cyfansoddi corph dyn, fel trwy hyny yr adnabyddir natur y corph mewn iechyd, o herwydd nid ydyw afiechyd ddim arall ond *diffyg o iawn weithrediad y gwaed ym mheiriannau y corph*, fel nad yw tywyllwch ond diffyg o oleuni. Mae y corph yn un o'r peiriannau godidocaf yn natur, wedi ei wneuthur i fynu â lliaws o fân-beiriannau *(organs)*. Mae yr esgyrn fel yn sylfaen i'r cwbl:—y cyhyrau *(muscles)* yn beiriannau nerth ac ysgogiad; y cymmal-rwymynau *(ligaments)* i gryfhau y cymmalau, a'u cadw ynghyd; y rhedwelïau a'r gwythenau i gynnal y gwaed; y sugn-bibau *(absorbents)* i faethu y gwaed, trwy gludo sylwedd-naws y bwyd *(chyle)* iddo; y gewynau *(nerves)* fel goruchwylydd neu gyfryngydd rhwng yr enaid a'r corph—trwy y rhai hyn y rhed yr hylif gewynol—trwy y rhai hyn yr ydym yn gallu gweled, clywed, arogli, archwaethu, a theimlo—ac, yn fyr, trwy y rhai hyn y mae pob gweithrediad yn y corph, a phob syniad yn y meddwl yn cymmeryd lle; etto y mae y rhai hyn yn ymddibynu gymmaint ar y rhanau ereill o'r corph ag ydynt hwythau ar y gewynau. Y galon hefyd sydd gyhyren *(muscle)* nerthol i yru y gwaed i bellfaoedd y corph; yr ysgyfaint, trwy gyfryngdod yr awyr, i yru y gwaed i'r galon; y cylla a'r coluddion i gynnal y bwyd a'i wrthodion; yr iau a'r fustlen i wahanu y bustl o'r gwaed, a'i dywallt i'r coludd; y ddüeg i ryw bwrpas nas gwyddys yn sicr; yr elwlenau i wahanu y dwfr o'r gwaed; y chwysigen i gynnal y dwfr, a'i daflu allan pan fo achos; y rhanau cenedlig i adnewyddu y rhyw, &c. yr amrywiol chwarenau i wahanu llysnafedd, a gwlybau ereill, o'r gwaed;—hefyd y llygaid, y clustiau, y trwyn, y genau, a'r croen, yn gwneuthur eu swyddau priodol; ïe, pob peth wedi ei ordeinio mor berffaith, fel nas gall un peiriant o waith dyn fod yn gyffelyb iddo: ac etto, ar yr un pryd, yr ydym i'w ystyried fel peiriant *(machine)* ac nid fel peth goruwch-naturiol, fel y mae rhai yn ei ystyried. Mae yn sicr fod *achos bywyd* yn rhywbeth nas gellir ei wybod na'i amgyffred—o herwydd elfen ydyw, yn tarddu o'r Achos mawr ei hun: ond mewn perthynas i fywyd, neu enaid, fel y mae yn gyffredin i ddyn ac anifail, mae hwn yn ddigon amlwg yn ymddibynu ar weithrediad y gwaed, yr hylif gieuol *(nervous fluid)* a'r hylif treuliadol *(absorbent fluid)*—y rhai hyn yn cyd-weithredu ydyw bywyd. Ond os awn i geisio chwilio am natur yr *achos* sydd yn gosod y rhai hyn ar waith, yr ydym yn boddi mewn diddymdra a syndod!

Yn nesaf, mi a ddywedaf ychydig yn fwy neillduol am y tri hylif hyn, a'u llestri.—1. Y *sugn-bibau* ydynt wythenau tra mân, a thra lliosog, yn codi o'r cylla a'r coluddion, ac yn ymuno fel gwreiddyn coeden nes y delont yn un biben, yr hon sydd yn esgyn gyd âg asgwrn y cefn, ac yn ymuno â'r wythen fawr *(subclavian vein)* yn ochr chwith y gwddf. Swydd y sugnbiben ydyw sugno a chludo sylwedd-naws y bwyd i'r gwaed; o herwydd trwyddynt hwy mae y corph yn cael ei adfywio o hyd. Y mae yr amrywiol chwarenau hefyd, y croen, yr ysgyfaint, &c. yn treulio yn wastadol y sylwedd goreu o'r gwaed;

felly y mae y gwaed yn cael ei dlodi o hyd; ac oni bai i ryw ffordd fod fel y gwnelid hyn i fynu, byddai yn anmhosaibl i ddyn fyw ond ychydig iawn: felly mae y sugn-biban hyn wedi eu llunio i sugno sylwedd-nawsy bwyd, a'i gludo i'r gwaed. Y maent, fel y dywedwyd o'r blaen, yn codi neu yn dechreu yn dra lliosog (fel mân-wraidd pren) yn y cylla a'r coluddion. Y maent, fel gelod, yn sugno llaethnawn (*chyle*) ac yn ei gludo i'r gwaed yn ochr chwith y gwddf: felly yr hyn a dreulir o'r gwaed gan y chwarenau, y croen, yr ysgyfaint, &c. a wneir i fynu gan y sugn-biben (*thoracic duct*). Cyffelybir y drefn sugnawl neu dreuliadol (*absorbent system*) i blanhigyn mewn *pot*—y *pot* fel y cylla a'r coluddion, a'r pridd yn y *pot* fel yr ymborth yn y cylla, mân-wraidd y planhigyn fel y sugnyddion (*lacteals*): felly y mae y sugnyddion hyn yn gyffelyb i wreiddyn planhigyn yn sugno maeth o'r ddaear i'r planhigyn; ac os bydd anhwyldeb yn y gwreiddyn, bydd y pren yn afiach:—"Y neb a ddeallo ystyried." Y mae achosion afiechyd yn aneirif. Y mae pob peth sydd ganddo effaith ar weithrediad y corph, neu yr enaid, yn achosadwy o afiechyd. Y mae yr awyr, yr ymborth, y nwydau, a miloedd o bethau ereill, yn achosi afiechyd—heblaw y damweiniau sydd yn cymmeryd lle yn aghyfansoddiad y mân-beiriannau eu hunain (*organs*) oddiar wendid cynnwynol, neu ddamweiniau allanol. Y mae y sugn-biban yn dra lliosog trwy yr holl gorph.

2. *Y llestri gwaed.* Y mae y llestri gwaed yn ddau fath—rhedwelïau, a gwythenau. Y mae y rhedwelïau yn codi o'r galon, ac yn ymwahanu i bob rhan o'r corph: y maent yn cludo y gwaed o'r galon i bellfaoedd y corph. Y mae y gwythenau yn codi o bellfaoedd y corph; hyny yw, y maent yn dechreu yn y fan lle mae y rhedwelïau yn diweddu, ac yn cludo y gwaed yn ei ol i'r galon. Y mae y gwaed yn cael ei daflu yn egnïol trwy y rhedwelïau; ond y mae yn rhedeg yn raddol trwy y gwythenau. Y mae y gwaed yn goch yn y rhedwelïau, ond yn ddu yn y gwythenau. Pan fyddys yn gollwng gwaed ar wythen, yr ydys yn arferol o rwymo rhwng y fan hòno a'r galon, onidê rhedai y gwaed i'r galon yn lle dyfod allan—ond yn y gwrthwyneb efo rhedweli. Cylch-rediad y gwaed a gafwyd allan gan y Dr. Harvey yn yr unfed ganrif ar bymtheg, ac sydd, yn fyr, fel y canlyn:—Rhed y gwaed o'r ddwy wythen fawr (*vena cava*) i borth (*auricle*) ddehau y galon, oddi yno i'r gell ddehau, oddi yno i'r ysgyfaint trwy redweli fawr yr ysgyfaint, oddi yno trwy wythen fawr yr ysgyfaint i borth chwith y galon, oddi yno i'r gell chwith, ac oddi yno teflir y gwaed yn egnïol trwy yr holl gorph; wedi hyny mae y gwythenau yn ei sugno i fynu, ac yn ei gludo yn ei ol tu a'r galon i gylch-redeg yr un modd ag o'r blaen. Bwriwn fod pedair neu bum *wns* o waed yn nghell y galon, a bod y gell yn cael ei gwaghau ar bob curiad (*pulse*); a bwriwn bod 70 o guriadau mewn mynyd; yna mae oddeutu 20 pwys o waed yn myned trwy y galon bob mynyd: felly y mae cymmaint, neu ychwaneg, swm o waed ag sydd y'nghorph dyn yn rhedeg trwy ei galon bob mynyd. Rhyfedd fod y galon mor effro, mor weithgar a diwyd, yn parhau i yru cymmaint o waed trwyddi o fynyd i fynyd, a hyny tros yspaid 80 mlynedd, ac ychwaneg! a phan ddarffo i'r gweithrediad yma o'r gwaed beidio, yr un peth yw dywedyd fod bywyd wedi darfod:—"yna y dychwel y pridd i'r ddaear fel y bu, a'r yspryd at Dduw yr hwn a'i rhoes ef."

Y traethawd goreu ar y gwaed, i'm tyb i, ydyw llyfr Mr. John Hunter.

3. *Y gewynau* (*nerves*). Mae y gewynau yn tarddu o'r ymenydd, a llinyn y cefn. Y mae y ddwy ochr i'r corph yn gyson yr un fath. Y mae naw pâr o ewynau yn tarddu o'r ymenydd, a deg pâr ar hugain yn tarddu o asgwrn y cefn, hyny yw, o'r gwegil i'r eisteddfod; felly y mae namyn un deugain pâr o ewynau yn tarddu o'r pen a cholofn y cefn, pa rai sydd yn ymwahanu yn aneirif o ganghenau dros bob rhan o'r corph: nis gellir efo y nodwydd fwyaf blaenfain gyffwrdd âg un man o'r corph heb gyffwrdd â rhyw gangen fechan o ewyn. Y mae y naw pâr sydd yn codi o'r pen yn cael eu dosparthu fel y canlyn:—Y pâr cyntaf a elwir gi sawyrol (*olfactory nerve*): dosperthir hon dros biben y trwyn, a hi ydyw offer arogliad. Yr ail bâr a elwir gi drychiadol (*optic nerve*): mae hon yn treiddio trwy waelod y llygaid iddo,

ac yn cael ei dosparthu o fewn y llygaid, ym mha fan y gelwir hi rhwydig (*retina*) a hon ydyw offer gweled. Y trydydd pâr a elwir gi symudiadau y llygaid (*motores oculorum*): dosperthir hon i gyhyrau y llygaid. Y pedwerydd pâr a elwir gi y gweddiwr (*trochleator*): dosperthir hon i gyhyren uchaf y llygaid, trwy yr hon yr ydym yn gallu troi ein llygaid i fynu. Y pummed pâr ydyw y teirefell (*trigemini*) a hon ydyw y fwyaf sydd yn codi o'r pen: y mae yn ymwahanu i dair o ganghenau; sef—1. Cangen y llygaid (*ophthalmic branch*)—2. Cangen yr ên uchaf (*superior maxillary*)—3. Cangen yr ên isaf (*inferior maxillary*) o'r olaf hon y tardd gi yr archwaethiad (*gustatory nerve*). Y chweched pâr a elwir gi cilwên (*abducent or ogling nerve*) ac a ddosperthir i gyhyren allanol y llygaid: gelwir hon weithiau gi trem y carwr, o herwydd â hon y mae yn edrych o'r neilldu. Y seithfed pâr ydyw gi y glust; ac y mae yn ddwy o ganghenau gwahanol: gelwir un, y gangen galedaidd (*portio dura*) a'r llall, y gangen feddal *portio mollis*)—hon ydyw offer clywed. Yr wythfed pâr a elwir y gi fawr (*par vagum*): mae hwn, fel y pummed, yn ymwahanu i dair o ganghenau, sef un i'r tafod, a cheudod y safn (*glossopharyngeal*) y llall i'r ysgyfaint a'r cylla (*pneumo-gastric*) a'r llall i'r gwddf a'r cefn (*accessory*). Y nawfed ydyw gi y tafod (*lingual nerve*): mae hon yn cael ei dosparthu i gyhyrau y tafod; ac yn ganlynol y nawfed pâr sydd yn ein galluogi i symud ein tafod.

Yn nesaf, sylwaf ychydig ar y gewynau sydd yn tarddu o golofn y cefn. Y mae yr holl barau sydd yn tarddu o golofn y cefn yn ymwahanu i ddwy o ganghenau cyn gynted ag y deuant o'r madruddyn—un gangen yn rhedeg yn ol tu a'r cefn, a'r llall ym mlaen tu a'r fron a'r bol: cyn iddynt ymwahanu, y mae chwyddiad (*ganglion*) ar bob un o honynt. Dywed y Dr. Harrison o Ddulyn mai swydd y rhai hyny sydd yn rhedeg yn ol ydyw rhoddi syniad (*sensation*) i'r parthau y maent yn rhedeg iddynt; ond swydd y gewynau hyny sydd yn rhedeg ym mlaen, ydyw rhoddi symudiad (*motion*) i'r manau y maent yn rhedeg iddynt. Y mae y pedwar pâr cyntaf oddiwrth y gwegil yn ymuno â'u gilydd, ac yn ffurfio cyd-wëad (*plexus*). Y mae y pedwar pâr hyn yn cael eu dosparthu yn y cyhyrau cyfagos, &c. ond y mae un gewyn tra hynod, a phwysig ei swydd, yn tarddu o'r cyd-wëad hwn; a hwn ydyw gi y llengig (*phrenic nerve*). Y mae hon yn rhedeg ar hyd ochr y gwddf, tan ochr y galon i'r llengig (*diaphragm*) ac ychydig o fân ganghenau i'r iau. Pe torid y llinyn bychan hwn, byddai hyny yn farwolaeth ddisymwth. Rhoddaf siampl byr o hyn:—Pan oeddwn yn Nulyn, cefais gath oedd wedi cael ei chondemnio i farw. Torais yr ail gangen o'r wythfed pâr sydd yn rhedeg i'r ysgyfaint a'r cylla, aeth y gath i arteithiau llymion (*convulsions*); ond pa fodd bynag yr oedd hi yn parhau i fyw o hyd; yna torais gi y llengig (*phrenic nerve*) a bu y gath farw yn y fan. Bu hyn yn destun o syndod i rai o'm cyd-astudwyr. Y mae y pummed, y chweched, y seithfed, yr wythfed, a'r nawfed pâr yn gwneuthur cyd-wëad (*plexus*) â'u gilydd, gelwir hwn cyd-wëad y braich (*brachial plexus*) o herwydd o hwn y mae chwe gewyn y braich yn tarddu, heblaw amryw ereill yn y manau cyfagos. Nid yw gewynau y cefn yn gwneuthur cyd-wëad yr un modd ag y mae gewynau y gwddf a'r lwynau; etto y mae pob pâr yn taflu allan un neu ddwy o ganghenau, ac yn ymuno efo'r gi gyfoddefol (*sympathetic nerve*) yr hon sydd yn dechreu yn y chweched pâr yn yr ymenydd, yn derbyn cangen ychwanegol o bob pâr yn ngholofn y cefn, ac yn diweddu yn yr eisteddfod. Dywedir ychwaneg am hon etto. Y mae gewynau y cefn yn cael eu dosparthu i'r asenau a'r cyhyrau cyfagos. Y mae gewynau y lwynau (*lumbar nerves*) yn bum pâr, pa rai a ymunant â'u gilydd, ac a elwir cyd-wëad y lwynau (*lumbar plexus*). Y mae llawer o ewynau yn codi o'r cyd-wëad hwn. Y mae gewynau yr eisteddfod (*sacral nerves*) yn bum pâr, y rhai a ymunant â'u gilydd, ac a elwir cyd-wëad yr eisteddfod (*sacral plexus*). Y mae llawer o ewynau yn codi o'r cyd-wëad hwn. Y mae gi fawr y glun (*great sciatic nerve*) yn codi o'r pedwar pâr uchaf yn y cyd-wëad hwn, ac yn terfynu y'ngwadn y troed. Y gi hon ydyw y fwyaf yn yr holl gorph: y mae agos mor braffed a bys bach.

Y mae yr holl ewynau a enwyd uchod yn rhedeg i, ac yn llenwi pob man o'r

corph: ond y mae un etto i'w enwi, yr hwn sydd yn dwyn yr holl ewynau megys yn un â'u gilydd, a hwn ydyw y gi cygnog neu gyfoddefol (*ganglionic or sympathetic nerve*). Y mae y gi bwysig hon yn dechreu yn y chweched pâr yn yr ymenydd, ac yn disgyn i lawr ar hyd y gwddf gyd âg asgwrn y cefn, ac yn terfynu yn yr eisteddfod. Y mae yma ac acw gygnau neu chwyddiadau (*ganglions*) sef, tri yn y gwddf, deuddeg ar hyd asgwrn y cefn, chwech yn y bol a'r lwynau, a thri neu bedwar yn yr eisteddfod. Y mae llâwer o ewynau yn codi o ymyl pob un o honynt: ond y rhai mwyaf hynod ydyw y rhai hyny sydd yn codi oddiar asgwrn y cefn, sef gi yr ymysgaroedd, fawr a bechan (*greater and lesser splanchnic nerve*) y gygnen hanercron (*semilunar ganglion*) o'r hon y tardd cyd-wëad y perfedd (*cœliac or solar plexus*). Cyfrifir y fan hon fel canolbwynt y bywyd naturiol. O'r cyd wëad hwn mae y cylla a'r perfedd, yr iau, y ddüeg, yr elwlenau, &c. yn derbyn eu gewynau. Y mae gi fawr yr ymysgaroedd yn codi o'r chweched, seithfed, wythfed, nawfed, a'r degfed cygnau; yna disgynant tu ol i'r cylla, lle yr ymledant a ffurfio y gygnen fawr hanner-cron (*semilunar ganglion*): wedi hyny y maent yn ymwahanu, ac yn ffurfio cydwëad y perfedd (*solar plexus*) yr hwn wedi hyny sydd yn ffurfio cydiadau (*communications*) efo gi fawr yr ysgyfaint a'r cylla (*pneumo-gastric*) yr hon sydd yn tarddu o'r wythfed pâr o'r pen. Rhyfedd mor anfeidrol berffaith y mae pob peth yn y corph mewn undeb a chyd-gor â'u gilydd!

*(I'w barhau.)*

---

## Y GWRTHGILIWR YN MARW.

MYNYCH y gelwir gweinidogion yr efengyl at welyau y cleifion, ac weithiau gwelant hwy yn myned i ymchwydd yr afon, pan y mae'r yspryd yn ehedeg at Dduw, yr hwn a'i rhoes. Un tro gwelant y credadyn yn huno yn dawel yn Nghrist, gan orchymyn ei enaid i ddwylaw Creawdwr ffyddlon. Dro arall gwelant yr annuwiol yn marw, ac, yn ol pob ymddangosiad, yn marw heb Dduw, heb Grist, ac heb obaith; a thyma hanes byr am farwolaeth gwrthgiliwr. Bu yr adyn hwn unwaith yn broffeswr tanbaid o grefydd Crist, ac, yn ol barn y rhai a'i hadwaenent, efe a rodiai yn dra addas i'w broffes. Ond ym mhen rhyw amser maglwyd ef gan ddiafol, ac bob yn ychydig fe aeth yn feddwyn. O ganlyniad i hyn trôdd ei gefn ar grefydd; ac i'r diben o ddistewi cyhuddiadau cydwybod, ceisiodd feddwl a chredu nad oedd crefydd ddim ond breuddwyd pen a gwegi, ac fe aeth yn *wrthgiliwr cyhoedd.* Fel hyn yr aeth ym mlaen dros rai blynyddau; ond cyn pen hir daeth saldra angeuol arno, ac y mae yn debyg mai ei *feddwdod* fu 'r achos. Ac fel hyn y dywed yr hanesydd am dano yn yr amgylchiad hwn:—"Os gwelais erioed greadur o ddyn wedi ei lwyr adael gan Dduw, ac am yr hwn y dywedasai, 'Efe a ymgyssylltodd âg eilunod: gâd iddo;' gâd iddo, gydwybod; gadewch iddo, weinidogion; gâd iddo, fy Yspryd, nac ymryson âg ef mwyach; hwn oedd y gwr. Gallwn ddweud pa le oedd yn byw, a pheth oedd ei enw, ond gwell ydyw peidio. Daeth ei wraig ataf mewn ing a dagrau, i ddeisyfu arnaf ddyfod ato i ymddiddan âg ef, ac i weddïo drosto. Aethum gyda hi ato; a byth nid anghofiaf yr olwg oedd arno. Dychryn, llidiog falais, ac anobaith a hacrent wedd ei wyneb. Dechreuais ymddiddan âg ef; ac fel hyn y'm hatebodd yn union, 'Nid oes arnaf fi eisieu mo'ch cyngor, nid oes arnaf fi eisieu mo'ch gweddïau, yr wyf yn adyn colledig.' Ceisiais ddywedyd wrtho am drugaredd Duw yn Nghrist—i Iesu Grist ddyfod i geisio ac i gadw yr hyn a gollasid, ac i estyn trugaredd i'r penaf o bechaduriaid; ond nid oedd gwiw sôn wrtho am y pethau hyn: yr ateb oedd yn union, 'Nid oes arnaf fi eisieu dim o'ch cyngor, nid oes arnaf fi eisieu dim o'ch gweddïau, yr wyf yn adyn colledig—damnedigaeth sydd â'i chadwynau am danaf.' Aethum ar fy ngliniau, ac erfyniais ar i Dduw 'r trugaredd estyn trugaredd i'r dyn, er mwyn ei Fab yr Iachawdwr; ond nid oedd un arwydd o gydsyniad, nac 'Amen' i'w glywed ganddo ar ol un gofyniad am drugaredd; ac yn y cyflwr gresynus hwn y gorfu arnaf ei adael. Wedi hyny, ei wraig, yn ei hing a'i hofnau am dano, aeth at gymmydog duwiol i ddeisyf arno ddyfod ato; ond methodd yntau a llwyddo: nid oedd y cwbl ond ofer. O'r diwedd, daeth

rhyw nerth ac egnïwch goruwch-naturiol i gorph gwael, ysgerbydaidd y dyn, a neidiodd i fynu o'r gwely, gan waeddi, 'O Dduw, nid allaf fi ddim marw!' a chan ruthro tua drws yr ystafell, efe a syrthiodd i lawr ac a drengodd! O, fy enaid, na ddos di i gyfrinach dynion annuwiol; a'm gogoniant, na fydd un â chynnulleidfa y gwrthgilwyr!—DELTA.

---

## Y CREDADYN YN MARW.

DYN isel o ran sefyllfa yn y byd oedd J——, a dioddefodd lawer am lawer o flynyddoedd oddiwrth glefyd yr ysgyfaint. "Llawer gwaith (medd yr hanesydd) y bum yn ymddiddan âg ef, a mawr oedd yr hyfrydwch a gefais o hyny. Ond rhyw ddiwrnod, daeth gair ataf gyda chyfaill i J——, os oeddwn yn dymuno ei weled drachefn yn fyw, fod yn rhaid i mi ddyfod yno yn ddioed cyn ei farw; a llawer gwaith er hyny y diolchais i Dduw am gael cyfle i weled y gwr duwiol hwn yn marw. Brysiais i fyned i'w dŷ; ac, O! y fath olwg hyfryd a gefais! O ran amgylchiadau allanol nid ydoedd ond dyn tlawd, ond cyfoethog oedd mewn ffydd. Aethum i'w ystafell, ac efe a'm hadnabu yn ebrwydd; a chyda gwên ar ei wyneb, dywedodd, "O mor dda yw yr Arglwydd wrthyf!" Dechreuais ymddiddan âg ef am ei sefyllfa a'i brofiad, a chrybwyllais am gariad Duw yn Iesu Grist; ac yn union gwelwn y dagrau yn llenwi ei lygaid, a chan edrych arnaf trwy ei ddagrau, efe a ddywedodd, "O Syr, mae ofn angeu, ofn marw, i gyd wedi myned ymaith, mae fy Mhrynwr bendigedig yn fyw." Amlwg oedd ei fod ef, yr hwn a fu farw, ac a gyfodwyd drachefn, yn cofio am y gwr hwn, ac yn ei fendithio, ac yn sefyll gyd âg ef yn awr gyfyng angeu. Cyn pen hir wedi hyn byrhaodd ei anadl, a mynych yr attelid ef yn llwyr, nes yr oeddym yn meddwl nad oedd anadl ynddo. Ond dechreuodd anadlu drachefn yn esmwyth, ac agorodd ei lygaid; a chan edrych i fynu â thawelwch nefol yn argraffedig ar ei wedd, a'i lygaid, oedd ar gau hyd foreu yr adgyfodiad, wedi eu sirioli gan yr olwg ar ei etifeddiaeth yn y nef, efe a lefodd, "O mor hyfryd yw ymddatod, a bod gyda Christ!" "Neb ond Crist! neb ond Crist!" ac ar hyn efe a hunodd yn yr Arglwydd. "Marw a wnelwyf finnau o farwolaeth yr uniawn, a bydded fy niwedd fel yr eiddo yntau."

DELTA.

---

## UCHDER MYNYDDOEDD

### YM MHEDWAR BAN BYD, UWCHLAW ARWYNEBEDD Y MOR.

MR. GWYLIEDYDD—Er dangos i drigolion uniaith Nanhwynain a Nantffrancon, a manau ereill o'r fath, nad yw eu Wyddfa a'u Carnedd Llewelyn hwynt ond megis tomenydd, cromlechau, neu dyrau pridd y wadd, o'u cymmharu â mynyddau ereill mewn gwledydd pellenig; cyfleais isod Restr o'r rhai mwyaf hynod yn Asia, America, Europe, ac Affrica. Byddai yn anhawdd gan lawer o honynt goelio—pe byddai yn alluadwy gosod Carnedd Llewelyn ar ben y Wyddfa, ac Aran Fawddwy ar ben y Garnedd, a Chader Idris ar ben yr Aran, a Phumlumon ar ben y Gader, a'r Arenig ar ben Pumlumon, a Moel Famau ar ben yr Arenig—Banuwchdeni ar ben Moel Famau, a Mynydd Dû Trecastell ar ben y cwbl—y byddai ucheliant y naw mynydd a enwyd ynghŷd, yn îs o 517 o droedfeddi na chlopa un mynydd a elwir *Nundidevi*. Er mor rhyfedd y dichon i hyn ymddangos, y mae can wired a bod chwech a chwech arall a phump a phedwar a thri, oll ynghyd, yn llai o rif na phump ar hugain un swm.

Y mynyddoedd mwyaf derchafedig ar wyneb daear ydynt yn *Asia*, sef,

| | *Troedfeddi.* |
|---|---|
| 1. Nundidevi | 25,030 |
| 2. Sumeru, cyfagos i darddiad y Ganges | 23,000 |
| 3. Bhadrinàth a Cedarnath | 22,300 |

**II. AMERICA.**

| | |
|---|---|
| 2. Chimborazo | 20,280 |
| 5. Cotopasi | 18,000 |

**III. EUROPE.**

| | |
|---|---|
| 6. Mont Blanc (Mynydd Mynnau) yn ol Sir *G. Sh* | 15,662 |
| ———— yn ol *De Luc* | 15,303 |
| ———— yn ol *Volney* | 14,400 |
| 7. Mynydd Ætna, yn ol *Brydone* | 12,000 |
| ———— yn ol *Saussure* | 10,036 |
| 8. Mynydd Ossian (Barwynau) | 11,400 |

PRYDAIN FAWR (YR ALBAN.)

| | |
|---|---|
| 9. Ben Macdui, Swydd Aberdeen | 4,300 |
| 10. Benevis, Swydd y Berth, neu Aberness | 4,350 |
| 11. Benlomon, Ystrad Clwyd | 3,240 |

LLOEGR (CUMBERLAND.)

| | | |
|---|---|---|
| 12. | Cross Fell | 2,400 |
| 13. | Helvelyn | 3,324 |
| 14. | Spiddaw | 3,270 |
| 15. | Saddleback | 3,048 |

CYMRU (GWYNEDD.)

| | | |
|---|---|---|
| 16. | Yr Wyddfa | 3,571 |
| 17. | Carnedd Llewelyn | 3,469 |
| 18. | Carnedd Dafydd | 3,427 |
| 19. | Moel Eilio | 2,377 |
| 20. | Pumlumon | 2,463 |
| 21. | Moel Famau | 1,845 |
| 22. | Cader Idris | 2,914 |
| 23. | Aran Fawddwy | 2,955 |
| 24. | Arenig | 2,860 |
| 25. | Ban-uwch deni (Brycheiniog) | 2,550 |
| 26. | Mynydd Dû Trecastell (Sir Gaer) neu y Fan, plwy Llanddeusant. | 2,596 |

## IV. AFFRICA.

| | | |
|---|---|---|
| 27. | Pîg Teneriff | 13,197 |
| 28. | Moel Atlas | |

## V. ASIA etto.

| | | |
|---|---|---|
| 29. | Pîg Adda, yn Ynys Ceylon | 8,000 |

Y TIR SANTAIDD.

| | | |
|---|---|---|
| 30. | Mynydd Libanus, yn ol *Volney* | 9,000 |
| 31. | Mynydd Tabor, yn ol yr un | 3,000 |
| 32. | Mynydd Carmel yn ol yr un | 1,996 |

NODAU AR Y RHIFAU BLAENOROL.

*Rhifau* 1, 2, 3. Y clogwynau hyn ydynt y rhai uchaf yn y byd: rhanau ydynt o'r casgliad o fynyddau dirfawr a ddechreuant megis terfyn rhwng Cilicia ac Asia Leiaf, dan yr enw *Taurus*, ac yn eu gyrriad tu a'r dwyrain-ogledd a ânt dan enwau amrywiol, megis *Caucasus*, *Niphates*, *Paropamisus*, &c.—ac ar y terfyn rhwng India a China, gelwid hwynt *Imäus*, o ba air, tybygir, y lluniwyd yr enw presenol, sef *Himalaya*. Y mae y pedwar clogwyn uchod o fewn terfynau meddiannedig y llywodraeth Prydeinaidd yn India. Y Cadben *Gerard* a roddodd hanes i'r diweddar Esgob Heber, iddo ef a'i gyfeillion esgyn y mynyddau hyn, hyd uchder pedair mil ar bymtheg a chwe' chant o droedfeddau; na chawsent ddim gwyrddlesni coed na llysiau yn uwch na 13,000 o droedfeddau, sef o gylch hanner uchder y mynydd; ac nad oedd dim wedi hynny i'w weled, ond yn gyntaf creigiau noethion, ac wedi hynny yn bell o'u cyrhaedd, iâ ac eira tragywyddol. Y ddwy filldir ddiweddaf a esgynasant oedd mor serth a gradd 42° y *Quadrant*, neu gan agosed ag y gellir dychymygu i serthiant un ochr y brif-lythyren A: rhaid felly dybio bod eu llwybr yn glogyrnog, yn caniatâu i'r dringhedyddion afael ewin llaw a throed. Dywedai trigolion mynyddig y wlad—bod un o glogwyni isaf Nundidevi yn bwrw allan dân a mwg: os gwir yw hyn, y mae yn dyrysu coel rhai o'r doethion, o herwydd pellder y Foel oddiwrth un môr, gan eu bod yn dal bod dwfr y môr trwy bibellau yn iselder y ddaear yn un o'r achosion penaf o ennyniad y tân gorlifol.

*Rhifau* 4, 5. Y rhai hyn a dybid hyd yn ddiweddar yn fynyddau uchaf yn y byd. Rhan ydynt o restr dirfawr o fynyddau a gyrhaeddant o'r naill ben i'r llall i'r gwledydd meithion *Chili* a *Peru*, sef tros 4000 o filldiroedd o fewn America Ddeheuol—ac wedi hyny a ganlynant eu gyriad tua môr y gogledd.—Y mae eira parhaus yn gorchuddio milldiroedd o benau uchaf y moelydd. Un Humboldt, o wlad yr Ellmyn, a fu fwyaf llwyddiannus yn ei esgyniad i'r mynyddau hyn; a'r uchder eithaf a gyrhaeddodd oedd 19,300 o droedfeddau, sef cyfuwch a chwech o'r mynyddau uchaf yn Nghymru y naill ar ben y llall. Y mae nifer o foelydd tanllyd y'mhlith y rhai hyn, y rhai ar amserau a gynhyrfir gan yr agerdd tufewnol i fwrw allan afonydd eirias, y rhai yn eu disgyniad a doddant gymmaint o eira ag a bair lifeiriant dinystriol yn yr afonydd mawrion, sef yr *Oronoko*, *Amazons*, *Laplata*, *&c*.

*Rhif*. 6. Gellir Cymreigio enw hwn i *Barwyn;* a gwŷn, haf a gauaf, yw amwisg ei ben, er dyddiau Noë, os nid er oes Adda.

*Rhif*. 7. Mynydd *Ætna* yw y mwyaf hynod ym mhlith y moelydd tanllyd; yn *gyntaf* o ran hynafiaeth ei hanes. *Pindar* y Groeg-fardd, 435 o flwyddau cyn geni Crist, a'i darlunia megis trigfa dragywyddol yr *eira*, ac megis un o golofnau y nefoedd; yn *ail* o ran ei faint a'i uchder. Ofer-goel y Paganiaid a haerai mai i ben *Ætna* y diangodd *Deucalion*, a'i wraig Pyrrha o gyrhaedd y Diluw mawr. Syr George Shuckburgh a ddywed bod crwnfesur y terfyngylch a welir oddiar ei ben yn 1093 o filldiroedd, ac amgylchedd ei odre isaf yn 40 milldir. Ar hyd ochrau y mynydd y mae 77 o ddinasoedd, trefydd, a threfianau; ac os cyfrifir 1200 o drigolion i bob un, nid yw rhif y trigolion ar wyneb ogylch y mynydd ddim llai na 92,400. O ddinas *Catania* ar ei odre deheuol i'w ben uchaf y mae taith o ddeng milldir ar hugain, drwy dri o hinsoddau a ellir eu galw

—1. Y cylch *gwresog*—2. Y cylch *tymherus*—ac yn uchaf cylch yr *oerfel*. Y cylch *isaf* sydd yn ffrwythlawn o ydau, gwinwydd, a ffrwythau pêr a blasus ereill; ei esgyniad a bery dros o ddeuddeg i ddeunaw milldir, a'i amgylchedd a dybir yn 183 milldir. Yr *ail* a elwir y cylch coedlog, llawn o dderw, ffawydd, ffinydwydd. Yma yr adfywiogir y teithwyr newydd dreiddio drwy y cylch gwresog, gan aroglau pêr yr awel, yn deilliaw oddiar y llysiau blodeuog sydd yn tryfritho wyneb y ddaear. "Yma (meddai *Brydone*) y mae paradwys, er bod efallai uffern o dân a brwmstan o fewn ychydig o latheidiau i'n traed ni." Esgyniad yr ail gylch a bery o wyth i ddeg milldir; a'i amgylchedd sydd o 70 i 80 milldir. Y cylch *uchaf* sydd o barth wyth milldir o esgyniad hyd ben y cawg, ond yn ol ereill deuddeng milldir. Peryglus a llafurus yw y daith drwy y cylch hwn, tros glogwyni noethion a geirwon, trwy gornentydd o eira toddedig yn llifeirio ar i waered, a thros gludeiriau o iâ—trwy gorwyntoedd yn lluchio ac yn chwalu tywod, lludw, mwg, ac eira: ond wedi treiddio trwy y llafuron hyn oll, ymlawenycha y dringhedydd, wedi cyrhaedd pen ei daith, ei fod wedi ennill y fan lle bu yr Ymerawdwr *Adrian*, a'r philosophydd *Plato* o'i flaen ef, o gylch dwy fil o flwyddau yn ol. Toriadau allan y mynydd rhyfeddol hwn, yn dân a ffrydiau gorlifol o sylweddau toddedig, a'r hanes o honynt ar gôf a chadw, cyn ac wedi yr oes Gristionogol ydynt un-ar-ddeg ar hugain; ac o'r nifer hwn, wyth a gyfrifir cyn geni Crist. Nis gellir sôn yma ond am ychydig o honynt: Yn y flwyddyn 1169, nerth yr agerdd tufewnol a barodd ddaeargryn ofnadwy, nes y maluriwyd dinas Catania i'r llawr, ac y lladdwyd pymtheg mil o drigolion. Ar yr achos hwn sychwyd hen afonydd, a tharddodd rhai newyddion yn eu lle. Digwyddodd nifer o arllwysiadau tanllyd rhwng hyn a'r fl. 1536, pan dorodd allan yn aruthrol ofnadwy; ac ni ostegodd ar brydiau gwedi hyny tros flwyddyn gyfa. Gan y dirfawr wrês a barodd yr arllwysiad yn 1763, ni safodd eira ar ei hen orsaf tros bum mlynedd. Mor ddychrynadwy oedd effeithiau amryw o'r arllwysiadwy, fel nas dichon iaith nac ymadrodd ddarlunio eu herchylldod: afonydd o elfenau tawdd yn dylifo i waered i droed y mynydd, gan gladdu dinasoedd, tai, trigolion, ac anifeiliaid, heb gael un attaliad nes eu fferru ynghanol y môr; a'r awyr drwy yr amser mor farwol wenwynig fel y lladdai fugeiliaid ynghyd â'u diadellau yn y meusydd. Y rhyferthwy diweddaf o'm blaen yn bresenol a ddigwyddodd yn Hydref, 1787, pryd y chwydodd y mynydd afon danllyd o feini a sylweddau toddedig yn dair milldir ei hyd, chwarter milldir ei lled, ac o chwech i ddeunaw troedfedd o ddyfnder. Pwy na ddolefa—"Mawr a rhyfedd yw dy weithredoedd, O Arglwydd Dduw Hollalluog; cyfiawn a chywir yw dy ffyrdd di, Brenin y saint."

Rhag bod yn annymunol o'r maith, terfynaf yma gyda mynydd *Ætna*; ac os ceir hamdden, ryw bryd arall, eir y'mlaen â nodau ar rai o'r mynyddoedd dilynol; os byw fydd eich ewyllysiwr da a

*Medi* 28. DIENW.

---

## SEFYDLIAD EGLWYSIG

### YN GYFREITHLON, YN YSGRYTHYROL AC YN ANGENRHEIDIOL.

### YMDDIDDAN V.

OFFEIRIAD.—YN ein hymddiddan diweddaf ymdrechais brofi i chwi fod amryw resymau yn ansawdd pethau ag sydd yn peri i Sefydliad Eglwysig fod yn beth tra dymunol, ac hefyd yn angenrheidiol: ac os nad yw Sefydliad Eglwysig yn groes i'r Ysgrythyr, fel y cyfaddefwch yn awr nad ydyw, yr wyf, yn fy nhyb i, wedi profi ei fod yn fuddiol yn gystal ag yn gyfreithlon.

Mr. THOMAS.—Yr wyf wedi dwys ystyried eich dadleuon, a rhwydd ydwyf i gydnabod eu bod yn llawer cadarnach nag a dybiais y gellid dwyn y'mlaen o blaid y pwngc dan sylw. Ond dymunwn roddi mwy o ystyriaeth iddo, ac yn y cyfamser da fyddai genyf glywed pa hyfforddiadau a rydd *profiad* ar y matter pwysfawr hwn.

OFF.—Yr wyf wedi bod yn ymsyniol ar yr un peth, ac adroddaf i chwi yr hyn a ddaeth i'm cof.

Mr. T.—Byddaf yn dra diolchgar i chwi, Syr, am yr hysbysiad.

OFF.—Yr engraifft eglur gyntaf a ddynodaf ydyw Sefydliad Eglwysig yr Iudd-

ewon; ond afreidiol i mi helaethu ar hyny: ond rhaid i chwi addef mai peth tra rhyfedd ydyw fod y Goruchaf, yn yr unig amser y rhyngodd bodd iddo ymyraeth yn weledig â gweinyddiad allanol crefydd mewn teyrnas, wedi dangos gwerth Sefydliad Eglwysig drwy sefydlu un ei hun.*

Mr. T.—Yr oeddwn yn tybied nad cyfreithlon oedd dynodi Trefniad Eglwysig yr Iuddewon fel esiampl i ni; eithr yr wyf yn awr yn addef grym yr hyn a ddywedasoch o'r blaen ar y pwngc hwn.

Off.—Ystyriwch hefyd yr hyfforddiad a weinydda profiad ein Heglwys ein hunain. Mynych y synais wrth yr egwyddor o hir-barhad ac ymgynnaliaeth a amlygodd hi. Mor ddirfawr fu ei helbulon a'i dioddefiadau! etto hi a ddaeth yn ddiangol drwy y cwbl, a chredaf y daw hi etto yn ddiangol drwy lawer ychwaneg. Yn yr unfed canrif ar bymtheg gorfu arni ymarfogi yn erbyn eglwys dramor. Yn nheyrnasiad Siarls I. gorfu arni sefyll yn erbyn yr anfri a ddygwyd arni gan rai a gymmerent arnynt fod yn gyfeillion iddi. Wedi hyny gwrthsafodd benboethni rhai o'i gelynion. Diangodd yn ddiogel drwy y diluw o faswedd ag oedd yn debyg o ddylifo drosti a'i diddymu yn nheyrnasiad Siarls II. ac o'r diwedd, wedi amryw gyfnewidiad o lwyddiant ac aflwyddiant, o fri ac anfri, y mae yn y blynyddoedd diweddaf hyn wedi dadebru gyda grym adnewyddol, gan ymwisgo yn nilladau ei phurdeb cyntefig, gan daenu gyda dyhewyd mabaidd, er hyny gyda challineb henaint, a doethineb sanctaidd, y gwirioneddau dwyfol, y'nghlorianau y rhai y pwysir ei daliadau hi, a'r rhai a barhasant yn annistrywiedig drwy bob cyfnewidiad, yn ei Herthyglau Ffydd, yn ei Chatecism, a'i Homiliau, ac yn Ngwasanaeth ei Gweddïau. Mor fynych drwy ystod yr amserau hyn y darfu i'r Ymneillduwyr hwythau ail-enyn eu lampau wrth ein hallorau ni. A phan ymddangosodd rhyw engraifft anarferol o wresogrwydd adnewyddol o barthed pethau crefyddol y'mysg trigolion ein gwlad, pa le oedd y canolbwynt, onid ein Sefydliad Protestanaidd! Nid yw hyn yn arwyddo fel pe na theilyngai Duw fendithio trefn o addoliad mewn Eglwys Sefydledig.

Mr. T.—Ond rhaid i chwi addef fod eglwys lygredig yn traddodi cyfeiliornad yn gystal ag y traddoda un dda wirionedd.

Off.—Felly y mae: ond nid yw hyny yn deillio oddiwrth fod yr Eglwys hòno yn un *Sefydledig*, ond am mai un *lygredig* ydoedd; ac nid wyf fi yn amddiffyn yr hyn sy lygredig.

Mr. T.—A ydych chwi yn cofio engraifft arall a weinydda hanesiaeth i chwi ar y pwngc hwn?

Off.—Ydwyf, amryw rai. Un dra nodedig yw yr Eglwys Syriaeg yn yr India Ddwyreiniol. Yr oedd yr eglwys hòno yn ei dyddiau llwyddiannus, o ansawdd cyffelyb i Sefydliad Eglwysig gwladol; oblegid yr oedd gan y Syriaid eu hunain lywodraeth; ac hyd yn nod yn y dyddiau hyn, pan ydynt dan iau llywodraethwr Paganaidd, y maent yn gymdeithas wledig, a chanddynt ffurfiau gosodedig o addoliad cyhoeddus, ac awdurdod eglwysig. A pha beth fu y canlyniad? Er fod y Paganiaid ar y naill law, ac Eglwys erlidgar Rhufain ar y llaw arall, wedi cyduno i'w gorthrymu, y maent er cannoedd o flwyddau (hwy eu hunain a haerant, er amser yr apostol Paul) wedi cynnal eglwys, yr hon, er nad yn gwbl-berffaith, ond mewn cydmariaeth yn bur, esgobaethol, ac yn addef ond dau sacrament, tra y mae y rhan fwyaf o'r hen Eglwysi Dwyreiniol naill ai wedi diflanu yn llwyr oddiar y ddaear, neu ynte wedi suddo dan ddylanwad gorthrymus Eglwys lygredig Rhufain. Ond nid hyn yw y cwbl: canys heblaw yr hyn a sylwais eisoes o barthed grym gwarcheidiol Eglwys Wladol, dylwn ychwanegu fod marwor yr allorau Syriaeg, a ddyhuddwyd am gyhyd o amser, yn awr yn dechreu ail-enyn: ffurf crefydd, yr hon a gynnaliwyd yn yr oesoedd tywyllaf drwy y gwasanaeth gosodedig a'r awdurdod eglwysig sydd yn awr yn cael ei hadfywio gyda grym: ac ymofynwyd am gynnorthwy cyfeillgar ein Heglwys ni, a rhoddwyd ef i adgyweirio yr adeilad adfeiliedig. Sylw-

* "Amlwg yw i'r Arglwydd, dan yr oruchwyliaeth Iuddewig, ddarparu i'w bobl Sefydliad Eglwysig yn y drefn fanylaf a chwreiniaf. Pennodwyd gweinidogion, a chyfansoddwyd gwasanaeth y deml yn ol y portreiad a'r rheolau manylaf, a gadawyd cyn lleied ag a ellid i ymddibynu ar ewyllys neu archwaeth yr addolwr. *Os anghyfreithlon fyddai egwyddor Sefydliad, ai tebyg yw y rhoddid i ni y fath engraifft gan yr Hwn sydd yn gwneuthur pob peth yn dda?*"

adnau Offeiriad a ymwelodd â'r Eglwys Syriaeg rai blynyddau yn ol, ydynt mor briodol at y pwngc dan ein hystyriaeth ag i beri i mi eu dyfynu hwynt. Sylwa efe, "Y mae gormod o rith-grefydd yn yr eglwys hon, fel y'mhob eglwys adfeiliedig: ond y mae y Bibl a Liturgi Ysgrythyrol ganddynt, a'r rhai hyn a gadwant eglwys yn yr amseroedd gwaethaf. Dichon y rhai hyn gadw gwreichionen o fywyd crefydd, er fod y fflam wedi diffoddi. A chan nad oes ond ychydig o *gopïau* o'r Bibl ym mysg y Syriaid (oblegid ysgrifenid pob adysgrif) tra thebygol yw na buasai yn ymdreigliad oesoedd ddim ol y grefydd Gristionogol yn eu plith, pe na buasent yn mwynhau y fantais a darddai oddiar wasanaeth beunyddiol, a'r rhanau o'r Ysgrythyrau a ddarllenid yn feunyddiol yn ei Liturgi."

Mr T.—Addefaf mai engraifft go hynod ydyw hon er prawf o werth Sefydliad Eglwysig Gwladol, a ffurfiau gosodedig.

Off.—Felly y mae: a goddefwch i mi ddarllen ychydig o ymadroddion yn rhagor; o herwydd yr ysgrifenydd a sylwa y'mhellach:—"Nid yw dynion a breswyliant mewn gwlad fel ein gwlad ni, ag sydd yn llawn o wybodaeth, bob amser mewn amgylchiadau i ganfod gwerth Liturgi ysgrythyrol. Pan fo Cristionogion wedi derbyn gradd helaeth o addysg, tybiant fod arnynt eisieu rhyw beth gwell; ond ychydig o hyfforddiad hawdd, a'i adrodd yn fynych, sydd yn fwy llesol ac adeiladol i'r ieuangc a'r anwybodus, a hwn yw y dosparth llïosocaf ym mhob gwladwriaeth. Gall eglwys neu blaid fechan wneuthur heb ffurf am dro: ond gwasanaeth cyhoeddus gwledig yw y peth a geidw ran o'r ffydd ddilwgr y'mhlith y bobl mewn gwlad eang, wedi i'r Offeiriaid adael heibio eu herthyglau a'u cyffes ffydd. Ystyriwch y Presbyteriaid ym mharthau gorllewinol Lloegr, a phleidiau ereill, y rhai y dywedir eu bod bron i gyd wedi troi yn Sociniaid, neu yn Ariaid. Ni fu Puritaniaid yr unfed canrif ar bymtheg fyw yn ddigon hir i ganfod gwerth Gwasanaeth cyhoeddus ysgrythyrol——." Ond goddefwch i mi ofyn un peth i chwi; a ellwch chwi grybwyll am un wlad lle y parhaodd yspryd crefydd am enyd o amser wedi diddymiad y ffurf allanol? Ac ar y llaw arall, pa Eglwys Wladol sydd, yr hon a fu unwaith yn ysgrythyrol o ran ei hathrawiaeth a'i disgyblaeth, am yr hon nad ellir, drwy fendith Duw, obeithio y dychwel hi i'w phurdeb cyssefin, cyhyd ag y pery ei sail gyntefig o athrawiaeth iachus, a ffurfiau ysgrythyrol?

Mr. T.—Ni allaf ateb y gofyniadau hyn, a rhwydd wyf i addef fod yr Ymneillduwyr yn ein gwlad ni wedi dangos arwyddion galarus o lygredd mewn pethau crefyddol. Yr oedd y Presbyteriaid bron i gyd wedi troi yn Ariaid:* ac ni ellir gwadu mai oddiwrth Eglwys Loegr, erthyglau yr hon a roddodd barhad i athrawiaeth iachus, a gwasanaeth yr hon a'i gwasgarodd y'mysg y bobl, y derbyniodd amryw bleidiau o'r Ymneillduwyr y cynnydd hwnw mewn duwioldeb, yr hwn a'u dadebrodd wedi iddynt ymollwng i syrthni ysprydol.

Off.—Ac effaith oedd hwn a ellid, drwy fendith Duw, ddisgwyl iddo darddu oddiwrth Eglwys Wladol, yn yr hon y darllenir y'mhob man ranau helaeth o air Duw, y gweinyddir y sacramentau yn ddyladwy, y cedwir erthyglau ffydd ysgrythyrol, ac y dyrchefir yn wastad weddiau a moliant mewn gwasanaeth hylwyr, ysprydol, ac ysgrythyrol.

Mr. T.—Soniasom hyd yn hyn am eglwysi a sefydlwyd er's amser maith; ond pa fodd y gweithreda Eglwys Sefydledig ar faes newydd?

Off.—Yn dda rhagorol o barthed y ddadl bresennol. Edrychwch, er engraifft, ar yr India. Ychydig o flynyddoedd yn ol (heb son am y priodorion Paganaidd a Mahometanaidd) rhy fynych y canfyddid ein cydwladwyr ein hunain, y rhai a fedyddiasid yn eu mebyd, a ddygasid i fynu mewn gwlad Gristionogol, ac a alwant eu hunain yn awr yn Gristionogion, braidd yn ebargofi crefydd eu cyndadau, ac yn byw heb Dduw ac heb obaith ganddynt yn y byd. Ond wedi sefydlu cangen o'n Heglwys ni yno, er ei bod yn dra anghyfartal ar gyfer y wlad orfawr hòno, y mae yr olygfa yn ymddangos yn fwy hyfryd.

* "Ni sefydlwyd ond 46 o gynnulleidfaon yr Undodiaid allan o 222 a dybir fod ym Mrydain, gan ddynion o'r golygiadau hyny. Y 176 ereill a fuont unwaith mewn cymmundeb âg Ymneillduwyr union-gred."

Y mae eisoes gryn gynnwrf wedi bod yn eu plith yn ymofyn am grefydd: a nifer lliosog o ddynion, y rhai gynt oeddynt dueddol i ystyried crefydd o ddim pwys yn y byd, a dueddwyd i fanwl-sylwi ar ei gwirioneddau. A chan eich bod wedi crybwyll am yr Ymneillduwyr, goddefwch i mi ychwanegu fod y rhai hyny ag sydd heb uno â'r Eglwys Sefydledig yn yr India, wedi canfod y lles a'r cymmeradwyaeth mawr a rydd hi i grefydd yn ngolwg y trigolion yn eu hanerchiadau at y priodorion, ac at y milwyr Ewropaidd, ac ereill o'u cydwladwyr. Ac yn awr, rhaid i mi ddymuno boreu da i chwi; ond bydd yn dda genyf eich gweled etto, os ewyllysiwch ymddiddan ym mhellach ar y pwngc dan sylw.

---

# ADARIAETH.

## LLYTHYR II.

WYLIEDYDD—Yn ol fy addewid, anfonais atoch y darluniadau canlynol, megys y gosodir yr adar yn y rhestr; ac yr wyf wedi eu nodi hwynt yn fanwl, fal y gallont eich darllenwyr, wrth gymharu aderyn nebrhyw â'r darluniad, adnabod ei enw. Y geiriau celfyddus a fu raid i mi arfer er danges fy meddwl, a eglurhâf wrth fyned ym mlaen yn ngwaelod y tu dalen.

LLEWELYN CONWY. B. A.

*Tŷ Deon, Swydd Rhydychain.*

## LLWYTH YR HEBOGAU.

Yn adar yn y llwyth cyntaf ydynt y rhai ag sydd yn ymborthi ar gig anifeiliaid; ac y maent hwy yn hawdd i'w hadwaen wrth eu hewinau arswydawl, eu penau mawrion, ac eu pigau cryfion a cheimion: creulawn ac anghyfeillgar yn eu hanian, gochelant lwybrau dynion, ac ymguddiant yn nyfnder y mynydd neu'r goedwig, lle y gallont wledda yn ddirwystr ar ffrwyth eu hanrheithiad. Y maent hwy yn dangos eu ffyrnigrwydd, ie, yn erbyn eu cywion eu hunain; canys bwriant hwy ymaith o'u nythod yn llawer cynnarach nag yw arfer nebun llwyth arall. Y tueddiad afryw yma, ysgatfydd, a ddylem ei gyfrif i anhawsder o gael digon o fwyd iddynt; ac o herwydd hyn y rhieni weithiau, pan eu siomir o ymborth, a ddifethant eu cywion. Annhebyg i'r llwythau eraill: y mae'r iar yn fwy na'r ceiliawg; o herwydd bod hell lafur ymborthi'r cywion yn disgyn arni hi; ac mae ychwaneg o nerth yn angenrheidiol iddi, i orchfygu peryglau ysbeiliaw.

Cynnwysir tri thylwyth yn y llwyth yma; sef, y Gweilch, Bylloanod, a Chigyddion.

### I. TYLWYTH Y GWEILCH.

Adwaenir tylwyth y Gweilch wrth y nodebau canlynawl. Mae y pig yn gryf, yn finiawg, ac yn bur gam: yn mon y pig mae croen noeth, yr hwn yn y darluniadau galwaf y cwyrgroen, lle y gosodir y ffroenau; y mae'r coesau yn genawg, a bysedd y traed sydd dri yn mlaen, ac un tu ol. Ymborthant y rhai mwyaf ar bedwartroedion, ac adar; eraill ar bysgod, ac eraill ar ymlusgiaid. Yn ol eu hoedran ac eu hystlen mae eu plu yn bur amrywiawl, am na chyrhaeddant y cywion i'w llawn blu mewn llai na thair neu bedair blynedd, ac mewn rhai adar ddim tan y chweched flwydd. Ni fwriant eu plu ond unwaith yn y flwyddyn. Y mae yr adar yma yn hynod hefyd am eu bywiogrwydd a chalondid diofn. Y cyntaf yn y rhestr yw yr

1. *ERYR MELYN, neu ERYR EURAID.*

Yr aderyn ardderchawg yma yw'r mwyaf yn y llwyth; ac o flaen ei big i ben ei gynffon, y mae yn mesur dros dair troedfedd, a thros wyth o flaen un asgell i flaen y llall; ac yn pwysaw o unarbymtheg i ddeunaw pwys. Mae y ceiliawg yn llai, ac ni phwysa efe ychwaneg no deuddeg. Y pig sydd yn las dywyll, y cwyrgroen yn felyn; llygaid yn fawr a dysglaer, o liw gloywfelyn, ac wedi eu planu yn ddyfn dan yr ael. Lliw y plu ar y cefn sydd winau dywyll, yn gymmysg a'r melynddu ar y gwddwf a'r pen; mae y gynffon yn ddu, ac â brychau llwydwyn; coesau melynion; pluedig hyd y bysedd, y rhai sydd yn bur genawg; yr ewinau yn fawrion, a'r un canol yn ddwy fodfedd o hyd. Yr adar hyn a nythant yn mynyddoedd yr Ywerddon, ac hefyd gynt yn nghreigiau Eryri; ac y maent yn dodwy tri neu bedwar o wyau.

2. *ERYR TINWYN. ERYR CYFFREDIN.*

Ei liw sydd winau, yn gymmysg â rhuddgoch, ar y pen a'r gwddwf; y pig, cornliw; y cwyrgroen, melyn; y llygad, o liw y gollen. Rhwng y pig a'r llygad mae croen noeth llwyd-ddu; y coesau ydynt yn bluedig hyd at fysedd y traed, y rhai ydynt yn felynion, a'r ewinau yn dduon; mae cylch gwyn yn croesi y rhan fwyaf o'r gynffon, oddieithr y blaen, yr hwn sy ddu. Y mae yr Eryrod hyn yn llawer mwy cyffredin no'r Eryr Euraid, ac yn nythu mewn amryw fanau yn Ynys Prydain.

3. *ERYR CYNFFONWEN, neu LLYDLYD.*

Yr aderyn hwn sydd yn llai no'r Eryr Euraid; ac yn gyffelyb i'r Eryr Cyffredin yn nerth a grym, ond llawer mwy creulawn; a dywedir eu bod hwy yn bwrw allan eu cywion o'u nythod ar ol eu bwydaw hwynt, ond am ychydig iawn o amser. Y pig, cwyrgroen, a'r llygaid sydd yn felynwyn, a'r croen rhwng y pig a'r llygad yn glas, ac arno ychydig o rawn. Ochrau y pen a'r gwddwf ydynt yn llwydwyn, a gwineugoch yn gymmysg. Y pluf sydd yn gyffredin yn winau, ond mae y lliw yn dywyllach ar y pen, y gwddwf, a'r cefn. Yr esgyllblu hirion sydd yn bur dywyll, ac y fron yn frith â brychau gwynion. Coesau, melynion; ac yn bluedig at y gliniau; a'r ewinau, duon. Gosodir y nyth ar ben coed uchell, lle y deorir yn gyffredin dau neu dri o gywion.

4. *MORERYR,*

Sydd yn agaws cymmaint a'r Eryr Euraid, yn dair troedfedd a hanner o hyd, ond ni chyrhaeddant eu hesgyll wedi lledu ychwaneg no saith. Y pig sy fawr a golas, ac yn bur gam; y llygaid, melynion; odditan yr ên mae rhes o blu rhawnawg yn hongian i lawr at y gwddwf, am ba achaws y gelwir ef gan rhai yr Eryr Barfawg. Lliw ei ben, a thu ol ei wddwf sydd wineuddu; ac mae plu y cefn yn frith â gwineuliw goleuach, ac ymylau tywyll. Ysgwyddblu, gwineu gwan, a'r blaenau agaws yn wyn. Y fron a'r bol, gwynaidd, brithawg â gwinau. Yr esgyll-blu hirion, a'r morddwydau, tywyll: coesau a thraed melynion; yr ewinau mawrion sydd yn loywddu. Ymborth yr aderyn hwn yw pysgod gan mwyaf; a'i drigfa cyffredin yw ar lân y môr, a llynau, neu afonydd. Dywedir eu bod hwy yn gweled mor eglur liw nos, fal y medront ddal eu helgig. Y mae'r iar yn dodwy dau wy neu dri yn y flwyddyn. Dylem sylwi bod rhai anianyddion yn dal bod yr Eryr hwn yn flwyddiad yr Eryr Cyffredin.

5. *PYSGERYR. GWALCH Y WEILGI.*

Hyd y ceiliawg yw dwy fodfedd ar ugain, a'r iar o gylch dwy droedfedd; eu lled, dros bump; pig, du; cwyrgroen, glas; llygaid, melynion; coryn y pen sydd wyn, yn frith a lleiniau tywyll; y mae'r bochau ac odditan y corff yn wynion; y fron, lledfraith; o gongl y llygad mae llain gwineuddu yn estyn lawr ochrau y gwddwf tuagat yr esgyll. Plu y cefn sydd winau, ac hefyd y ddau gynffonblu canolaidd; y lleill, brithwyn; coesau, glas gwan; byrion, ddim mwy no dwy fodfedd a chwarter o hyd, ac yn bur ffyrfion; y mae bys y troed nês allan yn fwy no'r un tufewnawl, ac yn troi yn hwylus yn ol, fal y medr gan hyny ddal yn fwy diogel ei ysglyfaeth. Yr Eryr yma yw y mwyaf cyffredin o'r adar rheibus mawr, a gwasgerir hwynt trwy lawer gwlad; a gwelir hwynt nid anaml yn Nghymru. Eu cyrchfa yw glenydd y môr, ac afonydd, a llynau; eu bwyd yn benaf yw pysgod, ar y rhai y syrthiant yn chwyrn, ac eu daliant yn ddiball. Y mae'r iar yn nythu ar lawr mewn corsydd, ac yn dodwy tri wy neu bedwar, ychydig llai nag wy iar.

6. *BONCATH.*

Ei hyd sy gylch 20 modfedd, a'i led pedair troedfedd a hanner. Ei big, llwydlas; llygad, melynwyn; cefnblu, gwineuddu, â lleiniau tywyllach ar draws yr esgyll a'r gynffon; odditanodd, llwydwyn brithgoch; coesau, melynion; ewinau duon. Sylwer bod mawr amrywiaeth yn y rhyw yma, a phrin y cair dau yn uniawn o'r un lliw; canys bod rhai yn wynion i gyd drostynt, gan eraill y pen yn unig sydd wyn; ac eraill etto sydd yn frithion. Adeiladant eu nyth o frigau bychain, ac oddimewn, gwlan a phethau meddal eraill; mae'r iar yn dodwy dau neu dri o wyau, gwynion yn frithawg a melyn.

7. *BOD Y MEL.*

Sy gylch ddwy droedfedd o hyd, ac ymledir yr adenydd i gylch bedair. Mae y pig yn ddu, ac ychydig hirach na phig y Boncath; llygaid, melynion; pen, mawr, gwastad, llwydwyn; cefn, gwineuddu yn frith a lleiniau rhydliw ar y fron a'r bol; cynffon, gwinau, â llain tywyll llydan ar draws; coesau, byr a ffyrf, melynddu; ewinau duon. Mae y nyth o'r un fath a nyth y Boncath, a'r wyau ydynt yn llwydwyn â brychau gwinau; nid anaml y cymmerant feddiant o nythod adar ereill; porthant eu cywion â llygod y maes, cacwn, llyffaint, ac amryw ymlusgiaid.

8. *BOD Y GWERNI.*

Hyd, cylch 22 fodfedd; lled yr iar, pedair troedfedd a phum modfedd a hanner. Pig, du; cwyrgroen a llygaid, melynion; coryn y pen, melynwyn; gwddwf, rhydliw golau; y pluf arall, gwineugoch, âg ymylau llwydion; coesau, melynion; ewinau, duon. Yn yr adar hyn hefyd y mae amrywiaeth mawr, ac weithiau melyn neu rydliw yw lliw coryn y pen. Ymborthant ar gwningod, cywion hwyaid, a môr-adar ereill, hefyd ar lyffaint a physgod. Eu trigfanau ydynt y cloddiau, a llwynau wrth afonydd a llynau. Gosodir y nyth ar lawr, lle y dodwir tri neu bedwar o wyau gwynaidd â brychau tywyll.

9. *BARCUD, BERI.*

Nodebir hwn wrth ei gynffon fforchawg. Ei hyd sy gylch ddwy droedfedd; pig, corallliw â gwrych yn y bôn; llygaid a chwyrgroen, melynion; y mae plu y pen a'r gwddwf yn hir a chul, llwydwyn; a llain gwinau lawr canol bob un. Pluf y corph sydd wineugoch, ac ymyl pob pluen yn llwyd; esgyllblu hirion, gwinau tywyll; coesau, melynion; ewinau, duon. Y mae 'r aderyn hwn yn gyffredin yn Nghymru, ac a adwaenir gan bawb; yr wyau, dau neu dri o rifedi, sydd wynaidd â brychau melynwyn, gogrwn.

10. *HEBOG MARTHIN.*

Hyd yr iar sydd o 22 i 24 modfedd; mae y pig yn las, a'r blaen yn ddu; cwyrgroen, gwyrdd; llygaid, melynion. Uwchben y llygaid mae llain gwynaidd yn rhedeg; lliw y pen a'r cefn yw gwinau tywyll; y fron a'r bol, gwyn â lleiniau duon ar draws; cynffon, hir, llwydwyn, a phedwar llain neu bump tywyll ar draws; coesau, melynion. Y mae 'r esgyll yn llawer byrach no'r gynffon. Eu bwyd yw llygod ac adar bach.

11. *LLYMYSTEN, PILAN.*

Hyd y ceiliawg yw 12 modfedd, a'r iar 15. Y pig sy las, â gwrych yn y bôn, y rhai sydd yn gorchuddiaw y ffroenau; llygaid, melyngoch; coryn y pen yn wastad, ac uwchben y llygaid mae rhes fain o wyn yn rhedeg tuagat y gwddwf. Plu y cefn a'r pen sydd yn winau tywyll, oddieithr y war, yr hon sydd wen, ac mae dau o frychau gwyn ar bob ysgwydd-bluen; yr esgyll-blu hirion sydd yn dywyll, fel mae 'r gynffon hefyd a'r blaenau yn wynion. Y fron, bol, a than yr esgyll sydd yn wyn, a lleiniau gwinau ar draws. Y gwddwf hefyd sydd wyn, gyd âg ychydig o winau; coesau a thraed melynion. Hwn yw darluniad yr iar; ond mae maint a lliw y ceiliawg yn amrywiawl. Mae ei gefnblu yn blymlliw tywyll, ac ychwaneg o leiniau tywyll yn rhedeg ar draws ei fron. Adeiladant eu nyth mewn creigiau, ac ar goed, ac weithiau mewn hen nyth bran, lle y dodwant bump neu chwech o wyau brithgoch. Y maent hwy yn bur gyffredin yn Nghymru.

12. *HEBOG CHWYLDRO.*

Y rhyw yma yw yr harddaf o'r holl lwyth. Mae y ceiliawg yn 22 fodfedd o hyd, a'r iar 27. Mae y pig yn bur gam, ac yn felyn; llygaid, tywyll; gwddwf, gwyn; yr hwn yw lliw cyffredin y pluf uchaf, ond y mae 'r bol a'r fron wedi eu rhesu â llinellau yn rhedeg at i lawr. Y brychau ar y cefn a'r esgyll sydd yn fwy; mae 'r plu y morddwydau yn bur hirion, ac yn wyn glân, y rhai ar y gynffon sydd yn rhesawg; coesau, glas gwan, pluedig islaw y gliniau. Mae 'r aderyn hwn yn anghyffredin yn ein gwledydd ni, ond gwelir ef weithiau yn ngogledd yr Alban. Yn nesaf at yr Eryr, hwn yw'r dewraf a'r mwyaf arswydus o'r llwyth, ac yr oedd e fawr barch yn nyddiau Hebogyddiaeth.

13. *HEBOG DRAMOR.*

Ei hyd yw 18 modfedd; a'i led tair troedfedd a hanner, ac yn pwysaw dau bwys a chwarter. Lliw ei big yw glas

gwan, y blaen, du; ac y mae yn fyr, cryf, a phur fylchawg. Llygaid, tywyll; cwyrgroen, melyn. Y plu, y tu ol y gwddwf, a'r bochau sydd wineuddu, a llain o'r un lliw yn rhedeg o'r bochau, a chonglau y ceg, lawr y gwddwf. Y cefnblu sy lwydwyn glasawg, a lleiniau o winau tywyll ar draws; yn y gynffon mae deuddeg o blu o liw llwydwyn tywyll, a'r blaenau yn oleuach. Y plu odditanodd sy felynwyn, a lleiniau duon ar draws; coesau a bysedd, cryfion a byrion, o liw melyn. Mae'r adar yma yn nythu pob blwyddyn y'nghreigiau Rhiwleden a Llandudno yn Arfon.

14. *HEBOG LAS.*

Hyd, deunaw modfedd; lled, ychwaneg na thair troedfedd. Pig, du, â gwrychblu hirion yn y bon; cwyrgroen, llygaid ac ymyl yr amrant, melynion; cefnblu, llwyd glasawg. Y fron a than yr esgyll, gwyn; â lleiniau rhydliw ar draws; esgyll-blu hirion, du; ysgwyddblu, llwydwyn; coesau, meinion hir ac yn felyn. Y maent hwy yn amrywiaw yn ol eu hoedran. Ymborthant ar adar bach, ac ymlusgiaid. Nythant ar lawr, ac a ddodwyant bedwar wy cochlyd, â brychau gwynion.

15. *HEBOG DINWEN.*

Hyd, 20 modfedd; lled, tair troedfedd a naw modfedd. Pig du; cwyrgroen a llygaid melynion; cefnblu, tywyll; bron, bol, a'r morddwydau, gwinau melyn; tin, gwyn; mae rhes o blu gwynion yn rhedeg o'r war at y gwddwf, a brych gwyn tan y ddau lygad; cynffon hir â lleiniau gwinau a thywyll bob yn ail ar draws; coesau melyn.

*D. S.* Gwybyddir yn awr mai iar yr Hebog Las yw yr aderyn hwn.

16. *HEBOG WLANAWG.*

Y mae yr aderyn hwn yn llai no'r Boncath. Ei big sy las; cwyrgroen, lledwyrdd; llygaid, melynion; cefnblu, gwinau ac ymylau llwydion; uwchben y llygaid mae llain gwyn yn rhedeg at y war; gwddwf, gwyn; bron felen dywell a brychau gwinau; morddwydau, yr un fath; esgyllblu hirion a chynffon dywyll â brychau hirgrwn rhydliw; coesau, byr a chryf, glasawg. Nid ydyw yr Hebog hon yn gyffredin yn Mhrydain; ond nythant yn yr Ywerddon.

17. *CUDYLL COCH.*

Hyd, 14 modfedd. Lled, 27. Pig, glas; cwyrgroen ac amrantau, melynion; llygaid duon; talcen, melyn tywyll; coryn y pen, a'r cefnblu hyd at flaenau yr esgyll, plymliw, ac ychydig o leiniau duon ar draws; mae lliw y bochau yn wanach; o gongl y geg ar y ddau ochr mae llain gwyn yn rhedeg at i lawr; esgyll, gwinau gloyw, â brychau duon; y mae'r esgyll odditanodd yn wynion â brychau gwinau. Plu y corff odditanodd sy rydliw gwan, yn frith â lleiniau a brychau duon; tinblu glas plwm; a chynffonblu llwydlas, ac wrth y blaen llain du llydan ar draws â bob tu; mae y blaenau yn wynion; coesau, melynion; yr ewinau, duon. Adeiladant eu nyth mewn ceubrenau neu dyllau creigiau a hen dyroedd, lle y dodwyant bedwar neu bump o wyau cochaidd. Gan fod y Cudyll Coch yn gyffredin yn mhob parth o Gymru, darluniais ef yn helaeth; ond dyled sylwi bod amrywiaeth mawr rhwng y ceiliawg a'r iar. Mae ei phen hi yn rhydliw, â lleiniau duon; tu ol i bob llygad mae dau frych; y cefn a'r esgyllblu sydd yn wineugoch, a nifer mawr o leiniau duon yn rhedeg ar draws, yn agaws at eu gilydd; y fron, bol, a'r morddwydau ynt yn felyngoch oleu, a lleiniau tywyll at i lawr.

18. *GWALCH LLEIAF.*

Hwn yw'r lleiaf o'r tylwyth, ac nid ydyw efe lawer mwy no'r fwyalchen. Mae ei big yn las; cwyrgroen a llygaid, melynion; pen, rhydliw â lleiniau duon; cefn ac esgyll, gwinau tywyll; bron a bol, melynwyn â lleiniau rhydliw at i lawr. Y mae'r gynffon yn hir, frith â lleiniau tywyll a goleu, bob yn ail; coesau, melynion. Er nad oes lawer o'r adar hyn yn Ynys Prydain, y maent hwy yn fwy cyffredin y'Nghymru nog yn un parth arall o honi. Adeiladant eu nyth mewn coed, lle y dodwyant bump neu chwech o wyau gwynaidd â brychau gwineuwyrdd yn un pen.

---

## YR EGLWYS DDIOG.

1. Ni wnaeth yr Eglwys ddiog ddim yn y byd tu ag at daenu y Bibl, a llyfrau crefyddol, drwy y wlad. Na wnaeth ddim yn

y byd! Nid ymdrechodd ddim er cyflawni y diben hwn, fel y dengys yr Adroddiad canlynol o weithrediadau y "Gymdeithas er taenu Gwybodaeth Gristionogol" (yr hon a sefydlwyd i'r perwyl hwn) am y blynyddoedd 1800 ac 1832,

| | 1800. | 1832. |
|---|---|---|
| Nifer y Cyfranwyr | 2050 a rhagor | 15,000 agos. |
| Swm y Cyfraniadau | £10,199 11s 7c | £66,269 11s |
| Llyfrau a daenwyd | 131,295 | 1,715,323. |
| Dirprwywyr Taleithiol | .. .. | 330. |

Gymmaint yw diogi ein Heglwys fel na ddarfu iddi yn unig ond cael saith gymmaint o gyfranwyr—a chasglu bron saith cymmaint o arian—taenu dim ond tair gwaith ar ddeg gymmaint o Fiblau a Llyfrau Gweddi Gyffredin ag y gwnaeth ddeng mlynedd ar hugain yn ol! ac ni sefydlodd ond 330 o Gymdeithasau yn y wlad i gynnorthwyo ei hymegniadau! Wfft iddi rhag ei diogi!

2. Ni wnaeth yr Eglwys ddiog ddim tu ag at ddarparu addoldai ar gyfer angenrheidiau trigolion ein gwlad, y rhai ydynt yn cyflym gynnyddu yn feunyddiol; ac ni chymmerodd y drafferth leiaf i geisio Eglwysi a Chapelydd newyddion; ac eglur yw, os caiff ei Gweinidogion eu cyflog nid yw yn gofalu pa un a gaiff y werinos eu haddysgu ai peidio. Na, ni wnaeth yr Eglwys ddiog ddim yn y byd yn y peth hyn drwy ystod y deng mlynedd ar hugain diweddaf. Yr unig ymdrech a wnaeth oedd ymofyn am gymmorth gan y Senedd, a llwyddo i gael cymmaint o arian ag a'i galluogodd hi i adeiladu *naw ugain ac wyth* o Eglwysi neu Gapelydd newyddion, y rhai a gynnwysant eistedd-leoedd i ddim rhagor na *dau gant a hanner o filoedd* o bobl, o'r rhai y mae rhagor na *chant a deugain o filoedd* yn *rhad* i'r tlodion. Nid oes gan y Cenhadwyr truenus ddim ond saith ar hugain o Eglwysi ar eu dwylaw yn awr yn cael eu hadeiladu; ac ni phennodasant ond un plwyf ar ddeg, lle yr adeiladant Eglwysi cyn gynted ag y danfonir cynlluniau iddynt. Gwir yw, fod heblaw y Cenhadwyr hyn, "Gymdeithas er adeiladu Eglwysi," yr hon a gasgl gyfraniadau gwirfoddol i'r un perwyl. Ond beth a wnaeth hon? dim ond oddeutu yr un faint ag a wnaeth rhoddion y Senedd, hyny yw, trwy gasglu oddeutu *cant a deg a thriugain o filoedd* o bunnau. Hi a ddarparodd eisteddleoedd i ychydig uwchlaw *dau cant a hanner o filoedd* o bobl, o'r rhai y mae agos i ddau can mil yn rhad i'r tlodion. Ac wedi y cwbl ni wnaeth yr Eglwys ddiog ddim ond darparu rhagor na *hanner can myrddiwn* o eistedd-leoedd ychwanegol i'w haelodau drwy ystod y deng mlynedd ar hugain diweddaf!

3. Nid yw yr Eglwys ddiog yn ymdrafferthu ynghylch gweini addysg i'r tlodion. Y mae hyn islaw sylw yr Offeiriaid cyfoethog a gloddestgar! Na, nid yw yr Eglwys yn gwneuthur dim yn hyn o beth. Nid yw yn werth sôn am y "Gymdeithas Wladwriaethol" ddistadl. Ni chyfranodd ond ychydig uwchlaw *can mil o bunnau* tu ag at adeiladu Ysgoldai; ac nid oedd traul yr Ysgoldai hyn ond *pedwar can mil o bunnau!* Ni roddodd addysg i ragor na 1900 o bobl mewn oed, i'w cymmwyso hwynt i weinyddu swydd Ysgolfeistriaid a Meistresau, ac (Och! yr wyf yn gwridio gan gywilydd wrth ei adrodd) nid oes ganddi ond 3054 o Ysgolion yn gyssylltiedig a hi; yn y rhai nid oes ond *pedwar can mil* o blant yn cael eu hyfforddi! Ac, yn wir, eglur yw nad yw yr Eglwys Sefydledig, ym mhob modd, yn gweini addysg i ddim mwy nag *i wyth gan mil* o blant!! Ac wedi y cwbl, pa fath addysg a roddir i'r plant tlodion hyn? Y maent oll yn cael eu hyfforddi yn egwyddorion yr Eglwys, ac ni adewir hwynt iddynt eu hunain i ddewis eu crefydd! A'r hyn sydd yn peri cywilydd ychwanegol yw, mai yn 1811 y sefydlwyd y Gymdeithas hon, ac, o ganlyniad, ni sefydlodd Ysgolion ond mewn 3000 o leoedd yn ystod *ugain mlynedd!*

4. Ond heblaw hyn, gellir dynodi engraifft arall o ddiogi yr Eglwys; nid amgen na'i llwyr esgeulusdra ynghylch taenu yr Efengyl mewn gwledydd Tramor. Ystyriwch ansawdd pethau yn 1800 ac 1832.

Yn 1800 gwelir yn amlwg, oddiwrth Adroddiadau y Gymdeithas, fod ganddi 197 o Gyfranwyr, a bod y swm mawr o £457 16s. yn cael ei dderbyn trwy gyfraniadau blynyddol, a rhwng cymun-roddion a llôg arian yn y cyllidau, fod derbyniadau y Gymdeithas yn cyrhaedd £4983 2s. 8c. yr hyn a'i galluogodd hi i gynnal y nifer luosog o 13 o Genhadon, a 32 o Ysgolfeistriaid. Y mae yn wir nad oedd gan y Gymdeithas y pryd hyny ddim Dirprwywyr

Taleithiol i hysbysu ei dibenion a'i gweithrediadau drwy y wlad. Ac yn awr nid oes ganddi ddim rhagor na 151 o Ddirprwywyr Taleithiol! Beth yw hyny? Wedi y cyfan nid yw nifer ei Haelodau yn awr ond saith mil a phedwar cant a saith ar hugain. A swm y cwbl a dderbyniwyd am y flwyddyn ddiweddaf—cyfraniadau, rhoddion a chasgliadau, yw £7541 9s. 11c. Nid yw hi yn cynnal ond 158 o Genhadon, a 114 o Ysgolfeistriaid. Ni ymofynodd ond am ddau lythyr breninol i'w hawdurdodi hi i wneuthur casgliadau drwy y deyrnas i helaethu ei gweithrediadau! A pha beth oedd diben arbenig y Llythyr cyntaf? dim amgen nag i ddechreu taenu yr Efengyl yn yr India Ddwyreiniol, trwy sefydlu Athrofa i weinyddu addysg i'r Cenhadon, ac i gyfryw ddibenion distadl ereill. Felly nid yw y Gymdeithas orwael hon yn gwneuthur dim rhagor na thaenu gwybodaeth o'r Efengyl yn y ddwy Ganada, Nova Scotia, New Brunswick, Newfoundland, Prince Edward's Island, Cape of Good Hope, ac India! Nid yw yn gwneud dim ond yn unig gasglu dau-ar-bymtheg gymmaint ag y gwnaeth. Nid yw nifer ei haelodau ond 27 cymmaint, ac nid yw yn cynnal ond pedwar cymmaint o Genhadon. Heblaw hyn, ni ellir gwadu, ysywaeth, fod Cymdeithas Genhadol arall yn perthyn i'r Eglwys ddiog. Ond beth a wnaeth hi? Y flwyddyn gyntaf, swm y cyfraniadau oedd *ddau cant o bunnau*. Am y deng mlynedd cyntaf casglwyd, yn flynyddol, oddeutu 1500 o bunnau—am yr ail ddeng mlynedd 15,000 o bunnau yn flynyddol—am y trydydd deg 30,000 o bunnau yn flynyddol—ac am y flwyddyn ddiweddaf, ddim rhagor na 48,000 o bunnau. Yn 1804 yr oedd ganddi ddau Genhadwr. Yn awr nid oes ganddi ond 54 o Genhadwyr urddedig; chwe chant a thri o ddarllenwyr ac esponwyr yr Ysgrythyrau; tri chant a deg a thriugain o Ysgolion; a phymtheng mil saith gant ac un-ar-ddeg a phedwar ugain o Ysgolheigion. Arol y cwbl ni wnaeth ond casglu deuddeg-ar-hugain cymmaint ag a gasglodd, yn flynyddol, yn y deng mlynedd cyntaf. Nid yw yn cynnal ond dau can cymmaint o lafurwyr yn y winllan! Rhag cywilydd iddi!

5. Ond heblaw hyn, beth sydd yn eglurach na marweidd-dra yr Eglwys os ystyriwn mor esgeulus yw ei phenaethiaid yn nghylch pob peth a duedda i'w diwygio hi. A wnaethant hwy rywbeth o barthed ffieidddra y degwm, oddieithr dwyn Ysgrif i'r Senedd i alluogi Offeiriaid wneuthur cytundeb â'u Plwyfolion am swm o arian yn lle y degwm; yn erbyn yr hon ysgrif yr oedd y gwyr llëyg yn uchel eu gwaedd (hwy eu hunain a wyddant oreu paham) a rhwystrasant hi ddyfod trwy y Senedd? A symudasant hwy gam er rhwystro un offeiriad ddal dau neu dri o hlwyfydd ar unwaith; oddieithr llwyddo i ddwyn Ysgrif trwy y Senedd i ddiddymu yr arfer hon yn llwyr, mewn perthynas i fywioliaethau a berthynant i Eglwysi Cadeiriawl, ac i raddau mawr mewn perthynas i fywioliaethau ereill? A pha beth a gyflawnasant ynghylch mwyhau bywiolaethau bychain, oddieithr cael Ysgrif Seneddol i'w galluogi hwy eu hunain i drosglwyddo rhan o feddiannau yr Esgobaeth, a'r Deoniaid, ac Aelodau yr Eglwysi Cadeiriawl, i wneuthur yr un peth â'u heiddo hwythau, i'r perwyl hwn? Pa les a dardda oddiwrth hyn? Ni waeth i neb beidio haeru eu bod yn gwneuthur llawer o ddaioni gyd â'r Ysgrif hon. Beth os yw pob Newyddiadur yn mynegi fod Deon Westminster, a'i gyd-offeiriaid, wedi penderfynu gwneuthur pob bywioliaeth yn eu meddiant sy dan £200 yn werth y swm hwnw—fod llawer o'r Colegau wedi casglu cyllidau i fwyhau y bywioliaethau gwael—a bod aelodau Eglwys Gadeiriol arall yn neillduo £2000 bob blwyddyn i'r perwyl hwn? A wnaethpwyd hyn eisoes? neu, a wneir hyny cyn y Gwyliau?

*Pen y Bont.* B. M.

---

## ARAETH HEN DDERWEN.

*(Allan o'r Horticultural Register am fis Hydref.)*

Gwr ieuangc, i'r hwn y gadawsai ei dad feddiannau lawer yn ddiddyled, oedd yn eu treulio trwy afradlonedd. O'r diwedd daeth arno eisieu arian, a gorchymynodd i nifer o'r coed o gwmpas ei balas gael eu tòri i lawr, a'u gwerthu. Fel yr oedd yn sefyll ryw ddiwrnod gyd â'i weithwyr yn eu hyfforddi, clywyd sŵn isel-grug yn dyfod allan o hen dderwen hybarch oedd yn agos! ac wedi rhai griddfanau, clywsant lais yn dywedyd yn

eglur allan o'r pren—"Fy meistr ieuangc, pan oedd eich taid o gwmpas eich oedran chwi, efe a'm planodd at wasanaeth y rhai a ddeuent ar ei ol; myfi yw y pren hynaf yn eich coedwig, a chynnorthwyais trwy fy nghynnyrch tu ag at ei phoblogi: am hyny mae rhywfaint o barch yn ddyledus i'm gwasanaeth, os nad i'm hoedran. Nid wyf yn cofio ond ychydig am eich hen daid, ond yr wyf yn cofio yn dda am y gofal a gymmerai eich taid o honof, ac nid oedd eich tad ychwaith yn fy esgeuluso: aml y deuai i orphwyso dan fy nghysgod, pan yn flinderog gan y gwres gorchfygol, ac aml y cysgododd y breichiau hyn ef oddiwrth gawodydd disymmwth:—chwi oedd ei anwylyd, a gellwch weled eich enw wedi ei dòri â'i law ei hun mewn amryw fanau yn fy moncyff, os nad yw crychni henaint wedi eu dilëu: medrwn farw yn ddirwgnach, pe byddai fy nghwympiad o ryw wir wasanaeth i chwi: pe y'm defnyddid i adgyweirio eich palas, neu daclu eryd neu droliau eich *tenantiaid*, a'r cyffelyb, yna cyflawnwn y diben i ba un y tyfais, sef bod yn fuddiol i'm percheaog; ond cael fy ngwerthu am aur gwael at wasanaeth adynod twyllodrus, neu afradwyr gloddestgar, sydd fwy nag y medr pren o'm hyspryd i ei ddioddef:—ni ddarfu i'ch hynafiaid erioed feddwl y buasech yn gwneuthur y fath ddifrod ac anrhaith o'r coed a blanasant; tra buont hwy fyw yr oedd yn bleser bod yn goden—yr oedd yr hen rai yn ein plith yn cael eu parchu, a'r ieuaingc yn cael eu meithrin o'n cwmpas. Yn awr, mae yn rhaid i ni oll gwympo heb wahaniaeth, ac ym mhen ychydig o amser nid all yr adar gael cangen i nythu nac i gysgu arni; etto, paham y dylem ni gwyno? mae ein *ffermydd* bron i gyd wedi eich canlyn i Lundain a Paris, a diammeu y bydd raid i ninnau droi allan ar yr un daith cyn bo hir.

"Y mae yn dda gan hen bren ollwng ei dafod, a gobeithio yr ydwyf yr esgusodwch fi, os cymmerais ormod o ryddid. Yr wyf yn disgwyl y bydd i gyngor gan hen dderwen wneuthur mwy o argraff ar eich meddwl na dim a ddywedo eich goruchwyliwr wrthych. Aml yr ymgynghorid â'm hynafiaid yn *Dodona*, a phaham y dylai rhyddid ymadrodd gael ei wahardd i goeden Frytanaidd? Ond yr ydych wedi blino, ac yn ewyllysio i mi attal fy nhafod: ni chadwaf mo honoch yn hwy, er y cewch ormod o achos i gofio am danaf ar ol i mi fyned ymaith. Hyn yn unig a erfyniaf, os cwympo a fydd raid i mi, ar i chwi fy anfon i un o byrth llongau ei Fawrhydi, ym mha le y defnyddir fy nghadernid a'm perffeithrwydd y'ngwasanaeth fy ngwlad, tra yr ydych chwi, yr hwn ydych gaethwas i'ch anghenion, yn byw yn unig i'w chaethiwo."

Nid allai yr afradlon ddioddef ychwaneg; gorchymynodd i'r dderwen gael ei thòri i lawr, a'r hen goeden hybarch a gwympodd heb un ochenaid.

DERWYDD.

*Alvanley, gerllaw Frodsham.*

---

AT GYHOEDDWR Y GWYLIEDYDD.

SYR—Fe allai mai nid annerbyniol gan ddarllenwyr eich Cylchgrawn, ac mai nid anfuddiol ychwaith fyddai chwilio allan, ym mysg hen lyfrau nad ydynt yn gyffredin i'w cael, amryw bethau diddan ynghylch hynafiaethau. Os ydych yn cymmeradwyo yr hyn a ganlyn, gosodwch yn eich Cylchgrawn; ac os caf hamdden, mi a anfonaf atoch, o dro i dro, pa beth bynag yn y ffordd hon a dybiwyf yn deilwng o'ch sylw.——Ydwyf, yr eiddoch, &c.

IAL.

CLYCHAU.

TYBIR mai yn *Nola*, yr hon oedd dref yn *Campania*, y gwnawd clychau gyntaf gyd â'r diben i'w gosod mewn Eglwysi, yn y flwyddyn o oed Crist 400. Gelwir hwynt, oddiwrth y lle uchod, yn yr iaith Lladin, *Campana* a *Campanulæ*. Haerir mai St. Paulinus, Esgob *Nola*, oedd y cyntaf a'u defnyddiodd hwynt mewn Eglwysi. Mae lle i gredu i glychau gael eu gosod i fynu pan gyntaf y sefydlwyd Eglwysi yn yr Ynys hon. Cyn i glychau gael eu defnyddio, yn ol tyb rhai, arferai y Cristionogion yn y prif oesoedd fath o ysgrad, *ligna sacra (rattles);* ond meddylia Baronius y gosodid dyn, perthynol i bob cynnulleidfa, i fyned o amgylch, i rybuddio pawb mewn perthynas i'r awr gyfarfod. Arferid ym mhlith y mynachod un i fyned o gell i gell i'w galw i'r addoliad, trwy daro 'r drws â'r hyn a

elwid y nos-arwydd, a'r morthwyl dihuno.* Canu 'r clychau ar ddyfodiad gwyr mawrion i dref, oedd hen arfer gynt; canys dywed un awdwr y gwneid hyn pan ddenai Ymerawdwyr, Esgobion, Abadau, &c. i leoedd dan eu llywodraeth.

Cnul, neu 'r gloch ymadawiad *(Passing Bell).*—Arferwyd hon ar y cyntaf i'r diben hwn, sef, pan fyddai un ar drengu, neu ymadael â'r byd, i ddynion pan glywent y gloch roddi gweddi tu a'r nef drosto. Dywed Durandus, yr hwn a flodeuodd ynghylch y 12fed ganrif, fel hyn:—"Pan fo un ar farw, caner clychau, fel y byddo i'r bobl weddïo drosto. Gwnaer hyn ddwywaith am ddynes, a thair gwaith am ddyn." Cedwir y ddefod hon mewn amrywiol fannau o Gymru a Lloegr hyd heddyw, gyd â'r gwahaniaeth hwn, sef, y cenir y gloch, nid pan fyddo dyn ar ymadael, ond pan fyddo *wedi ymadael.* Rhoddir naw cnul am adyn, chwech am ddynes, a thri am blentyn. Ni fwriadir dim yn bresennol wrth ganu y gloch fel hyn, ond yn unig i roddi gwybod i'r gymmydogaeth fod un o'u cyd-greaduriaid wedi myned i fyd yr ysprydoedd.

Y Duyhuddgloch.†—Cenid hon wrth orchymyn William y Concwerwr, yr hwn, yn y flwyddyn gyntaf o'i deyrnasiad, a barodd i bawb ym mhob pentref a thref, ar ganiad hon am 8 o'r gloch yn yr hwyr, enhuddo eu tân, diffodd eu canwyllau, a myned i'w gwelyau. O hyn, y mae yn debyg, y dechreuodd caniad y gloch fawr yn ein hamser ni am 8 o'r gloch mewn trefydd.

Y mae Spelman wedi wedi cadw ar glawr ddwy linell fynachaidd, yn y rhai y cynnwysir holl swyddau clychau gynt:

Laudo Deum verum plebem voco, congrego clerum,
Defunctos ploro, pestem fugo, festa decoro.

---

## CYMREIGYDDION CAERLUDD.

Mr. Gwyliedydd—Yn gymmaint a fy mod yn gwybod fod genych ddigon o bethau ag ydynt o bwys a lles i'ch darllenwyr yn gyffredinol i lenwi dalenau eich Eurgrawn, tra anewyllysgar ydwyf i erfyn arnoch roddi lle ynddo i'r hyn nad ydyw yn cynnwys dim o'r naill na'r llall. Eithr gan mai achos gwirionedd a chyfiawnder yn unig a'm cymhellodd i ysgrifenu atoch, gobeithiaf y bydd i'r un achos eich tueddu chwithau i roddi i mi wrandawiad ar hyn o dro.

Gwelais yn un o'ch Rhifynau diweddar lythyr oddiwrth fy nghyfaill Mr. *Griffith Davies*, yn hysbysu ei fod wedi ymadael â Chymdeithas Cymreigyddion Caerludd, o herwydd ei bod wedi agor y drws i ddadleuon gwladwriaethol yn ei chyfarfodau, ac o ran rhyw amgylchiadau ereill yn olynol i hyny a gymmerasant le ynddi. Dyweda Ysgrifenyddion y Gymdeithas yn atebol i hyn, fod Mr. Davies ei hun yn y cyfarfod pan benderfynwyd dilëu y rheol a waharddai ymdrin â phyngciau o'r fath, ac felly yn rhoi ar ddeall ei fod ef y pryd hwnw yn cydfyned â mympwy y Gymdeithas, ac yn ei gyhuddo o anwadalwch, &c. Ni chyhuddaf yr Ysgrifenyddion o gelu y gwir yn fwriadol, o ran yr wyf yn meddwl yn well am danynt na hyny, eithr nid allaf lai na rhyfeddu yn ddirfawr wrth yr hyn a haerant. Gŵyr pob dyn, ag a ŵyr ddim am farn ein cyfaill, nad oedd un dyn yn byw yn Llundain yn fwy gwrthwynebol ar bob amser i unrhyw Gymdeithas a ganiatâ ddadleuon gwladwriaethol *(political debates)* yn ei chyfarfodau, ac yn enwedig y cyfryw a gynnelir mewn tafarndai. Y prydnawn yr oedd rhai o aelodau y Gymdeithas yn bwriadu dyfod ym mlaen a chynnygiad i ddilëu y rheol grybwylledig, galwodd Mr. Davies arnaf, a dywedodd, fod yn ddrwg iawn ganddo glywed fod y fath gynnygiad yn dyfod ym mlaen; ac os cai y rheol hòno ei diddymu, dywedodd y byddai yn orfodol arno ymadael â'r Gymdeithas yn hollol. Dywedais wrtho fod y fath gynnygiad wedi bod amrai o weithiau o flaen y Gymdeithas o'r blaen, heb gael ei gario; ond o herwydd fod rhai o'r aelodau wedi cyfnewid eu barn, ac o ran y byddai llawer ereill yn absennol y noson hòno, ofni yr oeddwn y llwyddai y cynnygydd yn ei gais. Ac am danaf fy hun, dywedais fy mod agos wedi blino gwrthwynebu y peth mor aml, ac fy mod yn bwriadu, rhag ofn creu ymraniaeth ac ymrafael yn y Gym-

---

* Ai oddiwrth hyn y cyfododd yr arferiad yn rhai o'r Colegau yn Rhydychain, i'r *Bible Clerk* guro wrth ddrws pob un o'r astudwyr i'w dihuno, cyn y dechreuo ganu 'r gloch?

† *Curfew*, h. y. *cover-fire.*

deithas, i gydfyned am unwaith â'r cynnygiad, dan obeithio, pan welsid na fyddai y cyfryw gyfnewidiad o un lles, ond yn hytrach o ddrwg i'r Gymdeithas, y byddai y rhai a'i dygent ym mlaen, yn ei dynu yn ol. Erfyniais yn daer ar fy nghyfaill i ddal at y Gymdeithas hyd nes y cai hollol brofiad, y deuid a phethau o'i blaen ag a farna efe yn ddigon o achos i beri iddo dynu ei enw oddi wrthi. Ar yr un noson, pan gynnygiwyd y pwngc i sylw y Gymdeithas, codais i fynu, a dywedais, er fy mod yn para o'r farn mai anfuddiol a fyddai dilëu yr hen reol, etto rhag ofn creu ymraniaeth yn y Gymdeithas, rhoddwn am unwaith fy llais o blaid y cynnygiad i'w dilëu, *a hyny yn bennodol, gan obeithio, mai y boneddigion a ddaethent a'r rheol newydd ym mlaen*, a fyddent y rhai cyntaf i'w thynu yn ol, os gwelent, *fel yr oeddwn yn sicr y caent weled*, mai mwy o ddrwg nag o ddaioni a ddeilliai oddi wrthi. Dywedodd Mr. G. Davies hefyd, ar yr un noson, *yn bennodol, ei fod yn hollol groes i ddilëu yr hen reol*, ond rhag ofn cyffroi yr unfrydedd a welsai yn y Gymdeithas, anfoddlon oedd i fyned y'mhellach na chodi ei lais yn erbyn y cynnygiad; eithr y byddai o hyny allan yn dra gwyliadwrus o bob peth a ddygid o flaen y Gymdeithas. Hyn yw y gwir, a dim ond y gwir glân, a beiddiaf i neb a aned ei wrthbrofi. Onid, gan hyny, rhyw beth tra angharedig ac anghyfiawn yw cyhuddo un cyfaill o anwadalwch ar yr achlysur yma? Tra annhêg hefyd oedd nodi darnau o'i Ddarlith, a ymddangosodd yn y Gwyliedydd am fis Ebrill, er ceisio dangos ei fod yn hòno yn annog y *Gymdeithas* i ymdrin â phyngciau gwladwriaethol. Nid all neb o iawn bwyll ddarllen y Ddarlith hòno, a dywedyd fod ynddi ddim i annog un *Gymdeithas* i ymdrin â'r fath bethau. Nid yw reidiol i mi ddywedyd yr hyn sydd wybodus i bawb, sef, fod digon o gyfleusdra i unrhyw ddyn gyrhaeddyd gwybodaeth wladwriaethol, heb derfysgu a chyffroi unfrydedd ac undeb Cymdeithas sefydledig lëenyddawl, drwy ddyfod â'r fath ddadleuon o'i blaen. Gellir hefyd gydweithredu mewn materion gwladol yn llawer gwell, ac yn llawer mwy tebyg i lwyddo, heb ymyraeth âg enw un Gymdeithas. Gwyddir yn dda beth a fu y canlyniad y'mhob Cymdeithas a agorodd y drws i ddadl wladwriaethol; ac nid oes dim hyd yn nod ym mysg yr iselradd o'r *Saeson*, ag sydd wedi cael eu gwala o'r fath gymdeithasau: nid oes dim, meddaf, o'r fath, yn fwy dirmygedig i'w meddyliau, nac yn fwy drewllyd yn eu ffroenau, na *Public House Political Debating Clubs.* A dyweder yr hyn a ddyweder am un Gymdeithas a ymdrinia â'r fath bethau mewn Tafarndŷ, nid ydyw na mwy na llai na *Public House Political Debating Club.* Am Gymdeithasau Llëenyddol ag sydd yn cyfarfod yn y fath leoedd, mae llawer o enwogion mwyaf y wlad yn ei chyfrif yn anrhydedd o fod yn perthyn iddynt; *whilst there is scarcely a gentleman of respectability living in London, who would keep a young man one hour in his employ, if he knew he was a member of a* PUBLIC HOUSE POLITICAL DEBATING CLUB.

Cyfeiria Ysgrifenyddion y Gymdeithas at Ddarlith a ymddangosodd yn Seren Gomer am fis Awst, gan feddwl fod ein cyfaill Mr. Davies yn cyfrif rhai pethau yn hòno yn wrthbleidiol, &c. Ond, "O! meddant, nid dan *enw y Gymdeithas* yr ymddangosodd hòno, ond dan *enw yr awdwr!*" Wel, onid hysbysir yno ar yr un pryd mai yn Nghymdeithas y Cymreigyddion ei traddodwyd, ac a ydyw hi o'r pwys lleiaf yn enw pwy yr ymddangosodd? Nid er gwneuthur unrhyw sylw ar y Ddarlith hòno yr wyf yn ail gyfeirio ati, ond i ddangos mor wan ydyw rhesymau dynion pan y mae eu meddyliau yn ymdreiglo mewn niwl a thywyllwch. Gofynant yn eu llythyr, "Paham y tynodd Mr. Davies ei enw oddiwrth y Gymdeithas?" ac atebant drosto, mai o ran "ei bod yn meithrin gwybodaeth gyffredinol!!" Eithr pwy a roes y ddarlith gyntaf erioed yn y Gymdeithas ar wybodaeth gyffredinol? pwy a wariodd fwy o arian na holl aelodau y Gymdeithas i gyd er lledaenu gwybodaeth gyffredinol y'mysg ei gydwladwyr? pwy yw y Cymro o holl genedl y Cymry yn Llundain sydd etto fwyaf eiddgar (neu o'r lleiaf mor eiddgar a neb) er lledaenu gwybodaeth gyffredinol? pwy, meddaf, ond Mr. Griffith Davies? Amlyga llythyr ein cyfaill yn eglur, heb un lle i ymgecru, beth yw yr achos ei fod wedi tynu ymaith ei enw.

Am y pethau dychymmygol a disail o berthynas i'r iaith Gymraeg a draddodir weithiau yn y Gymdeithas, nid oedd fy nghyfaill yn meddwl ei difrïo wrth gyfeirio atynt. Ond os drwy arch y Gymdeithas yr ymddangosodd rhai pethau a welsid yn ddiweddar yn gyhoeddus o berthynas i hynafiaeth y Gymraeg, nid oedd reidiol i neb ei difrïo, a gadawaf i fy nghydwladwyr ag sydd yn gwybod dim am ieithoedd i farnu drostynt eu hunain. O ran fy mod etto yn aelod o'r Gymdeithas (er na fum yno ond dwywaith neu dair er's hir amser) cymmeraf y cyfleusdra presennol i ymwrthod â phob cred yn y fath chwedlau a dychymmygion disail.*

Diwedda Ysgrifenyddion y Gymdeithas eu llythyr gan ddywedyd eu bod "yn anwybodus o'r defnyddioldeb a allai Mr. Davies wneuthur, pe byddai yn fwy cedawl." Yn fwy cedawl!! Och! och! a naw och, meddaf; mae haeriad fel hyn agos yn ddigon i beri i ddyn ymwadu am byth mai Cymro ydyw. Ond, fel y dywedais ar ryw dro arall,

Wrth ganfod fath fryntni nid gwiw digaloni,
Neu feddwl er hyny am Gymry ddim gwaeth,
Mae dyfroedd par-loyw yn meithrin chwyn chwerw,
Mae i'r glanaf ei enw elyniaeth.

Yr oedd Mr. Davies yn talu bob blwyddyn i'r Gymdeithas ddwywaith gymmaint ag oedd ei rheolau yn gofyn iddo: ac mi a wn fy hun yr aeth efe i dros Chwe Phunt o draul drwy brynu peiriannau er eglurhau un o'i Ddarlithiau, a thros Bedair Punt ar dro arall, ac ni fu y rhai'n o un lles iddo wedi hyny. Ychydig o flynyddau yn ol gwariodd Ugeiniau o Bunnau, a rhoes ei amser gwerthfawr, a chwys ei ruddiau fore a hwyr, er amddiffyn tyddynwyr tlodion yn Nghymru, etto dyma 'r gwr a ddylai fod yn fwy cedawl!!

Wrth ystyried mor ddyrchafedig ydyw enw Griffith Davies y'mysg y Saeson;† bod hyd yn nod y Senedd wedi gyru am dano i ymgynghori â ffrwyth ei ddysgeidiaeth; a gwybod y byddai, ond iddo roi hysbysiad o'i fwriad, ugeiniau o'r Saeson yn heidio ato i wrando arno yn traddodi darlith, ac yn barod i dalu arian mawr am hyny; wrth ystyried hyn, nid ellwn lai nag edrych arno gyda syndod â gorhoffder, pan welais y draul a'r drafferth a gymmerai i draddodi ei ddarlithiau y'Nghymdeithas y Cymreigyddion *am ddim*. Ond, medd rhai, dylai fod yn fwy *cedawl!* *O shame, where is thy blush!* Herwydd fy absennoldeb o'r dref, ni chefais gyfleusdra i weled y Gwyliedydd cyn diwedd y mis hwn, onidê ni buasai fy nghydwybod yn goddef i mi ymorphwys dridiau heb dalu yr iawn hwn i fy nghyfaill.—Yr eiddoch,

EINION MON.

* I have by me a paper in which the *learned* author of the articles referred to, in speaking of the Welsh Language says—"This is the arrow with which Apollo shot Python, whence he was called Pythius: the arrow which Abaris said had been received from Apollo, the golden rod of Mercury, the wand of Saturn, *the Rod of God in the words of Moses*, the stave of the Bardic signs, the Welsh analitic grammar on a wand." Who will quote *Munchausen* after this?

† It is perhaps known but to a few that Mr. Davies was about a year ago elected (unsolicited) *Fellow of the Royal Society;* an honour which few of our countrymen can boast of. Still less is it known that he is the author of important solutions of the principles and properties of the *Catenaria*, a splendid effort of genius which has been of immense service in the erection of Suspension Bridges.

## CHWYLDROADAU A'U HEFFEITHIAU.

NI ddarfu i'r chwyldroadau a ddigwyddasant yn Ewrop yn ystod y deugain mlynedd diweddaf, hyfforddi mewn gwybodaeth defnyddiol un plentyn tlawd ag oedd heb ei addysgu o'r blaen—ni leihasant bris torth o fara yn un ddinas na phentref yn Ewrop—ni thueddasant i ledaenu crefydd a moesoldeb mewn neb rhyw deyrnas—ni hyrwyddasant yn y radd leiaf y celfyddydau, y gwybodaethau, na llëenyddiaeth—ni wellasant y ffyrdd, ac ni chwanegasant at y cyfleusderau i dramwyo o'r naill dalaeth i'r llall—ni ddiddymasant ardrethi unrhyw lywodraeth—ni roddasant waith i'r llafurwyr, nac amddiffyniad i'r gwas cyflog—ni ddiogelasant feddiannau—ni attaliasant ymledaeniad clefydau, ac ni ddiwallasant gyfreidiau dynion. Y cyfryw ydyw nodweddiad nacâol y chwyldroadau hyn. Ond ni wiw i ni ymorphwys ar hyn wrth olrhain ansawdd y cyfryw chwyldroadau. Nid addas fydd i ni eu golygu hwynt yn ol yr hyn *ni* wnaethant—rhaid i ni hefyd droi ein golwg at yr hyn a wnaethant. Hwy a orfuasant bob teyrnas yn Ewrop i gynnal byddinoedd arfog—hwy a achosasant i fyrddiynau o wroniaid golli eu heinioes

—cyffroasant y nwydau mwyaf ffromwyllt a chreulon—diddymasant mewn llawer gwlad yr undeb hwnw a ddylai fod rhwng llywodraethwyr a'r deiliaid—parasant i'r dynion hyny ag ydynt yn fwyaf analluog i ddwyn beichiau y wladwriaeth gael eu gorthrymu gan drethi lliosog a dinystriol—dygasant ddinystr i'r masnachydd, i'r amaethydd, ac i'r marsiandwr—buent yn achos o drefniad cyfreithiau a gosodiadau yn erbyn rhyddid y wasg, nid yn unig yn Ffraingc, ond hefyd ym mhob gwlad ar gyfandir Ewrop—arweiniasant i ryfeloedd cartrefol, i gyd-fradwriaethau gweinidogion yn erbyn eu meistriaid—i ymrysonau ym mhlith cyd-ddinasyddion, ac i yspeiliad temlau ac allorau Duw. Cymmellasant Belgium i ymwahanu oddiwrth Holland, er y buasai yn well er lles a ffyniant y ddwy wlad, pe llywid hwynt gan deyrnwialen yr unrhyw frenin—achosasant hylwyr ddinystr Poland, parasant doriad ammodau, anudonau, brad-lofruddiaethau, lladradau, ac anrheithiadau, a distrywiad meddiannau o werth annirnadwy—cymmellasant drigolion llawer gwlad i ymfyddino fel milwyr, y rhai a ddylasent fod yn dilyn eu galwedigaethau priodol yn lle ymdrin âg arfau milwraidd—distrywiasant heddwch a thawelwch cymdeithas, heb osod yn eu lle unrhyw egwyddor a rydd sicrwydd i ddedwyddwch teuluaidd, dinasaidd, na gwladol.

NEHEMIAH.

---

# BARDDONIAETH.

---

## Cofion Barddonol.

*At y Parchus Wyliedydd,*

Adgof genyf ddarllen yn eich Cyhoeddiad defnyddiol ryw bryd yn ol y byddai yn ddywenydd genych gael unrhyw ddryll o waith y diweddar Fardd godidog Dafydd Ddu Eryri, [yr hwn oedd gyfaill cywir i mi,] heddyw yn ddamweiniol cefais afael ar amrai o'i Lythyrau wrth symud hen bethau yn y tŷ er ei adgyweirio—mewn un o honynt y mae yr Englynion canlynol, ond odid na chyhoeddwyd hwynt erioed o'r blaen—os ydynt dderbyniol rhoddwch iddynt gilfach yn un o'ch rhifynau dyfodol, ac felly hwyrach y cewch ychwaneg bryd arall.

Yr eiddoch, &c.
GWILYM EDWEN.

### Y BARDD CYSTUDDIEDIG.

Aml groes i'm heinioes o hyd—trwy alar,
Treuliais ran o'm bywyd,
Mynu'n ymboeni mewn byd:
Sylwch, mewn isel iechyd.

Gan oerfel yn ymgynhyrfu—gauaf,
A gwewyr i'm gwasgu,
Gwael iechyd—herwydd gwlychu,
Nos a dydd i Ddafydd Ddu.

Yn 'foes mae chwerw-loes uwch oerlawr—boenus,
Hir beuyd sy ddirfawr,
Methais mewn aml-drom wythawr,
Huno yr un hanner awr.

Annifyr yw'r boen afiach—i'w goddef.
Ond nid gweddus grwgnach,
Ar frys boed fy ystlys fach,
Yn well well,—yn wiw holliach.

Natur wrth fesur fy oes,—druenus,
Dirwynodd fy myr-oes;
Dan galed gur, lafur loes,
Edwinodd blodau einioes.

Du yw'r cwmwl, dwl yw'r dydd—a llaesodd,
Holl leisiau llawenydd,
Amser blinder a cherydd,
Amser difrifolder fydd.

Rhag awr derfyn dyn a'i daith,—nos dywell,
Nis diange am anwaith,
Y *dirasol* dyryswaith,
Na'r *grasol* bucheddol chwaith.

Fy nghnawd, mwy syndawd i'm sydd,—briwedig,
Brau ydyw ei ddefnydd,
Wan briddyn un boreuddydd,
Ysprydol anfarwol fydd.

Pan dderfydd, poenddydd, pob pall,—byd amhur,
Boed imi'n llwyr ddiball,
Mewn byd o wynfyd di wall,
Uwch y sêr iach oes arall.

DAFYDD DDU, ERYRI.

---

### ENGLYNION

*I'r* DYWYSOGES VICTORIA *ar ei hymweliad â'r Dywysogaeth, yn neillduol Ynys Môn, Awst 1832.*

ARDDERCHOG fywiog wen ferch——ofwyodd
Ynys Fôn deg lannerch—
Llîn breiniol siriol ei serch,
A'i henw* gwnawn ei hanerch.

Llîn Brython o Fôn lwys fâd——yw y ferch,
Fawr-wych ei chymmeriad—
Llîn cawri yn llawn cariad,
Llîn Gouner henwer a'i hâd.

Ha! ha! gweithia drwy ei gwythi——ein gwaed
Yn ei gylch mae'n berwi—
Merch TUDUR, ein mater ni
A dreiddia 'n ddigoll drwyddi.

Ac ar dir Môn fe'i coronir——â mawl,
Ei moliant adgenir,
A didwyll y dywedir,
"Hedd i hon i fyw yn hir."

LLYWELYN POWYS.

---

* *Princess Victoria.*

## AWDL MARWNAD

Y PARCH. JOHN RICHARDS, *Periglor Llanerchymedd, Swydd Môn, yr hon a ymadawodd â'r fuchedd hon y 26ain, ac a gladdwyd y 30ain o Fawrth*, 1832, *yn* 75 *mlwydd oed.*

Ow! daeth rhyw alaeth o arwylion,——brwyn,
Nes briwo Monwysion,
Dyrnodiau roddwyd arnon,
Trwy angeu du troe ing dôn.

Ow! loes y sydd, dilis sôn——am y poen
Ga'dd ein penaeth tirion,
Pwy o urddau meib beirddion,
Alerir mwy o lawr Môn?

Buchedd anhoywedd yw hon,——'r ol colli
Y callaf o'r dynion—
Borth cul a hiraeth calon,
Digudd wna 'n brudd ein bron.

Tarawyd ein Tad tirion,
Ow! wg a fu, a gwae Fôn—
Ei ddawn fu 'n lles i ddynion,——o'r uchaf
I waelaf wehilion.

Gweinyddodd fyd o gwynion,
Yn ddilys hyd 'wyllys Iôn—
Rhan gras Duw (er hyn o groes)
Yw'r einioes, bererinion.

I lawr certh rhoed eiliwr càn,
Llaid yw ei dŷ llwyd ei ên.

Ow! bellach, ys iach yw sôn——am 'wenydd,
Yn nod cynnydd nid oes ond cwynion—
'N iach am fael gwych im' o Fôn——ac addysg,
Gan ŵr o burddysg Gynôr beirddion.

Gwywodd gwaeon,
Ow fi, o Fon—
Diles fyw awch duloes fedd,
Yn nhir Gwynedd aneir* gwynion. * *aml.*

Pwy 'n ein mysg? pa un yn Môn?
Na chafai ddysg wych foddion,
Os hyd lwybr ei sawdl eon,
Dilynant hyfrydant fron—
Ysgolwyr yn weis gwiwlon,
Harddwych a tirfwych eu tôn—
Yn rhôl y rhagorolion,
Mewn llwyddiant a mwyniant Môn.

Am ben oesau mynai hanesion,
Profai fawredd gwaith y prif feirddion,
Pur y chwiliai campau 'r uchelion,
Da y gwyddai bob od agweddion.

Deuai o byrth y Deheubarthion,
I Fôn wiwiwys, ynys brâf wenion—
Un doeth yn taenu y bendithion,
O hedd Iesu i anaddasion,
Cyhoeddi codi ceidrout—efengyl. † *cryf, cadarn.*
Ar ein cyfyl mawr iawn y cofion.

Deugain mlwydd yn rhwydd rhoddion—o'i einioes,
Ac wyth enwaf weithion—
Bu yn ddidawl, heb noddiadon,
Neb un dethawl ond bendithion
(O wedd cofns) ei Dduw cyfion,
Yn cyhoeddi Iawn y swyddon,‡ ‡ *cwympedigion*
Fwyn Iesu i Fonwysion——eu prynwr
Cynaliwr calnolion.* * *duwiolion.*

Trugain mlwydd mewn llwydd yn llon—a phymtheg
Y bu ei adeg bywyd eon—
Mewn gwir barch ym mhob cyfarchion—bu ef
Nes cael gwirnef i'w naws clau goron.

Adwyth a gafodd a daeth gofidion,
Du lewyg iddo, i'w deulu gwaeon,
Braw i bawb coeliwch briw i bob calon—
Ië, dyn diystyr, a hyd yn nod estron,
Wedd egr, a hidlodd ddeigron——pan welid
Archoll a wnaethid erchyll iawn weithion.

Mawrth ofidion, mwy wrth fudo,
Daeth âg wylo adwyth galon—
Trideg unlon trowd i gwyno,
Ethryb briddo athraw beirddion.

Oes y cyfion Iesu cofiwch,
Pan i briddiwch rhoed pen beirddion—
Ymyl rhwyddion mil y rhoddwch,
Cannoedd cnwch, celnwedd anion,
Wyth—y sylwch, iawnwedd rhifwch,
Troediog hwyliwch, trideg hylon,
Cyn cyflawnwch, atynt dodwch
Ddau ystyriwch addas tirion.

---

### BEDD-ARGRAFF.

O ddyn, ymofyn am afael——yn gryf
Ar grefydd bur, ddiwael,
Cyn mudo, gan ymafael
O dwrf byd, i'r gweryd gwael.

Daw boreu goleu, gwiwlon——a ddeffry
Holl ddiffrwyth farwolion—
I'r da bydd llawenydd llon,
Yn wael bydd annuwiolion. M. D.

---

## PENNILLION,

*A gânt Robert Parry, Eglwys Fach, ar farwolaeth Jane, ei ferch hynaf, yr hon a fu farw y 2iain o Awst*, 1832, *yn bum mlwydd oed.*

Ow! Jane, fy ngeneth hawddgar a roed i'r ddaear ddu
Anneliodd angau creulon ei saeth i'th galon gu—
O'th fyned i'r ddaearen, fy ngeneth lawen lwys,
Mae f'enaid mewn griddfanau yn wylo dagrau dwys.

I ymchwydd afon angau a'r tonau 'r aethost ti—
(O Arglwydd mor derfysglyd yw mywyd gwan i mi!)
Dy wel'd yn môr marwolaeth fu'n alaeth imi'n wir,
A'r awr bu iti 'n gadu, mi gofiaf hono 'n hir.

*Y Marw yn ateb.*

Tir dyffryn cysgod angau i mi oedd olau ddydd—
Tarianau teg angylion yn fur i Sion sydd—
I'm gwared o law angau yr Iesu 'n ddiau ddaeth,
A'm dwyn at seintiau tlodedd i'r nefoedd hardd a wnaeth.

Fy mam anwylaidd ffyddlon, a chwithau dirion dad,
Yn waelaidd, O na wylwch, ystyriwch chwi fy 'stad,
'Ddaw yma i'm cyfarfod na phechod byth na phoen,
Mi gefais fawr drugaredd drwy rinwedd gwaed yr Oen.

Iwch' eirian fwyn chwiorydd tra bo chwi bennydd byw,
Boed nerth o'r nefoedd olau i gadw deddfau Duw,
Yn myd y gorthrymderau a'r temtasiynau sydd,
Nes dyfod ataf finau o'r rhwydau oll yn rhydd.

Bu f'ewythr gyfaill diddan i mi mewn egwan oed,
Awn hefyd yn ei afael ar drafael wrth ei droed—
Yn difyr fyn'd a dyfod bum lawer diwrnod iach—
O ffarwel yn dragywydd i fenydd *Eglwys Fach.*

O lwybrau Salem eurbryd! mor hyfryd im' yw rhai'n!
'Rwy'n rhodio per ardaloedd y nefoedd efo'm nain!*
Ces groesaw a derbyniad uwch gallu teimlad dyn,
A choron o ogoniant drwy haeddiant Iesu 'i hun.

Ffarwel gyfeillion anwyl 'rwy'n disgwyl yma dowch,
I fryniau y goleuni, mewn d'rysni nac ymdrowch—
Ni luniwn fwyn gymdeithas yn ninas wych y ne'
Pan ddeloch drwy 'r Iorddonen bydd llawen iawn eich lle.

---

* *Gweddw y diweddar Barch. R. Parry, Ficar Eglwys Fach, yr hon a fu farw yr 21ain o fis Mai diweddaf, yn 80 oed. Mynych y dywedai, ar ei gwely angau, y geiriau canlynol, ac amryw o'r cyffelyb—"Gollwng fi, O Arglwydd, yn ol dy air; canys fy llygaid a welsant dy iachawdwriaeth."*

# HANESION GWLADWRIAETHOL.

## Newyddion Tramor.

### ARWYDDION RHYFEL!

Belgium a Holland.—Dywed y rhan fwyaf o'r Newyddiaduron fod rhyfel yn anocheladwy rhwng y ddwy deyrnas Belgium a Holland. Gan fod brenin Holland yn dal mor gadarn i wrthwynebu holl ymgeisiadau llywodraethau Ffraingc a Lloegr i gymmodi y ddwy blaid, y mae llynges Lloegr yn awr yn brysur yn ymbarotoi dan lywyddiaeth y llyngesydd Syr P. Malcolm. Nifer y llongau sydd ar fedr hwylio yw ugain, o ba rai y mae dwy yn agerdd-lestri yn dwyn magnelau o nerth anferthol. Y mae yr holl lestri yn perthyn i'r llynges hon i ymgynnull ynghyd erbyn y pummed o Dachwedd, ac i angori yn Spithead cyn iddynt hwylio i gau i fynu borthladdoedd Holland. Y mae byddin o filwyr eisoes ar derfynau teyrnas Holland, ac yn barod i ddechreu rhyfela y fynyd y cânt orchymyn i hyny. Ond er yr holl arwyddion rhyfelgar hyn yr ydys yn hyderus ddisgwyl na fydd i heddwch Ewrop gael ei aflonyddu. Ychydig ddyddiau etto a gliria ymaith yr holl ammheuon o barth helyntion dyrys y parthau hyn o'r byd.

Portugal.—Ar y 29ain o fis Medi bu brwydr galed a gwaedlyd rhwng byddinoedd y ddau frawd, Don Miguel a Don Pedro. Dechreuodd yr ymladd oddeutu wyth o'r gloch y boreu, a pharhaodd hyd hanner awr wedi chwech yn y prydnawn. Byddin Don Miguel, oddeutu 6000 o nifer, a ymosodasant ar yr ychydig filwyr Ffrancod a Saeson oedd yno, ac yr oedd yr ymosodiad mor ffyrnigwyllt fel y gorfu iddynt gilio yn ol. Wedi cael cryfhad, anturiasant eilwaith i wynebu eu gelynion; ac ar ol ymladdiad gwaedlyd trwy ystod y dydd, gorfu i fyddin Don Miguel gilio tu hwnt i'r sefyllfod yr oeddynt ynddi y diwrnod o'r blaen. Cafodd yr ymosodwyr golled dirfawr. Dywedir fod nifer y lladdedigion o 1500 i 2000. Lladdwyd hefyd, o ochr Don Pedro, oddeutu 600, ym mhlith y rhai, drwg yw genym adrodd fod y cwbl agos o'r Swyddogion Brytanaidd âg oedd wedi myned i gynnorthwyo Don Pedro wedi cwympo. Eu gwroldeb a'u harweiniodd hwynt i ormod esgeulusdra o honynt eu hunain, a'u dewrder a gostiodd iddynt eu bywydau.

Dywedir fod byddin Don Miguel wedi encilio i Penafiel ac Amarante; os felly, y mae Oporto allan o berygl. Mewn ychydig ddyddiau y bydd i 2,000 o filwyr traed, a 400 o wyr ceffylau, gyrhaedd Oporto, ac yr ydys yn disgwyl y bydd i hyn effeithio yn fawr ar helyntion y wlad hon.

## Newyddion Cartrefol.

### EISTEDDFOD BEAUMARIS.

(*Parhad o du dal.* 319.)

#### DYDD MERCHER.

Yr oedd y cymylau caddugLyd a hongient yn y ffurfafen, a'r cur-wlaw a ddisgynai yn ddi-dòr y boreu hwn, wedi peri i brudd-der ymorphwys ar wynebau llaweroedd, rhag ofn na ellid cynnal yr Eisteddfod tu fewn i furiau y Castell. Ofnent hefyd rhag i'r drychin gadw eu Mawrhydi y Dduges o Gaint, a'r Dywysoges Victoria, yn garcharorion yn y Plas Newydd—ac na roddid cyfleusdra i feibion Cymru amlygu eu ffyddlondeb a'u parch tu ag at "Aeres Prydain Goron," a'i mam ardderchog. Ond yn ystod y boreu yr hin a ymgododd, a chlywid sibrwd y cynnelid yr Eisteddfod yn Llysdŷ y dref, ac y byddai yr Ymwelwyr Breninol yn wyddfodol. Cyn hanner dydd yr oedd yr ystafell yn llawn, ac ugeiniau wrth y drws yn ceisio cael lle, ond yn methu. Ar hyn daeth Syr R. B. W. Bulkeley, y Llywydd, i mewn, ac a fynegodd iddo dderbyn llythyr oddiwrth Syr John Conroy, yn datgan dwys alar eu Huchel Fawrhydi na oddefai anwadalwch yr hin iddynt fwynhau y diddanwch o fod yn wyddfodol yn yr Eisteddfod y boreu hwnw; ond adroddai fwriad eu Huchel Fawrhydi i fod yn Baron Hill oddeutu pedwar o'r gloch prydnawn, pan yr addurnai y Dywysoges Victoria yr ymgeiswyr llwyddiannus â'r arian-dlysau. Yna Syr Richard a awgrymodd, gan na chynnwysai yr ystafell y drydedd ran o'r gwyddfodolion, yr amcanai gynnal yr Eisteddfod yn y Castell. Ym mhen ennyd fechan yr oedd y lliaws wedi cyrhaeddyd eu heisteddleoedd yn y Castell—ac oddeutu un o'r gloch tain yr udgyrn a gyhoeddodd ddynesiad y Llywydd, yr hwn a gyhoeddodd yr un hysbysiad o barthed eu Huchel Fawrhydi ag a wnaethai yn y Llysdŷ, ac a ddiweddodd trwy wahodd y gwyddfodolion i Baron Hill i gyfarfod yr Ymwelwyr Breninol.

Yna daeth y Parch. H. Parry, Periglor Llanasa, ym mlaen, ac a draddododd yr Araith ganlynol:—

"Cyfrifir fi, ysgatfydd, yn rhyfygus am ddyfod ym mlaen i gyfarch y gymmanfa odidog hon, a ymgyrchodd yma i gadw yr ŵyl farddonol, am nad ydwyf yn un o feibion yr Awen; ond cymmerais y rhyddid hwn o herwydd fy mod yn wyddfodol pan y meddyliwyd gyntaf am yr Eisteddfod hon, ac o herwydd fy mod yn un o'r Cyfeisteddwyr, ac yn gyfaill gwresog i'r dosparth barddonol. Ymdrechaf roddi crynodeb o hanes y Sefydliad hwn, mor fyr ag a allaf, ac i'r diben hwn ni chrybwyllaf am eu

hansawdd cyn amser Iorwerth I. O'r amser y gorchfygodd y gormesdeyrn hwnw wlad Cymru hyd oni esgynodd teulu Tudor orsedd y deyrnas hon, cwmwl dudew a hongiai uwch ben beirdd a thelynorion y Dywysogaeth. Y mae traddodiad mai yn y fan hon, lle y ceidw eu dilynwyr eu gŵyl heddyw, y cyflawnodd Iorwerth "gyflafan y Beirdd." Ond y mae sail mor eiddil iddo nad oes neb, yn y dyddiau hyn, yn ei gredu, er y bu yn achlysur o'r Prydyddiaeth ardderchocaf yn yr Iaith Saesonaeg, ac yn unrhyw iaith arall. Y beirdd oeddynt elyniaethol i lywodraeth Iorwerth, ac, megys y maeg yn awr, yn offerynau grymus yn ffurfio a rheoleiddio syniadau corph y werinos. Yn amser gwrthgodiad Owain Glyndwr (a raid i mi ei alw yn wrthryfel?) yr yspryd barddonol a ymenynai ychydig, ond buan y gorchfygwyd ef gan ymddygiad gwyliadwrus ac ymdrechiadau cyflym Harri IV. Ond yn nheyrnasiad ei ŵyr, Harri VI. cynnaliwyd Eisteddfod gyda llawer o rwysg yn Nghaerfyrddin, dan lywyddiaeth Gruffydd ab Rhys, taid Syr Rhys ab Thomas (yr hwn oedd mor nodedig am gynnorthwyo a gosod Harri VII. ar yr orsedd) a chyndad Arglwydd Dinefwr. Yr Eisteddfod hon a reolwyd gan yr enwog Lawdden, ac iddi yr ymgyrchai holl Feirdd a Thelynorion Cymru. Yr oedd yno ddau Arian-dlws—Cadair arian a Thelyn arian. Y ddaudlws hyn a ennillwyd yn orchestol gan Fardd o Gallestr, a chan Delynwr o'r un fangre fechan. Y Gadair arian, wedi iddi gael ei gwisgo yn anrhydeddus gan Tudur Aled, a drosglwyddwyd yn ol i'r Dehendir, ac a aeth ar ddifancoll. Nid aeth y Delyn arian byth wedi hyny i ymweled â'n brodyr yn Ngwent na Dyfed, ac y mae yn awr y'meddiant yr Anrhydeddus Edward Lloyd Mostyn, o Fostyn. O fewn hanner can mlynedd wedi yr Eisteddfod hon, dyddiau disgleiriach a wawriasant ar ein Beirdd a'n Telynorion. Tywysog o waed Tudor oedd ar yr orsedd. Harri VIII. a enwogodd ei hun drwy ei orchestion llëenyddol, a'i serch at beroriaeth; canys yr oedd yn hyddysg yn y gelfyddyd ardderchog hon; ac yn y bymthegfed flwyddyn o'i deyrnasiad gwysiodd Eisteddfod, yr hon a gynnaliwyd yn Nghaerwys, yn 1520. Yr oedd hon dan lywyddiaeth Richard ap Howel Fychan, o Fostyn. Ychydig a wyddom am y cyfarfod hwn, oblegid nid oedd neb yn y dyddiau hyny i gyhoeddi hanes o hono yn y Newyddiaduron. Ond ei ferch, y Frenines Elizabeth, a alwodd gyfarfod, drwy orchymyn breninol, yr hwn sydd yn awr ar gael, i gael ei gynnal yn Nghaerwys, ac, o ganlyniad, yno yr ymgyrchodd y Beirdd, a hil Telynorion Cymru, yn 1568. Y gorchymyn hwn a gyfeiriwyd at Syr R. Bulkeley, Thomas Mostyn, a Piers Mostyn, Ysw. a thra ryfeddol yw, fod cynddrychiolwyr y boneddion hyn yma yn awr, yn meddiannu gymmaint o ddyhewyd er hyrwyddo llëenyddiaeth Cymraeg a'u cyndadau yn nheyrnasiad y Wyryf Frenines. Traddodwyd hanes cywir a manwl i ni o'r cyfan a wnaethpwyd yn yr Eisteddfod hono, yr hwn a ysgrifenwyd gan y dysgedig Dr. Sion Dafydd Rhys, priodor o Lanfaethlu, yn yr Ynys hon. O'r amser hwn hyd ddiwedd y 18fed ganrif, ni chynnaliwyd yr un Eisteddfod. Y pryd hyny, adfywiwyd hwynt i ryw radd drwy ymdrechiadau clodwiw Cymmrodorion Llundain. Yna cnynwyd gwreichionen yn mynwes ardderchogion a boneddion Gwalia, a chynnelid Eisteddfod bob tair neu bedair blynedd, yn ngwahanol daleithiau y Dywysogaeth. Yn ol fel y cynnyddodd y gwobrau y gwellhaodd cyfansoddiadau y Beirdd a'r Telynorion. Yr Eisteddfod a gynnaliwyd yn Ninbych, bedair blynedd yn ol, dan lywyddiaeth Syr E. Mostyn, oedd yn fwy nodedig am ei rhwysg na'r un o'r Eisteddfodau cyn hyny. Ond beth a ddywedwn am hon, dan lywyddiaeth Syr R. B. W. Bulkeley, yn Ynys Mon—"*Mon mam Cymru*"—y fangre y ganwyd ynddi Owain Tudor, seilydd teulu Tudor—gwlad genedigaeth Lewys Morys a Goronwy Owen, o'r hon y deilliodd Syr William Jones, a'r rhyfelwr dewrwych sydd yn awr yn gweini y swydd Rhaglawiaidd yn yr Iwerddon, ac sydd yn cael ei urdd oddiwrth yr Ynys orhoff hon? Yr oedd y Beirdd bob amser yn ffyddlon, a mynych y gorthrymwyd hwynt am eu ffyddlondeb. Am eu ffyddlondeb i'w Tywysogion priodol, Iorwerth I. a'u hamnharchodd, ac a'u gorthrymodd hwynt—am eu serch at eu Brenin cyfreithlawn Risiart II. wedi iddo gael ei ddiorseddu, Harri IV. a osododd gyfreithiau creulawn yn eu herbyn—ac oblegid iddynt attegu achos adfeiliedig Unbenaeth, yn amser Siarls I. Cromwel, wedi iddo gael yr oruchafiaeth, a'u gorlwythodd hwynt â dioddefiadau a gorthrymderau. Ond yn awr haul llwyddiant a ddisgleiria arnynt. Ni threuliaf fwy o'ch amser, ond yn unig i ddatgan, yn enw y Cyfeisteddwyr a'r Beirdd, ein diolch gwresocaf am y cefnogiad a'r anogaeth a weinyddasoch drwy eich gwyddfodolrwydd yma heddyw."

Y gymmanfa a wrandawai yn dra astud tra yr areithiai ein cyfaill hybarch a pharchedig.

Wedi gostegu o'r bonllefau a ddilynodd yr Araeth, y Parch. E. Evans a ddaeth ym mlaen i gyhoeddi fod y wobr am y Chwe Englyn goreu ar "*Adda ac Efa ym Mharadwys*" wedi cael ei ddyfarnu i'r ysgrifenydd a elwe ei hun *Hesperus*. Gan nad oedd yr Awdwr, Robert Owen o Lundain, yn wyddfodol, Arglwyddes Bulkeley a wisgai Mr. John Parry (Bardd Alaw) â'r Ariandlws.

I. Arian-dlws am y Chwe Englyn goreu ar "*Ymweliad eu Huchder Breninol y Dduges o Gaint, a'r Dywysoges Victoria, â'n Gwledd wledig.*"

Y Cofiadur a hysbysodd fod 18 o gyfansoddiadau ar y pwnc hwn wedi eu derbyn, a'r Beirniaid a ddewisasant ddau fel y rhai goreu o honynt. Nid allent benderfynu, gyd âg eithaf boddlonrwydd, iddynt eu hunain, pa un o'r ddau a deilyngai y wobr, ac am hyny, galwasant atynt Feirniad arall, yr hwn a ddyfarnai y gamp i gyfansoddiad "*Owen Tudor.*" Pan alwyd ar hwn daeth Bardd Nantglyn ym mlaen, ac a arddelwodd yr enw. Arglwyddes Harriett Mostyn a addurnodd y Bardd â'r Ariandlws. Wedi hyny Owen Tudor a adroddodd ei Englynion—llyma adysgrif o honynt.

I Dduges Caint, braint i'n bro,——bid mawl mawr,
Bid mil a myrdd croeso,
A'i seren dryleu deg dro,
Hoen ddiwrnod i'n haddurno.

Teyrnwaed Tudurwaed, da dirion,——oreu
Aeres Prydain goron;
Derchafid yn dra chyfion
O blanwydd Penmynydd Môn.

Mal cenedl, grym hawl cynhes,——i'n tirion,
Victoria Dywysoges,
Mae ynom o wraidd monwes
Galon yn wreichion o wres.

y Bardd Alaw a ganodd y Penillion canlynol, mewn modd tra ardderchog.

Far, far from the pomp and the splendour of court,
To Cambria's sweet Valleys the ROYAL resort;
Oh! let us our love and our gratitude shew,
To those who such honor to WALIA bestow.
Ye Bards and ye Minstrels your voices combine,
To welcome a PRINCESS of TUDOR's famed line,
*Gogoniant a moliant i'r Seren wcys gain.*

Ar ol gostegu o'r bonllefau, y Parch. J. Blackwell a gyflwynwyd i'w Mawrhydi, ac a addurnwyd âg Arian-dlws gan y DYWYSOGES, yr hon a wnaeth yr un modd i'r holl ymgeiswyr buddugol ereill. Wedi cyflawni y gorchwyl hwn eu Huchel Fawrhydi a aethant i mewn i'r tŷ, ac a giniawasant gyd â'r perchenog gwladgarawl.

Yn yr hwyr yr oedd y Dadgeiniaid i ymgais am y wobr yn Llysdŷ y dref, gan na chawsent gyfleusdra yn y boreu. Yr oedd yr ystafell mor lawn ag y bu gorfod ar lawer fyned yn ol heb fwynhau y difyrwch a ddisgwylient. Nifer y dadgeiniaid oedd ddeuddeg. Y Beirniaid oeddynt Mr. John Parry, Aneurin Owen, Ysw. a'r Parchedig Evan Evans. Parhaodd yr ymryson am ragor na thair awr—ac am amser maith yr oedd y Dadgeiniaid bron yn gydradd. Ond pan chwareuodd y Telynor ryw dôn nodedig, wyth o'r Dadgeiniaid a encilliasant, am hyny nid oedd ond pedwar i ymryson am y dorch. Gorchwyl anhawdd iawn oedd barnu pa un a deilyngai y wobr—o'r diwedd, dyfarnwyd yr Arian-dlws i Joseph Williams, o Fagillt, a phenderfynwyd gyfrannu y Gwobrau rhwng yr Ymgeiswyr ereill. Ni chafodd y Dadgeiniaid erioed y fath chwareu teg ag a gawsant yn yr Eisteddfod hon.

Boreu dranoeth, y nifer luosocaf o'r Beirdd a ganasant yn iach i dref Beaumaris, ac a ddychwelasant i'w hamrywiol gartref-leoedd.

Dywenydd genym allel hysbysu fod eu Huchel Fawrhydi y DDUGES O GAINT a'r DYWYSOGES VICTORIA wedi cynnysgaeddu yr Ysgrifenydd, W. Jones, Ysw. a Mr. John Parry (Bardd Alaw) âg Arian-dlws bob un. Haeddai y ddau foneddig hyn ganmoliaeth nid bychan am eu hymdrechiadau eiudwiw a diflino yn ffurfiad a rheoleiddiad yr Eisteddfod.

Cyn rhoddi ein hysgrifell o'r neilldu, rhaid i ni ychwanegu fod yr Eisteddfod hon wedi rhoddi mwy o foddhad i ni nag Eisteddfod Dinbych—a hyny o achos dau beth—yn gyntaf, ymddygiad y Beirdd;—yn ein hanes am Eisteddfod Dinbych gorfu arnom wneud rhai sylwadau llym ar anghymmedroldeb amrai o'r Beirdd; ond yn Beaumaris ymddygai pob un o honynt yn weddus ac yn addas—nid oedd neb, am a wyddom ni, wedi dwyn dirmyg a gwarth arno ei hun, nac ar yr Eisteddfod, drwy anghymmedroldeb. Bydd yn dda genym bob amser ddangos parch i ddiosparth o ddynion mor ddefnyddiol a'r Beirdd—ond os troseddant, ni arbedir mo honynt. Yr oedd yno un o'r Deheudir a alwai ei hun yn *Fardd* a ymddygodd yn dra gwarthus; ond y mae hwn yn wrthddrych o dosturi yn hytrach nag o ddigllonedd.

Y peth arall a bâr lawenydd i ni, ac i bob gwladgarwr, ydyw fod genym sail gadarn i hyderu y cyflwynir yr arian gweddilledig at wrthddrych cyfreithlon yr Eisteddfodau, sef hyrwyddo llëenyddiaeth Cymru, i wobrwyo doniau llëenyddol, ac i argraffu llyfrau perthynol i'r Dywysogaeth. Gwyddom fod y Cyfeisteddwyr wedi penderfynu na siomant hwy ddisgwyliadau cefnogwyr llëenyddiaeth drwy efelychu ymddygiad gwarthus Cyfeisteddwyr Eisteddfod Dinbych. Gwyddom hefyd fod yr Arglwydd Mostyn, a'r Anrhydeddus E. Ll. Mostyn, wedi addaw cyfrannu £25 bob un, os treulir y gweddill o'r derbyniadau yn gysson â bwriadau yr Eisteddfodau—ac nid ammheuwn na wna llawer o'n Boneddion gwladgarawl wneuthur yr un modd. Penderfynwyd hefyd gyhoeddi y cyfansoddiadau cyn gynted ag y gellir.

---

## Y SEREN GYNFFONAWG.

Yr ydys bellach yn dechreu troi ein meddyliau at y Seren Gynffonawg fawr a elwir Seren *Halley*, yr hon sydd i ymddangos yn 1833 ac 1834. Yr ydym yn meddwl mwy am dani oblegid ei bod wedi ymddangos mor aml o'r blaen, ac hefyd oblegid fod rhyw gynnwrf anghyffredin yn yr awyr, neu bla dirfawr bob tro yn dilyn ei hymddangosiad. Pa un a ydyw yr effaith yma yn dyfod o gyd-ddigwyddiad damweiniol, ai yntę o ryw berthynas rhyngddynt â'u gilydd, sydd etto mewn ammheuaeth; ond fe dderbynir eglurhad ychwanegol oddiwrth yr arwyddion a ddilynant ei hymddangosiad nesaf. Ymddangosodd o'r blaen yn y blynyddoedd 1456, 1607, 1682, a 1759. Y waith gyntaf bu daeargryn yn yr Eidal, yr hwn a ddinystriodd 40,000 o bobl. Yr ail, oedd amser o gynnwrf anghyffredin yn yr awyr, ac ymchwyddiad yn y môr a'r afonydd, a gauaf tost anarferol tros yr holl fyd. Yn 1682 yr oedd y pla yn gyffredin trwy Ewrop; ac yn 1759 ymddangosodd drychiolaeth awyrol mawr yn Bombay; bu daeargryn yn Damascus; a chyda haint cyffredinol, torodd y *scurvy* dinystriol allan yn Canada, a *thyphus fever* yn Bethlehem. Mae yn sicr mai y tymhorau mwyaf afiachus oedd pan ymddangosodd Ser Cynffonawg o ryw faintioli, ac fod daeargrynfâau, ac arwyddion rhyfeddol yn yr awyr yn eu dilyn, a mynyddoedd llosgedig yn chwydu ffrydiau o fetteloedd tawdd allan o'u ceudod, y rhai a ddifrodasant dai a threfydd yn eu hwyl. Yr oedd llawer yn yr oesoedd gynt, a rhai yn yr oes hon, megys yr enwogion Mead, Sydenham, a Webster, yn credu fod y Sêr hyn yn effeithio ar y ddaear. Ac y mae agoshad y Seren grybwylledig, a'r pla, â pha un y'n fflangellir, yn cyd-ddigwydd yn dra hynod, ac yn deilwng o ystyriaeth y sylwedydd philosophyddawl.

---

## Y SENEDD.

MAE y Senedd wedi ei gohirio hyd yr 11eg o Ragfyr; a chan na fynegir ei bod i gydgyfarfod yr amser hwnw i rwyddhau gorchwylion y llywodraeth, y farn gyffredin yw y bydd i ddigorphoriad (*dissolution*) gymmeryd lle oddeutu yr 8fed o'r mis hwnw.

## ANERCH CAREDIG

*AT WEITHWYR PLWYF LLANELWY A'R GYMMYDOGAETH.*

Bwriedir agor yn fuan, yn Llanelwy, er eich lles chwi, eich gwragedd, a'ch plant, Feddyg-dŷ cartrefol, a thaer erfynir arnoch i ddefnyddio y cyfleusdra hwn a gynnygir i chwi; ac os ystyriwch y pethau canlynol, diau y gwelwch y lles a dardda i chwi oddiwrth y Sefydliad.

Profasoch, ysgatfydd, ar lawer tro cyn hyn, fawr anhawsdra i gael Meddyg a meddyginiaeth: canys yr oedd raid i chwi, naill ai gyru am Feddyg ar eich traul eich hun, neu ynte ar draul y plwyf.

Os yn eich enw eich hun y gyrech, yr oedd yn anghyfleus, os nad ammhossibl, i chwi, a'r teulu, ar ol hir afiechyd, a nychdod, dalu i'r Meddyg, ac hwyrach bod y ddyled hon hyd heddyw yn aros yn bwn arnoch, ac yn peri blinder i'r meddwl.

Lawer tro, fe allai, ni anfonasoch am Feddyg hyd nes yr oedd yn rhy ddiweddar, rhag ofn syrthio i ddyled na allech ei thalu.

Gwelwyd hyn yn ddiweddar yn eich cymmydogaeth, lle y torodd allan y clefyd arswydus, yr hwn sydd etto yn bygwth ymweled â'n hardal.

Gwyddys, trwy brofiad chwerw, pe cawsai llawer un feddyginiaeth mewn pryd, y gwelsid hwynt heddyw, yn ol barn ddynol, yn lle gorwedd ym mhriddellau oer y bedd, yn rhodio y llenyrch yn ddewrolion mor heinif a chwithau.

Drachefn, os anfonech am y Meddyg ar draul y Plwyf, byddech felly yn cael eich rhifo yn un o'r tlodion, a'ch enw a iselid pan ei rhestrid yn llyfr y plwyf.

Nid edrychir arnoch mwyach fal llafurwyr hunan-ymddibynol, ac mewn rhan, collech y parch a deimlech atoch eich hun, a chollech hefyd yr enw a'r parch a delid i chwi gan ereill.

Trwy offeryndod y Meddyg-dŷ hwn, a amcenir ei sefydlu er eich lles, y gellwch ddarpar pob peth angenrheidiol er eich cymmorth a'ch cysur mewn afiechyd.

Dyma y telerau ar y rhai y mwynhewch y rhagorfreintiau hyn, sef trwy dalu ceiniog yn yr wythnos tra yn iach, a dimmeu neu geiniog dros bob plentyn dan ddeuddeg oed; ac felly y byddwch chwi, a'ch plant, yn *Aelodau Breiniol* o'r sefydliad hwn, ac hawl i'w holl ragorfreintiau.

Fe fydd yn wastad yn eich meddiant drwyddedau *(tickets)*, a thrwy anfon y drwydded, os byddwch yn rhy glaf i ddyfod eich hun, daw y Meddyg a ewyllysioch i ymweled â chwi. Ac os bernir eich bod mewn perygl, cewch un arall o Feddygon y Sefydliad i wasanaethu arnoch.

Os gwelir bod eisiau rhywbeth arall heblaw cyffyriau meddygol at eich cryfhad, gweinyddir hyny hefyd yn rhad i chwi, megys gwin, a phethau ereill.

Y mae hyn yn fraint yn rhagori yn sicr ar Feddyg-dai ereill, ac ni ddylid esgeuluso y cynnygiad.

Trwy fod y trwyddedau yn wastad yn eich meddiant, cewch gyngor a chymmorth Meddyg, heb drafferth, na thraul, na choll amser i ymofyn am gyflwyniad. Byddwch eich hun yn meddiannu hawl, heb erfyn nodded neb, tlawd neu gyfoethawg—heb ddisgyn o'ch enw i Lyfr y Plwyf, ac heb ddwyn dyled arnoch chwi a'ch teulu mwy nag a allech ei thalu.

Os ystyriwch y rhesymau hyn, canfyddwch y budd a'r fraint o fod yn aelod o'r Meddyg-dŷ hwn; a gwelwch y rhesymoldeb o dalu eich ceiniogau tra yn iach, fal tra yn glaf y derbynioch o gysuron y sefydliad.

Rheswm a ddengys fod y budd yn fawr, ac a'ch annoga i ddefnyddio y cynnygiad fal y galloch ddiogelu eich hunan-ymddibyniad trwy ddarpar mewn awr o iechyd a llawnder erbyn y dydd du o gystudd a chlefyd.

*Llanelwy, Medi* 8, 1832.

*D. S.* Cynnelir Cyfarfod y'Manc Cynnilo Llanelwy bob Dydd Sadwrn, am naw o'r gloch, i gofrestru enwau y personau a ewyllysiont ddyfod yn *Rhydd Aelodau* o'r Meddyg-dŷ hwn.

---

*Ystorm arswydus.*—Dydd Llun, yr 8fed o Hydref, ymwelwyd â phorthladd Lle'rpwll gan dymhestl ddychrynllyd, yr hon a achosodd golled o fywydau ac eiddo lawer. Yr oedd y bore yn lled dawel, ond o herwydd gostyngiad sydyn yr awyrbwysydd *(Barometer)* ac arwyddion ereill o ystorm, nacaodd amryw o gapteniaid hwylio allan i'r môr. Ond ni bu amryw ereill mor ffawdus. Oddeutu hanner dydd duodd yr wybren, cyfododd y gwynt, a disgynodd y curwlaw, gan gynnyddu nes myned yn dymhestl ddychrynllyd. Cafwyd gwybodaeth yn yr hwyr fod amryw longau wedi cael eu gyru i'r lan; ac ar lasiad y dydd bore dranoeth y lliaws o weddillion llongau ar hyd y traeth oeddynt yn eglur fynegi y dinystr ofnadwy a ddigwyddasai. Llong odidog a elwid y *Grecian*, yn rhwym i Boston, a soddwyd, ond y llongwyr a'r môr-deithwyr a achubwyd, oddieithr y *Stewart*, gwraig, a bachgen. Ychydig tu hwnt i'r *Rock Battery* yr oedd y *Vigilant*, yn rhwym i Havannah, yn gorwedd yn uchel i fyny ar y traeth, ac ychydig ym mhelliach yr *Algonquin*, llong Americanaidd, oedd i'w chanfod heb ddim ond ei blaen-hwylbren yn sefyll. Y llong *William Neilson* a ddrylliwyd, a'r Cadpen, a'r holl ddwylaw a'r môr-deithwyr ag oedd ynddi a soddasant yn yr eigion. Dywedir fod oddeutu 24 o gyrph wedi eu cael, ynghyd â llawer iawn o weddillion llongau ac eiddo ag oedd ynddynt.

---

## DYRCHAFIADAU EGLWYSIG.

Y Parch. John Harries, Ficar Eglwys Gadeiriawl Tŷ Ddewi, i Ficeriaeth Eglwys Wen, Swydd Benfro—rhydd trwy farwolaeth y Parchedig William Roberts.

Y Parch. William Jones, Curad Penbryan, Sir Aberteifi, i Ficeriaeth Llanriau.

# Y GWYLIEDYDD.

LLYFR IX.] RHAGFYR, 1832. [RHIF. 116.

## PREGETH FER.

"Canys pan ddywedant, Tangnefedd a diogelwch; yna y mae dinystr disymmwth yn dyfod ar eu gwarthaf, megys gwewyr esgor ar un a fo beichiog; ac ni ddiangant hwy ddim."—1 THES. 5. 3.

MAE dau beth yn y testun i sylwi arnynt:—I. Desgrifiad o'r bobl a sonir am danynt.—II. Truenusrwydd eu cyflwr.

I. *Pa fath bobl sydd ger ein bron.* Pobl ydynt sydd yn llefaru "tangnefedd a diogelwch," lle nad ydynt. Dynion sydd yn meddwl yn well am danynt eu hunain nag y dylent—dynion sydd yn credu eu bod mewn sefyllfa dda, tra y mae digofaint Duw yn crogi uwch eu penau, ac yn barod bob moment i syrthio arnynt, a'u "malu yn chwilfriw!"

Mae 'r bobl hyn, y rhai a alwaf hunanwenieithwyr, yn y byd ym mhob oes. Yr oeddynt ynddo dan y gyfraith. Yn *Deut.* 29. 19. yr ydym yn cael hanes am rai y "tro'dd eu calon oddiwrth yr Arglwydd eu Duw, i fyned i wasanaethu duwiau y cenhedloedd—er hyny ymfendithio o honynt yn eu calon eu hun, gan ddywedyd, Heddwch fydd i mi, er i mi rodio yn nghyndynrwydd fy nghalon." Er fy mod yn dilyn hyd yr eithaf dueddiadau fy anian lygredig fy hun, etto bydd arnaf yn y diwedd yn gystal ag ar ereill. Nid oes aflwydd yn fy ffyrdd. Heddwch a chysur fydd fy rhan yn dragywydd. Yr oedd y bobl hyn i'w cael yn nyddiau 'r Psalmydd. Sonir yn *Ps.* x. am ŵr sydd yn rhy ffroenuchel i geisio Duw, yr hwn nid yw Duw yn ei holl feddyliau. Ei ffyrdd sydd flin bob amser; y mae barnedigaethau 'r nefoedd allan o'i olwg; a chwythu y mae yn erbyn ei holl elynion. Onid yw hwn yn gyflwr tra dychrynllyd? Oni ddylai y dyn sydd yn y fath amgylchiadau alaethus grynu? Ond nid oes na dychryn na chryndod yn ei enaid! "Dywedodd yn ei galon, *Ni'm symudir;* o herwydd ni byddaf mewn drygfyd hyd genhedlaeth a chenhedlaeth." Yn *Ps.* xlix. hefyd gosodir yr unrhyw bobl ger ein bron. Sonir yno am ddynion yn "ymddiried yn eu golud," yn lle yn Arglwydd y lluoedd, a'i nerth, a'i ras—yn "ymffrostio yn lliosawgrwydd eu cyfoeth," yn lle ymffrostio yn nhrugaredd Duw, a'i rasol addewidion. Dywedir am y cyfryw, y cant eu "gosod fel defaid yn uffern," ac y bydd angeu fel blaidd yn ymborthi arnynt" hyd y farn, pan y bydd i'r duwiol lywodraethu arnynt. Etto, yn nghanol y cwbl, gwenieithiant iddynt eu hunain; llefarant dangnefedd wrth eu heneidiau anufudd ac annedwydd. "Eu meddwl yw" *(adn.* 11.) "y pery eu tai yn dragywydd, a'u trigfeydd hyd genhedlaeth a chenhedlaeth: enwant eu tiroedd ar eu henwau eu hunain." Yr oedd y bobl hyn mewn bod yn amser y prophwydi Esaiah a Jeremiah. Pan oedd barnedigaethau Duw ar syrthio ar Babilon, am ei dirfawr ddrygioni—pan oedd dieppiledd a gweddwdod ar ei goddiweddyd, am amlder ei hudoliaethau, a mawr nerth ei swynion;—pan oedd yn y fath sefyllfa ofnadwy, nid oedd un gradd o fraw ynddi. Dywedodd, "Byth y byddaf yn arglwyddes. Myfi sydd, ac nid neb ond myfi; nid eisteddaf yn weddw, ac ni chaf wybod beth yw dieppiledd." *Esa.* xlvii. Cyfarfyddwn â'r dynion annedwydd hyn etto yn *Jer.* 6. 13, 14, 15. "O'r lleiaf o honynt hyd y mwyaf, pob un sydd yn ymrôi i gybydd-dod: ac o'r prophwyd hyd yr offeiriad, pob un sydd yn gwneuthur ffalsder. A hwy a iachasant friw merch fy mhobl yn esmwyth, gan ddywedyd, Heddwch, heddwch; er nad oes

heddwch." Dengys y testun fod yr hunan-wenieithwyr hyn mewn bod yn oes yr apostolion; ac nid all neb edrych o'i amgylch, gyda llygad Cristionogol, heb ganfod fod lluoedd o'r cyfryw ddynion yn ein gwlad, ac yn ein hoes ninnau. Duw a'u goleuo, ac a'u dygo ar iawn sylfaen, i lefaru tangnefedd wrthynt eu hunain, rhag cael o'u hanwiredd yn atgas.

Paham y gwnant hyn? Enwaf bedwar achos.

1. *Gau syniadau am Dduw.* Yn *Ps.* l. dywedir am ddynion "sydd yn casâu addysg, ac yn taflu geiriau Duw o'u hol—sydd yn cytuno â lladron, a'u cyfran gyd â'r godinebwyr—yn gollwng eu safn i ddrygioni, a'u tafod yn cyd-blethu dichell—yn eistedd ac yn dywedyd yn erbyn eu brodyr—ac yn rhoddi enllib i feibion eu mam." Pa fodd y meddyliwch chwi y maent yn medru bod yn ddiarswyd yn nghanol y fath ddrygioni? trwy gredu yn gyfeiliornus am Dduw; trwy feddwl nad yw pechod yn gâs ganddo; ac nad yw, yn ol ei air, yn bwriadu cospi ei weithredwyr:—"Tybiaist fy mod yn gwbl fel ti dy hun." Gwae 'r neb a gofleidio 'r fath dyb am Sanct Israel. "Ond mi a'th argyhoeddaf, ac a'u trefnaf o flaen dy lygaid. Deallwch hyn yn awr, y rhai ydych yn anghofio Duw, rhag i mi eich rhwygo, ac na byddo gwaredydd!"

2. *Eu harbediad hyd yma.* Y maent wedi byw mewn anufudd-dod yr amser a aeth heibio, ac wedi llwyddo. Ni ddaeth arnynt na barnedigaethau, na helbulon: am hyny y maent yn esmwyth yn nghanol eu pechodau. Y maent yn ddiarswyd, ac yn llefaru heddwch wrthynt eu hunain, er fod eu holl weithredoedd yn galw am ddïal—eu holl ymddygiad yn gwaeddi am felldith. Cam-ddefnyddiant amynedd Duw; ac yn lle diolch iddo am roddi iddynt "amser i edifarhau," treuliant yr amser hwnw i chwanegu eu pechodau, ac i amlhau eu hanwiredd. Gwyddai Solomon yn dda am y tueddiad hwn sydd yn nghalonau plant dynion:—"O herwydd na wneir barn yn erbyn gweithred ddrwg yn fuan; am hyny calon plant dynion sydd yn llawn ynddynt i wneuthur drwg."

3. *Llwyddiant annuwiolion ereill.* Pe byddai pob pechod yn cael *yn union-gyrchol* ei gospi, fel y cafodd celwydd yn Ananïas a Sapphira, byddai gormod o ddychryn ar bechaduriaid bechu mor rhyfygus yn erbyn Duw. Ni allent lefaru heddwch wrthynt eu hunain, a hwythau yn anufudd. Gwelent werth crefydd, a'r angenrheidrwydd o'i meddiannu, a byw dan ei llywodraeth. Os oedd llwyddiant yr annuwiol yn dyrysu meddwl y Psalmydd, ac o fewn ychydig yn peri iddo feddwl nad oedd buddioldeb yn ngwasanaeth Duw, nid rhyfedd fod y sawl na oleuwyd gan yr Yspryd Glân yn cymmeryd achlysur oddiwrth lwyddiant presennol y pechadur i barhau yn ei lygredd, a'i wrthryfelgarwch yn erbyn Duw. Ond os darllenwch *Ps.* 73. 16, &c. canfyddwch mai duwioldeb er y cwbl sydd elw, a bod y sawl sydd hebddi "mewn llithrigfa, y cant eu cwympo i ddinystr, ac yr ânt yn ddisymmwth yn anghyfannedd!"

4. *Meddyliau cyfeiliornus am natur gwir grefydd.* Ni ŵyr y diadgenhedledig beth a ddylai ei galon fod. Ni ŵyr pa fath grefydd sydd gymmeradwy gan y nefoedd; am hyny y mae, yn ei dywyllwch, yn llefaru heddwch iddo ei hun, tra na all Duw edrych ar ei gyflwr ond gyd â'r anfoddlonrwydd mwyaf. Tybia mai ychydig o gyfiawniadau allanol sydd ddigonol, tra y mae Duw yn gofyn holl alluoedd ei enaid. "Enwaediad y galon sydd yn yr yspryd, nid yn y llythyren; yr hwn y mae ei glod, nid o ddynion, ond o Dduw." "Yr enwaediad ydym ni, y rhai ydym yn gwasanaethu Duw *yn yr Yspryd*, yn gorfoleddu yn Nghrist Iesu, ac nid yn ymddiried yn y cnawd."

Paham na ddylent lefaru tangnefedd, &c. wrthynt eu hunain.

1. *Nid adwaenant Iesu Grist.* Nid oes modd i'r euog gael heddwch a diogelwch, ond trwy Iesu Grist. Y croeshoeliedig Oen sy'n heddychu y nef a'r ddaear. "Am hyny gan ein bod wedi ein cyfiawnhau trwy ffydd, y mae genym heddwch tu ag at Dduw *trwy ein Harglwydd Iesu Grist.*" "*Trwyddo ef* y mae i ni ein dau ddyfodfa mewn un Yspryd at y Tad." "Rhyngodd bodd i'r Tad (wedi iddo *wneuthur heddwch trwy waed ei groes ef*) *trwyddo ef* gymmodi pob peth âg ef ei hun." Os oes un gwirionedd yn y Bibl, mae hwn yn eglur yno—bod pob pechadur yn agored i ddigofaint Duw dros oesoedd tragywyddol, hyd y delo yn

grynedig trwy nerth yr Yspryd Glân at Iesu Grist am fywyd a maddeuant. "Yr hwn sydd yn credu yn y Mab, y mae ganddo fywyd tragywyddol: a'r hwn sydd heb gredu i'r Mab, *ni wel fywyd;* eithr y mae *digofaint Duw yn aros arno ef!*"

2. *Nid oes ganddynt fywyd sanctaidd.* Mae heddwch a diogelwch y'nglŷn â buchedd hunan-ymwadol a defnyddiol. Mae gwir aelodau Crist yn rhodio yn dduwiol; ac mae Duw o'i ras yn gwenu ar eu duwioldeb, ac yn eu hanrhydeddu â phrofion beunyddiol o'i hedd a'i fendith. "Nid oes heddwch, medd fy Nuw, i'r rhai annuwiol." "Ein gorfoledd ni yw hyn," medd St. Paul, "sef tystiolaeth ein cydwybod, mai mewn symlrwydd a phurdeb duwiol, nid mewn doethineb cnawdol, ond trwy ras Duw yr ymddygasom yn y byd." Os wyt am gael cnwd o heddwch a gwir lawenydd yn dy fynwes, haua yn helaeth yr had da o eiriau grasol, a gweithredoedd cyfiawn. "Ffrwyth cyfiawnder a heuir mewn heddwch i'r rhai sydd yn gwneuthur heddwch." "Y ddoethineb sydd oddi uchod yn gyntaf *pur* ydyw, wedi hyny heddychlawn."

II. Wedi dywedyd hyn am y bobl crybwylledig yn y testun, ystyriwn, yn yr ail le—*Truenusrwydd eu cyflwr*: "Yna y mae dinystr disymmwth yn dyfod ar eu gwarthaf, megys gwewyr esgor ar un a fo beichiog, ac ni ddiangant hwy ddim."

Tri pheth yma—1. *Dinystr.* Yn lle tangnefedd, dinystr. Y pechadur yn dywedyd, mae pob peth yn dda; Duw yn dywedyd, mae pob peth yn ddrwg. Y pechadur yn dywedyd, caf wynfyd; Duw yn dywedyd, cei adfyd a thrueni tragywyddol! Gall pechod fod yn damaid melus y'ngenau y pechadur difraw a rhyfygus, ond try yn ei gylla yn "wenwyn ac yn wermod." "Y rhai drygionus a ymchwelant i uffern, a'r holl genhedloedd a anghofiant Dduw." "Ar yr annuwiolion y gwlawia efe faglau, tân, a brwmstan, a phoethwynt ystormus; dyma ran eu phiol hwynt"—"y rhai a ddioddefant yn gospedigaeth ddinystr tragywyddol oddiwrth yr Arglwydd, ac oddiwrth ogoniant ei gadernid ef." Nid peth ysgafn yw diystyru llais Duw. Ni ddiangc y pechadur anedifeiriol. Llaw y Duw Goruchaf a gaiff afael ar ei holl elynion. Llidiawgrwydd anoddefol y JEHOFAH sydd yn aros pob un a rodio rhagddo yn ei gamweddau. Er y bydd corph byth ym meddiant y dyn colledig, byddai yn fil gwell iddo fod hebddo. Er na ddifodir ei enaid, bydd y meddiant o hono yn achos o felldith dragywyddol iddo! Bechadur, arafa! llefa am edifeirwch a bywyd trwy Grist, fel na fyddo y "llid a fydd—y trallod a'r ing," na ddarfyddant byth yn etifeddiaeth i ti dros aneirif oesoedd tragywyddoldeb.

2. *Dinystr disymmwth ac annisgwyliadwy.* "Pan ddywedant, Tangnefedd a diogelwch; *yna* y mae dinystr disymmwth yn dyfod ar eu gwarthaf," &c. Aml y daeth cosp heb ei disgwyl ar elynion yr Arglwydd. Pan oedd chwyddedig frenin Babilon yn dywedyd, "Onid hon yw Babilon fawr, yr hon a adeiledais i yn frenindy y'nghryfder fy nerth, ac er gogoniant fy mawrhydi?" pan oedd yr iaith annuwiol hon yn ei enau, disgynodd barn y nefoedd arno. "*A'r gair etto y'ngenau'r brenin,*" cymmerwyd ei synwyrau oddi arno: "gyrwyd ef oddiwrth ddynion; a'i drigfa a osodwyd iddo gyda bwystfilod y maes: cafodd ei borthi â gwellt, fel eidionau; gwlychwyd ei gorph gan wlith y nefoedd, hyd oni thyfodd ei flew fel plu eryrod, a'i ewinedd fel ewinedd adar." Yr oedd trigolion yr hen fyd yn nghanol eu bydolrwydd a'u pechodau, pan ddaeth y diluw i'w hysgubo yn eu sefyllfa felldigedig i dragywyddoldeb. Pan oedd y goludog diras yn yr efengyl yn addaw iddo ei hun flynyddoedd lawer, i fwynhau ei ysguboriau wedi ei ehangu, gyrwyd ei enaid llygredig i'r farn i gael ei gondemnio a'i gospi *y noson hòno.* Dywedir nad yw "damnedigaeth" y di-Grist yn "hepian!" "Fel gwewyr esgor ar un a fo beichiog"—fel "lleidr y nos"—y daw dïaledd y JEHOFAH ar y diras. Ni ŵyr y feichiog yr awr neu y mynyd y daw ei gwewyr arni—ni ŵyr neb pa wyliadwriaeth y mae y lleidr yn amcanu dyfod i ddwyn ei feddiannau; felly ni ŵyr y dyn anghrediniol yr awr y daw angeu, fel swyddog didrugaredd, i'w drosglwyddo i'r fflamau anniffoddadwy. Pan elo i'w wely, ni ŵyr na fydd yn uffern cyn y boreu. Pan eisteddo i lawr, ni ŵyr na fydd ei enaid yn Gehenna cyn y cyfyd. O gyflwr dychrynllyd! O sefyllfa i'w harswydo! Bechadur, na chellwair â

Duw; diangc i ddwylaw ei drugaredd yn Nghrist mewn pryd; "diangc am dy einioes, rhag dy ddifetha." .

2. Dinystr *anocheladwy*. 1. Ni all y dyn sydd yn gwrthod Crist, ac yn byw yn benrhydd ac yn anufudd *gadw 'r farn ymaith*. Daw arno, gwnaed a fyno. Pe byddai mil o fynyddoedd rhyngddo â Duw, â saeth y Jehofah drwyddynt oll i ddyfnder ei enaid! Ni achub annuwioldeb ei pherchenog. Ni ddiangant hwy ddim. "Daw arnat ddrygfyd, yr hwn ni chei wybod ei gyfodiad: a syrth arnat ddinystr *nis gelli ei ochelyd:* ïe, daw arnat ddinystr disymmwth, heb wybod i ti." "Y mynyddoedd a grynant rhagddo, a'r bryniau a doddant, a'r ddaear a lysg gan ei olwg, a'r byd hefyd a chwbl ag a drigant ynddo. Pwy a saif o flaen ei lid? a phwy a gyfyd yn nghynddaredd ei ddigofaint ef? ei lid a dywelltir fel tân, a'r creigiau a fwrir i lawr ganddo."—2. Pan ddelo 'r farn arno, *nis gall byth ei hysgwyd ymaith*. Dywedir am bob gwas anfuddiol, y caiff ei rwymo *draed a dwylaw* cyn ei daflu i'r tywyllwch eithaf, yr hyn a arwydda na bydd modd byth iddo ddyfod allan o'r tywyllwch hwnw:—"Ni ddeui allan oddi yno, hyd oni thelych yr hatling eithaf."

Wrth ddibenu, goddefwch i mi eich gwahodd at y Ceidwad bendigedig, Iesu Grist.—1. Deuwch ato am *dangnefedd*. Mae efe yn "Dywysog tangnefedd." "Efengyl y tangnefedd" yw ei efengyl. Gwaed sydd yn dwyn tangnefedd i ddynion yw 'r gwaed gwerthfawr a dywalltodd ef ar y groes. Deuwch ato, a chewch faddeuant am eich holl bechodau. Heddwch fel afon a ddylifa i'ch mynwes: canys symudodd bob achos o anghydfod rhwng nef a daear pan lefodd, *Gorphenwyd*, ar y pren.—2. Deuwch ato am *ddiogelwch*. Nid oes damnedigaeth i neb sydd yn credu ynddo. Ni all digofaint Duw syrthio ar neb lle mae Crist yn preswylio. Ni all yr angel dinystriol ladd lle y mae ei waed ef yn dywalltedig. Aeth y gwr a brofodd ei rinwedd ar ei gydwybod drosodd o farwolaeth i fywyd. Nid rhaid iddo ond marw i esgyn i drigfanau 'r nef, i weled Duw fel ag y mae, i fwynhau annbraethol ddedwyddwch y'ngwedd ei wyneb, ac i foli ei enw yn oes oesoedd. Offab.

## BUDDIOLDEB DYSGEIDIAETH.

Mae llawer yn erbyn dysgeidiaeth, gan feddwl ei bod yn gwneuthur dynion yn anffyddwyr, ac yn gadarnach eu rhesymau yn erbyn y gwirionedd. Ond, a chaniatâu y dichon i'r talentau mwyaf godidog fod wedi eu cyssylltu â'r llygredd a'r annuwioldeb dyfnaf, megys y mae yn nodedig yn y prif-ddrwgweithredwr, Satan, mae yn rhaid caniatâu hefyd mai nodweddiad uchaf un hanfod crëedig yw bod yn gyffelyb i'r angylion, ym mha rai y mae duwioldeb a gwybodaeth wedi eu cyssylltu i'r graddau mwyaf.

Os edrychwn i hanes yr eglwys, ni a ganfyddwn mai y dynion mwyaf eu gwybodaeth a fuont erioed y rhai mwyaf duwiol a buddiol ynddi. Yr offerynau mwyaf anrhydeddus yn sefydliad ac amddiffyniad eglwysi Iuddewig a Christionogol, oeddynt ddynion enwog am eu dysgeidiaeth yn gystal a'u duwioldeb. Yr oedd Moses, deddfwr ac arweinydd yr Israeliaid, yn ddysgedig yn holl ddoethineb yr Aipht; a chafodd St. Paul ei ddwyn i fynu wrth draed Gamaliel.

Llawer a ddywedir am anwybodaeth dysgawdwyr cyntaf y grefydd Gristionogol; ond mae y rhai sydd yn dal cymmaint ar eu genedigaeth a'u sefyllfa isel, ac ar eu ychydig addysg, yn anghofio eu doniau a'u talentau anghyffredin. Yr Esgob Horsley, wrth sôn am ddoniau gwyrthiol yr Yspryd (nid am ei ddylanwadau sancteiddiol) sydd yn dywedyd, "Dysgeidiaeth yw y peth goreu sydd genym ni i wneuthur i fynu y golled o'r goleuad goruwchnaturiol o'r meddwl yr hwn oedd ragorfraint y pregethwyr cyntaf. Addasid hwynt heb ddim ymbarotôad blaenorol i'r swydd y galwyd hwynt iddi, oblegid fod ganddynt y ffynon arall hòno o wybodaeth fwy cyflawn ac anffaeledig. Yr un fath oedd y wybodaeth â pha un yr oedd yr Yspryd Glân yn cynnysgaeddu yr offerynau dewisedig hyny, a'r hon a geir yn y ffordd gyffredin, ond mewn ammherffeithiach gradd, oddiwrth ddarllen llyfrau."

Am hyny mae grym y gwrthwynebiad, fod y Cristionogion cyntaf yn anllythyrenog, yn syrthio i'r llawr, pan ystyriom eu bod yn cael eu cynnorthwyo mewn modd goruwchnaturiol â'r holl ddysgeidiaeth

oedd angenrheidiol i'w swydd. Æcolampadius sydd yn dywedyd yn dda, "Na ddylem demtio Duw, megys pe disgwyliem iddo ein haddysgu ni, fel y gwnai i'r apostolion, yn wyrthiol, heb ddim ymdrech ar ein rhan ni." Yn wir nid allwn ni gael y wybodaeth am arferion y wlad, &c. ag oedd ganddynt hwy heb lawer o ddysgeidiaeth. Heblaw hyny, ni a wyddom nad oedd apostol mawr y cenhedloedd yn amddifad o ddysgeidiaeth ddynol, yr hon a gawsai efe mewn ffordd naturiol; a'i fod wedi defnyddio y wybodaeth hòno er amddiffyn yr efengyl, a dadleu â'r Atheniaid dysgedig ar eu hegwyddorion eu hunain.

Camgymmeriad mawr yw fod gwybodaeth yn niweidiol i ffydd. Nid yw crefydd fraint yr anwybodus yn unig. Yn wir ymdrecha gelynion gwaethaf Cristionogaeth i gadw Cristionogion mewn anwybodaeth, fel y gwelwn mewn Paganiaeth a Phabyddiaeth. Y dyddiau o anwybodaeth mwyaf oedd y dyddiau pan oedd Pabyddiaeth yn flodeuog: ac yn amser Paganiaeth yr ydym yn darllen fod yr Ymerawdwr Julian (un o'r gwrthwynebwyr mwyaf dichellgar a chwerw, ond odid, a gafodd y grefydd Gristionogol erioed) gan wybod yn dda pa ddefnydd effeithiol yr oedd y Cristionogion yn ei wneuthur o ddysgeidiaeth, wedi nacâu gadael iddynt ddarllen llyfrau awduraidd.

Y llafurwyr mwyaf buddiol yn eglwys Crist oeddynt ddynion dysgedig. Heb sôn am lawer o'r Tadau, pa gymmaint o les a wnaeth dysgeidiaeth Luther, Melancthon, Ridley, Cranmer, Jewel, Hall, Leighton, ac ereill lïaws.

Os oes dynion dysgedig yn gwrthwynebu yr efengyl, dylai fod dynion mwy dysgedig i'w gwrthwynebu hwythau, ac i ddangos nad oes yn nyfnderoedd dysgeidiaeth ddim ond rhesymau anwrthwynebol o blaid gwirionedd yr efengyl, a'i holl athrawiaethau pwysig a chysurol. Ac wedi y cwbl, er fod dynion dysgedig wedi bod yn hynod am eu hannuwioldeb, nid eu dysgeidiaeth oedd yr achos o'u hannuwioldeb, ond yn unig yr achlysur o'i ddangos yn fwy; ïe, yr oedd eu dysgeidiaeth o fawr les i ereill. Yr ysgrifenyddion y'mhlith yr Iuddewon a gadwasant yr ysgrythyrau; a bu addysg dynion annuwiol, pa un bynag ai meddygon, ai cyfreithwyr, ai haneswyr, ai ynte duwinyddion, lawer o weithiau yn llesol i'w gwlad, a gwasanaethgar i grefydd. Felly y mae Duw yn parhau i yspeilio yr Aiphtiaid, ac i wneuthur eu tlysau a'u trysorau yn rhoddion ac anrhegion i'w eglwys.

CYF. C. T.

---

## SYLFAEN CYFIAWNHAD.

(*ALLAN O BREGETH CHRISTIAN DAVID.*)

WYLIEDYDD—Canfum, ryw amser yn ol, yn dy waith, ymddadlen ynghylch yr ymadrodd "O ddyfod fel ag yr ydym at Grist." Wrth ddarllen bywyd Wesley gan Watson, gwaith a gyhoeddwyd yn ddiweddar, cyfarfyddais â'r hyn sydd yn neillduol addas ar y pwngc: rhan yw o bregeth Christian David, Morafiad, a glywwyd gan Wesley pan ymwelodd â'r Morafiaid yn Hernhuth. Rhof yma gyfieithiad o honi. Gwel y gwaith a grybwyllais, tu dalenau, 68, 69, 70.

"Gair y cymmod, yr hwn a bregethai yr Apostolion fel sylfaen o'r hyn oll a ddysgent, oedd, yr heddychir ni â Duw, nid trwy ein gweithredoedd neu ein cyfiawnder ein hun, ond yn unig ac yn hollol trwy waed Crist. Ond ti a ddywedi, A raid i mi ddim griddfan a galaru am fy mhechodau? a raid i mi ddim ymddarostwng ger bron Duw? ai nid peth cyfiawn ac addas yw hyn? ac, a raid i mi ddim gwneuthur hyn yn gyntaf cyn disgwyl i Dduw ymheddychu â mi? Atebaf, cyfiawn ac addas yw hyn. Mae yn rhaid i ti ymddarostwng ger bron Duw; mae yn rhaid i ti gael calon ddrylliog gystuddiedig. Ond, sylwa, nid dy waith dy hun yw hyn. A ydwyt ti yn galaru am dy fod yn bechadur? Hyn yw gwaith yr Yspryd Glân. A ydwyt ti yn ddrylliog ac yn isel ger bron Duw? a ydwyt ti yn wir alarus, a'th galon yn ddrylliog o'th fewn? Hyn oll a weithia yr unrhyw Yspryd.

"Sylwa etto, nid y sylfaen yw hyn; nid trwy hyn y'th gyfiawnheir. Nid hyn yw y cyfiawnder, nid yw hyn yn un rhan o'r cyfiawnder trwy yr hwn y'th heddychir â Duw. Yr wyt yn galaru am dy bechodau, yr wyt yn dra gostyngedig, mae dy galon yn ddrylliog. Da; ond nid yw hyn oll ddim tu ag at dy gyfiawnhad. Nid yw

maddeuant pechod yn ddyledus am hyn, yn hollol, nac mewn rhan; nac ydyw: ond sylwa y'mhellach, geill hyn rwystro dy gyfiawnhad; hyny yw, os adeiladi ddim ar hyn; os meddyli, Rhaid i mi fod mor ddrylliog a hyn a hyn, rhaid i mi alaru mwy cyn cael fy nghyfiawnhau. Deall hyn yn dda. Meddwl fod yn rhaid i ti fod yn fwy drylliog, yn fwy gostyngedig, yn fwy galarus, yn fwy teimladwy o faich pechod, cyn y gallot gael dy gyfiawnhau, yw gosod dy ddwys-bigiad, dy alar, dy ostyngiad, yn sylfaen dy gyfiawnhad, o leiaf, yn rhan o'r sylfaen. Am hyny fe rwystra hyn dy gyfiawnhad; a rhwystr yw a raid ei symud ymaith, cyn y gelli osod y wir sylfaen. Nid y wir sylfaen yw dy ddwys-bigiad (er nad dy eiddo yw) na'th gyfiawnder, na dim o'th eiddo, nac un peth a weithredir ynot gan yr Yspryd Glân; ond rhyw beth ag sydd oddi allan i ti, sef cyfiawnder a gwaed Crist.

"Canys hwn yw 'r gair, 'I'r hwn sydd yn credu yn Nuw, yr hwn sydd yn cyfiawnhau yr annuwiol, ei ffydd a gyfrifir iddo yn gyfiawnder.' Oni welwch chwi, nad yw 'r sylfaen ddim ynom ni? Nid oes un cyssylltiad rhwng Duw a'r annuwiol. Nid oes un cwlwm i'w huno. Y maent oll yn neillduedig oddiwrth eu gilydd. Nid oes un peth yn gyffredin rhyngddynt. Nid oes dim, mwy neu lai, yn yr annuwiol i'w huno â Duw. Gweithredoedd, cyfiawnder, dwys-bigiad? Nac ydynt; annuwioldeb yn unig. Gwna hyn, ynte, os myni osod y wir sylfaen, dos yn union at Grist, ynghyd â'th holl annuwioldeb. Dywed wrtho, Ti, yr hwn y mae dy lygaid fel fflam dân, yn chwilio 'r galon, a weli mai annuwiol ydwyf; ni phlediaf ddim arall. Nid wyf yn dywedyd fy mod yn ostyngedig, neu yn ddrylliog, ond fy mod yn annuwiol; am hyny dwg fi ato ef yr hwn sydd yn cyfiawnhau yr annuwiol. Boed dy waed yn iawn trosof, canys nid oes ynof fi ddim ond annuwioldeb.

"Yma y mae dirgelwch. Yma y mae doethion y byd yn cloffi, yn cael eu dal yn eu cyfrwysdra eu hun. Nid yw dysgedigion y byd yn gallu dirnad hyn. Ynfydrwydd yw iddynt. Pechod yw yr unig beth a ysgara ddynion oddiwrth Dduw. Pechod (yr hwn sy'n gwrando, dealled) yw yr unig beth a'u huna â Duw; hyny yw, yr unig beth a bair i Fab Duw drugarhau wrthynt, a thrwy ei waed i roi dyfodiad iddynt at y Tad.

"Hwn yw gair y cymmod yr ydym yn ei bregethu. Dyma 'r sylfaen na syflir byth. Trwy ffydd y'n hadeiledir ar y sylfaen hon; a'r ffydd hon hefyd sydd rodd Duw. Ei rad rodd ydyw, yr hon a rydd bob amser i'r rhai ydynt foddlon i'w derbyn. A phan dderbyniont y rhodd hon gan Dduw, yna todda eu calonau gan dristwch o herwydd ei ddigio. Ond y mae y rhodd hon o eiddo Duw yn annedda yn y galon, nid yn y pen. Nid yw ffydd y pen, a ddysgir gan ddynion, neu lyfrau, o un gwerth. Nid yw yn dwyn na maddeuant pechod, na heddwch â Duw. Ymdrechwch, ynte, i gredu â'ch holl galon; felly y cewch brynedigaeth trwy waed Crist; felly y glanheir chwi oddiwrth bob pechod; felly yr ewch rhagoch o nerth i nerth, gan gael eich hadnewyddu o ddydd i ddydd mewn cyfiawnder a gwir sancteiddrwydd."

Nid oes, yn fy meddwl i, un achos chwanegu ar hyn. Mae 'r pwngc yn cael ei osod allan yn neillduol oleu: a phwngc yw o'r pwys mwyaf, gan fod ein cadwedigaeth yn ymddibynu arno.——Ydwyf, dy eiddo yn gywir,

DYMUNWR DY LWYDDIANT.

---

## SYLW AR EZRA IX.

EIN llawenydd a'n tristwch ydynt yr arwyddion oddiwrth ba rai yr adwaenir tymher ein calonau. Llawenydd a thristwch daearol sydd yn effeithio ddyfnaf ar y galon ddaearol, eithr nid ydynt yn effeithio ond ychydig ar yr hon sydd ysprydol a nefolaidd. Yn hon y mae y gweddïau a'r gofidiau am achosion ysprydol yn dra nerthol; ïe, nid yw y galon dduwiol yn meddwl cymmaint am ei lles ei hun yn ei galar a'i llawenydd, ond y mae yn teimlo mwy am bechodau dynion ereill nag y maent hwy eu hunain y rhai sydd euog. "Afonydd o ddyfroedd a redant o'm llygaid:" medd y Salmydd, "am na chadwasant dy gyfraith di." O, gymmaint mwy o ddaioni a wnai ychydig o'r cyfryw ddynion mewn ympryd cyffredinol na channoedd o honom ni! Mae dis-

tawrwydd y cyfryw un yn llefaru mwy na'n holl drwst ni: ei ddull yn "eistedd yn syn hyd yr offrwm prydnawnol." Y mae gofidiau bâs ac arwynebol yn cael y tafod yn rhwyddach, ond y mae y rhai dyfnion yn anhawss i'w traethu, er eu bod yn ceisio ymwthio allan, fel dwfr o lestr llawn a gwddf cyfyng. Felly yr oedd hi mewn perthynas i ofid Ezra am bechodau y bobl; ond pan dòro allan, y mae yn tarddu i fynu gyda mwy o nerth, ïe, hyd y nefoedd. "Mi a ostyngais ar fy ngliniau, ac a ledais fy nwylaw at yr Arglwydd fy Nuw, ac a ddywedais, O fy Nuw, y mae arnaf gywilydd a gorchwyledd godi fy wyneb atat ti, fy Nuw; o herwydd ein hanwireddau ni a aethant yn aml dros ben:" fel pe dywedasai, y mae y rhai hyn yn fy nhoi â chywilydd, ac y mae arnaf orchwyledd godi fy wyneb at y nefoedd hòno, i ba le y mae ein hanwireddau wedi myned o'r blaen. Pan edrychwyf atat ti, gwelaf ein camwedd echryslon, a therfysg y bobl, wedi myned yno o'r blaen, ac yn ein cyhuddo. "Ein camwedd a dyfodd hyd y nefoedd." Mae wedi cael amser maith i dyfu, ac felly y mae wedi tyfu mor uchel. "Er dyddiau ein tadau yr ydym ni yn y camwedd hwn." Mae cenhedlaethau yn myned heibio, ond ein pechodau ni nid ydynt yn myned heibio ddim. Pan fo cenhedlaeth newydd yn dyfod, mae yr hen bechodau yn cael eu cadw, a rhai newyddion yn cael eu chwanegu atynt; felly maent yn *tyfu*. Y mae hyn yn llenwi y mesur, ac yn aeddfedu gwlad i farn, yr hon sydd hefyd yn llenwi ac yn tyfu yn gyfatebol i'r pechod, hyd oni thywelltir hi allan. Oddi yma mae gorthrymderau cyffredinol a barnedigaethau parhaus yn dyfod ar y genedl.

Yn awr, y mae y ddau beth hyn yn trymhau yr euogrwydd: barnedigaethau mawrion wedi eu hanfon, a gwaredigaethau mawrion wedi eu caniatâu. Er hyny, ar ol y ddau, yr oedd y bobl hyn wedi gadael gorchymynion Duw. "Ac wedi yr hyn oll a ddaeth arnom am ein drwg-weithredoedd, a'n mawr gamwedd, am i ti ein Duw ein cospi yn llai na'n hanwiredd, a rhoddi i ni ddiangfa fel hyn." Onid dyma fel y mae hi gyda ni? Oni ffangellwyd ni yn llymdost, er yn wir yn llawer llai na'n hanwiredd; ac oni waredwyd ni i ryw raddau yn ein cyfyngder? Ac etto, oni throseddasom ei orchymynion ef drachefn? ac onid ydym etto yn parhau i wneuthur hyny yn gyffredin? O, pa beth a ddywedwn ni wrth ein Duw! "Nid allwn ni sefyll o'i flaen ef am hyn." Bydded i ni, gan hyny, syrthio i lawr o'i flaen ef, a chyffesu a gweddïo, ac y mae etto obaith y cymmer efe drugaredd arnom. CYF. R. C. LL.

---

## AIL LYTHYR AR FEDDWDOD.

MR. GWYLIEDYDD—Gan ddarfod i mi ysgrifenu llythyr ar y matter hwn ychydig o amser yn ol, yr hwn a ymddangosodd yn y Gwyliedydd am Ragfyr, 1831, tybiais na fyddai yn anfoddhaol genych etto roi lle yn rhyw gongl o'ch Cyhoeddiad i'r ychydig a ganlyn. Ac yr wyf yn mawr obeithio y bydd i'r dysgedigion aml sydd yn dderbynwyr o'ch Cyhoeddiad fyned heibio i holl ffaeleddau y llythyr hwn, ynghyd â phob un arall o'm heiddo, pan y bydd iddynt wybod nad wyf ond bachgenyn.

Mae yn ymddangos i mi mai y meddwyn yw y dyn mwyaf dihir iddo ei hun, ac i bawb ereill, o braidd neb; oblegyd y mae y meddwyn yn cael ei ffieiddio gymmaint, a'i ffyrdd yn cael eu casâu, fel ag y darfu nid yn unig i greadur rhesymol, ond afresymol, megys bwch gafr, ffieiddio eu ffyrdd hwynt. (Cadarnhad o hyn a welir yn hanes Rhys Prichard, Llanymddyfri.) Hefyd, byddai y Groegiaid yn meddwi rhyw un yn y teulu, fel y byddai i ffieiddra yr adyn mochynaidd roddi dychryn y'mhawb fyddai yn edrych arno. Hefyd, yn amser Adrian, pan yr oedd newyn mawr trwy holl Ymerodraeth Rhufain, yr oedd y gwr hwn yn ystyried mochyn yn fwy o addurn i'w Ymerodraeth na'r meddwyn. A phan yr oedd y Babiloniaid yn feddwon, daeth Cyrus, Brenin Persia, ac a'i dinystriodd, ac ni ddiangodd ond ychydig heb eu dinystrio o'r holl dref fawr hòno, yr hon oedd 60 milltir o amgylchiad. Dywedodd Origen, un o'r dynion callaf yn ei oes, fod yn well ganddo fod yn yr un ystafell a chi marw nag â Brenin meddw: "Oblegid (medd efe) nid yw y cyntaf ond drwg ei arogl; ond y mae y meddwyn yn elyn i mi, yn fathrwr cyfreithiau Duw, ac yn bobydd i'r diafol. Ond y mae yn deb-

yg mai y weithred ganlynol yw yr erchyllaf ag sydd genym hanes am dani a gymmerodd le o herwydd meddwdod. Pan yr oedd Nicolas, Brenin Abyssinia, ac Asder, Brenin Barbary, yn y Jubili fawr yn yr Aipht, bu i Asder feddwi, ac yn ei feddwdod gwaeddodd allan, "Myfi yw Brenin Abyssinia!" a chyd â'r gair trywanodd Nicolas ef trwy ei galon; ac o achos hyny bu ymladdfeydd gwaedlyd am ragor na 40 mlynedd rhyngddynt; ac yn yspaid hyny o amser lladdwyd, rhwng y ddwy ochr, oddeutu 17,600,000, a hyny i gyd o achos meddwdod. Ond yn awr, trown ein golwg, ac edrychwn ar y niweid a wnaeth meddwdod yn ein gwlad ein hunain. Ceraint Feddw, Brenin Esyllwg, a losgodd yn ei feddwdod yr holl ŷd y'mhell ac yn agos ar hyd llawr gwlad; ac o achos hyny bu newyn bara mawr trwy 'r holl wlad. Yn ail, Gwrtheyrn Gwrthinan a roddes yn ei feddwdod i Llors, Ynys Danet, am gael gorwedd gyd â'i ferch Rhonwen; a mwy o ddrygan a wnaeth hyn i ni, y Cymry, o genhedlaeth i genhedlaeth hyd amser Harri y Seithfed, nag a fedr un dyn ei brisio; oblegid collodd llawer o filoedd eu bywydau yn yr ymrysonau hyn, a'r cwbl a achosodd hyny oedd meddwdod. O achos meddwdod hefyd y dinystriwyd Cantre 'r Gwaelod, tref fawr yn amser Emrys Wledig rhwng Arfon a Meirionydd: ynddi yr oedd deg o leoedd i gadw ffeiriau, dwy ar bymtheg o eglwysydd, a saith ar hugain o felinau dwfr, a chant o faenerau, a dau o weithydd mawrion, un plwm ac un sylphur. A Saithinen Feddw, mab Saithy Saidi, yn ei feddwdod a ollyngodd y môr dros Gantre 'r Gwaelod, hyd oni chollwyd y cwbl ag oedd yn y lle. Y môr a orlifodd dros y wlad, tai lawer a ddinystriwyd, a dynion lawer a gollasant eu bywydau.——Ydwyf, eich ewyllysiwr da,

DEWI AP GWILYM.

*Glan Afon Rhothellt.*

---

## ALLTUDAETH (*TRANSPORTATION.*)

UN dull o gospi troseddwyr yn erbyn cyfraith Dduw a'r gyfraith wladol yw *Alltudaeth* i wledydd tramor. Ac y mae genym ddigon o sail i ddywedyd fod y gospedigaeth hon yn un o faith hynafiaeth, mor foreu a dyddiau y prophwyd Ezra (os nid yn gynt). Yn ei lyfr canonaidd ef yr ydym yn darllen (pen. 7. 26.) am bedwar math o gospedigaethau ar droseddwyr "cyfraith Duw, a chyfraith y brenin:" 1. Marwolaeth. 2. Dëolaeth (neu *alltudaeth*, Saes. *banishment.*) 3. Dirwyaeth (Saes. *confiscation*, neu *fine*). 4. Carchariad. Ac y mae pob un o'r cospedigaethau hyn yn arferedig yn Mrydain yn ein dyddiau ni. Eithr fel y mae 'r byd yn cael ei oleuo, a dynoliaeth yn gwareiddio, y mae barn *marwolaeth* yn cael ei hattal i raddau mwy nag y byddai. Yr oedd rhywbeth o hyn wedi tyfu y'mysg y genedl Iuddewaidd cyn amser ein Hiachawdwr; canys yr ydym yn darllen yn Ioan 18. 31. fod y swyddogion Iuddëaidd yn dywedyd wrth y rhaglaw Rhufeinaidd, "Nid cyfreithlawn i ni *ladd* neb." Er bod cyfraith Moses yn gorchymyn iddynt yn union-gyrchol *labyddio* cablwyr (*Lef.* 24. 10—16.) o'r hwn drosedd y barnent yr Iesu yn euog, *Ioan* 5. 18. a 10. 33. a 19. 7. eithr y mae ysgrifenydd nodedig yn sylwi ar hyn, gan ddywedyd, fod y senedd Iuddewig wedi diddymu y gyfraith o barth cosp marwolaeth, gan ei farnu yn ormod creulondeb dodi Israeliad i angeu, ac na labyddid neb ganddynt oddieithr mewn rhyw gythrwfl cyhoeddus, megys yn amgylchiad Stephan, *Act.* vi, vii. Ac o ganlyniad i ddiddymiad y gosp hon, ac i lesgedd trefn eu gwladwriaethiad, yr oedd y deiliaid wedi myned i'r annhrefn mwyaf, a'r gorthrymder haerllucaf.

Ond i ddyfod at brif gyfeiriad y darddawd hwn, sef gweinyddiad y gosp o *Alltudaeth* yn Mrydain:—Gan na wyddys yn gyffredin pa fodd y trinir y troseddwyr a ddëolir o'r deyrnas hon, a'i fod yn dŷb dreigledig y'mhlith y gwerin nad yw amgylchiadau yr alltudion hyny ond esmwyth a diofal; neu, o leiaf, nemawr gwaeth na'u sefyllfa gartrefol yn eu gwlâd gynenid. Ac oddiar y casgliad hwn nis tybir yn fawr o anffawd dyfod dan y cyfryw ddedfryd; ie, cafwyd amryw siamplau o droseddwyr yn diolch, ger bron y llŷs, i'r barnwyr, am ei chyhoeddi arnynt.

Eithr dymunir i'r adroddiad canlynol gael argraff amgenach ar y sawl a'i darllenont:—Y troseddwyr a ddyfarner i *Alltudaeth* yn ein gwlâd ni, a drosglwyddir,

gan mwyaf, yn bresennol, i *Van Dieman's Land*,* ynys yn y Môr Tawel Deheuol, tuag un mil ar bymtheg o filltiroedd o Loegr, ynghylch 210 milltir o hyd, a 150 o led; yn sefyll o du y deheu i *New South Wales;* rhwng 40 a 43 o raddau lledred deheuol, a rhwng 146 a 150 o raddau hydred dwyreiniol. Gwahenir hi oddiwrth *New South Wales* gan gul-fôr Bass, yr hwn sydd tua chan milltir o led.

Pan gymmerer llongaid o ddrwg-weithredwyr o Loegr yno, heb wahaniaeth yn y byd, gyda golwg ar eu hamgylchiadau blaenorol, naill ai fe'u cedwir y'ngwasanaeth y llywodraeth, neu, fe'u gwerthir i foneddigion y wlad yn gaeth-ddeiliaid. Ac yna fe'u dodir mewn llafur didor, yn ol y galwedigaethau y buant fwyaf cynnefin â hwynt gartref, a darperir iddynt luniaeth, dilladaeth, a llettŷaeth ar gost y llywodraeth. Mae 'r holl grefftwyr a'r cyffredin weithwyr yn cael eu cyfanneddiad mewn math o luestfa *(barracks)* ddarparedig i'r perwyl; eithr y rhai a fedront ysgrifenu mewn swyddfëydd, caniatëir iddynt breswylio mewn manau ereill, a rhoddir iddynt ryw gydnabod o gyflog, o *ddeg* i *ddeunaw* punt yn y flwyddyn, a rhyw ychydig bach tuag at ddilladaeth. Ac y mae y rhëolau wrth ba rai y'u trinir yn gwneud eu hamgylchiad yn gospedigaethol ddibaid; oblegid ni oddefir iddynt arferyd na'u hamser na'u medr tuag at ddim elw iddynt eu hunain; ac ni chaniatëir iddynt berchenogi dim meddiannau, hyd yn nod pan y byddo ganddynt berthynasau galluog i'w cynnorthwyo. A'r rhai a werthir i foneddigion y lle, mae eu cyrph a'u gwasanaeth yn cael eu hystyried yn gyfangwbl yn eiddo eu meistriaid. Ni chânt ddim absennoli oddidan eu cronglwyd—derbyn dim cyflog—gweithio dim iddynt eu hunain—myned i unlle heb drwydded; ac felly, er eu hystyried yn meddu rhyw fath o ryddid, maent yn hollol dan awdurdod eu perchenogion. Mae 'r manyldra â pha un y trinir hwynt yn gaethach yn awr er's tair blynedd o lawer nag ydoedd o'r blaen. Ac er hyny i gyd y mae 'r holl drefniadau hyn yn dra angenrheidiol a buddiol, ac yn cael effaith ddymunol, nid yn unig ar yr alltudion eu hunain, eithr hefyd gyda golwg ar rydd-drigolion y lle. Mae yn ofynol i sefyllfa dynion a anfoner i'r cyfryw le, am eu troseddau, fod yn gospedigaethol. Nid oes ganddynt un rheswm i ddysgwyl yn amgen; ac ni ddylid rhoi dim lle iddynt ddysgwyl yn wahanol.

Etto gyda golwg o annogaeth a gwobrwyad i ymddygiadau da, fe ganiatëir iddynt fath o docynau goddefiad, drwy ba rai y rhyddhëir y derbynydd oddiwrth lafur gorfodogawl, ac yr adferir iddo ryw fath o ryddid yn y Drefedigaeth *(Colony)* ond nid i ymadael o honi ar gyfrif yn y byd. Ond y mae rhyw barotôadau darpariadol yn ofynol i'w harferyd yn flaenorol i hyn, megys cyrhaeddyd rhyw swyddogaeth yn y rëolaeth, &c. yr hyn nis cyrhaeddir ond gan ddynion da eu gair; a hyny yn raddol sy'n arwain mewn rhyw yspaid bennodol o amser i ragorfreintiau o gryn bwys. Y rhëol sefydledig gyda golwg

* Yr ynys hon gynt a ystyrid fel rhan o Holand Newydd; eithr yn ddiweddarach ceffid allan fod cul-fôr rhyngddynt. Darganfyddwr cyntaf y lle ydoedd Tasman, y mordwywr Allmaenaidd, yn y fl. 1642; ond ni sefydlwyd yno un Drefedigaeth hyd 1803; a bu rai blynyddoedd wedi hyny yn isel iawn o ran amgylchiadau, hyd yn y fl. 1813, pan y cyhoeddwyd ychwaneg o ryddid i'r ynys; o hyny allan bu ei chynnydd yn gyflym iawn. Nifer y trigolion yn 1821 ydoedd 7,185; ond yn bresennol y maent uwchlaw 24,000 o bobl wynion, ac o fil i fil a hanner o'r cyn-drigolion, y rhai ydynt dduon. Yn mis Rhagfyr, 1825, gwneid cyhoeddiad awdurdodol o ryddid Trefedigaeth *Van Dieman's Land*, yr hon hyd yn hyny a ystyrid yn ymddibynol ar *New South Wales*. Ffurfiwyd llysoedd deddfwneuthurol a gweinyddol dan nawdd Coron Lloegr. Corphorwyd Cymdeithas fasnachol ac amaethyddol drwy gymmeradwyaeth y Llywodraeth, â gwaddol o £250,000; a'r Gymdeithas hon sydd yn myned rhagddi, ac sydd yn awr mewn meddiant o uwchlaw tri chan mil o gyfeirian o dir. Mae y brif ddinas, yr hon a elwir *Hobart Town*, yn bresennol yn cynnwys mwy o drigolion nag oedd yn yr holl Drefedigaeth yn y fl. 1821. Cyhoeddir yno bump o Bapurau Newyddion wythnosol; a chynnelir amryw ysgolion cyfrifol mewn gwahanol fanau. Adeiledir lleoedd addoliad mewn sefyllfaoedd cyfleus drwy y Drefedigaeth, a thelir i'r Gweinidogion gan y Llywodraeth. Mae tymher awyrol yr ynys yn un o'r rhai iachaf yn y byd. Yn misoedd yr haf (sef ein Rhagfyr, Ionawr, a Chwefror ni) canolbwynt y tymher-fesurydd *(thermometer)* sydd tua 70, ac yn y cynhauaf (sef ein gwanwyn ni) o 50 i 60; a'r gauaf (sef ein Mehefin, Gorphenhaf, a'n Hawst ni) sydd y'mhell oddiwrth fod yn oer. Arddengys gwyneb y wlad yr amrywiaeth hyfrydaf o fynyddoedd a dyffrynoedd: amledd o aberoedd ac afonydd, o ba rai y prif yw Derwent, Huon, a'r Tamar, oll yn fordwyol; a *Sulivan's Cove*, lle mae Tref Hobart yn sefyll, sydd yn un o'r porthladdoedd ardderchocaf yn y byd. Mae rhai o'r mynyddoedd yn uchelion iawn: Mynydd Wellington, o du gorllewinol Tref Hobart, sydd o 4000 i 5000 o droedfeddi yn uwch na gwyneb y môr, ac felly yn uwch na'r Wyddfa yn Swydd Gaernarfon. Mae yno hefyd ddigonedd o fŵn-gloddiau haiarn, copr, plwm, arian, ac aur: amledd o gerig calch, a gwelyau glô.

ar ennill y cyfryw oddefiad ydyw ymddygiad da diball, a pharhâd y gwasanaeth. Rhaid i ddynion fyddent wedi cael eu halltudio am saith mlynedd, fod wedi trigiannu pedair blynedd yn y Drefedigaeth cyn y byddo ganddynt un hawl i docyn goddefiad,—a'r rhai fyddont wedi eu halltudio am bedair ar ddeg, fod wedi treulio chwech,—a'r rhai dros eu bywyd, wyth. Gall y rhai pedair blynedd ar ddeg ddysgwyl goddefiad y'mhen dwy ran o dair o'u hamser, a'r rhai am oes, y'mhen deuddeng mlynedd; ond un weithred unigol o gam-ymddygiad, am yr hon y dyger dyn ger bron swyddog, ac y côf-noder y bai yn ei erbyn, pa mor ysgafned bynag y byddo, a'i teifl yn ol nas gŵyr neb pa hyd, ac y mae 'r hawl y tybiai ei bod ganddo yn ol y rhëol uchod, yn cael ei fforffetio yn hollol.

Mae rhai pobl yn Lloegr yn dychymmygu nad yw cyfiwr o alltudaeth ond esmwyth a breiniol. Ond elont hwy i *Van Dieman's Land* am flwyddyn, a hwy a gyfnewidiant eu barnau. Yno, fel y'mhob amgylchiad bywyd, y rhai a ymddygont yn addas sydd oreu arnynt, rhagor y rhai na ofalant pa fath fuchedd a ddilynant, na pha ddrygau a gyflawnant!

CYNNIWYLLYDD.

---

## PA BETH YW DYSGEIDIAETH?

DICHON y gofyniad hwn ymddangos yn dra ffol, a digon hawdd i'w ateb; ond y mae llawer sydd yn tybied felly, mewn gwirionedd yn analluog i'w ateb yn gywir, ac yn meddu syniadau cyfeiliornus am dano. Mae pob dyn mewn gwlad rydd yn gofyn tri math o ddysgeidiaeth; un, i'w addasu at ei briodol grefft, neu ei alwedigaeth; un arall, i ddysgu iddo ei ddyledswyddau fel dyn, ac aelod o'r wladwriaeth; a'r trydydd math i'w addasu at ei uwch berthynas, fel creadur Duw, anfarwol, a chydgyssylltiedig â thragywyddoldeb, hyn yw dysgeidiaeth grefyddol. Yn awr, mewn gwirionedd, yr hyn sydd fwyaf defnyddiol i ddyn yw hyny ag sydd yn gweithredu fwyaf tu ag at ei ddedwyddwch; peth mor amlwg ag y gall ymddangos yn ffolineb ei grybwyll. Etto, mae pobl yn gyffredin, nid yn unig yn Nghymru, ond hefyd mewn gwledydd llawer amlach eu manteision i ennill gwybodaeth, yn cymmeryd y gair "defnyddiol" mewn ystyr arall, ac yn meddwl wrtho, nid beth sydd yn gweithredu fwyaf at ddedwyddwch dyn, ond beth sydd yn gweithredu fwyaf i ddwyn iddo elw; am hyny maent yn galw dysgeidiaeth o grefft, neu alwedigaeth, yn beth o fawr ddefnydd; ond yr amser a dreulir mewn dysgeidiaeth gyffredinol, pa un ai o bethau crefyddol, bucheddol, gwladwriaethol, neu, ynte, o unrhyw gangen arall o wybodaeth, a rwgnechir gan lawer fel yn cael ei wastraffu, yn enwedig os ymyraeth â'r ddysgeidiaeth arall, i ba un y cyfyngant yr enw "defnyddiol;" hyny yw, y ddysgeidiaeth ag sydd yn galluogi dyn i ennill ei fywioliaeth. Etto, dichon i ni oll fod yn rhagorol yn ein hamrywiol grefftau, neu alwedigaethau, a bod er hyny mewn dirfawr anwybodaeth, yn druenus, a drygionus. Gallwn wneud o'r goreu tra byddom wrth ein gwaith, neu ein galwad; ond nid oes un dyn yn gweithio bob amser. Mae amser yr hwn yr ydym yn ei dreulio gyd â'n teuluoedd; amser yr ydym yn ei dreulio gyd â'n perthynasau a'n cyfeillion; ac amser pwysfawr yr hwn yr ydym yn ei dreulio gyda ni ein hunain. Os na wyddom pa fodd i dreulio yr amseroedd hyn yn iawn, nid ydym ond distadl a dirmygus fel *dynion*, er y dichon i ni fod yn rhagorol ac enwog fel cyfreithwyr, physygwyr, ffermwyr, crefftwyr, neu pa beth bynag arall all fod ein neillduol orchwyliaeth. Yn awr, yr hyn a'n galluoga i dreulio y prydau hyn gyd buddioldeb yw, nid ein gwybodaeth o'n crefft, neu ein galwedigaeth, ond ein dysgeidiaeth a'n gwybodaeth gyffredinol; y ddysgeidiaeth ag sydd ar bawb yn gyfartal ei heisieu, sef yr hon a ddysga i ddyn, yn y lle cyntaf, ei ddyledswydd tu ag at Dduw a'i gymmydog; a'i hyfforddia mewn egwyddorion da, a thymmer amyneddgar a thirion; i ystyried, nid yn unig ei les a'i gysur ei hun, ond lles a chysur ereill hefyd: y ddysgeidiaeth a wna iddo ddeall, yn y lle nesaf, ei ddyledswyddau fel gwladwr, a ddysga iddo ufuddhau i'r cyfreithiau bob amser, ond i geisio eu cael mor berffaith ag y byddo bossibl, ac i ddeall hefyd nas gall llywodraeth gyfiawn a da

olygu budd unrhyw neillduol radd neu blaid o'r wladwriaeth yn rhagor nag ereill, ond fod rhaid iddi edrych at hyny a fydd er daioni i'r cyfan; bod rhaid i bob sefyllfa a gradd o bobl roddi yn gystal a chymmeryd; a phe byddai i bob un sefyll am gael pob peth yn ei ffordd ei hun, ni byddai dim ond terfysg ac annhrefn, neu y trais a'r gormes mwyaf tost. Ac o herwydd bod rhan fawr o'r cyfan sydd yn myned ym mlaen yn anuniawn ac yn drofaus yn y byd, mewn bywyd cyhoeddus a dirgel, yn codi oddiar anwybodaeth a drwg resymu, y ddysgeidiaeth a'n hyfforddа, yn y trydydd lle, i farnu yn gywir am ddynion a phethau, yn enwedig pethau crefyddol, ac a'n rhodda ar ein gocheliad yn erbyn twyll a dichell gastiau siaradwyr ac ysgrifenwyr annhêg, neu gymmysgedd a ffoledd rhai pennau dyryslyd, sydd beth gwerthfawr iawn i ddyn, a pheth, budd yr hwn a brofa pa bryd bynag bydd ganddo achos i agor ei enau i siarad, neu ei glustiau i wrandaw. Ac, yn ddiweddaf, pob peth sydd yn tueddu i wneuthur meddwl dyn yn fwy bywiog, i gynnyddu ei wybodaeth, ac i wneuthur ei amgyffrediadau yn fwy godidog ac ardderchog, sydd ychwanegiad anfeidrol at ei ddedwyddwch pryd y bydd yn unig, ac at hyfrydwch a budd ei gyfeillion pan bydd mewn cymdeithas. Gan hyny, mae yn beth mwyaf *defnyddiol* ddysgu deall a hoffi beth bynag sydd *ardderchog*, pa un ai mewn crefydd ai moesau; pa un ai yn ngweithredoedd Duw, ai yn ngweithredoedd dyn; pa un ai yn y blodau a'r meusydd, y creigiau a'r coedydd, ac afonydd, a'r môr a'r wybr; ai mewn adeiladau godidog, neu ddarluniadau hardd, neu gynghanedd hyfryd; ac yn ngogoneddus gyffrediadau a godidog dybiadau prydyddiaeth. Hon yw y ddysgeidiaeth a wna ddyn a phobl yn foesol, ac yn ddoeth, ac yn ddedwydd. Rhodder hon, ac ni fydd perygl i ni golli golwg ar ein dyledswydd o ddysgu ein galwedigaeth, am y gwna doethineb ac egwyddor onest sicrhau i ddyn wybodaeth o'i alwad; ond ni wna ei fod yn fedrus yn ei alwad eu sicrhau *hwy;* a doethineb ac egwyddor dda ydynt nid yn unig y pethau mwyaf anghyffredin a buddiol ag y gall dyn eu meddu yn y dyddiau hyn, ond pethau ydynt hefyd, o ba rai ni all byth fod gormod: ond ni wna dim cyfamryson neu lawnder, pa mor fawr bynag, leihau eu gwerth; ond po mwyaf o honynt a wneir, uchaf fydd eu pris, o herwydd fe fydd mwy i'w deall a'u hoffi.

J. J.

*G——y, Llanfair Caereinion.*

---

## Y FFAWYDDEN (*BEECH*).

Y MAE y Ffawydden, yn gyffredin, yn fwy taenedig, ac yn fwy llïosog y'Mrydain, na'r Gastan. Tyf yn well mewn tir bras, a chilfachau cysgodawl, nag mewn un man arall: a phan ei plenir mewn lle dymunol o'r fath, bydd yn bren rhagorol o hardd, a hynod o werthfawr. Y mae ansawdd llinod y Ffawydden yn peri i'w choed fod yn hynod o'r dymunol i wneuthur peiriannau, carnau eirf, ac amrywiol bethau ereill. Ni saif ei choed ruthrgyrch y trychfil; a phan newidir ei sefyllfa, megys o le sych i le llaith, buan y dersfydd ei gwasanaeth. Y mae ammheuaeth wedi bod a yw y Ffawydden yn un o frodorion Prydain, ai nad yw. Cæsar, yr hwn oedd hynod am dreiddio i lysieuaeth, a ddywed, na bu iddo ef ei chael yn y wlad hon; ac iddo fod yn y rhanau cynnesaf o honi, lle buasai fwyaf tebygol o'i chael, pe buasai mewn bod. Tyf y Ffawydden i uchder rhyfeddol pan fyddo cysgod yn un o'i phrif noddfeydd, ac a barhâ am flynyddau lawer yn blanciau mewn llongau, os bydd eu gorsaf yn wlyb, parhaus, ac i wneuthur cloiau, &c. Ei mângoed a wnant goed glo rhagorol, a bwyty moch ei ffrwyth. Tlodion Silesia a dynant ryw nodd olewaidd o honi, yr hwn a ddefnyddiant yn lle ymenyn; ac weithiau llosgant ei chnau i'r diben o wneuthur rhyw beth tebyg i *goffee*.

## Y LLWYFAN (*ELM*).

Y mae o gylch 15 o rywiau o'r Llwyfan. Ystyrir fod y Llwyfan gyffredin mewn gwedd dlodaidd yn y rhan ddeheuol o'r ynys hon. Rhaid ei bod yn Mrydain yn nyddiau 'r Sacsoniaid, o herwydd bod amryw o leoedd yn dechreu gyd â'r gair "*Elm*," ac i'w gweled yn llyfr *Domesday*, yr hwn a ysgrifenwyd yn 1086. Y mae 'r Llwyfan yn bren gwydn a chadarn, ond yn dra garw, ac agored ei llinod, yn fwy

felly pan yn tyfu mewn tir ffrwythlawn. Y Llwyfan sydd yn tyfu yn noldiroedd Lloegr sydd lawer gwaelach na'r rhai sydd yn tyfu yn Swyddi tufewnol yr Alban: y ddiweddaf â'i llined yn fanach, caletach, harddach, ac yn hawddach i'w gweithio. O'r naill y gwneir cadeiriau, a dodrefn heirddion ereill; pryd na wneir dim o'r llall oddieithr rhyw bethau at wasanaeth yr amaethydd, barilau, eirch (*coffins*) &c. Y mae'r Llwyfan o dwf anferth, ac o hir oes. Crybwyllir am un a blanwyd gan Harri IV. o Ffrainge, a'i bod yn sefyll yn Luxemburg ar ddechreuad y chwyldroad yno. Yr oedd un arall y'mhen uchaf Heol yr Eglwys, Chelsea, o blaniad y Dywysoges Elisabeth, ond amser a'i diorseddodd yn 1745. Ei hamgylchedd oedd 13 troedfedd, a 110 o uchder. Llwyfan Piff, gerllaw Derwen Boddington, yn nyffryn Gloucester, yn 1783, oedd o gylch 80 troedfedd o uchder, ac amgylchedd y fan lleiaf o'r prif fonyn oedd 16 troedfedd. Syr Ffrancis Bacon, yn 1600, a blanodd goed Llwyfan o amgylch Rhodfeydd *Gray's Inn*, ond adfeiliasant yn 1720. Oddiwrth hyn y bernir nad yw oes y Llwyfan ond o gylch 120 mlwydd. Y mae yn fwy na thebyg i fwg parhaus mwg-dyllau Caerludd effeithio ar iechyd Llwyfanod Syr Ffrancis.—I. M.

---

## ADARIAETH.

### LLYTHYR III.

#### 2. TYLWYTH Y DYLLUANOD.

NODEBAU y tylwyth hwn ydynt y rhai hyn. Gan nas gallont ddyoddef claer oleuni yr haul, ymneilldnant i ryw gil didramwy trwy gydawl y dydd; ond yn y cyfnos, pan y chwiliant anifeiliaid eraill am orphwysfa, gwelir y Dylluanod yn ymledu eu hadenydd yn ddystaw, gan hela eu hysglyfaeth. I'r dyben hwn, llumiwyd eu llygaid yn rhyfeddawl; gan eu bod hwy yn gweled yn fwy eglur yn y cyfnos nag ar liw dydd. Y maent eu llygaid yn fawr, gwedi eu gosod yn nghanol cylch o blu; eu pigau ac yr ewinau sydd yn gryfion a cheimion; a'r corff yn bur fyr, ond yn braff; ac yn wisgedig gan blu o'r meddalder a'r tyneredd mwyaf, o herwydd hyn mae eu ehediad yn hynod o ysgafn a dystaw.

#### 1. *DYLLUAN FAWR.*

Dyma'r fwyaf o'r Dylluanod Frythonig, a gwelir hi weithiau yn yr Alban; ond yn bur anaml yn neheubarth yr ynys. Gelwir hi hefyd y Ddylluan Hirglustiawg oddiwrth y clustblu, y rhai sydd yn tyfu i fynu i ddwy fodfedd o hyd. Mae y pig yn gryf ac yn bur gam, yn ddu ei liw; llygaid, melyngoch; coesau, pur ffyrfion; y rhai, gyd â'r bysedd, sydd yn orchuddiedig gan blu at yr ewinau. Lliw y pluf yn gyffredin yw gwinau a rhydliw tywyll, ac mae ymylau pob pluen yn oleuach no'r canol, ac y mae amryw frychau a lleiniau bychain o ddu, gwinau a melyn yn rhedeg drosti. Eu bwyd yw cwningod ac ieir y mynydd.

#### 2. *DYLLUAN GORNIAWG.*

Hyd, 14 modfedd; lled, cylch tair troedfedd. Pig, du; llygaid, melyn goleu; cylchblu y llygaid o liw yr hufen. Rhwng y pig a'r llygad mae llain crwn o winau tywyll, ac un arall o winau cochddu yn amgylchu yr wyneb. Mae y clustblu yn cynnwys chwech o blu ar bob ochr, o winau tywyll âg ymylau melynion; ar y cefn mae lleiniau o wyn, rhydliw, a gwinau; y fron a'r gwddwf sydd yn felyn, â lleiniau tywyll at i lawr. Y bol, morddwydau, a'r tinblu, sydd o liw yr hufen goleu, ac mae pedwar neu bump o frychau gwynion ar bob asgell. Mal yn y cyntaf mae plu ar y coesau a'r traed hyd at yr ewinau. Mae hon yn gyffredin; a chymmer feddiant yn aml o nyth piodau, lle y dodwya bedwar neu bump o wyau gwynion gogrwn.

#### 3. *DYLLUAN GLUSTIAWG.*

Mewn maint yn debyg i'r Ddylluan Gorniawg. Mae'r pen yn fychan fal pen Hebog; pig, tywyll; llygaid, melynion gloyw. Yn uniawn oddiamgylch y llygaid mae'r pig yn ddu, a blaenau y cylch yn wynaidd; y clustblu sydd yn cynnwys tair pluen, gwinau melyn, a llain du yn nghanol pob un; yn gyffredin mae'r plu yn sefyll i fynu—ond pan fydd ofn arnynt, prin gwelir y clustblu. Mae y cefn wedi ei amrywiaw â gwinau tywyll a melynddu; y bol a'r fron sy felynwyn a lleiniau tywyll ar eu hyd, yn fwy lliosawg ar y fron; y plu ar y coesau a'r traed sydd hefyd yn felynwyn. Mae yr esgyll yn hir,

ac yn estyn tros y gynffon. Ein cydwladwr Pennant oedd y cyntaf i ddarluniaw y rhyw hwn mor hardd ac anghyffredin; eu trigfanau ydynt wledydd mynyddawg a choediawg, ac maent yn nythu mewn rhai manau o Brydain.

### 4. *DYLLUAN WEN. ADERYN Y CORFF.*

Hyd, 14 modfedd. Pig, cornliw gloyw; llygaid tywyll; mae cylchblu y llygaid yn wyn glan; lliw y pen, cefn a'r esgyll yw melyn wedi ei amrywiaw â brychau mân o lwyd; mae'r fron, bol a'r morddwydau yn wyn, ac ar y fron a'r bol mae ychydig o frychau tywyll; gorchuddir y coesau gan blu hyd at y bysedd; mae 'r esgyll yn estyn tu draw i'r gynffon, yr hon sydd yn fer, wedi ei rhesu â lleiniau o wyn a thywyll, bob yn ail; yr ewinau, gwynion. Cair amrywiaeth mawr yn yr adar hyn yn ol eu hoedran; canys mewn rhai bydd y fron yn wen; mewn eraill, melynwyn neu frech. Eu trigfanau yw hen dŷau, cestyll, neu eglwysi; lle y dodwyant mewn tyllau, heb wneuthur dim nyth; mae 'r wyau, pump neu chwech o rifedi, o liw gwynaidd. Gelwir hwy yn gyffredin Adar y Corff yn Nghymru; ac ni chlywir eu hoergri ddychrynllyd yn y dyddiau hyn heb godi braw ar hen wrachod, ac ofn am eu bywydau eu hunain neu eu cymmydogion.

> "Eu nad sy groch ofnadwy,
> Ysgrech hell eu hysgrech hwy,
> Y claf os eu lleisiau clyw,
> Oer adyn! gwr marw ydyw."——TEGID.

### 5. *DYLLUAN FRECH.*

Hon yw'r Ddylluan a glywir mor aml yn nhawelwch y nos; o ran maint, mae hi yn debyg i'r olaf. Ei phig sydd wyn; ei llygaid, glas tywyll; cylchblu y llygaid sydd wyn â lleiniau gwinau; mae'r pen gwddwf, cefn, plu yr ysgwyddau, a'r esgyll yn wineugoch, yn frith â brychau gwineuddu a du; ar yr esgyll a'r ysgwyddblu mae rhai brychau gwynion gofawr yn rhedeg ar eu hyd. Y fron a'r bol sy felynwyn, â lleiniau cul o liw tywyll at i lawr, ac ereill o'r un lliw ar draws. Mae y coesau yn bluedig at yr ewinau, y rhai sydd yn fawr ac yn wyn. Y maent hwy yn nythu mewn ceubrenau, ac yn dodwy tri neu bedwar o wyau gwynion, yn agaws cymmaint ag wyau iar.

### 6. *COEG DDYLLUAN.*

Ei hyd yw 9¼ modfedd; lled 21½. Mae y pig yn gornliw, a'r llygaid melyn-goleu; cylchblu, gwynion yn gymmysg â gwinau goleu, a llain o ddu oddiamgylch. Mae y pen a'r gwddwf yn frith â gwinau goleu a gwyn; bron a'r bol, brychwyn; coesau, gwynion; cefn, esgyll, a chynffon, gwinau, â brychau gwynion. Eu trigfanau yw creigiau, ogofeydd, a hen adeiliau, a dodwyant bedwar neu bump o wyau brithwyn a melyn. Nid ydynt yn gyffredin yn ein gwlad ni, ac ni welwyd hwy ond bur anaml.

### 2. TYLWYTH Y CIGYDDION.

Y tylwyth diweddaf yn y llwyth cyntaf yw 'r Cigyddion; y rhai, er eu bod hwy yn fychain, y maent mor waedlyd a chreulawn a'r mwyaf o'r adar rheibus. Nid ofnant ymosawd ar adar mwy a chryfach noc eu hunain, megis y fran, pioden, a'r gweilch bychain; y maent hwy yn hela adar bach wrth ehedeg, ac weithiau ymborthant ar betrus a chywion ysgyfarnogod. Eu bwyd cyffredin yw mwyalchod, ac adar bronfraith, a'r unrhyw. Mae 'r tylwyth hwn megis dolen yn nghadwyn fawr Anian, ac yn cydrwymaw y llwyth cyntaf a'r ail. Eu nodebau yw y rhai hyn. Mae y pig yn gryf, uniawn yn y bon, ac wedi ei gamu yn y blaen, ac mae bwlch yn y genogl uchaf. Nid oes ganddynt gwyrgroen. Mae y tafod wedi ei hollti yn y pen, ac mae bys y troed nesaf allan wedi ei gyfunaw â'r bys canol can belled a'r cymmal cyntaf. O'r tylwyth gelwir tri yn Frythonig, sef,

### 1. *CIGYDD MAWR.*

Hyd, 10 modfedd. Mae y pig yn ddu, â gwrych yn y bon; cefnblu, llwydlas; odditanodd, gwyn; ar bob ochr y llygaid mae llain o ddu; yr esgyllblu hirion sydd yn ddu, gyda brych gofawr o wyn yn y bon, ysgwyddblu, gwynion; mae y ddwy blaen yn nghanol y gynffon yn ddu, a blaenau y lleill yn wynion; coesau, duon. Mae 'r wyau, chwech o rifedi, yn winau gwyrddaidd, â brychau duon yn un pen. Eu trigfanau yw cilfeydd mynyddawg, yn mysg llwynau drain. Gosodir yr adar bach ganddynt, y rhai ydynt eu hymborth, ar ddrain pigawg, lle y llarpiant hwy â'u

cegau; a dywedir eu bod yn dynwared lleisiau adar canu, er mwyn, ar ol eu hudaw atynt, eu hysglyfaethu.

2. *CIGYDD CEFNGOCH.*

Y mae hwn yn llai no'r cyntaf, ei hyd yw 7¼ modfedd, a'i led yn 12¼. Mae y pig yn ddu, y pen a gwaelod y cefn, llwyd; y cefnblu uchaf a'r esgyll, rhydgoch gloyw; y fron, bol, a'r ochrau, rhosliw goleu; gwddwf, gwyn; mae llain o ddu yn estyn o'r pig ar draws y llygaid; y ddwy bluen ganolaidd y gynffon sydd yn ddu, a'r lleill yn wynion yn y bon; esgyllblu hirion gwinau, a choesau duon. Adeiladant eu nyth mewn cloddiau a llwynau, lle y dodwya yr iar chwech o wyau, gwynion a chylch gwinengoch ar y pen tewaf. Tueddau y cigydd hwn a'r cigydd mawr ynt yn gyffelyb, ac heblaw adar bach, ymborthant hefyd ar chwilod ac ymlusgiaid.

3. *CIGYDD GLAS.*

Mae hwn yn bur anghyffredin yn ein gwlad ni, ond gan fod llawer o adar estronawl weithiau yn ymweled â mynyddoedd Cymru, a dichawn i rai o'ch darllenwyr gyfarfod âg ef, er eu lles hwy ysgrifenais y darluniad canlynawl. Mae ei dalcen ac oddiamgylch y llygaid yn ddu; gwddwf a bron, gwyn; y bol, ychydig dywyllach; cynffon, lwyd; o goryn y pen hyd at y war, gwineugoch; cefn, llwyd; ysgwyddblu, gwynion; coesau, tywyll; ewinau, ceimion a byrion.

## LLYTHYR IV.

### II. LLWYTH Y PIOD.

Cynnwysir yn yr ail lwyth nifer o adar ag sydd yn amrywiaw llawer y naill oddiwrth y llall; y maent y rhan fwyaf o honynt yn trigaw gyda ni y'Nghymru, a mawr ddedwyddwch a dderbyniant y sawl ag sydd a chyfleusdra ganddynt wrth fyfyriaw ar eu tueddau, a dysgu yn neillduawl eu hanian. Yn nghylch y mwyaf lliosawg maent hwy yn gwneuthur i ni fwy o ddaioni no drwg, yn ymborthi rhai o honynt ar abwy llygredig, ac hefyd gan ddyfetha cymmaint o bryfed ac ymlusgiaid niweidiawl. Y cyntaf yn ein rhestr yw,

1. *CIGFRAN.*

Yr aderyn hwn yw y mwyaf yn y llwyth. Mae hŷd y ceiliawg dros ddwy droedfedd, a'i led dros bedair. Yr iar sydd ychydig yn llai. Mae y pig yn gryf, ac yn ffyrf yn y bôn, dros ddwy fodfedd a hanner o hŷd, ac mae gwrych yn gorchuddiaw y ffroenau. Y lliw cyffredin yw du gloyw oddiuchod, a dulwyd odditanodd. Gwasgerir y gigfran trwy lawer o wledydd, a meddyliwyd gynt bod eu crygleisiau yn argoeliaw rhyw ofid mawr, ond yn ein dyddiau gwybodus ni nid ydym yn gofalu llawer am y fath arwyddion. Maent hwy yn hiroesawl, a dywedir eu bod yn byw dros gan mlynedd. Eu bwyd yw abwy, yr hwn a aroglant yn hirbell, a chwningod, cywion hwyaid, ac ieir. Gwybyddir hefyd eu bod hwy yn lladd ŵyn ieuaingc, ac yn dueddawl i dynu llygaid defaid pan y digwydd iddynt gael yr anifail yn wan ac yn sal. Adeiladant eu nyth yn gynnar mewn coed, neu dyllau creigiau, lle y dodwyant bump neu chwech o wyau gwyrddlas â brychau gwynion. Mae y ceiliawg a'r iar yn eistedd bob yn ail ar yr wyau.

2. *BRAN DYDDYN, BRAN FAWR,*

Sydd yn debyg i'r gigfran o ran lliw a'i thueddau. Mae ei hŷd o gylch 18 modfedd, a'i lled 36. Mae y rhai hyn yn fwy lliosawg no'r cigfrain. Maent yn nythu ar goed, ac a ddodwyant bump neu chwech o wyau tebyg i rai y gigfran. Eu hymborth yw abwy, a phob bath o ysgarthion, hefyd wyau, cregyn-bysg, ac ymlusgiaid.

3. *BRAN LUDLYD, BRAN Y LLUDW.*

Mae hon yn fwy no'r ŷdfran, ac yn 22 modfedd o hŷd. Y pig sydd yn ddu, ac yn mesur dwy fodfedd. Lliw y pen, yr esgyll, a'r gynffon, sydd yn ddu; y cefn, ac oll odditanodd sydd yn llwydwyn; coesau, duon. Mae'r adar hyn yn dyfod atom yr un amser a'r cyffylogod, ac yn ymadael yn y gwanwyn. Yn ein gwlad ni hwy a ymgymmysgant gyda'r ŷdfrain, ac ymborthant gyda hwynt. Yn ynysoedd gogleddawl yr Alban, y rhai hyn ŷw'r unig frain a ganfyddir yno; ac a nythant yn y creigiau ar lan y môr, lle y dodwyant chwech o wyau. Eu bwyd yw cregynbysg, ac ymlusgiaid y môr.

4. *YDFRAN.*

Sydd o'r un maint a lliw a'r fran dyddyn. Gorchuddir bon y pig a'r ffroenau hyd at y llygaid gan groen garw, ac yn y fran hon yn unig. Eu bwyd penaf yw pryfed y ddaear, llindys, a chwilod, ac maent yn ddiammau wrth eu llafur yn gwneuthur mwy o ddaioni no drwg i'r amaethydd, ac nid ydyw 'r ŷd yn llawer a gollir wrth iddynt diriaw am eu hysglyfaeth. Maent hwy yn byw ac yn nythu yn heidiau; a gwelir lluoedd mawr o honynt yn ehedeg oddigartref yn y boreu i chwilied am eu bwyd, ac etto cyn nos, neu yn mrig yr hwyr, yn dychwelyd yn eu hol. Pan adeiladant eu nythod, y maent hwy yn eiddigus a gwyliadwrus am eu heiddo eu hunain; ond pan cânt gyfleusdra, dygant yn uniawn frigau oddiar eu cymmydogion.

5. *CORFRAN. CAWCI.*

Mae 'r aderyn hwn yn llai o lawer no'r ŷdfran, ac yn mesur ond 13 modfedd o hŷd, a 28 o led. Y pig sy ddu; a'r llygaid, melyn; tu ol y cefn a'r gwddwf sy ddulwyd; a'r plu eraill, du gloyw; coesau, duon. Mae y gorfran yn gyffredin yma, ac y maent yn araws gyda ni trwy 'r flwyddyn; ond yn Ffrainc a'r Almaen maent hwy yn mudaw. Eu trigfanau yw clochdai, hen adeiliau, a chestyll, lle y nythant yn heidiau. Mae eu hwyau, pump neu chwech o rifedi, yn oleuach a llai no rhai yr ŷdfran. Pur anaml y nythant ar goed; ond mewn rhai manau dywedir eu bod weithiau yn nythu yn nhyllau cwningod.

6. *PIODEN. PIA.*

Hŷd, 18 modfedd. Mae ei big yn gryf, ac yn ddu; llygaid, tywyll. Y pen, gwddwf, cefn, bron, a'r gynffon, sy dduon; yr ysgwyddblu, ac odditanodd, sydd o wyn pur; y morddwydau a'r coesau, duon. Maent yn bur gyffredin yn ein gwledydd ni, ac ydynt yn hynod am eu cyfrwysdra. Gweuir dros y nyth do o frigau pigawg wedi eu cydblethu yn gywrain, ac oddimewn mae gwlan, a phethau meddal eraill; dodwyant saith neu wyth o wyau gwyrddlas â brychau duon.

7. *BRAN BIG COCH. BRAN Y WERDDON. PALORES.*

Mae 'r aderyn hwn yn hirach a thalach na'r gorfran. Y pig sydd yn hir, ac yn gam, o liw coch gloyw; y llygaid a'r amrantau hefyd sydd yn gochion fal y pig, a'r ewinau mawr ceimion sy ddu. Adeiladant eu nyth ar greigiau wrth lan y môr, ac mae 'r wyau, pedwar neu bump o rifedi, wedi eu brychu â melyn. Maent hwy yn trigaw yn lliosawg ar greigiau Llandudno a Rhiwleden yn Arfon, ac mewn amryw fanau eraill yn y Dywysogaeth.

*(I'w barhau.)*

---

## AT OLYGWR Y GWYLIEDYDD.

Hybarch Wyliedydd—Os gwelwch yr ysgrif ganlynol yn deilwng o le mewn rhyw gongl o'ch Cyhoeddiad clodwiw, byddai yn ddywenydd genyf i chwi ei gyfleu, yn ddrych i'r Cymry i edrych ynddo, fel ag y byddo iddynt ganfod naill ai gwerth y breintiau sydd wedi peri iddynt ragori mewn rhai pethau ar y Paganiaid, neu ynte ddangos yr esgeulusdra o adael i'r Paganiaid hyny ragori arnynt hwy mewn pethau ereill.

Ieuan Hefin.

Nid Canton,
*Tachwedd* 1, 1832.

## MOESAU CHINA.

*(A gymmerwyd allan o Waith Mr. Myers, sef rhai darnau o Gyfreithiau y Chineaid.)*

Parcha nef a daear, gan ymddwyn yn uniawn tu ag at y duwiau.

Addola dy henafiaid. Bydd ufudd i'th rïeni. Cadw gyfreithiau y brenin. Anrhydedda y'th ddysgawdwyr a'th uwchraddolion.

Câr dy frodyr. Bydd ffyddlon i'th gyfeillion. Bydd heddychol â'th garenydd. Cyduna â'th gyd-drefwyr.

Bydded i wr a gwraig, bob un edrych ar ol eu dyledswydd berthynasol, gan ddysgu eu plant a'u hwyrion.

Gwna bob amser yr hyn a fydd fuddiol i ereill.

Bydded genyt lawer o gymmwynasau dirgelaidd. Tyna o drallod. Cynnerthwya y rhai sydd yn dioddef.

Trugarha wrth yr amddifad, a bydd yn dirion wrth y tlawd.

Adeilada demlau, ac adgyweiria hwynt. Gwna ac argraffa lyfrau moesol a chrefyddol.

Dyro gyfferi. Bydd yn haelionus ar *dê*. Paid a lladd anifeiliaid, a rhyddhâ hwynt fel y byddont byw.

Gwna bontydd; cyweiria ffyrdd. Tosturia wrth weddwon, a gwared y gorthrymedig. Edrych yn barchus ar ŷd; defnyddia ddigon, heb wastraffu dim o hono. Symud ofidiau dynion, ac ymheddycha rhyngddynt.

Rho o'th feddiannau i wneud daioni. Gwna heddwch rhwng gelynion. Myn fesurau gonest, a phwysau cywir.

Dos yn agos at y rhinweddol; cadw ym mhell oddiwrth ddynion drwg. Cuddia wendidau dynion, a chyhoedda eu rhagoroldeb hwy.

Gwna beth llesol i greaduriaid, ac achub y bobl gyffredin.

Tro dy feddwl at iawn egwyddorion; diwygia gyfeiliornadau; adnewydda dy hun.

Llanwer di â chymmwynasau a thiriondeb, ac na chadw feddyliau drwg.

Wrth y rheolau uchod gwel y darllenydd fod gwersi iddo ef i'w cael yn ymddygiadau y Chinëaid, trwy eu bod yn craffu ar eu bucheddau mor aml; etto pwy a beidia a galaru wrth ganfod eu tywyllwch am y gwir Dduw!

---

## PREGETHU TEITHIAWL YN YR EGLWYS SEFYDLEDIG.

Mr. Gwyliedydd—Cefais ar fy meddwl er's maith amser eich annerch mewn perthynas i'r pwngc uchod: pwngc, yn fy marn i, o fawr bwys i achos crefydd yn yr Eglwys. Pregethu teithiol ydyw yr hyn y mae ein Heglwys yn fyr ynddo, a'r peth mwyaf ydyw a ddichon godi yr hen Eglwys glodwiw ym "marn y byd." Paham na chyffyrddwyd â'r pwngc hwn o'r blaen yn y Gwyliedydd, nis gallaf ddirnad. Y mae o'r fath fuddioldeb i bob enw o ymneillduwyr, fel na allent gadw yr achos i fynu, na chasglu cynnulleidfaoedd mawrion ynghyd hebddo, fel y clywais rai o honynt yn addef eu hunain.

Y mae Pregethu Teithiawl o fawr fudd i'r Gweinidogion. Yn lle astudio trwy yr wythnos i ymdrechu parotôi pregeth newydd neu ddwy, neu weithiau dair, erbyn y sabboth canlynawl, yr hyn raid fod yn llafur anorphen, a llafur nad oes neb ond Gweinidogion yr Eglwys yn unig yn ymdrin âg ef, gallent draddodi yr un bregeth ugeiniau o weithiau mewn gwahanawl Eglwysi, a hi a etyb yr un dyben a phe poenydiai ysgrifenu yn olynol i'r un Eglwys. Cymmered pob Gweinidog o bedair i chwech o'r pregethau goreu a gyfansoddodd yn ddiweddar, ac a bregethodd gyd â'r effaith oreu yn ei Eglwys ei hun, a geill fyned trwy Gymru un ffordd, ac yn ei ol ffordd arall; ac os bydd ychydig yn ofalus wrth drin y nifer fechan hon, bydd pob pregeth yn newydd i'w wrandawyr y'mhob ardal yr el drwyddi: ac nid hyny yn unig, ond efe a ddaw yn fwy-fwy hyddysg y'mhob pregeth bob tro y traddodo hi, ac a gaiff oleu newydd yn barhaus wrth ymdrin â'r un pwngc.

Bydd Pregethu Teithiawl o fudd i achos yr Eglwys, ac i'w pharch yn "marn y byd." Tybir gan lawer nad oes fawr iawn o ddawn y'mhlith ein Hoffeiriaid o'u cydmaru â Phregethwyr enwau ereill. Paham? am nad ydynt un amser yn clywed ond un yn ystod ugain neu driugain mlynedd, a hyny dan yr anfanteision hyn:—1. Y maent yn cynnefinaw â'i lais ac â'i ddull. —2. Y mae dan y llyffetheiriau o rwym i barotôi pregethau newydd mor aml, am ei fod yn pregethu i'r un gynnulleidfa, ac yn ganlynawl nis gall daflu ei holl nerth i'r un bregeth. Ond y gwir ydyw hyn, y mae talentau anghydmarawl yn ein Heglwys yn yr oes hon. Prin na haerem fod yn Swydd C——n. a Swydd B——o, yn unig, fwy o Bregethwyr doniawl a ellid droi allan nâg a fedd yr holl sectau yn un: a dywenydd genyf ddeall fod pregethwyr difefl yn y Gogledd hefyd. A phaham na ddangoswn ein grym, ynte? beth yw y rhwystr? Y mae gan bob Offeiriad braidd geffyl i'w farchogaeth; a sicr wyf y byddai yn iachach pe teithient ychydig mwy, ac astudio llai yn eu llyfrgelloedd. Mae teithiaw yn cytunaw yn dda yn gyffredin â'r Pregethwyr y'mysg yr ymneillduwyr.

Heblaw hyn, byddai y "Pregethwyr Teithiawl" yn fwy derbyniawl gan y

gwrandawyr. "Nid yw prophwyd heb anrhydedd ond yn ei wlad ei hun." Os oes ambell i Offeiriad yn byw yn lled drwsgl gartref, ni ŵyr dieithriaid ddim am hyny; etto y mae profiad beunyddiawl yn ein dysgu fod yn hoffach gan ddynion glywed gwr dieithr nag un y maent yn gynnefin âg ef; ac, os goleuni y byd ydynt, paham nad ânt o amgylch, fel yr haul a'r planedau? Ond digon; disgwyliaf y bydd i ryw un mwy doniawl na myfi gymmeryd y pwngc hwn mewn llaw: fy nyben oedd agor llygaid rhyw rai mwy medrus.

CYFAILL DA I'R EGLWYS.

---

## DIFYNIAETH *(ANATOMY)*.

*(Parhad o du dal. 330.)*

SYR—Yn y Rhifyn diweddaf rhoddais ychydig o sylwadau ar y sugn-bibau, y llestri gwaed, a'r gewynau; yn nesaf, rhoddaf ychydig o sylwadau ar y rhanau ereill, fel y caffo darllenyddion y Gwyliedydd wybod ychydig am egwyddor Difyniaeth. Nid fy mwriad oedd dywedyd yn fanwl ar bob rhan o'r corph, o herwydd ni byddai yr holl Wyliedydd am flwyddyn yn hanner digon i'w gynnwys; ond fy mwriad ydoedd nodi allan y prif bethau—y canghenau mwyaf—gan adael y manafion i ddyfod ryw dro neu gyfleusdra arall. Er mai y llestri gwaed, y sugn-bibau, ac y gewynau, ydynt y rhanau mwyaf hanfodol i fywyd; etto y mae amryw o ranau ereill yn y corph anhebgorol angenrheidiol i wneuthur y peiriant yn berffaith; megys, yr esgyrn, y cymmal-rwymynau *(ligaments)* cyhyrau, pilenau, croen, ysgyfaint; hefyd, yr amrywiol chwarenau, megys yr iau, yr elwlenau, y rhanau cenedlig, y poer-chwarenau *(salivory glands)* y llysnaf-chwarenau *(lymphatic glands)* &c. hefyd, y llygaid, y glust, y trwyn, y genau; gan hyny mi a ymdrechaf roddi sylwad byr arnynt.

*Yr esgyrn.* Swydd yr esgyrn ydyw rhoddi ffurf, nerth, ac ysgogiad i'r corph, i roddi cydiad *(attachment)* i'r cyhyrau, ac, y rhai hyny sydd yn geuol *(hollow)* i gynnal yr ymenydd a llinyn y cefn. Nifer yr esgyrn ydyw oddeutu 250; sef, 67 yn y pen, 59 o hyny i'r eisteddfod, a 124 yn y pedwar aelod. Sylwedd daearol yr esgyrn ydyw calch yn gyd-gymmysg â surni *phosphorus (phosphoric acid)*. Eu ffurfiad sydd fel hyn:—y maent ar y cyntaf mewn cyflwr meddal, llysnafeddog; ac fel yr heneiddio y plentyn yn y groth, maent yn caledu yn raddol, nes o'r diwedd y deuant yn golofnau calediou, cryfion, a phriodol i gynnal holl bwysau y corph. Y mae amryw o esgyrn, yn enwedig yr wyth asgwrn bychan sydd yn yr arddwrn, a'r saith yn y troed, yn parhau yn feddal am rai blwyddau. Mae cyfluniad yr esgyrn hefyd yn dra hynod. Mewn dyn cyflawn oed, nid oes ond tri o esgyrn yn gwneuthur i fynu y ddysglen *(pelvis)* yr hon sydd yn cynnal yr ymysgaroedd, y chwysigen, &c. ond i blentyn yn y groth, mae y tri hyn yn 14, ac fel yr heneiddio y plentyn y maent yn myned yn wyth, ac o'r diwedd y maent yn myned yn dri, sef, un i'r eisteddfod *(os sacrum)* ac un o bob tu iddo *(os innominata)*. Yr un modd hefyd asgwrn y glun. Mae asgwrn y glun i blentyn yn y groth yn dechreu ymgaledu mewn pump o wahanol fanau, ac yn raddol hwy a nesânt at eu gilydd nes yr elont yn un asgwrn. Fel hyn hefyd y llunir holl esgyrn y corph. Pan fydd yr esgyrn yn y cyflwr meddal hwn, y maent yn cael eu treiddio â llestri gwaed, gewynau, a sugn-bibau; onidê byddai yn anhawdd dirnad pa fodd y gallai cymmaint o dyllau fod mewn rhai esgyrn, yn enwedig esgyrn y pen. Y mae mewn un asgwrn bychan yn y pen 14 o dyllau i roddi trwydded i hylif-lestri *(vessels)* heblaw wyth ychwaneg o rai cyffredin i hwn ac i'r esgyrn ereill yn ei ymyl. Gelwir hwn yr asgwrn cydiadol *(sphenoid bone)* o herwydd ei fod yn cydio mewn 14 o esgyrn y pen. Ei sefyllfa sydd yn nghanol y pen, ac yn ngwaelod yr ymenydd. Y mae iddo 27 o rynau *(processes)* i roddi cydiad i gyhyrau ac esgyrn y pen, ac hefyd i ffurfio eisteddle i'r ymenydd. Byddai desgrifiad manwl o'r asgwrn bychan hwn yn ddigon i lenwi tair tu dalen o'r Gwyliedydd; ond gan mai cipolwg ar Ddifyniaeth yw fy mwriad, ni ddywedaf ychwaneg am dano. Dymunwn dynu sylw pawb a fynai wybod y gelfyddyd hon at yr esgyrn, o herwydd y maent yn hawdd eu cael mewn mynwentydd. Yr esgyrn ydyw y pethau cyntaf a

ddylid eu gwybod yn berffaith: y rhai hyn ydyw sylfaen yr holl adeilad. Mae yr esgyrn mewn perthynas i'w dull yn dra gwahanol, rhai yn rholiog a hirion, ereill yn deneuon a byrion, rhai yn bedrongl-aidd, ereill yn amryddull, a'r cwbl yn cadw y dull mwyaf priodol a hylaw i'r swydd sydd ganddynt. Mae yr holl esgyrn, oddigerth y dannedd, yn cael eu hamwisgo â philen hyfyw a elwir amosgwrn (*periosteum*): mae hon yn dra llawn o ewynau—hon, yn wir, sydd yn cadw yr asgwrn yn fyw; o herwydd, pe anefid hon, byddai yr asgwrn yn debyg o farwhau. Mae yr esgyrn yn gellog, ac yn llawn o lestri gwaed, fel y gellir profi trwy roddi gwreiddrudd (*mudder*) i fochyn yn gymmysg â'i fwyd am fis cyn ei ladd; wedi ei ladd bydd yr esgyrn yn gochion, yr hyn a brofa fod y gwaed wedi cludo y lliw coch i'r esgyrn, a'i adael yno. Yr esgyrn ydynt:—

ESGYRN Y BENGLOG.

| | |
|---|---|
| Asgwrn y coryn, os *parietelia* | 2 |
| ——— y gwegil, os *occipitis* | 1 |
| ——— y talcen, os *frontis* | 1 |
| ——— tyllog, os *aethmoides* | 1 |
| ——— cydiadol, os *sphenoides* | 1 |
| ——— yr iâd, os *temporum* | 2 |

ESGYRN Y WYNEB A THAFLOD Y SAFN.

| | |
|---|---|
| Asgwrn y grudd, os *malorum* | 2 |
| ——— y cern, os *masillaria* | 2 |
| ——— y trwyn, os *nesi* | 2 |
| ——— teneu mwyaf, os *plana* | 2 |
| ——— y deigr, neu teneu lleiaf, os *ungues* | 2 |
| ——— y taflawd, os *palati* | 2 |
| ——— y swch, os *vomer* | 1 |
| ——— yr ên, os *maxilla inferior* | 1 |

Y DANNEDD.

| | |
|---|---|
| Ysgythrddaint, *dens canini* | 4 |
| Blaenddannedd, *dens incisores* | 8 |
| Cilddannedd, *dens molares* | 20 |
| Asgwrn y tafod, os *hyoides* | 1 |

ESGYRN Y GLUST.

| | |
|---|---|
| Asgwrn trionglog, os *incus* | 2 |
| ——— y morthwyl, os *malleus* | 2 |
| ——— bach cyfrgrwn, os *orbiculare* | 2 |
| ——— y wertharf, os *stapes* | 2 |

ESGYRN COLOFN Y CEFN.

| | |
|---|---|
| Yn y gwddf | 7 |
| ——— cefn | 12 |
| ——— lwynau | 5 |
| ——— yr eisteddfod, os *sacrum* | 1 |
| Y gloren, os *coccygis* | 1 |
| Esgyrn y fron | 3 |
| Asenau | 24 |

ESGYRN Y DDYSGLEN (*PELVIS*).

| | |
|---|---|
| Asgwrn y coludd, os *ilium* | 2 |
| ——— y sedd, os *ischium* | 2 |
| ——— celaidd, os *pubis* | 2 |

ESGYRN YR YSGWYDD A'R FRAICH.

| | |
|---|---|
| Pont yr ysgwydd, *clavicula* | 2 |
| Y drybedd, *scapula* | 2 |
| Asgwrn y fraich, os *humeri* | 2 |

ESGYRN Y CYFELYN (*FORE-ARM*).

| | |
|---|---|
| Asgwrn yr elin, os *ulna* | 2 |
| ——— y rhagelin, os *radius* | 2 |

ESGYRN YR ARDDWRN.

| | |
|---|---|
| Asgwrn badawg, os *naviculare* | 2 |
| ——— hannercrwn, os *lunare* | 2 |
| ——— cynawg, os *cuneiforme* | 2 |
| ——— hir, os *magnum* | 2 |
| ——— crynaidd, os *orbiculare* | 2 |
| ——— pedronglaidd, os *trapezium* | 2 |
| ——— amryddull, os *trapezioides* | 2 |
| ——— bachog, os *unciforme* | 2 |
| Esgyrn y llaw, *metacarpus* | 8 |
| ——— y bysedd, a'r ddwy fawd, *phalanges* | 28 |

ESGYRN Y GLUN A'R GOES.

| | |
|---|---|
| Asgwrn y glun, os *femoris* | 2 |
| ——— badell, os *patella* | 2 |
| ——— grimmog, os *tibia* | 2 |
| ——— ffibell, os *fibula* | 2 |

ESGYRN Y SAWDL A'R ARDROED.

| | |
|---|---|
| Asgwrn y sawdl, os *calcis* | 2 |
| ——— y rhagsawdl, os *astragalus* | 2 |
| ——— pedwaronglaidd, os *cuboides* | 2 |
| ——— cynawg, os *cuneiforme* | 6 |
| ——— badawg, os *naviculare* | 2 |
| Esgyrn y troed | 10 |
| ——— bysedd, a'r ddwy fawd | 28 |

*Y madruddau* (CARTILAGES). Y mae y madruddyn o ran ei sylwedd yn lled gyffelyb i asgwrn, ond ei fod yn feddalach. Y maent i'w gweled yn gyffredin ar benau yr esgyrn symudol, fel y gallont symud yn fwy rhwydd, &c. o herwydd eu bod yn ystwyth ac yn gryfion. Y mae y madruddau mewn amryw fanau i'r corph heblaw yn y cymmalau; megys, y corn-gwddf (*larynx*) y trwyn, y clustiau, &c.

*Y cymmal-rwymynau* (LIGAMENTS).—Swydd y cymmal-rwymynau ydyw cydrwymo yr esgyrn â'u gilydd yn y cymmalau; ac y maent hefyd weithiau fel yn amdoi ac yn cryfhau y cyhyrau â'u gilydd, fel y gwna cymmal-rwymyn amgylchawl yr arddwrn (*annular ligament*). Mae y cymmal-rwymynau o sylwedd cryf, ac o wahanol ddull—naill ai fel llinyn cul, rhwymynau llydain, neu bilenau teneuon. Pan fydd asgwrn yn cael ei yru o'i le, bydd ryw gymmaint o gymmal-rwymynau yn debyg o gael eu rhwygo, er niweid parhaus i'r cymmal hwnw. Mae y cymmal-rwymynau yn dra lliosog: y mae tros 500 yn y corph a'r aelodau, heblaw y rhai sydd yn y dwylaw a'r traed. Y mae 13 o

honynt y'mhen y glin, er nad oes yno ond tri o esgyrn i'w cyd-rwymo.

*Y cyhyrau* (MUSCLES). Y cyhyrau ydynt beiriannau nerth ac ysgogiad: y cyhyrau sydd yn ein galluogi i gynnal ein hunain i fynu; a thrwyddynt hwy yr ydym yn gallu gwneuthur pob math o symudiad, megys ein breichiau, ein dwylaw, ein bysedd, ein traed, ein gwyneb, &c. Y mae i bob rhyw ddull o symudiad, neu ystum, gyhyren briodol a neillduol i'r ystum neu y symudiad hwnw. Pan fyddom yn cerdded, y mae holl gyhyrau y glun, y goes, a'r troed ar waith; ond pan symudom ein troed neu ein coes, ein llaw neu ein braich, ein gwefusau neu ein llygaid, &c. nid oes ond rhyw gynnifer neillduol o gyhyrau (yn ol tuedd a natur y symudiad) yn cael eu gosod ar waith. Nis gall un math o ystum fod yn un man i'r corph oddigerth trwy gyfryngdod y cyhyrau: pan siaradom, y mae llïaws mawr o gyhyrau y tafod, yr ên, a'r gwefusau ar waith; pan lyngcom ryw beth, megys y poeryn, y mae llïaws mawr o gyhyrau yn gwasanaethu yn y gorchwyl: pan agorwn ein llygaid, y mae cyhyren briodol ar waith i'r gorchwyl hwnw; a phan gauwn ef drachefn, y mae cyhyren arall briodol i hyny. Y mae oddeutu 200 o gyhyrau ym mhob ochr, hyny yw, 400 yn yr holl gorph; felly mae y drefn gyhyrawl (*muscular system*) yn dra ëang a phwysig. Y drefn hon sydd yn gwneuthur y gwahaniaeth mwyaf rhwng anifail a phlanhigyn; o herwydd gellir dywedyd fod gan y planhigyn fywyd a theimladau, gellir dywedyd fod ganddo waed a sugnyddion, ac os gallwn farnu oddiwrth y planhigyn hyfyw (*sensitive plant*) fod ganddynt ewynau hefyd—gellir cyffelybu y pren i asgwrn, y dail i'r ysgyfaint, ond am y chwarenau y maent mor berffaith ag ydynt mewn anifeiliaid, o herwydd chwarenau y planhigion sydd yn ffurfio holl rinweddau *meddygol* ac *arferol* a geir allan o goed a llysiau; ond y maent yn hollol ddiffygiol o'r gallu i symud o le i le, fel un â bywyd syniadol ynddo.

Mae dull y cyhyrau yn amrywiol iawn, rhai fel rhaffau cryfion, ereill fel llinynau bychain—rhai fel llëni llydain cryfion, ereill fel teneuwe gwan—rhai fel ysnoden, ereill fel cwd yn amgau am eu priodol lestri, megys amgaead cyhyrol y cylla, y chwysigle, y perfedd, &c. ond nodebiad mwyaf cyffredin cyhyren ydyw, ei bod yn codi oddiar un asgwrn, ac yn cydio mewn asgwrn arall—ei bod yn foliog a chigog yn ei chanol, ac yn eiddil a gwydn y'mhob pen—ei bod yn meddu math neillduol o fywyd a elwir cwtogiad *(contractility)* trwy yr hwn y byrheir y gyhyren, ac yn ganlynol, y symudir yr asgwrn y cydia hi ynddo: ond ni etyb holl gyhyrau y corph i'r nodebiadau uchod, o herwydd y mae amryw o honynt nad ydynt yn foliog yn eu canol, a rhai hefyd nad ydynt yn cydio mewn un asgwrn, megys y galon, yr amgauad cyhyrol sydd yn amgylchu y cylla, y perfedd, &c. ond y mae y cwbl yn meddu y nwyf hòno a elwir cwtogiad, onidê byddai y gyhyren yn hollol ddifudd; os damweinia i'r nwyf hon ballu mewn rhyw fan, parai hyny yr afiechyd a elwir *parlys* yn y fan hòno. Rhy drafferthus ac anfuddiol fyddai rhoi enwau Cymreig ar y cyhyrau, paham nad allwn ni oddef geiriau Lladin yn ein hiaith, yr un modd a'r Saeson?

*Y croen.* Mae swydd y croen yn amrywiol; i amddiffyn, cydrwymo, a chyfnerthu yr holl gorph; i daflu allan drwy darthiad a chwys yr ammhuredd treuliedig o hono; i ddwyn yr holl ewynau (*nerves*) y corph yn gyd-gor â'u gilydd; i ddyhidlo y gwaed o'r rhedwelïau i'r gwythenau; felly nis gall y gwaed gylch redeg heb y croen. Mae croen baban newydd-eni yn gyffredin yn gymmaint, ac yn aml yn fwy, ei bwysau na'r holl ranau ereill efo eu gilydd, gan hyny, dylid ystyried y croen mewn ystyr helaethach nag fel amddiffynydd yn unig. Mae swydd yr ysgyfaint yn rhywbeth yn gyffelyb i'r croen, mae ynddi hi lawer o arwynebedd (*surface*) wedi ei grynhoi i ychydig o le, fel y mae dail y coed yn chwanegu arwynebedd y pren, felly mae yr ysgyfaint yn chwanegu arwynebedd y corph. Mae planhigyn iachus llawn dwf yn tarthio allan trwy y dail a'r rhisglyn mewn tri diwrnod gymmaint ag a bwysai yr holl blanhigyn! felly mae y croen a'r ysgyfaint yn tarthio allan ran fawr o ammhuredd o'r corph. Mae y tarthiad gwastadol yma yn wahanol oddiwrth chwys, yn gymmaint a'i fod yn wastadol ddydd a nos yn tarthio allan o'r

corph, pan nad ydyw chwys yn ymddangos ond pan fydd y corph yn wresog, &c.

*Y pilenau* (MEMBRANES). Fel y mae y croen yn gorchuddio, yn bywiogi, ac yn amddiffyn yr holl gorph yn allanol, felly hefyd mae y pilenau yn amddiffyn ac yn bywiogi pob rhan dufewnol, pob cyhyr, pob gewyn, pob chwilen waed, pob sugnbiben, pob chwaren, pob asgwrn—yr ysgyfaint, y galon, y cylla, a'r coluddion, yr iau a'r fustlen, y ddueg, y *pancreas*, yr elwlenau, y chwysigen, &c.—y llygaid, y glust, y trwyn, y genau, yr ymenydd, a phob rhan dufewnol yn y corph; y maent yn aml mor drywel a gwydr, etto y maent yn llawn o lestri gwaed a gewynau, pe edrychid arnynt efo gwydrau da. Os edrychwn ar lygaid dyn, os bydd y llygaid yn ddiddolur, y mae yn drywel a disglaer, ond os bydd yn glwyfus a llidiog, y mae yn goch ac yn llawn o lestri gwaed; wel, nid ydym i feddwl mai y dolur sydd wedi ffurfio y llestri hyn, ond yn hytrach eu bod yno o'r blaen, eithr yn anweledig, o herwydd nad oedd rhwystr ynddynt i'r gwaed ymwaghau o honynt.

(*I'w barhau.*)

---

ATEB I OFYNIAD TANGNEFEDDWR.

MR. GWYLIEDYDD—Nis gallaswn ymattal rhag chwerthin, pan yn darllen gofyniad eich Gohebydd hwn, yn eich Rhifyn am Hydref diweddaf, a hyny o herwydd ynfydrwydd a balchder calon rhai dynion yn y byd. Diau fod aml blentyn i "*Dic Sion Dafydd*" yn tynu eu hanadl etto yn Nghymru oleu-fawr. Y mae y rhai hyn, megys y gwyddoch, yn hòni eu gwybodaeth yn yr ieithoedd dysgedig, pan, mewn gwirionedd, y maent mor anwybodus o iaith eu mamau, a gadael ereill o'r neilldu, ag ebolion asynod gwylltion yr anialwch. Y mae amryw egwyddorweis, &c. y dref lle yr wyf fi yn tynu fy anadl ataf yn lled debyg mewn egwyddor, dysg, ac iaith, i'r hwn y crybwylla *Tangnefeddwr* am dano. Byddai yn hawddach i mi symud darn o'r hen gastell adfeiliawl hwn â fy mys a'm bawd o'i le, na thywys y rhai hyn o'u cyfeiliornad. Y maent yn meddwl nad oes neb ond hwy, plant rhodresgar y *Q P*, a theulu boneddigaidd y *dandies*, yn gwybod dim, pan, mewn gwirionedd, y mae meib y ffyst, y dyrnwil, a'r caib a'r rhaw, yn rhagori llawer arnynt hwy mewn synwyr, dysg, a doniau. Os na wyddant yr union-gyrchol *how much is twice* 5, *and what is the fourth part of* 21, etto gwyddant am uchel deithi 'r iaith Gymraeg, ac ym mha le y dylai *hwn* a *hyn* gael eu gosod mewn brawddeg o honi, er trosglwyddo cyflawn synwyr i feddwl y darllenydd gostyngedig. Bum yn cynnyg argyhoeddi amryw o'n hathrawon Seisnigaidd o'u gau wybodaeth yn iaith fron-lawn fy mam, pryd y gwenent ar eu gilydd, ac y dywedent yn ddigon gwatwarllyd wrth hogyn y *bretyn* a'r *ysgub* a fyddai ar ei wadnau pan welai eu gweflau yn dechreu ysgwyd, "*What a fine Welsh scholar D—— is; Tom, go and bring Parkhurst's Lexicon here, which is in the study, by the Latin Grammar, neatly bound in Red Morocco*, gael i ni wybod pa un ai D—— ai ni sydd yn ein lle. Brysia Tom." Ni fynant na phwyso na mesur dim o berlau purlawn, nac o aur detholedig yr iaith Gymraeg, ond yn nghlorianau anghywir Hengist a'i feibion. Os ydwyf yn eu cyhuddo ar gam, gobeithiaf y rhoddwch le iddynt i amddiffyn eu hunain yn y Gwyliedydd.

Ond rhag lladrata eich amser i gyssodi hwn, a dalenau eich Cyhoeddiad, sylwaf yn fyr, fod yr Englyn yn hollol ddifai o barth mesur, synwyr, a chynghanedd; a heriaf un-gwr, oddieithr plant dylion *Dic*, ddywedyd yn amgen. Pwy ydynt hwy sy'n meiddio cyfodi llwch er anurddo noddweddiadau yr enwogion a gyfieithasant yr Ysgrythyr Lân i'r Gymraeg? Onid oedd y Dr. Morgan yn deall yr iaith wreiddiol, ac hefyd iaith preswylwyr y dywysogaeth? atebant hyn. Meiddiaf ddywedyd ei fod yn llawer gwell nag y maent hwy yn deall eu llyfrau cyrn. Ai o'r iaith Saesonaeg y bu iddynt gyfieithu yr Ysgrythyrau? Nagê; onidê dywedasent, "Yno *gosodasant* gorph yr Iesu," &c. Digon bellach. Nid etto:—*rhodd*, *rhoddi*, *rhoddwn*, *rhoddwch*, *rhoddir*, *rhodder*; ond yma *rhoddwyd;* hynod o'r priodol, rhoddwyd, *give;* ïe, gosod, *laid;* ïe, dodi, *put;* ïe, fy mhlant bychain, pob peth yn dda; bwytewch yn helaeth hyd nes eich digoner. Dylwn ysgrifio yn lled eglur, er mwyn i wir wrthddrychau y fron fy neall. Beth pe byddai

genyf blentyn bychan i wraig serchus a thyner yn fy mreichiaw, a'i fod yn wylo yn hidl o eisieu cael myned ati, oni ddywedai rhyw wraig, mor dyner ei chalon a hithau, wrthyf, Ow 'r *babi* bach! *rhoddwch* ef i'w fam; Put *him to his mother*. Ust! nagê; Give *him to his mother*. Onid y ddaear yw ein mam ni oll? *No, don't.* A phwy mor gymmwys i'n derbyn o freichiau tyner amser a'n mam! Byddai yn llawn mor synwyrol dywedyd, am un a fyddo wedi tynu ei anadl olaf, *Rhoddwch* y plentyn yn mynwes ei fam, a dywedyd, Cleddwch y marw allan o olwg.

Gwn fod Gwilym Caledfryn yn ŵr rhy ddeallus yn ngwreiddiau a throellau ymadrodd iaith Gwalia fel y cyfeiliornai ar y pen *hwn*, nid *hyn*; a phe deuai y gwr a glywodd *Tangnefeddwr* yn dadleu yn erbyn cymmwysder *rhoddi* yn y lle *hwn*, nid *hyn*, ger ei ŵydd yn ei hen wisg eofn-falch hòno, efe a'i gwnai yn uffion rhwng ei fys a'i fawd yn y fan. Gocheled ryfygu mwy. *Hwn* sydd ragenw personol, rhif unigol, megys y dyn *hwn*, y tŷ *hwn*, y plwyf *hwn*, &c. ond *hyn* sydd ragenw personol, rhif lliosog, megys y dynion *hyn*, y tai *hyn*, y plwyfydd *hyn*, &c. *Dull*, ac nid *dill*, a ddylai gael ei ysgrifio. Gobeithiaf y rhydd hyn foddlonrwydd i gyfeillion eich Gohebydd, ac na chynnygia y gwrth-heriwr o honynt byth gynnyg ar y fath orchwyl etto, rhag i blant yr Ysgolion Sabbothol chwerthin am ei ben.

TALIESIN.

GLAN MENAI.

---

## AT OLYGWR Y GWYLIEDYDD.

WYLIEDYDD HYBARCH—Synais lawer gwaith na welswn yn eich Cylchgrawn sylwedd rhai o'r pregethau a draddodwyd ar y Dydd Ympryd diweddaf a gadwyd ar achos y pla echryslon ag sydd wedi tori allan yn ein plith. Diau genyf fod llawer o bregethau godidog gwedi eu cyfansoddi gan Weinidogion Cymru ar yr achlysur sobr hwnw, a dywenydd fyddai genyf weled sylwedd rhai o honynt yn y Gwyliedydd. Y mae genym obaith iddynt gael argraff dwfn ar yr amrywiol gynnulleidfaoedd ag oedd yn eu gwrando y dydd hwnw. Paham, gan hyny, y gofynaf, na ddanfonai pawb dalfyriad o'i bregeth i'r Gwyliedydd, fel y byddent er lles cyffredinol i'r dywysogaeth, ac nid i'w cynnulleidfa eu hunain yn unig. Cymmerwch hyn dan eich sylw, a cheisiwch gan rai o'ch cyfeillion ddangos y ffordd i'w brodyr ieuaingc. Mae 'r pla etto yn ein plith, a dichon hyn, tan fendith Duw, ein sobreiddio, a'n dwyn i ystyried y wialen ag sydd yn ysgwydedig ar ein cyfer. Bum yn ymddiddan lawer tro â rhai o'm brodyr ynghylch yr addasrwydd o'r hyn a grybwyllais uchod, ond ni chefais ddim ateb, "ond eu bod yn chwennych gweled rhai o'ch Gohebwyr enwog yn dangos yr esampl yn gyntaf;" i hyn nid allaswn ateb dim, o herwydd fy mod o'r un teimladau fy hun: ond nid yw yn wrthwynebus genyf anfon i chwi fy ymdrech gwael fy hun ryw dro, ond gwell fyddai genyf weled rhai a fu yn foreuach yn y winllan yn agor y ffordd o'm blaen. Gweddeiddiach fuasai i rai anfon eu cyfansoddiadau ar yr achlysur sobr hwn i'r Gwyliedydd, fel y cawsai y werinos eu buddioli, na'u hargraffu er mwyn ennill enw da iddynt eu hunain, ac fe allai *elw* hefyd.—Ydwyf,

NORFAL.

---

## HEBOGAETH.

MR. GWYLIEDYDD—Yr oedd yn llon genyf weled ysgrif mor drefnus a dysgedig ar Adariaeth yn y Rhifyn diweddaf, gan *Llywelyn Conwy*, B. A. Y mae wedi desgrifio pen bonedd cenedl yr adar yn hynod o gywrain; ond ni byddai yn dêg iddo ymorphwys yno heb fyned ym mlaen efo y lleill; ac y mae yn ddiammeu genyf y byddai yn ddywenydd gan lawer o'r Cymry eu gweled. Dymunaswn pe buasai yn rhoddi yr enw Lladin efo yr un Cymreig, fel y caem wybod *ar unwaith* pa aderyn a feddylir ganddo. Mae yr enwau Cymreig i adar a phlanhigion mor anwadal ac amrywiol mewn gwahanol barthau o Gymru, fel nas gellir ymddibynu dim arnynt; ond yn wir, y mae ei gynllun ef yn debyg o sefydlu enwau cyffredinol a dysgog, a thra dymunol fyddai hyny. Y mae i'r genlli goch saith neu wyth o enwau gwahanol a arferir mewn gwahanol barthau o Gymru—gelwir hi mewn rhai

manau llemysten, mewn manau ereill pilan, corwalch, gwipai, &c. &c. ac y mae Mr. *Ll. C.* yn rhoi yr enw llemysten i aderyn arall; ac, yn wir, ni waeth pa enw, pe sefydlid rhyw un. Y mae efe wedi desgrifio 18 yn perthyn i deulu yr hebog, ond canfyddwyd 24 yn Mrydain Fawr a'r Iwerddon.——Gorphwysaf, Syr, yr eiddoch, &c.

CORWEN, Tachwedd 17, 1832. CORVINIUS.

## Y DYN GOSTYNGEDIG.

Y MAE yn elyn cyfeillgar iddo ei hun; canys er nad yw efe allan o'i serch ei hun, etto nid oes neb yn gosod cyn lleied o bris ar ei werth ag efe ei hun, nid o achos anwybodaeth neu ddiofalwch, ond o herwydd iselder gwirfoddol ac addfwynder. Efe a gymmeradwya bob peth mewn dyn arall, tra fyddo yn tybied fod yr un peth, neu ei well, ynddo ei hun yn cael ei ddirmygu yn deilwng. Ei lygaid ydynt lawnion o'i ddiffygiadau ei hun, ac o berffeithiadau ereill. Mwy dewisol ganddo roddi na derbyn anrhydedd, nid o herwydd defod foesgar, ond oblegid symledd ei farn; ac nid yw efe yn blino o herwydd y rhai ag y cymmellodd efe uchafiaeth arnynt, megys un a fuasai yn gobeithio y buasai lledneisrwydd yn eu rhwystro i'w dderbyn; eithr y mae mewn didwylldra yn cadw ei feddwl yn is na'i le priodol, ac yn barod i f ned yn iselach etto, os bydd raid, heb anfoddlonrwydd. Pryd na chaffo efe ond yr hyn a fo ddyledus iddo, efe a fawrha'r haelionus, gan ymwadu â phob haeddiant. Hawddach yw ei gywilyddio âg anrhydedd, na'i flino â dirmyg; o herwydd ei fod yn tybied y c nt af yn ddiachos, a'r olaf yn haeddiannol. Ei wyneb, ei ymddygiad, a'i arferion, a aroglant iselder difursendod, ac etto y mae efe lawer yn îs na'i ymddangosiad. Ei eiriau ydynt anaml ac addfwyn; nid ydynt byth yn bendant nac yn enllibus, o herwydd ei fod yn tybied pob dyn yn ddoethach, ond nid neb yn fwy dirmygus, nag ef ei hun: a phan nesâo efe at orsedd Duw, ei feddwl sydd mor llawn o'r Mawredd Dwyfol, fel y mae efe yn dra gwael, neu megys dim, yn ei olwg ei hun. Lleoedd o ymddiried cyhoedd ydynt awyddus am dano ef i'w lusgo allan o'i neillduaeth hoff a dewisol, eithr efe a'u ceidw ymaith, nid mewn modd cyfrwys i beri taerineb, ond yn ddidwyll o herwydd teimlad o annigonolrwydd ynddo ei hun. Nid mynych yr â efe i leoedd o gynnulliad cyhoedd, eithr tybia ei hun yn ei elfen pan amgylchir ef gan furiau ei dŷ ei hun. Y mae yn dra eiddigeddus drosto ei hun, ac yn drwgdybied yr hyn a gymmeradwyir gan ereill ynddo ei hun. Nid oes gwell gwrthddrych haelioni nag ef, canys yr hyn oll a dderbynia a briodolir i haeledd y rhoddwr, ac nid dim i haeddiant. Nid yw efe yn dynwared neb dynion, ond mewn daioni, a hyny gyda mwy o ddymuniad na gobaith i'w gyrhaedd. Nid oes un dyn mor foddlon wrth ychydig, ac mor amynedus mewn cyfyngderau, o herwydd ei fod yn gwybod fod y gofidiau mwyaf yn llai na haeddiant ei feiau, a'r gymmwynas leiaf yn fwy na'i haeddiant. Efe a rodia bob amser mewn ofn, ac ni feiddia lai na darostwng pob gair ac ymddygiad i gerydd llym a thrwm. Dyffryn isel yw efe wedi ei blanu yn hyfryd, a'i ddwfrhau yn dda; a daear y dyn balch, ar yr hwn y sathra, er ei fod yn ddirgel yn llawn o fwngloddiau gwerthfawr, yn llawer mwy drudfawr na'r hwn sydd yn sathru arnynt; maen gwerthfawr wedi ei osod mewn plwm; ac yn olaf, teml gywir i Dduw wedi ei hadeiladu â nen isel. H.

## GOLYGIADAU DIWEDDAF

*Y Parch. JOHN WESLEY ar Ymneillduad oddiwrth yr Eglwys Sefydledig, y rhai a gyhoeddodd ychydig fisoedd cyn ei farwolaeth yn yr Eurgrawn Arminaidd.**

I. Er pan oeddwn ond plentyn, cefais fy nysgu i garu a pharchu yr Ysgrythyrau, oraclau Duw, ac yn nesaf ysgrifeniadau y cyn-dadau, sef yn y tri chanrif cyntaf. Yn nesaf at y Brif-eglwys yr oeddwn yn tybied yr eiddom ein hunain, sef Eglwys Loegr, yr Eglwys Wladol, y fwyaf ysgrythyrol yn yr holl fyd. Am hyny yr oeddwn nid yn unig yn cyd-synied a'i

* Ail-argraffwyd hwynt, yn nghyd a'r sylwadau sydd yn y diwedd yn y *Christian Observer* am Mai, 1830.

hathrawiaeth, ond hefyd â'r holl hyfforddiad yn ei gwasanaeth cyffredin, a hyny gyd â'r manylrwydd mwyaf, hyd yn nod mewn enbydrwydd am fy mywyd o herwydd hyny.

II. Gyd â'r farn hon, ac yn yr yspryd hwn, aethum i'r America, â chariad cryf at yr Eglwys, y Brif eglwys, ac Eglwys Loegr, oddiwrth yr hon ni chyfnewidiwn mewn un iot er dim. Yn yr yspryd hwn dychwelais yn weinidog mor rheolaidd ag un yn y tair teyrnas, hyd oni'm lluddiwyd i bregethu yn yr Eglwysi, pan y gorfu arnaf bregethu allan.

III. Hyn ydoedd y peth cyntaf a wnaethum yn ddireol; ac nid o honof fy hun y gwnaethum hyn, ond o orfod. Yr ail oedd gweddi ddifyfyr. Tybiais hyn hefyd yn ddyledswydd arnaf er mwyn y rhai oedd yn dymuno arnaf wylied dros eu heneidiau. Nis gallwn yn gydwybodol beidio, nac ychwaith beidio derbyn y rhai a chwennychent fy ngwasanaethu fel meibion yn yr efengyl.

IV. Pan y cyfarfyddai y bobl ynghyd wrth y cannoedd a'r miloedd, yn unig er mwyn helpu eu gilydd tu a'r nefoedd, nid oedd ganddynt fwy o feddwl ymadael â'r Eglwys nag ymadael â'r deyrnas. Na, yr oeddwn yn wastad yn ddifrifol yn eu rhybuddio yn erbyn hyn, gan goffau iddynt eu bod yn rhan o Eglwys Loegr, y rhai yr oedd Duw wedi eu codi, nid yn unig er achub eu heneidiau, ond i gyffroi eu cymmydogion, yn enwedig y rhai a berthynant i'r Eglwys. Ac y'nghyfarfod cyntaf y gymnadledd, 1744, rhybuddiais hwynt i aros yn yr Eglwys, gan ddywedyd, mai hyn oedd ein gogoniant; nid gwneuthur i fynu un blaid newydd, ond gan aros yn ein Heglwys gwneuthur i bawb yr holl ddaioni a allwn.

V. Ond gan fod ychwaneg o Ymneillduwyr yn ymuno â ni, llawer o'r rhai oeddynt â rhagfarn mawr ynddynt yn erbyn yr Eglwys, yr oeddynt yn fwriadol neu yn anfwriadol beunydd yn tywallt eu rhagfarn i mewn i feddyliau eu brodyr. Gwelais hyn, a rhybuddiais hwynt o bryd i bryd, yn gyfrinachol ac yn gyhoeddus. Ac yn y flwyddyn 1756 bwriedais ddwyn y matter i benderfyniad; felly dymunais arnynt ystyried a oedd yn fuddiol i'r Trefnyddion ymadael â'r Eglwys. Ar ol chwilio y rhesymau o'r ddau du dros rai diwrnodau, cytunasom yn unllais unfryd, "Nad ydyw yn fuddiol ar un cyfrif i'r Trefnyddion ymadael â'r Eglwys."

VI. Er y cwbl, yr ydoedd yr un lefain yn parhau i weithio mewn gwahanol ranau o'r deyrnas. Y prif reswm (a rhaid cyfaddef ei fod mewn rhai amgylchiadau yn bwysfawr) oedd hyn: "Nid yw Gweinidog y plwyf lle yr ydym ni yn byw yn bucheddu yn ol yr efengyl, nac yn ei phregethu: mae efe ei hun yn rhodio y ffordd i uffern, ac yn dysgu ei braidd i wnend yr un modd. A fedrwch chwi ein cynghori ni i fyned i'w wrando?" Nis gallwn eu cynghori i wneuthur hyn. Pa beth a wnant ar ddydd yr Arglwydd, os na bydd Eglwys arall yn agos? a gynghorech chwi hwynt i fyned i gyfarfod Ymneillduwyr, neu i'w capel eu hunain? Lle y mae yr amgylchiad hwn yn wirioneddol, nis gallaf eu beio os gwnant felly. Er hyny, gan fy mod yn dwys wrthwynebu ymneillduad *cyffredinol* y Trefnyddion oddiwrth yr Eglwys, etto nis gallaf gondemnio ymneillduad mewn rhan yn yr amgylchiad pennodol hwn. Yr ydwyf yn credu fod ymneillduad fel hyn oddiwrth y rhai sydd yn warth i'n Heglwys a'n cenedl er anrhydedd i'n Heglwys, yn gystal ag er gogoniant i Dduw.

VII. Ac nid yw hyn mewn un ffordd yn groes i'r broffes a wnaethum dros hanner can mlynedd. Ni fu genyf erioed feddwl am ymadael â'r Eglwys, ac nid oes genyf y fath feddwl yn awr. Nid wyf yn meddwl fod y Trefnyddion yn gyffredinol yn amcanu hyn y pryd na'm gwelir mwyach. Yr ydwyf yn gwneuthur, a mi a wnaf yr hyn a allaf i wrthwynebu y fath ddigwyddiad. Er hyn i gyd, er y cwbl a allaf ei wneuthur, fe ymneilldua llawer o honynt oddi wrthi, er fy mod yn barod i feddwl na wna 'r hanner, fe allai un ran o dair. Bydd y rhai hyn mor hyf ac annoeth a ffurfio plaid arall, yr hon, o ganlyniad, a ddihoena yn blaid unigol, swrth, a marwaidd. Mewn llwyr wrthwynebiad i'r rhai hyn, yr wyf yn dywedyd unwaith etto, fy mod yn byw a marw yn aelod o Eglwys Loegr; ac ni wna neb a barchant fy marn neu fy nghyngor ymneillduo oddi wrthi.

J. Wesley.

# BARDDONIAETH.

## Cofion Barddonol.

### ENGLYNION DUWIOL.

Fy Nêw tra fwy' fyw, ïe, fyth——folaf
Drwy felus fodd dilyth:
Canu wna' tra chwa na chwyth,
Wiw haelaidd i Wehelyth.

Arglwydd pob arglwydd pybyrglod,——cyfion,
Cofiwn di yn wastod:
A Brenin y Brenindod,
Yn glir cydunwn dy glod.

T'wysog trugarog tra geirwir——yw 'r nod,
Arno Ef gweddiir;
Ei gyfion fawl a gofir,
T'wysog pob t'wysog tir.

Gogoniant addoliant i Dduw——cadarn,
A'n cadwodd rhag distryw,
Canu a wnawn tra bawn byw,
Mewn cyfraint am y cyfryw.

I nefol freiniol dda fraint——dwg f' enaid,
I fynu 'th uchelfraint,
I gammol yn ogymmaint,
(Oruwch y sêr) a'i wych saint.

MICHAEL PRICHARD.

*Llanllyfni*, 1727.

---

### CAROL NADOLIG.

TON—"DIFYRWCH GWYR Y GOGLEDD."

HOSANNA dyma 'r dydd,
Tirion sain trwy 'r nef y sydd,
Caed Adda a'i hâd, drwy gariad rhad yn rhydd—
Addewid Duw a ddaeth
I blant y carchar caeth,
Cyflawniad llawn, yn ufudd iawn a wnaeth—
Y mae 'r angyllon loywon lu,
Yn seinio cân i'r Iesu cu,
Gogoniant nefoedd hawddgar, a hedd i'r ddaear ddu;
A gwir dangnefedd yn ddi oed,
I genhedloedd bydoedd boed,
Anerchwyd Brenin Salem â'r anthem fwyna 'rioed.

Cydunwn fawr a mân,
I seinio nefol gân,
O dan y rhod rhown glod i'r Iesu glân—
Efe yw meichiau mawr
Trigolion llymion llawr,
A thrwyddo Ef mae'r ffordd i'r nef yn awr—
Mewn preseb gwael ym Methle'm dre',
Yn isel iawn ca'dd Iesu le,
Er haeddwch ei holl urddas yn ninas wych y ne'—
Pren y bywyd hyfryd hardd,
A wnaed i ni yn Eden ardd,
Pér ffrwythydd mynydd Sion yn dirion arno dardd.

Hwn yw 'r gogoniant clir,
Nodai Duw yn Eden dir:
Rhaglunniwyd ef cyn gwneud y nef yn wir—
Efe yw'r gadarn graig,
Hael ran o hil y wraig,
A ddai 'n ei dro i ddryllio pen y ddraig—
A moddion trefn maddeuant rhad,
Rhwng dynolryw a Duw ei dad,
Yn foreu a fyfyriodd, ystyriodd ef ein 'stad—
I'r enwog waith yr unig un
Yw 'r Iesu hardd a roisai 'i hun,
O ddirfawr ryfedd arfaeth trefn iachawdwriaeth dyn.

Ar farwol erwin ferch
Y du Amoniad erch,
Adda yr ail osododd sail ei serch—
Gwraidd dwys euogrwydd dyn
Gymmerodd Iesu 'i hun,
Cymmododd ef ddaear a nef yn un—
Ym Methle'm Juda llyma lle,
Yn bynod iawn pan anwyd E,
Diddanwch dyddiau enaid ddawn euraid ddai o'r ne',
O! mawr iawn fraint i'r saint y sydd,
Ca'dd carcharorion ddod yn rhydd,
E lònodd dynol anian ar foreu 'i ddiddan ddydd.

Fe drefnwyd Un yn Dri
Yn frenin mawr ei fri,
Y llwybrau caeth, yn rhydd a wnaeth i ni—
Mawl fyth i'w enw mâd,
Drwy hedd ei ryfedd rad,
Y cawn fwynhau cynteddau cain y tad—
O dan y ddeddf nid ydoedd un
Yn well ei hawl drwy 'i allu 'i hun,
Cyfiawnder pur yr Iesu sydd yn pardynu dyn—
O dond ysbrydol ddwyfol ddawn
I'n t'wyso ni at Iesu 'n iawn,
I oror ei drugaredd o wlad y llygredd llawn.

Gwyn fyd y duwiol rai,
Maddeuodd Duw eu bai,
Sy'n eglwys nef ar sylfaen gref a sai'—
O lid y byd a'i boen,
I fywyd hyfryd hoen,
Y rhai'n a gaed drwy rinwedd gwaed yr Oen—
Yn nechreuad amser maith,
O ochr dyn a chywir daith,
'Roedd cariad anherfynol trag'wyddol trwy y gwaith,
Mae 'r hwn fu farw fyth yn fyw,
Yn llawn trugaredd ryfedd ryw,
Fe'i molir fyth yn Sion gan waredigion Duw.

Gogoniant rhown bob pryd,
I Benaeth mawr y byd;
I'r Iesu glân y byddo 'r gân i gyd—
Ystyriwn, gan dristâu,
Nad ym i hir barhau,
Awr angeu du yn wir y sy'n nesâu—
Rhaid ini ffoi ar aden ffydd,
A rhodio 'n deg ar hyd ein dydd,
O! gwledd o basgedigion yn Sion ini sydd—
Gwyn fyd y llu y sy dan sên,
Yn ufudd waith y nefoedd wen,
Cânt goron o ogoniant yn mwyniant nef Amen.

R. P.

---

### EMYN NADOLIG.

(*Cyfieithiad o un Saesoneg, gan* MEDLEY.)

DEFFROWCH farwolion, moeswch gân,
Cân lluoedd uwch y llawr:
Bendithion fil eich cymmell wnan',
I roesaw 'r ddedwydd awr.

Y beraidd gân ddechreuwyd fry
Gan fyrdd o rif y dail;
A pharodd trwy 'r holl ddisglaer lu
Beroria[illegible] heb ei hail.

Ehedodd drwy 'r ehangder maith,
Ac adsain uchel fu;
Y newydd gerdd gorfoledd wnaeth,
Rhy fawr i'r nefoedd fry.

Trwy byrth y nef i'n daear ni,
Y daeth trwy arfaeth Duw;
Y newydd ddygodd nefol lu
Ar frys i ddynolryw.

Clywch! bloeddio mae seraphaidd gôr—
"Gogoniant" ddechreu 'r gân;
A "hedd i ddyn" mor faith a'r môr,
A seinia 'r lluoedd glân.

O croesaw, croesaw, Frenin hedd,
Brawd, Prynwr, Cyfaill cu;
Pan ballo 'r haul, a'r byd 'r un wedd,
Parhâ dy ogoniant di.

Rhoer mawl i Dduw, rhoer mawl ar gân
Gan luoedd nef yngbyd;
I'r Tad, i'r Mab, i'r Yspryd Glân,
Rhoer mawl gan bawb trwy 'r byd.

## GALWAD I'R WINLLAN.

Pa byd, medd Duw, y sefwch chwi,
Mewn syrthni yn eich bywyd?
O pa'm na ddowch i'm gwinllan i,
Yn union am ryw enyd?

Chwi rai ieuainge gwiw eich gwedd,
Sy'n heinif (on'd yw 'n hynod?)
Paham gwrthodwch Dduw a'i hedd,
Y mae eich dydd yn darfod!

Paham yr oedwch hyd y dydd
Yn benrhydd yn y farchnad?
I'r winllan ewch, a'ch gwobr fydd
Y'mhell uwchlaw disgwyliad!

A chwi henafgwyr gwan eich gwedd,
Mor llwyrdrwm yn eich llafur;
O'ch blaen mae angeu, barn, a bedd,
Paham y byddwch segur?

Am hyny 'r awr sy'n ol o'r dydd,
Yn ufudd iawn defnyddiwch;
Ac yna 'n rhad, myfi a'i rhydd,
Iawn wobr a dderbyniwch!

O dowch, gan hyny, fawr a mân,
I'm gwinllan a'm cynhaua',
Cewch yno 'n glau ryw wobr glân,
Duw teilwng, fe a'i tala.

N.

## PSALM XLVI.

Y CYNNWYSIAD.

*Yr hyder sydd gan yr Eglwys yn Nuw; yr afon sydd yn llawenhau dinas Duw; ei bresennoldeb a'i gymmorth rhag gelynion; cynyor i ystyried ei weithredoedd.*

¶ I'r Pencerdd i Feibion Corah.

Ein Duw i ni sy gadarn dŵr,
A chryfdwr, ac ymwared,
A chymmorth mewn trallodau blin,
Ac anghynefin nodded.

Am hyn nid ofnwn ped fae'r byd,
Yn crynu i gyd o'i seiliau,
A'r mynyddoedd uchel mawr,
Yn syrthio i lawr i'r tonau.

Er rhuo cedyrn donau 'r môr,
Drwy wyllt ddygyfor gerwin;
Ac i'r mynyddoedd gan eu nâd,
Fod mewn cynhyrfiad cethin.

Mae afon deg a'i ffrydiau glân
Ag sydd yn diddan lifo,
Drwy ddinas Ion a'i drigfan wych,
Mor hoff yr edrych hono.

Ac yn ei chanol trig Duw Ner,
Fel na chynhyrfer bythoedd,
Yn foreu anfon gymmorth gref,
Can's eiddo Ef yw'r lluoedd.

Rhoe 'r Cenhedloedd ddirfawr dwrf,
A'u cynnwrf a ddyrchafodd,
A Duw a roes ei daran fawr,
A nef a llawr a doddodd.

Can's gyda ni mae Arglwydd nef,
Mae yn gadarn-gref noddfa;
Y mae Duw Iago yn ein plaid,
Nid rhaid fod dim dychrynfa.

O gwelwch waith yr Arglwydd mawr
Yn rhwygo llawr daearen;
Pair i ryfeloedd ym mhob man
Ddiweddu dan yr wybren.

Y bwa gyd â'r waedlyd lain
Fo hyllt y rhai'n yn 'sgyrion,
A'r heirdd gerbydau lysg â thân,
Yn ulw mân yn union.

Gwybyddwch bawb mai fi sy Dduw,
Myfi yw'r Uchel Lywydd;
Fy enw molir ym mhob tir,
Fe 'i molir yn dragywydd.

Ai Mr. Evan Evans, neu Mr. W. Wynne, neu pwy oedd y cyfieithydd?

## "ADDA AC EFA YM MHARADWYS."

*Testyn Eisteddfod Beaumaris*, 1832.

YR ENGLYNION BUDDUGOL.

Adda a'i wraig ddiwair wen,——foreu byd,
Oedd fri balch daearen;
Blodau perffeithgwbl Eden,
Dynoliaeth noeth dan wlith nen.

Boddlon anwylion y Nef——a'u bywyd,
Heb enedd na gwrthlef:
Da'u llwydd mewn diwall haddef,
Delw Duw a'i anadliad Ef.

Llu daear, gwyllt, gwâr, i gyd——yn eiddynt
Mewn hedd a dedwyddyd;
Happus ddifeius fywyd,
Dau yn ben Eden a byd.

Robert Owen, o Lundain.

## ENGLYNION

### *Achau Cymreig* Sior IV. *diweddar Frenin Prydain.*

Siors Bedwerydd sydd fab Sior—y Trydydd,
Tradewr ŵyr yr Ail-Sior,
Fab Siors Gyntaf, puraf Por
A gerid yn ein goror.

Gorŵyr i Iago eirian—âch uchel,
Y Chweched o'r Alban;
Gyn Iago o'i anegwan
Gywir lwyth i Loegr lân.

Iago orŵyr gwiw Harri—y Seithfed,
Iawned ydyw enwi
Y gwr hwn yn gâr ini,
Gwelwyd ei nawdd i'n gwlad ni.

Wyr mâd Owen Tudur Mon—oedd Harri,
O ddewrwaed y Brython;
Tra unodd ef trwy nawdd Ion,
Er's oesau ni â'r Saeson.

*Yr Achau mewn modd arall sydd fel y can'yn:—*

Sior a William y Pedwerydd, feib Sior y Trydydd, ŵyr Sior yr Ail, fab Sior y Cyntaf, gorŵyr Iago y Cyntaf yn Lloegr, a'r Chweched o'r Alban, mab Mari o'r Alban, neu Mari y Gyntaf, Ferch Iago y Pummed o'r Alban, fab Iago y Pedwerydd o'r Alban, o Margaret ferch Harri y Seithfed, ŵyr Owen Tudur o Benmynydd Môn, &c.

Gutyn Peris.

# HANESION GWLADWRIAETHOL.

## Newyddion Tramor.

### HOLLAND A BELGIUM.

MYNEGASOM yn ein Rhifyn diweddaf fod arwyddion rhyfelgar yn ymddangos, a bod llyngesau Ffraingc a Lloegr i ymgynnull yn Spithead cyn cychwyn tua phorthladdoedd yr Iseldiroedd. Ar *ddydd Sul*, y 4ydd o Dachwedd, y llyngesau, dan lywyddiaeth Syr P. Malcolm, a hwyliasant o Spithead; ond cyn pen ychydig o oriau cyfododd tymhestl aruthrol, a rhoddodd Syr P. Malcolm orchymyn i longau Lloegr angori mewn porthladd cyfagos i Dover. Y dymhestl a barhaodd am dri neu bedwar diwrnod; a tharawyd un o'n llongau ni gan fellten, yr hon a archollodd ddau o'r llongwyr, ac a niweidiodd daclau y llong. Ni ddaeth y llongau Ffraingcaidd i'r golwg hyd ddydd Gwener: llawer a ofnai eu bod wedi eu dinystrio yn y dymhestl. *Dydd Sul*, yr 11eg, hwyliodd y llyngesau eilwaith o'r Downs, a thybir eu bod yn mordwyo tu a'r Iseldiroedd.

Y mae cefnogwyr a gwrthwynebwyr Gweinidogion ei Fawrhydi yn cyduno i gondemnio eu hymddygiad o barthed Holland. Cyn iddynt ddyfod i'w swyddau, nid oedd neb yn uwch eu llais yn erbyn ymyraeth âg achosion gwledydd ereill. Ond prin y galwyd hwynt i'r swyddau goruchel cyn iddynt ddechreu rhyfel a fydd yn niweidiol i'n masnach, yn ddinystriol i un o hen gynghreiriaid yr Ynys hon, ac yn arwain at ledaeniad Ymerodraeth a grymusder ein gelynion penaf y Ffrangcod. Och! fod Brydain *Brotestanaidd* yn ymgyssylltu â Ffraingc a Belgium *Babaidd*, yn erbyn Holland *Brotestanaidd!* Ni chydsyniai cynddrychiolwyr Rwssia, Prwssia, ac Awstria, â chais Ffraingc a Lloegr i gymhell brenin Holland, yn erbyn ei ewyllys, i alw yn ol ei filwyr o barthau a haera ein Gweinidogion ni a ddylent berthyn i frenin Belgium. Ni wyddis yn sicr pa fodd yr ymddyga y breninoedd crybwylledig; ond tybir yn gyffredin y cefnogant hwy Holland, ac y cynnorthwyant drigolion y wlad hòno â'u milwyr a'u llongau.

Peth arall a wnaeth ein Gweinidogion, oedd gwahardd i'r llongau Ellmynaidd oedd yn eu porthladdoedd hwylio o honynt, nes y penderfynir y ddadl bresennol. Nid oedd brenin Holland wedi gwneuthur dim i haeddu y fath driniaeth. Goddefai ef i longau Ffraingc a Lloegr angori yn ddigon tawel yn ei borthladdoedd ef; ni symudodd gam i niweidio masnach y gwledydd hyny. Ond er holl fygythion Lloegr a Ffraingc, brenin Holland a saif yn ddiysgog yn ei benderfyniad i wrthsefyll ei wrthwynebwyr hyd yr eithaf. Ei ddeiliaid hefyd a roddant yr hyder mwyaf yn ei ddoethineb a'i allu. Ymddiriedant y bydd i Ragluniaeth lwyddo eu hymgais i gynnal annymddibyniaeth eu gwlad.

Mae byddinoedd Ffraingc wedi cyrhaedd Belgium, ac yn cyrchu tu ag Antwerp, gyd â'r bwriad i gymhell brenin Holland i adferu y lle hwnw i'r brenin Leopold. Y mae brenin Prwssia wedi cyhoeddi ei wrthwynebiad i ymddygiad Lloegr a Ffraingc, nid mewn gair yn unig, ond hefyd trwy weithred, gan ei fod wedi anfon 50,000 o filwyr i gefnogi Holland. Disgwylir yr efelycha Awstria a Rwssia esiampl Prwssia. Yn awr y mae yr holl gyfandir yn debyg o ymfyddino o ochr y naill blaid neu y llall, ac ni all neb ddarogan pa bryd y rhoddir terfyn ar y rhyfel sydd ar ddechreu.

Anfonwyd Eirchiad at y brenin oddiwrth drigolion Rochdale, i erfyn ar ei Fawrhydi attal ei Weinidogion rhag ymladd yn erbyn brenin Holland. Disgwylir y dilyna trigolion trefydd ereill esampl mor dda.

PORTUGAL.—Derbyniwyd llythyr oddiwrth ŵr boneddig tra chyfrifol yn hysbysu fod cefnogwyr Don Miguel wedi gwneuthur cyfrif o'u colledigion yn y gwahanol fyddinoedd o'i filwyr. Yn yr amrywiol ruthriadau a wnaeth y gormesdeyrn hwn ar ddinas Oporto, ymddengys fod 6833 o ddynion dewr-wych wedi colli eu bywydau. Yr un boneddig a dystia mai 1580 o filwyr a gollodd Don Pedro. Gresynus ystyried fod cymmaint o waed yn cael ei dywallt o achos dau o adynod mor anhaeddiannol o'r parch lleiaf.

HISPAEN.—Dywed llythyrau o Madrid, wedi eu dyddio Tachwedd 8, fod Cenhadon Lloegr a Ffraingc yn brysur iawn yn cynnorthwyo y frenines i ddwyn y'mlaen ei hamcan i ddiwygio y deyrnas. Dywedir hefyd, fod Cenhadwr Ffraingc wedi cynnyg ei chynnorthwyo hi â byddin Ffrangcaidd i diddymu y blaid wrthwynebus.

TWRCI.—Mynega y Newyddiaduron fod y pla wedi tòri allan yn dra arswydus yn Odessa a Chaer Cystenyn, a'i fod yn fwy dinystriol nag y bu er's 20 mlynedd yn ol.

## Newyddion Cartrefol.

---

### YR IWERDDON.

*Daniel O'Connell.*—Mae y dyn hwn wedi ysgrifenu llythyr at Ddiwygwyr Lloegr, yn galw arnynt i'w gynnorthwyo ef â'u holl egni i ryddhau yr Iwerddon o'i chaethiwed presennol! Un o Newyddiaduron Dublin, sydd yn elyniaethol i egwyddorion Gweinidogion presennol ei Fawrhydi, a gyhoeddodd y llythyr hwn yn ei ddalenau, i'r diben i roddi hèr i Gyfreithwyr y Llywodraeth eu cyfreithio hwy am gabldraeth, neu i roddi i Daniel O'Connell hamdden i gydnabod mai efe yw awdwr y llythyr hwnw. Dywedir fod y Cyfreithwyr wedi rhoddi rhybydd i berchenog y Newyddiadur o'u bwriad i'w wysio ger bron brawdle, yn ol ei hèr: a mynegir ym mhellach fod y Llywodraeth wedi anfon cenhadwyr i gymmeryd O'Connell i fynu, ond ei fod wedi ymguddio, a'u bod hwy hyd yn hyn wedi methu cael gafael yn ei loches. Ymddengys yn awr fod y Rhaglaw wedi penderfynu rhoddi pen ar yr anghydfod sydd yn amrywiol barthau yr Iwerddon. Llawer o Offeiriaid Pabaidd, a boneddigion, a gymmerir i fynu yn feunyddiol, a gorfu arnynt roddi meichiau am eu hymddangosiad yn y sessiwn.

*Llofruddiaeth creulon.*—Ar y Sul cyntaf o Hydref, bagad o ddynion a laddasant ŵr tlawd, o'r enw Gaenor, yn y modd creulonaf—ei unig drosedd oedd cymmeryd gwinllan, yr hon a roddwyd i fynu gan un o'u cyfeillion hwynt. Yr oedd tŷ y dyn anffodus yn gyfagos i anneddle yr Offeiriad Pabaidd, yr hwn a ddaeth allan, gan erfyn ar y llofruddion i arbed bywyd y dyn, ond hwy a dyngasant y gwnaent yr un peth iddo yntau, os nad elai ymaith. Wedi gorphen eu gorchwyl uffernol, diangasant, ac ni chlybuwyd dim hanes am danynt.

*Gwrthwynebiad i dalu Rhent.*—Y gwrthwynebiad a gyfyngwyd ychydig yn ol i'r degwm, sydd yn awr wedi ymestyn at rent. Gwr boneddig yn nghymmydogaeth *Cork* a ddanfonodd at ei ddeiliaid am ei rent; ond gwrthodasant ei dalu. Y meddiannydd ar hyn a ymofynodd am warant, a cheisbyliaid a ymgyrchasant yno i gymmeryd gafael ar eiddo y preswylwyr; ond buan y gyrwyd hwynt oddiyno, oblegid yr oedd cannoedd o bobl wedi ymgynnull yno i'r diben o'u gwrthwynebu hwynt. Y meddiannydd a lwyddodd yn ei ymgais i gael milwyr i gynnorthwyo ac i amddiffyn y ceisbyliaid, y rhai a gymmerasant yr anifeiliaid heb unrhyw wrthwynebiad.

*Ymgyrch angeuol.*—Dydd Mercher, y 10fed o Hydref, aeth nifer o geisbyliaid i gymmydogaeth Mooncoin, Swydd Kilkenny, i osod rhybuddion i fynu ynghylch y degwm, yn ol Ysgrif y Senedd ddiweddaf. Gwrthwynebwyd hwynt gan dorf o bobl, a chan eu bod yn ofni y byddent yn drech na hwynt, y ceisbyliaid a enciliasant i dŷ yr Offeiriad Pabaidd, dan nodded yr hwn y dychwelasant i Waterford. Dydd Llun canlynol, aeth Cadpen Burke, yn nghyd â 30 o wyr, gyd â'r ceisbyliaid i gyflawni y ddyledswydd a fethasant hwy ei chyflawni y dydd o'r blaen. Cadpen Burke a gyrhaeddodd *Pill Town*, ac a osododd y rhybuddion i fynu. Y werinos ar hyn a ddechreuasant ymgynnull; seiniwyd udgyrn y'mhob man, ac yn ebrwydd lluoedd o ddynion a ymdreiglent i mewn yn ddibaid at eu cymdeithion—amgylchasant y ceisbyliaid, gan eu rhegu, a gweiddi, "Dim degwm. Cofiwch Carrickshock a Gibbons," &c. Cadpen Burke, gan weled y perygl yr oedd ei wyr ynddo, a'u gosododd hwynt i ymdeithio yn y modd goreu i amddiffyn eu hunain, a rhybuddiodd y werinos yn fynych, os deuent yn nes at ei wyr ef, y byddai raid iddo, er hunan-ymddiffyniad, orchymyn iddynt danio arnynt. Atebent ef, drwy beri iddo gofio Gibbons. Yr oedd yn rhaid iddo fyned trwy ffordd gul: ond rhag i'r terfysgwyr ymosod arnynt yn ddisymmwth, efe a ranodd ei wyr yn ddwy fagad, ac yntau ei hun rhyngddynt. Rhybuddiodd y werinos i ymogelyd rhag rhuthro arnynt; ond braidd y gorphenai yr ymadrodd cyn i'r holl dorf ymosod arnynt. Cadpen Burke a ddywedodd wrth ei wyr am droi a thanio arnynt: gwnaethant felly, a lladdwyd deuddeg, a chlwyfwyd ugain.

*Ychwaneg o wrthwynebiad i dalu Rhent.*—Mewn plwyf yn Swydd Cork yr oedd perchenog tir wedi cymmeryd anifeiliaid un o'i ddeiliaid yn lle rhent, a rhoddodd hwynt yn y *ffald.* Ond yr Offeiriad Pabaidd, pan glywodd hyn, a aeth yno, ac a orchymynodd i'r ceidwad eu rhyddhau hwynt; efe a nacâodd, ar hyn y terfysgwr Parchedig a orchymynodd i'w ganlynwyr dòri y drws; gwnaethpwyd hyn yn ebrwydd—gollyngwyd yr anifeiliaid yn rhyddion, a rhoddwyd hwynt i'w perchenog. Yr Offeiriad a gymmerwyd ger bron Ustus Heddwch, ac a roddodd feichiau i ymddangos i gael ei brofi yn y sessiwn nesaf.

*Ymosodiad cywilyddus ar Faer Dublin.*—Ei arglwyddiaeth, ar ol dyfod o Eglwys St. Michan, a aeth, yn ol ei arfer, gyd âg ychydig o swyddogion ereill, i edrych fod y Sabboth yn cael ei gadw. Ar ol myned trwy amryw o'r heolydd, ymgasglodd

bagad o bobl, ac a ymosodasant mewn modd tra chreulon arno ef, a'r rhai oedd yn ei ganlyn. Ar hyn, anfonodd ei arglwyddiaeth am nifer o'r *police*, y rhai, pan ddaethant, a gawsant orchymyn i dynu eu cleddyfau; ac ar hyn taflodd un o'r dyhirod bolyn yn llawn o bigau heiyrn a hoelion at ei arglwyddiaeth, ond disgynodd wrth ei draed. O achos y cythrwfl a ganlynodd, diangodd yr adyn; ond daliwyd tri o flaenoriaid y terfysg.

---

MR. HUME.—Dydd Sul, yr 11eg o Dachwedd, bu y gwr uchod yn y Fam Eglwys yn y ddinas hon yn y gwasanaeth. Yn y prydnawn aeth y Seneddwr i wrando ar Mr. Parsons, Gweinidog yr Anymddibynwyr, yr hwn a bregethai ar y pla diweddaf a dorodd allan yn y ddinas boblogaidd hon—a haerai nad oes dim ymweliad o'r fath yn disgyn ar genedl ond trwy ganiatâd Rhagluniaeth—ac a daer alwai ar ei wrandawyr i ymbarotoi erbyn angau. Yn ei bregeth Mr. Parsons a geryddodd yn llym y Seneddwyr rhyfygus hyny a wnaethant yr haint yn destun o wawd a gwatwar. Mr. Hume oedd y blaenor ar y gad anrhydeddus hon.—*York Gazette.*

---

*Y Samariad da.*—Ychydig o ddyddiau yn ol, hen wraig dlawd o'r enw Cicily Marshall, yr hon a arferasai, dros ddengain mlynedd, gerdded ynghyd â'i mul a'i chi ffyddlawn o Grughywel i farchnad Abergaveny, a welwyd yn gorwedd ar swp o gerig, ac yn gwaedu yn dost, ar y ffordd o Grughywel i Abergaveny. Yr oedd ei chi ffyddlawn yn tuchan wrth ei thraed, a'r asyn yn pori wrth y gwrych. Yr oedd gwr boneddig yn ymdeithio mewn cerbyd: tynwyd ei sylw at ymddygiad y ci yn cyfarth ac yn rhedeg at yr asyn, yna at y cerbyd, yn ol ac ym mlaen: a'r boneddig, a chyfaill oedd gyd âg ef, a ddisgynasant o'r cerbyd, ac a ganlynasant y ci. Aethant i'r fan lle y gorweddai yr hen wraig; codasant hi i fynu—rhwymasant yr archoll â chadach—dodasant hi yn y cerbyd—a chludasant hi i'r gwestdy, i Langrywy. Galwyd Meddyg ati, yr hwn a rwymodd yr archoll; dodwyd hi i orwedd mewn gwely; a thranoeth yr oedd yn ddigon iach i ddychwelyd adref. Y mae yr hen wraig uwchlaw 80 mlwydd oed; ac nid oedd yn cofio dim am ei chwymp ar y cerig, ond tybia mai ei gwendid corphorol oedd yr achos. Y boneddion a haeddant lawer o glod am eu parodrwydd yn myned i gynnorthwyo yr hen wraig.

---

*Mochyn â choes gorcyn.*—Un o foch Mr. John Nicholson, o Watton Grange, yn gyfagos i Driffield, a gafodd yr anffawd o dori ei goes, ac nid oedd gobaith y gallid ei gwella. Mr. Nicholson a benderfynodd dori aelod y mochyn; ac i'r diben hwn efe a ddanfonodd am y meddyg, yr hwn a gyflawnodd ei orchwyl yn ddioed. Wedi i'r aelod galedu yn ddigonol, Mr. Nicholson a gludodd y mochyn i Bradford, ac a geisiodd goes gorcyn iddo. Ac yn awr gwelir y mochyn yn rhodio ar hyd y buarth yn dra hylaw.

*Callineb Merlyn.*—Ychydig yn ol gwerthodd un Mr. Jonathan Gain, Ffermwr, yn agos i Portsmouth, ferlyn o rywogaeth ceffylau Shetland, yr hwn a fu yn ei feddiant oddeutu saith mlynedd, i un Mr. William Padwick, o ynys Hayling, yr hwn a'i dygodd i'w gartref. Ym mhen ychydig foreuau wedi hyn, wrth i Mr. Gain fyned allan o'i dy, cafodd y merlyn yn sefyll wrth y llidiart, wedi diangc o hono oddiwrth ei feistr newydd, gan nofio dros borth Hayling, a dychwelyd yn ol i'w hen letty. Gwelwyd ei hen ef gan rai o wylwyr y porthladd wrth nofio drosodd, y rhai, gan dybied iddynt ganfod *cask* o wirod, a frysiasant ar ei ol, ond ni buont yn hir cyn y gwelsant ef yn lànio, ac yn carlamu ymaith.

---

*Llong-ddrylliad.*—Llestr fechan o Abertawe, yn cynnwys mwn copr, a angorodd yn y Mumbles: a'r dwylaw a laniasant i'r diben i gyfeddach mewn tŷ tafarn. Tra'r oeddynt yn absenawl, cyfododd tymhestl ac enciliodd y llong tua'r dyfnfor gan lusgo yr angor ar ei hol. Ychydig wedi hyny daeth y llongwyr at y traeth i fyned ar fwrdd eu llong, ond beth oedd eu syndod i weled fod y llong wedi myned o'r fan yr angorwyd hi, a pheth a wnaeth y mater yn waeth, oedd fod caddug wedi gorchuddio y môr, fel na chanfyddent un arwydd o'u llestr. Y llanw a yrodd y llestr i Bortheyron, lle yr aeth i fysg y creigiau, ac y drylliwyd hi; ond arbedwyd rhan o'r llwyth.

---

*Ffoadur.*—Yn niwedd y mis diweddaf rhoddwyd milwr o'r 43 gatrawd, o'r enw Charles Edwards, yn ngharchar Caernarfon, am encilio oddiwrth ei gatrawd. Drannoeth ar ol ei ddodi yn ngharchar efe a dorodd un o fysedd ei law ddehau a chyllell. Yr anaf hwn a anghymmwysa Edwards i wasanaethu ei wlad fel milwr; ond gwnaeth ef yn ddarostyngedig i gael ei alltudio am 14 blynedd.

---

*Trethiad Tai a Ffenestri.*—Cynnaliwyd cyfarfod tra lluosog yn ddiweddar gan blwyfolion St. Iago, yn Llundain, i ystyried y moddion goreu i gael diddymiad y dreth sydd ar dai annedd a ffenestri. Llawer o'r plwyfolion mwyaf cyfrifol a draethasant eu syniadau ar y pwngc, gan ddangos mor orthrymus oedd y trethi hyn yn gorphwys ar y masnachwyr diwyd a llafurus. Amrywiol gynnygion pwysig a benderfynwyd arnynt yn unfryd unllais, a ffurfiwyd nifer o Gyfeisteddwyr i ddwyn i ben y penderfyniadau a gytunwyd arnynt. Rhoddwyd caniatâd i'r Cyfeisteddwyr wahodd nifer derfynedig o'r plwyfolion mwyaf cyfrifol yn y plwyfydd cymmydogaethol i'w cynnorthwyo yn eu cyfarfodydd.

---

*Yr Arglwydd Ganghellydd.*—Dywedir fod yr afiechyd a fydd yn arferol o flino yr Arglwydd Brougham wedi ymosod arno yn y fath fodd ag i beri anesmwythdra tra annymunol ym mhlith ei gyfeillion. Y boen a fydd raid i'w Arglwyddiaeth ddioddef sydd yn arswydus i feddwl am dano.

*Anffawd galarus*—Cafwyd celain Mrs. Staveley, o Disley, mewn aber yn gyfagos i'w hannedd. Y noson o'r blaen aethai Mrs. Staveley i ymweled â chymmydog, a thybir iddi golli ei ffordd yn y tywyllwch a syrthio i'r aber.

*Diolch am y Cynhauaf.*—Dywenydd genym hysbysu i'n cydwladwyr fod yr Archesgob Canterbury wedi cyfansoddi Ffurf o Weddïau o Ddiolchgarwch am y Cynhauaf toreithiawg eleni, i'gael ei ddarllen yn holl Eglwysi Brydain am y tri Sul canlynol i'r amser y derbynia y Gweinidog plwyfol y ffurf.

*Cadw y Sabboth.*—Yn niwedd y Sesiwn ddiweddaf o'r Senedd bresennol, cyflwynwyd Adroddiad y Cyfeisteddwyr a benodwyd i ystyried y cyfreithiau presennol yn nghylch cadw y Sabboth. Y mae llawer blwyddyn er pan gyflwynwyd i'r Senedd Adroddiad wedi ei ysgrifenu mewn yspryd mor Gristionogol, ac yn cynnwys cydnabyddiaeth mor gadarn o ddwyfol osodiad y dydd Sabboth. Er meithed yr Adroddiad ni a ymdrechwn osod rhyw gyfran o hono ger bron ein darllenwyr.

## URDDIADAU EGLWYSIG.

Ar yr 10eg o fis Medi, cynnaliwyd Urddiad yn Nghapel Coleg Dewi Sant gan Arglwydd Esgob Tŷ Ddewi; ac ar ol pregeth ragorol gan y Parch. T. Summers, A. B. derbyniwyd y boneddigion canlynol i'r swydd o DDIACONIAID, a chenhadwyd hwy i'w priodol Guradiaethau:—

David Williams, A. B. o Goleg Ioan Sant, Caergrawnt; Curad Walterstone, Swydd Henffordd, ac Old Castle, Swydd Fynwy.

Edward Thomas Lewis, A. B. o Goleg y Frenines, Caergrawnt; Curad Castell Newydd yn Emlyn, Swydd Gaerfyrddin.

Benjamin Morgan, o Goleg Dewi Sant; Darlithydd yr Elusendy, Caerfyrddin.

Thomas Howell Davies, o Goleg Dewi Sant; Curad Mwnt, Swydd Aberteifi.

James R. Griffiths, o Goleg Dewi Sant; Curad Morfil, Swydd Benfro.

Rowland Daniel, o Goleg Dewi Sant; Curad Llanbedr Felfre, Swydd Benfro.

John Jones, o Goleg Dewi Sant; Curad Bettws Bledrws, Swydd Aberteifi.

John P. Morgan, o Goleg Dewi Sant; Curad Llanelli, Swydd Gaerfyrddin.

Thomas Davies, o Goleg Dewi Sant; Curad Llanglydwen, Swydd Gaerfyrddin.

*Urddwyd y Boneddigion canlynol yn* OFFEIRIAID.

Henry Vaughan, A. B. Curad Crughywel, Swydd Frycheiniog; gynt o Goleg Gwyrangon, Rhydychain.

Thomas Summers, A. B. Curad-Parhaol Walton East, Swydd Benfro; gynt o Goleg Iesu, Rhydychain.

William Davies Phillips, A. B. Curad Llawrynni a Martletwy, Swydd Benfro; gynt o Goleg Iesu, Rhydychain.

Richard Wm. Payne Davies, A. B. Curad Llangasty Tal y Llyn, Swydd Frycheiniog; gynt o Goleg Gwyrangon, Rhydychain,

Thomas Thomas, Curad Nantewnlle, Swydd Aberteifi; gynt o Goleg Dewi Sant.

David Thomas, Curad Henllan, Swydd Aberteifi; gynt o Goleg Dewi Sant.

Thomas Bowen, Curad Eglwys Fair, Abertawy, Swydd Forganwg; gynt o Goleg Dewi Sant.

Griffith Evans, Curad Llanllwchaiarn, Swydd Aberteifi; gynt o Goleg Dewi Sant.

Francis Edward Turnour, Curad Minwer, Swydd Benfro; gynt o Goleg Dewi Sant.

Thomas Davies, Curad Jordanston, Swydd Benfro; gynt o Goleg Dewi Sant.

Rees Evans, Curad Llangynfelyn, Swydd Aberteifi; gynt o Goleg Dewi Sant.

David Edwards, Curad Ysbytty Cenfyn, ac Eglwys Newydd Swydd Aberteifi; gynt o Goleg Dewi Sant.

William Harries, Curad Llandawg a Pendine, Swydd Gaerfyrddin, gynt o Goleg Dewi Sant.

David Harries, Curad Llanllwch, Swydd Gaerfyrddin; gynt o Goleg Dewi Sant.

Evan Morgan, Curad Cilian Aeron a Chapel St. Alban, Swydd Aberteifi; gynt o Goleg Dewi Sant.

Charles Proberts, Curad Michael Church Eskley a Longtown, Swydd Henffordd; gynt o Goleg Dewi Sant.

Barnwyd yn yr Holiad mai Henry Vaughan, A. B. o'r Offeiriaid, a Benjamin Morgan a David Williams, A. B. o'r Diaconiaid, oeddynt yn rhagori; a rhoddwyd iddynt y gwobrau arferol.

Hydref 14. Cafodd y boneddigion canlynol eu hurddo, gan Arglwydd Esgob Llandaff, yn DDIACONIAID:—

J. Sydney Darwell, Coleg Dewi Sant. Richard Evans, A. B. Coleg Iesu, Rhydychain. J. F. S. Gabbe, A. B. Coleg Iesu, Rhydychain. Edward Dodridge Knight, A. B. Coleg Exeter, Rhydychain. John Llewelyn, A. B. Coleg Iesu, Rhydychain. W. Leigh Morgan, Coleg Dewi Sant. T. G. Smithers, Coleg Dewi Sant.

## MARWOLAETHAU.

Boreu Dydd Sul, Tachwedd 4, Arglwydd Tenterden, Prif Farnydd yn llys y *King's Bench*. Nid oedd rhieni Arglwydd Tenterden ond mewn amgylchiadau isel. Derbyniodd ei ddysgeidiaeth yn Ysgol Rad Caer Gaint; ac oddi yno aeth i Rydychain. Dyrchafwyd ef i'w swydd o fod yn Brif Farnydd yn y flwyddyn 1818: a chafodd y titl o Arglwydd Tenterden yn y flwyddyn 1827.—Dilynir ef i'r swydd gan Syr Thomas Denman.

Ar ddydd Iau, y 15fed o Dachwedd, ar ol bod yn glaf am fisoedd lawer, yr Arglwydd Newborough a anadlodd ei anadl olaf yn Glynllifon, Arfon, yn 31 mlwydd oed. Yn 1826 dewiswyd ei Arglwyddiaeth i gynddrychioli Swydd Gaernarfon yn y Senedd; ond yn 1830 cymhellwyd ef i roddi y swydd anrhydeddus hon i fynu o herwydd ei afiechyd. Yr urdd a'r eiddo a ddisgynant i'w frawd, yr Anrhydeddus Spencer Bulkeley Wynne.

Ar ddydd Iau, y 15fed o Dachwedd, bu farw ei Arglwyddiaeth, y Gwir Barchedig Arglwydd Esgob Waterford, yn lled sydyn o'r *apoplexy*, yn nhŷ ei fab yn nghyfraith.

Drwg genym hysbysu fod yr Eglwys wedi colli y gweinidog enwog hwnw, y Parch. W. Howells, yr hwn a bregethai yn y Capel Esgobaethawl yn *Long Acre*. Ar y Sabboth, Tachwedd 11, Mr. Howells a bregethodd ddwy waith yn ei Eglwys. Yr oedd y pryd hyny yn mwynhau iechyd cymhedrol; ond ar y Mercher canlynol tarawyd ef âg afiechyd, yr hyn a'i analluogodd i bregethu Darlith y prydnawn hwnw. Gwaethygodd hyd brydnawn Sadwrn, pan y gorfu i'w Feddygon hysbysu nad oedd ganddynt ddim i wneud iddo—nad oedd dim gobaith y gallai efe fyw yn hir. Ac oddeutu pedwar o'r gloch boreu ddydd Sul, y 18fed, ei ran anfarwol a dorodd o rwymau marwoldeb, ac a ehedodd i drigfanau llawenydd tragywyddol. Priodor o'r Deheudir oedd Mr. Howells; ond treuliodd y rhan fwyaf o'i fywyd llafurus yn y Brif-ddinas. Yr oedd ei weinidogaeth yn gymmeradwy gan lawer mawr o'r gwreng a'r boneddig; a mawr fydd eu galar ar ol eu gweinidog ffyddlawn.

# Y CYNNWYSIAD.

DIWEDD Y NAWFED LLYFR.

BALA: ARGRAFFEDIG GAN R. SAUNDERSON.